Y

# TRAETHODYDD.

AM Y FLWYDDYN 1848.

## LLYFR IV.

DINBYCH:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN THOMAS GEE.
LLUNDAIN: HUGHES, ST. MARTIN'S LE GRAND.
MDCCCXLVIII.

# DANGOSEG.

IONAWR.



EBRILL.

GORPHENAF.



HYDREF.

# Y TRAETHODYDD.

## Y JESUITIAID A'U MOESDDYSG.

Yr ydym wedi dwyn Pabyddiaeth mewn rhai o'i ffurfiau ger bron ein darllenwyr yn fynych; ac nid ydym yn unig yn hyn, ond y mae ugeiniau o'n cydlafurwyr wedi gwneuthur yr un peth. Y mae Pabyddiaeth wedi ei phwyso, a'i chael yn brin; y mae ei dedfryd wedi ei chyhoeddi, ond pa le y mae y fraich sydd yn ddigon galluog i'w gweinyddu? Wrth edrych yn ol, fe'n temtir i feddwl mai dianc a wna hi byth, er cyhoeddi ei dedfryd unwaith ac eilwaith; oblegid y mae hi wedi ei chollfarnu er ys dros fil o flyneddau. Amcanwyd amryw weithiau weinyddu y gollfarn, ond dyryswyd pob amcan. Daeth Pabyddiaeth yn ddiangol o law ei gelynion bob tro. Pan y meddyliwyd ei bod wedi cael ergyd marwol, cyfododd drachefn fel y *phœnix* o ludw ei rieni; adnewyddwyd ei hieuenctid hi yn yr ymrysonfa fel yr eryr, ac erbyn heddyw y mae hi mor lliosog ei deiliaid ag y bu hi erioed. Y mae ei deiliaid hi yn gant a hanner o filiynau, tra nad ydyw Protestaniaid y byd, o bob enw, ond prin chwech-ugain miliwn. Nid oes sail i obaith am ddinystr Pabyddiaeth yn arwyddion yr amserau ychwaith. Y mae rhai yn gweled ei chwymp hi yn lledaniad gwybodaeth, ac yn mherffeithiad y celfyddydau; ond y mae yn rhaid i ni gyfaddef na welwn ni ddim o hono mewn un man ond yn ngair y gwirionedd (2 *Thes*. ii. 8). Ein rheol ni i farnu ydyw, "Yr hyn a fu a fydd;" ac os ydyw Pabyddiaeth wedi goroesi pob gwrthwynebiad a wnaed gan wybodaeth a chelfyddyd hyd yma, tebygol ydyw y gwna hi hyny eto. Nid mewn moment y symudir y graig sydd wedi gwrthsefyll ystormydd mil o flyneddau. A phe buasai rhywbeth yn ein temtio i fod yn dyner wrth Babyddiaeth, ei henafiaeth hi a fuasai hwnw. Y mae y fath swyn yn hyn i ryw ddosbarth o ddynion yn Eglwys Loegr, fel ag y maent yn taflu eu hunain i'w breichiau, am ei bod hi yn hen.

Ac onid oes rhyw fath o ddifrifwch crefyddol yn llenwi ein mynwes wrth agosâu at unrhyw beth sydd â chwŷsau henaint arno? Pwy a all edrych ar furiau hen gastell, heb gael ei gario yn ol i'r amser pan oedd rhyfelwyr barbaraidd yn gollwng saethau angeu drwy y mân dyllau sydd ynddynt? Pwy a all gerdded o dan nen gerfiedig eglwys gadeiriawl, heb i'w ddychymyg boblogi y lle â hen seintiau yr oesoedd gynt; ac heb deimlo mai cysegr-drais fyddai yr anfri lleiaf i furiau o'r fath? Ac onid ydyw yr un teimlad yn saith dwysach yn y fynwes wrth agosâu at Babyddiaeth? Nid ydyw ein cestyll ni ond er doe, ein teimlau ond yn eu mabandod, o'u cymharu â hi. Y mae hi yn anghyfnewidiol yn nghanol cyfnewidioldeb, yn anfarwol yn nghanol marwoldeb, ac yn ymddangos fel wedi ei bwriadu

i oroesi pob peth. Hi ddechreuodd cyn i haul Athen fachlud, pan oedd y philosophyddion yn aml ar ystrydoedd Rhufain; hi barhaodd pan oedd tywyllwch yn eistedd ar Ewrop, a'r fagddu yn gorchuddio y byd; ac y mae hi eto yn fyw ar ol i haul gwybodaeth godi ar y byd gorllewinol. Yr oedd ei rhwymau hi yn ddigon cryfion i ddal y meddyliau a goethwyd gan y philosophyddion yn gaethion ewyllysgar; cadwodd farbariaid anwar yr oesoedd tywyll yn ddeiliaid ufudd; ac nid ydyw goleuni yr oes hon ond yn cryfâu ei llywodraeth hi. Nid oes deyrnas yn Ewrop nad ydyw wedi myned o dan lawer o gyfnewidiadau er ys mil o flyneddau; y mae y goron wedi treiglo o'r naill deulu i'r llall; ond y mae gorsedd olynwr Pedr yn parhau yn ddigryn. "Pab fu yn coroni y cyntaf o freninoedd Ffrainc yn yr wythfed ganrif, a phab fu yn coroni Napoleon yn y bedwaredd-ganrif-ar-bymtheg." Y mae Pabyddiaeth yn y byd crefyddol yr hyn ydyw China yn y byd gwladol; y mae yr ymherodraeth hono wedi gor-fyw pob peth arall. Ond y mae hi yn ddyledus am ei hir oes i'r gofal mawr y mae hi wedi ei gymeryd i'w hamddiffyn ei hun, i gadw ei hun ar wahan oddiwrth holl genedloedd eraill y ddaear. Nid oedd ryddid i neb ddyfod i mewn i ymgymysgu â hi, ac yr oedd hi yn angeu i'w meibion hithau fyned at genedl arall. Yr oedd hi yn fyd ynddi ei hun. Ni wyddai hi ddim am oleuni Groeg a Rhufain; ni effeithiodd buddugoliaethau Alexander ddim arni hi; tra yr oedd yr holl fyd o'i hamgylch yn cyfnewid, yr oedd hi yn parhau yr un. Ond parhad *mummy* yr Aipht oedd ei pharhad—parhad marw; tra y mae Pabyddiaeth yn parhau yn fyw, yn parhau er ymgymysgu â'r cyfnewidiadau. Y mae hi fel rhyw Methusalem, yn ei llawn gryfder am naw can' mlynedd a mwy, tra y mae deg-a-thriugain neu bedwar-ugain mlynedd yn bwyta holl nerth pob peth arall.

Y mae y fath swyn yn perthyn iddi, fel ag y mae dynion o bob gradd o'u gwirfodd yn ei chofleidio, a pharhânt i wneuthur hyny hyd oni thywallter yr Ysbryd ar y byd. Pa grefydd erioed a fu mor gyfaddas i natur lygredig? Y mae hi yn rhydd oddiwrth gnawdolrwydd Mahometaniaeth, ac oddiwrth greulondeb paganiaeth: y mae ganddi bron ddigon o'r naill i'w gwneuthur hi yn gymeradwy gan galon aflan, a digon o'r llall i'w gwneuthur hi yn gymeradwy gan galon falch. I'r philosophydd, y mae ganddi ddirgelion y trawsylweddiad; i'r bardd, y mae yn ymddangos yn ardderchog yn nghanol niwl hynafiaeth; i'r meddwl myfyrgar, hi ddengys ei mynachdŷ a'r llwyni prydferth sydd yn ngerddi hwnw; fe'i swynir gan y rhai hyn i adael y byd, i gael cymdeithasu â doethineb yn nghysgod y llwyni, i gael gwrandaw ar lais ei galon yn nystawrwydd yr ardd. I'r dyn cnawdol, sydd wedi porthi ei chwantau hyd ddigon, nes y maent wedi marw yn ei fynwes, beth sydd mor swynol a bywyd hunanymwadol y mynach troednoeth? I'r bydol-ddyn, sydd wedi methu lladd cydwybod yn ei fynwes, beth sydd fwy cyflëus na chael maddeu ei gybydd-dod bob wythnos am ychydig o'i ffrwyth? I ferch ieuanc ddeunaw oed, yn dechreu meddwl am grefydd, onid oes swyn mewn codi am hanner nos i weddïo am awr ar y balmant oer? Y mae yr anwybodus yn cael ei lygad-dynu gan wychder ymddangosiadol y grefydd; y mae y dysgedig yn cael ei swyno gan ei barddoniaeth hi. Yr hyn sydd yn ymaflyd yn synwyrau y naill sydd yn ymaflyd yn enaid y llall.

Na thwyllwn ein hunain. Nid gwaith hawdd ydyw attal llwyddiant Pabyddiaeth, na'i diorseddu yn y lleoedd y mae hi wedi ei sefydlu

eisoes. Y mae llawer yn Nghymru yn meddwl y gall pob plentyn ddyrysu Pabydd; ond ni wnawn ond twyllo ein hunain gyda syniad o'r fath. Nid ydyw athrawon Cymru ond yn rhy brin yn ddigon dysgedig a medrus i wynebu Pabydd. Y mae genym ychydig gawri, na byddai raid i ni ofni eu gweled yn cyfarfod â rhai o gardinaliaid y pab; ond am y lliaws o'n hathrawon, eu gwasanaeth goreu hwy i Brotestaniaeth fyddai gadael Pabyddiaeth yn llonydd. Nid braich plentyn mewn gwybodaeth a dŷn i lawr y gyfundrefn sydd wedi gwrthsefyll cymaint o ymosodiadau.

Yn mha le y mae cuddiad cryfder Pabyddiaeth? Pa fodd y mae ganddi y fath afael ar y byd? Y mae yn rhaid i ni dynu ein hateb i'r cwestiwn hwn oddiwrth edrych ar Babyddiaeth yn dumewnol ac yn allanol. Y mae yn ddiau fod llawer o'i nerth hi i'w briodoli i'r cyfaddasrwydd hwnw sydd ynddi i natur dyn fel creadur, ac i'w dueddiadau fel pechadur. Y mae dyn wedi ei greu i addoli. Er nad ellir penderfynu pa un ai greddf naturiol, ai effaith dysg draddodiadol, ydyw y duedd i addoli, nid oes ammheuaeth ynghylch ei bodolaeth. Y mae dyn hefyd yn mhob oes wedi bod yn dueddol i osod ffurf weledig i wrthddrych ei addoliad. Y mae cynnefindra y meddwl â phethau defnyddiol yn peri fod syniad am bethau ysbrydol yn anhawdd iddo; ac i ochel yr anhawsdra, rhydd ffurf weledig i'r gwrthddrych. Y cyfryw hefyd ydyw gwrthdarawiad y meddwl i grefydd, fel ag y dymunai dyn roddi baich ei iachawdwriaeth ar un arall, pe gallai wneuthur hyny yn y fath fodd ag i beidio cymeryd ei gogoniant a'i henw hi oddiwrtho ei hun. Y mae Pabyddiaeth yn y pethau hyn yn cydgordio yn berffaith â natur ac â thueddiadau dyn. Y mae hi yn grefydd weledig (*material religion*), yn apelio at ei holl synwyrau. Caiff weddïo ar seintiau, a phlygu o flaen delwau; ac yn lle trafferthu ei hun yn gyson gyda chrefydd, gall ymddiried ei enaid i ofal yr offeiriad; ond ni bydd hyny yn ei yspeilio ef o'r enw, oblegid trwy rym ei aur a'i arian ef y mae yr offeiriad yn gweithio. Y mae yn myned i'r nefoedd yn hawdd trwy gyfryngiad un arall, ac ar yr un pryd yn cael yr enw iddo ei hun. Wedi i ddyn demtio yr offeiriad i fyned rhyngddo a Duw, y mae yr offeiriad drachefn yn ei rwymo yntau â chadwyn, i'w gadw yn hollol yn ei law, trwy fyned yn arglwydd ar ei gydwybod. Y mae hyn yn ein harwain at un o'r dirgelion eraill sydd yn gysylltiedig â nerth Pabyddiaeth, sef y gyffesgell.

Sefydlwyd cyffesiad cyhoeddus o bechodau yn yr eglwys yn fuan ar ol yr oes apostolaidd. Pan y byddai i ryw aelod syrthio i bechod gwarthus, ar ei ailddderbyniad i gynnulleidfa y saint, byddai yn cyffesu ei fai yn eu gŵydd, ac yn proffesu edifeirwch o'i herwydd; ond yn y bummed ganrif, cyfnewidiodd y Pab Leo hyn am gyffesu dirgel wrth yr offeiriad yn unig. Agorodd hyny y drws i gyffesiad cyffredinol o bob pechod. Ond yr oedd pob aelod at ei ryddid i gyffesu i'r Arglwydd yn ddigyfrwng, neu ynte i'r offeiriad, a hwnw yn enw yr Arglwydd yn cyhoeddi gollyngdod iddo, hyd y gymanfa a gynnaliwyd o dan Innocent III. yn 1215. Yn hono, penderfynwyd "Fod pob un o'r ffyddloniaid, o'r ddwy ystlen, pan y deuent i oedran a synwyr, i gyffesu yn ffyddlawn eu holl bechodau i'w bugail, unwaith yn y flwyddyn o leiaf, ac i gyflawni hyd eithaf eu gallu y penyd a osodid arnynt, gan dderbyn yn barchus sacrament Swper yr Arglwydd yn amser y Pasc, oddieithr trwy gynghor eu bugail, o herwydd rhyw reswm penodol, y bernir yn gymhwysach iddynt ymwrthod am amser. Yn

niffyg ymostwng i hyn, y maent i gael eu hesgymuno o'r eglwys tra yn fyw, a phan y byddant feirw, i gael eu hamddifadu o gladdedigaeth Gristionogol." Pa gydwybod wan, pa feddwl tyner, a feiddiai wrthod ymostwng i ddeddf, troseddiad yr hon oedd yn dwyn canlyniadau mor arswydus a chael ei amddifadu o'r eglwys yn y byd hwn, ac o'r nefoedd yn y byd a ddaw? Dyma *lever* Archimedes yn meddiant Rhufain. Hi drŷ y byd wrth ei hewyllys, ond cael dynion i'w gweithio. Gall yn awr gymeryd meddiant ar yr enaid, a gosod i fynu ei gorsedd yn y galon, a chael i'w llaw ei hun bob gradd a sefyllfa o ddynion. Y mae y duedd grefyddol yn gorwedd yn ddwfn yn enaid pawb, y cyfoethog fel y tlawd. Ni feiddia y brenin beryglu ei ddedwyddwch tragywyddol trwy anufuddhau i'r ddeddf; gan hyny fe sibrwd holl ysgogiadau ei feddwl yn nghlust ei dadgyffesydd. Gyda'i fod ef wedi gorphen, y mae un o'r gwaelaf o'r bobl yn dechreu desgrifio dirgel ddyn y galon mewn llais gwanaidd yn nghlustiau yr un cyffesydd. Fel hyn y mae yr offeiriad yn gydnabyddus â dirgelion pob calon. Y mae yr awdurdod y mae efe yn ei hòni yn un ddwyfol. Y gair cyntaf a ddywed yn y gyffesgell ydyw, "Y mae Duw yn eich clywed trwof fi; trwof fi Duw a'ch etyb." Wedi clywed hyn, pwy a feiddia gelu dim? Wedi cael unwaith feddiant ar gyfrinach y bobl, y mae yr offeiriad yn arglwydd arnynt yn ystyr ëangaf y gair. Pa fodd y gallant ysgwyd ymaith yr iau? Onid ydyw dirgelion eu calonau yn hysbys iddo? Ac onid yn ei law y mae agoriadau nefoedd ac uffern?

Mynych yr ymffrostia Eglwys Rhufain yn ei hundeb, ac y dywed fod ymraniadau Protestaniaid yn brawf digonol nad hwy ydynt y wir eglwys. Ond beth ond enw gwag ydyw yr undeb hwn? Oblegid y mae Eglwys Rhufain wedi bod yn mhob oes, ac y mae hi yn parhau felly eto, yn llawn o sectau. Yn amser yr erledigaethau cyntaf ar yr eglwys, ffôdd llawer o'r Cristionogion i'r diffeithfâoedd i chwilio am y diogelwch a'r cysur hwnw yn mysg y bwystfilod, pa un nad allent ei gael yn mysg eu cyd-ddynion. Perchid preswylwyr y diffeithfâoedd hyn yn fawr am eu sancteiddrwydd; am hyny wedi i'r erledigaethau a achosodd yr ymneillduad ar y cyntaf fyned heibio, parhaodd cannoedd i ddilyn esiampl rhai a ystyrid mor enwog am eu rhinweddau a'u grasau, ac ymneillduasant i leoedd anial i gael cymdeithasu â Duw mewn unigrwydd. Yn raddol, ffurfiwyd preswylwyr y diffeithfâoedd hyn yn urddau; cydnabyddent un yn ben arnynt, ac ymostyngent i'r un rheolau. Buont am yn agos i ddwy ganrif yn segurwyr crefyddol, yn byw iddynt eu hunain, heb ymyraeth dim â materion gwladol nac eglwysig. Ond yn y bummed ganrif, cawsant, o herwydd yr enw oedd iddynt am sancteiddrwydd, eu galw yn fynych i weinyddu mewn swyddau eglwysig. Ordeiniwyd hwynt yn offeiriaid, yn esgobion, ac archesgobion. Am rai canrifoedd ar ol eu sefydliad, yr oedd yr holl fynachod o dan lywodraeth yr esgob, yn esgobaeth pa un yr oeddynt yn byw; ond rhyddhaodd y pab hwynt oddiwrth y cyfrifoldeb hwn, fel nad oedd gan neb hawl arnynt ond eu llywydd eu hun a'r pab. Yn ad-dâl am y caredigrwydd hwn, pleidiasant hwythau Esgob Rhufain yn ei ymdrech yn erbyn yr esgobion eraill am lywodraeth gyffredinol yr eglwys, ac nid lleiaf oeddynt yn mysg yr offerynau a ddygodd hyny o amgylch. Wedi i'r urddau hyn gael eu rhyddhau oddiwrth eu cyfrifoldeb i'r esgobion, ac wedi cael profi melusder awdurdod, nid oedd derfynau i'w huchelgais. Ymdrechent yn mhob modd i gael y bobl i'w llaw; adeiladent fynachdai ac eglwysi yn

mhob tref, a dyheuent am weled y tyrfâoedd yn dylifo i mewn i'w cyffesgell hwy.

Y mae y gyffesgell wedi ei phenderfynu i fod yn un o anhebgorion crefydd; a'r ddadl yn awr fydd, i law pwy y mae hi i syrthio? oblegid arglwydd hono fydd arglwydd y gydwybod—fydd âg awenau yr oll yn ei law. Y mae y gwahanol urddau yn ymryson yn barhaus am dani hi. Pa beth sydd i benderfynu i law pwy y syrth y bobl—i gyffesgell pwy y dylifa y tyrfaoedd? Moesddysg yr urddau hyn. Pa un o honynt a wertha y nefoedd rataf? Pwy sydd yn gofyn lleiaf am ddedwyddwch? Atynt hwy yr â y lliaws. Y mae hyn yn ein harwain at brif bwnc ein hysgrif, sef Moesddysg y Jesuitiaid.

Y gyffesgell a roddodd fod i'r gelfyddyd o benderfynu materion cydwybod, yr hon a elwir gan dduwinyddion yn *casuistry*. Pan yr oedd y bobl yn dyfod i agor eu calon i'r offeiriad, yr oedd yn anghenrheidiol ei fod ef yn barod i roddi barn ar eu hymddygiadau, i benderfynu pa un a oedd pob peth a gyfaddefent yn bechod; ac os oedd, i ba ddosbarth o bechodau y perthynai. Dysgwylid hefyd iddo allu difynio teimladau dirgel ddyn y galon, a phenderfynu pa un ai yn nosbarth y rhinweddau, ai yn nosbarth y pechodau yr oeddynt i'w rhestru. Gwnaeth hyn anghenrheidrwydd am reolau i gyfarwyddo y tad-gyffesydd pa fodd i ymddwyn at y bobl. Ar y cyntaf, yr oedd y rheolau hyn yn ychydig ac yn syml, yn gynnwysedig o wahanol ranau o'r ysgrythyrau, wedi eu cymhwyso at amgylchiadau penodol. Ond yn raddol, cyfnewidiwyd y dull syml o benderfynu nodwedd ymddygiadau wrth dystiolaethau y Bibl, am un mwy dyrys ac ansicr, ond llawer mwy ffafriol i bechod; sef wrth reolau tywyll a ffuantus uchanianaeth. Y cyntaf a restrodd yr amrywiol reolau hyn yn un gyfundrefn oedd Peter Lombard, yn y ddeuddegfed ganrif; ac yn y drydedd-ar-ddeg, dilynwyd ef gan yr enwog Thomas Aquinas, yr hwn a ennillodd y fath glod trwy ei ddarlithoedd ar "Lyfr Brawddegau" Lombard. O'r amser hwn, yr oedd yr ysgrifenwyr ar foesoldeb yn nifeiriol iawn, ond yr oeddynt yn fwy awyddus i ddadleu ynghylch moesoldeb, nac i wneuthur y bobl yn foesol. Rhestrir pechodau ganddynt yn ddau ddosbarth, sef y rhai maddeuadwy a'r rhai marwol; a gwaith y tad-gyffesydd oedd penderfynu i ba ddosbarth y perthynai beiau y troseddwr. Os i'r dosbarth cyntaf, cyhoeddai ollyngdod iddo; ond os i'r ail, ordeiniai benyd iddo yn ol natur yr ymddygiad. Yr oedd gwahanol urddau yr eglwys yn amrywio yn fawr yn eu rheolau; rhai yn fanwl iawn, ac eraill yn rhyddion iawn. Gan y manwl, dosbarth y pechodau marwol oedd y mwyaf lliosog; gan y rhydd, dosbarth y pechodau maddeuadwy oedd y lliosocaf. Tueddai urdd St. Dominic i'r ochr gaeth, ac urdd St. Francis i'r ochr rydd. Bu y ddwy urdd yma am dri chan' mlynedd, sef o'r drydedd-ganrif-ar-ddeg hyd yr unfed-ar-bymtheg, yn ymryson am y gyffesgell; ac am y tri chan' mlynedd hyn, yr oedd cyffeswyr holl freninoedd Ewrop yn perthyn i un o honynt. Ond ar ol y Diwygiad Protestanaidd, daeth y Jesuitiaid i derfynu yr ymryson, trwy gymeryd y gyffesgell i'w dwylaw eu hunain, ac uno ynddynt eu hunain nodwedd y ddwy urdd arall, sef caethiwed a rhyddid.

Gellir gofyn cwestiwn Pilat yn ei berthynas â moesoldeb; "Beth yw gwirionedd" yn y wybodaeth hon? A oes iddi hi ryw egwyddorion sefydlog? ai ynte enwau gweigion ydyw rhinwedd a bai? Os oes

egwyddorion sefydlog yn perthyn iddi, paham nad ydyw moesoldeb yr un yn mhob man? Rhinwedd un ochr i'r mynydd fydd yn fai yr ochr arall iddo; bai yn y dyffryn fydd yn rhinwedd ar y mynydd. Y rhinwedd uchaf yn ngolwg un oes ydyw tywallt gwaed yn afonydd; rhinwedd yn ngolwg un arall ydyw gadael i'r cleddyf rydu yn ei wain, neu ei droi yn offeryn i wasanaeth dyn. Y mae lladrata yn Brydain yn fai; yr oedd lladrata yn Sparta yn rhinwedd. Y mae anlladrwydd yn Nghymru yn bechod; yn Nghorinth yr oedd e yn addoliad. A oes gwirionedd yn bod? Ac os oes, pa beth ydyw? Oes: onide y mae ein natur ni yn gelwydd, a'n cydwybod yn dwyll! Y mae y syniad am yr iawn a'r beius wedi ei blanu yn ddwfn yn ein mynwes; ac er y cymeradwyir y camwedd yn fynych, eto, nid fel camwedd: y mae y blaidd yn cael dyfod i mewn am fod ganddo wisg dafad. Geilw y gydwybod y goleuni yn dywyllwch, a'r tywyllwch yn oleuni; nid am ei bod hi yn farnwr anghyfiawn, ond am fod y tystiolaethau yn dwyllodrus. Tywyllwch y dëall, gwendid y rheswm, ydyw yr achos o holl wyriadau cydwybod. Pe byddai i wirionedd gael ei draethu bob amser yn y llys, a hyny yn ei liw ei hun, byddai dedfryd y barnwr bob amser yn gywir. Amcan pob cyfundraeth dwyllodrus o foesoldeb ydyw gwisgo bai yn mantell rhinwedd, a'i ddwyn ger bron y barnwr yn y wisg fenthyg hon; felly y mae y gydwybod yn fynych yn cael ei thwyllo, a'r bai yn cael ei gymeradwyo ganddi. Ond nid oes neb o'r holl rai sydd wedi enwogi eu hunain yn y gelfyddyd ddu o dwyllo y gydwybod, yn deilwng o'u henwi yr un dydd â'r Jesuitiaid. Nid oes yr un bai nad ydynt hwy wedi ei baentio â lliwiau rhinwedd—yr un blaidd nad ydynt hwy wedi ei wisgo â chroen dafad. Y maent wedi dilëu y "Na" a ysgrifenwyd â bŷs Duw o flaen wyth o orchymynion ei ddeddf, ac mewn effaith wedi troi y gwaharddiad yn gymhelliad—y bai yn rhinwedd.

Rhag y bydd rhai yn teimlo mai cam â *sect* o bobl ydyw eu collfarnu am eu hopiniynau ynghylch rhinwedd, pan y maent ar y cyfan gystal a'r cyffredin o ddynion yn eu hymarferiad o rinwedd, efallai mai gwell i ni cyn myned ymhellach fydd ceisio dangos lle a phwys opiniynau. Meddylia rhai nad gwaeth beth fyddo eu cred, os bydd eu hymddygiadau yn dda; y mae eraill yn myned i'r eithafion gwrthwyneb, sef nad gwaeth beth fyddo eu hymddygiadau, os bydd eu barn yn gywir. Ond y mae yr egwyddor yn dal yr un berthynas â'r weithred ag ydyw y pren â'r ffrwyth. Ac nid ydyw gweithredoedd dyn ychwaith yn gyffelyb i ffrwythau coed impiedig. Yno y mae gwahaniaeth dirfawr yn fynych rhwng y ffrwyth â natur y gwreiddyn; ond yma, y mae y ffrwyth o'r un natur a'r gwreiddyn. Gwir nodwedd yr egwyddor ydyw nodwedd y weithred. Mewn ystad berffaith, ni bydd y dyn oddiallan ond mynegai i'r dyn oddifewn; ni bydd ei eiriau a'i ymddygiadau ond bysedd ar wyneb yr awrlais, yn dangos yn gywir symudiadau yr olwynion oddifewn. Yr oedd cynddelwau y grëadigaeth yn bod yn meddwl y Crëawdwr erioed; y mae y grëadigaeth yn cyfateb yn berffaith i'w chynddelwau; y mae hi yn ogoneddus, am eu bod hwy felly. Cynddelwau gweithredoedd ydyw opiniynau; os byddant hwy yn dda yn gyffredin bydd y gweithredoedd felly; ac nid ydyw cyfundrefn o foesddysg ond cynddelw o'r hyn yr amcana yr awdur wneuthur y byd. Felly, os nad oedd y Jesuitiaid yn waeth eu hymddygiadau na dynion eraill, yr oedd y cynddelwau yr oeddynt yn amcanu eu ffurfio yn meddyliau dynion yn gyfryw, pe buasai pawb yn rhoddi ffurf iddynt mewn

gweithred, buasai trigolion Ewrop mor anllad a'r Corinthiaid, mor gelwyddog a Spartiaid, mor waedlyd ag Indiaid America, ac yn cyfranogi i raddau helaeth o drueni Gehenna ei hun.

Safon moesoldeb ydyw y Bibl. "At y gyfraith ac at y dystiolaeth" yr apelia holl gred i gael gwybod beth sydd rinwedd a pha beth sydd fai. Y mae moesoldeb y Bibl yn gynnwysedig mewn un gair—cariad—at Dduw, ac at y greadigaeth. Yn y gair hwn y mae holl ddyledswyddau dyn at ei Greawdwr ac at ei gymydog yn gwreiddio. Fe all perthynas dyn â'r greadigaeth gyfnewid, a'r cyfnewidiad hwnw roddi bod i ddyledswyddau newyddion; ond nis gall yr un cyfnewidiad gymeryd lle fel ag i gyfnewid sylfaen ei foesoldeb. Y mae y Jesuitiaid wedi cymeryd gair gwrthgyferbyniol i hwn yna yn sylfaen eu moesoldeb hwy, sef hunan. "Nac edrychwch bob un ar yr eiddoch eich hunain, eithr pob un ar yr eiddo eraill hefyd," medd y Bibl; ond medd y Jesuitiaid, "Ceisiwch bawb yr eiddoch eich hunain, nid yr eiddo arall." Esboniad ar y modd i wneuthur hyn ydyw holl gyfundrefn eu moesddysg. Arddangosiad ydyw deg gair deddf y Bibl o'r dull y mae cariad i weithredu at Dduw ac at ddyn; arddangosiad ydyw eu holl ddeddfau hwythau o'r dull y mae hunan i weithredu at Dduw, ac at ddyn; a cheisiant gysoni hyny â chrefydd Crist. Y maent yn amcanu ysgar y pethau a gysylltodd Duw, ac uno y pethau y mae efe wedi sicrhau gagendor rhyngddynt, fel nad allant ddyfod ynghyd. Y mae yr Arglwydd wedi cadwyno pechod a chosb wrth eu gilydd; y mae efe wedi cysylltu y ffordd lydan âg uffern yn anwahanol: ond y maent hwy wedi rhyfygu i geisio ysgar y pethau hyn, ac i uno pechod â gwobr—i gysylltu y ffordd lydan â'r nefoedd; a chymerant arnynt ddysgu pryfyn y llwch pa fodd i dwyllo yr unig ddoeth Dduw, yr hwn nis gellir ei watwor.

Ond y mae yn llawn bryd i ni adael iddynt lefaru drostynt eu hunain, ac i fynegi yn eu geiriau eu hunain beth ydyw eu dysgeidiaeth. A chan fod athrawiaeth opiniynau tebygol (*doctrine of probable opinions*) yn cynnwys cuddiad cryfder eu moesddysg, ceisiwn eu hegluro yn y fan hon; a bydd hyny yn eu geiriau eu hunain. "Y mae opiniwn yn cael ei alw yn debygol, pan y mae wedi ei sylfaenu ar resymau o ryw bwys, ac weithiau fe all un doctor syml iawn wneuthur opiniwn yn debygol; oblegid ni wnai dyn oedd wedi ymroddi yn neillduol i fyfyrio lynu wrth unrhyw opiniwn, oddieithr iddo gael ei arwain iddo gan reswm da a digonol." Neu, yn ol darnodiad un arall: "Y mae awdurdod un doctor da a dysgedig yn gwneuthur opiniwn yn debygol, oblegid nid ydyw ei awdurdod ef yn sylfaen wan." Eto: "A all barnwr, heb dderbyn wyneb, i wneuthur cymwynas i'w gyfaill, benderfynu yn ol opiniwn tebygol, tra y mae y cwestiwn o gyfiawnder yn aros yn anmhenderfynol? Os bydd y barnwr yn ystyried y ddau opiniwn yr un mor debygol, fe all yn gyfreithlawn, er mwyn ei gyfaill, gyhoeddi y ddedfryd yn ol yr opiniwn sydd yn fwyaf ffafriol i'w gyfaill." Neu yn ngeiriau un arall: "Yr wyf yn meddwl ei bod yn debygol fod y fantell sydd yn fy meddiant yn eiddo i mi, eto yr wyf yn meddwl ei bod yn fwy tebygol, ei bod yn eiddo i chwi. Nid ydwyf yn rhwym o'i rhoddi i fynu i chwi, ond gallaf yn ddiogel ei chadw." Gallasem ychwanegu, ond digon ydyw hyn. Y mae cannoedd o ddoctoriaid y Jesuitiaid wedi ysgrifenu ar foesau, ac nid oes yr un pechod nad oes rhai o honynt wedi rhoddi eu barn bod yn gyfreithlawn ei gyflawni; ac

er y gall cyfraith Duw, a chyfreithiau dynion, ac opiniynau yr holl ddoctoriaid ond un fod yn erbyn gweithred, eto y mae barn yr un hwnw yn gwneuthur yn debygol fod y weithred yn rhinweddol, ac felly yn cyfreithloni ei chyflawniad hi. Er esiampl, pe byddai i ddyn tlawd gael ei demtio i ladrata ŷd o ysgubor ei gymydog, y mae ei gydwybod yn dywedyd wrtho fod y weithred yn bechadurus; ond y mae yn darllen yn ngwaith doctor Jesuitaidd, nad ydyw lladrata *mesur* o ŷd ei gymydog ddim yn bechod; gan hyny, er fod pawb yn dywedyd ei fod yn bechod, eto am fod yr un yma yn dywedyd nad ydyw, y mae yn *debygol* nad ydyw. Fel hyn y mae yn tawelu ei gydwybod, ac yn cyflawni y weithred heb deimlo yr euogrwydd lleiaf.

Y mae y philosophyddion wedi chwilio yn ofer am y gareg sydd yn troi pob mettel yn aur; ond y mae doctoriaid Jesuitaidd wedi bod yn fwy ffodus yn y byd moesol nag a fu y philosophyddion yn y byd naturiol. Trwy offerynoldeb yr athrawiaeth hon, medrant hwy droi pob peth yn rhinwedd, fel nad oes yr un o ddeddfau sanctaidd y nef nad ellir yn ddiberygl osod troed arni. Y mae yr un doctor yn rhoddi rheolau rhyddion iawn mewn perthynas i un peth, a chaeth iawn mewn perthynas i beth arall; ac y maent yn croesi eu gilydd hefyd. Ar yr hyn y mae un yn gaeth, y mae un arall yn rhydd, ac yn y gwrthwyneb. "A ydych yn dewis lladd dyn? Dyma awdurdod Lessius i chwi wneuthur hyny. A ydych yn tueddu i'w arbed ef? Dyma awdurdod Vasquez i chwi wneuthur felly. Nid rhaid i neb fyned ymaith wedi ei anfoddloni—neb heb awdurdod rhyw ddoctor difrifol. Gwna Lessius ymddyddan â chwi fel pagan ar ladd, ac fel cristion ar gariad. Drachefn, gwna Vasquez draethu fel pagan ar gariad, ac fel cristion ar ladd. Y mae y naill yn rhoddi benthyg ei opiniwn i'r llall; a'r naill yn rhwym o ollwng yn rhydd rai sydd wedi ymddwyn yn ol opiniynau pa rai y mae pob un o honynt wedi eu condemnio." Nid ydyw du ddim yn groesach i wŷn nag ydyw eu harwireddau hwy i'w gilydd. Y mae ganddynt rai y byddai eu hymarfer yn gwneuthur y byd yn baradwys; ac eraill y byddai eu hymarfer yn ei wneuthur yn ail i uffern. Efallai mai nid eu dyben uniongyrchol ydyw llygru y byd; mewn gwirionedd, nid ydynt yn gofalu ynghylch rhinwedd na bai. Holl ofal eu calon ydyw dyrchafu eu hurdd, ac nid anghyfreithlawn yn eu golwg unrhyw foddion a duedda at y dyben yna. Amcanant am lywodraethu pob cydwybod. A chan mai y rheolau llymdost ydyw y rhai goreu i ryw fath o bobl, defnyddiant y rhai hyn at y cyfryw; ond gan fod y lliaws yn mhob gwlad yn caru pechod, y mae ganddynt rëolau rhyddion i'r cyfryw; fel na raid i neb droi ymaith o'u cyffesgell hwy. Eu harwyddair ydoedd, "Pob peth i'r amserau, dim i'r gwirionedd." Os dangosai un wrth gyffesu awydd i wneuthur iawn am unrhyw gam a wnaeth, pell oddiwrthynt fyddai ceisio ei berswadio i beidio. Ond os dymunai un arall gael gollyngdod heb wneuthur iawn, pell oddiwrthynt hefyd fyddai ceisio ei berswadio ef i wneuthur. Yn lle plygu y gŵyrgeimion at reol uniawn deddf, plygent y ddeddf at eu gwyrni hwy. Gosodent duedd yn llywydd ar y gydwybod, yn lle gosod cydwybod yn llywydd ar y duedd. Nid "beth a ddywed yr Arglwydd" oedd i benderfynu dyledswydd, ond beth a ddywed y doctoriaid sydd yn cydfyned â'm tueddiadau i. Ysgrifenodd Ioan at y saint fel na phechent; ond y mae y Jesuitiaid wedi ysgrifenu i'n dysgu pa fodd i bechu, ac i ysgoi y gosb; oblegid, meddant, "y mae y dyben yn sancteiddio

y moddion." Y casgliad rhyfygus a dynant oddiwrth y gosodiad yna ydyw, Nad ydyw Duw fel barnwr yn sylwi ar y weithred allanol, ond ar egwyddor ddirgelaidd y gweithredydd; yna nid oes unrhyw weithred, pa mor anfoesol a phechadurus bynag a fydd hi yn marn dynion, mewn gwirionedd felly, oddieithr fod bwriad dirgel y cyflawnwr yn ddrwg; os gall y drwgweithredwr ddyweyd fod ganddo ddyben da i'w weithred, y mae hyny yn ei gyfiawnhau. Gellir, yn ol yr egwyddor hon, gyflawni pob math o anwiredd heb i'r gydwybod unwaith betruso.

Y maent wedi gosod pedair rheol gyffredinol i ddysgu dynion pa fodd i bechu yn ddiberygl. 1. Gall dyn bechu felly trwy gymhorth athrawiaeth yr opiniynau tebygol. 2. Gall bechu yn ddiberygl pan y mae yn meddwl y gall gyrhaedd gwrthddrych cyfreithlawn drwy y weithred ddrwg. 3. Gall bechu felly trwy dawedogrwydd neu gêl meddyliol (*mental reservation*), fel wrth ddywedyd un peth ei fod yn meddwl am beth arall. 4. Gall bechu felly trwy fwys-eirio—sef trwy ddefnyddio geiriau a ellir eu dëall mewn amryw ffyrdd, a rhoddi yn ei feddwl ei hun ystyr iddynt cwbl groes i'r hwn y mae yn ei drosglwyddo i feddyliau y gwrandawwyr. Dyma y gelfyddyd o bechu wedi ei pherffeithio. Beth mwy a allai Satan ei ddymuno? Yr unig gynneddf oedd â dim cywirdeb ynddi yn enaid dyn oedd cydwybod; ond dyma hono yn cael ei thwyllo.

Y mae y Bibl yn dosbarthu dyledswydd dyn yn ddwy ran—at Dduw, ac at ei gymydog. Ei ddyledswydd at Dduw ydyw ei garu â'i holl galon—peidio cymeryd dim yn Dduw ond efe—peidio gwneuthur delw na llun iddo yntau—cymeryd ei enw yn barchus yn ei enau—a neillduo y seithfed ran o'i amser i'w wasanaethu. Ei ddyledswydd at ei gymydog ydyw talu dyledus barch ac anrhydedd iddo, gwerthfawrogi ei fywyd, ei ddiweirdeb, a'i feddiannau; ac nid yn unig nid ydyw ei ddwylaw i gael eu defnyddio yn ei erbyn, ond hefyd y mae i wylio ar ei dafod rhag camddywedyd dim am dano; ac ymhellach eto, y mae i osod gwyliadwriaeth ar ei galon, rhag i hono ei niweidio mewn meddwl; ac os trosedda â'i law, â'i dafod, neu â'i galon, y mae "gan farw ti fyddi farw" yn crogi uwch ei ben. Yn awr ni a edrychwn pa fodd y mae Jesuitiaeth yn ein dysgu i dòri pob un o'r gorchymynion hyn, a gwenieithio i ni ein hunain nad ydyw hyny yn bechod. Beth a ddywed y Bibl am ein dyledswydd tuag at Dduw? "Ti a geri yr Arglwydd dy Dduw â'th holl galon." "Hwn," medd yr Athraw, "yw y gorchymyn cyntaf, a'r un mawr." Ond beth a ddywed Jesuitiaeth? "Gwelwch ddaioni Duw; mor fawr ydyw, nid yw yn ein gorchymyn ni gymaint i'w garu, ag i beidio ei gasâu ef." Y fath ddywediad cableddus i ddyfod o enau dyn a fynai gael ei ystyried yn ddysgybl i'r hwn a fu farw i brofi cariad Duw, ac i ennill calon dyn i'w garu yn ol! Y mae y Bibl yn gofyn i ffrwd y serchiadau redeg ar y Duw mawr bob amser; ond y mae doctoriaid y Jesuitiaid wedi ysgrifenu traethodau meithion, i geisio penderfynu pa adeg y dylem ni garu Duw, neu pa mor lleied o'n hamser a wna y tro i hyny. "Pa bryd," meddant, "y mae rhwymau ar un i garu Duw?" "Digon yw," medd un, "os câr ef pan yn marw." Eraill, pan y mae yn derbyn bedydd. Eraill, pan y mae yn gorfod edifarhau. Eraill, ar ddyddiau gwyliau. Eraill a ddywedant, "y dylem ni garu Duw unwaith yn y flwyddyn, ac y dylem ei hystyried yn fraint fawr nad ydym yn rhwym o wneuthur hyny yn fynychach." Y mae un arall o'r tadau yn meddwl nad ydym yn rhwym o wneuthur hyny ond unwaith

mewn tair neu bedair blynedd. Un arall a ddywed, fod unwaith mewn pum mlynedd yn ddigon aml, ac nad oes rhwymau penodol i wneuthur mor fynych. Dyma wreiddyn crefydd wedi ei ladd. Os ydyw y dynion hyn yn rhyfygu dywedyd fod yr Arglwydd Iesu wedi prynu rhyddid i ni oddiwrth y ddyledswydd o garu Duw, nid all dim arall a ddywedant byth ein synu. Ni buasem yn rhyfeddu wrth ddarllen yn llyfrau Confucius, Zoroaster, neu rai o'r Brahminiaid, nad oedd dim yn ofynol yn ngwasanaeth y duwiau ond yr ymarferiad allanol; ond pwy a allasai ddychymygu y buasai neb oedd yn proffesu adwaen y Duw sydd â'i "lygaid fel y fflam dân," "yn chwilio y calonau, yn profi yr arenau"—y Duw sydd yn "caru gwirionedd oddifewn," sydd yn dywedyd wrth ei greadur, "Moes i mi dy galon"—yn meiddio dywedyd nad oedd y Duw hwnw ddim yn gofyn i'w greadur ei garu!

Dyledswydd arall sydd ar ddyn fel creadur euog ydyw edifarhau. Y mae dau fath o edifeirwch yn bod, sef y deddfol, a'r efengylaidd; y naill yn cael ei gynnyrchu gan olwg ar gosb pechod, a'r llall gan olwg ar ffieidd-dra natur pechod. Yr olaf hwn ydyw yr edifeirwch y sonia y Bibl am dano, sydd er iachawdwriaeth. Ond y mae y Jesuitiaid yn ein dysgu nad oes dim ond y cyntaf yn ofynol oddiwrthym—nad yw yn anghenrheidiol er ein iachawdwriaeth i ni gasâu pechod yn ei natur, ond yn unig yn herwydd y gosb sydd yn ei ddilyn. Fel hyn y dywed un o'r tadau—"A ydyw hwnw yn dristwch digonol am bechod, yr hwn a gynnyrchir gan ofn ei ganlyniadau tymmorol, megys colli iechyd, neu golli arian? Y mae yn rhaid i ni wahaniaethu. Os na bydd y drwg (sef y canlyniadau tymmorol) yn cael ei ystyried fel wedi ei anfon gan law Duw, nid ydyw y tristwch hwnw yn ddigonol; ond os bydd y drwg yn cael ei olygu fel wedi ei anfon gan Dduw, fel mewn gwirionedd y mae pob drwg, ond pechod, yn dyfod oddiwrtho, y mae y math hwnw o dristwch yn ddigonol." Os gwir yr athrawiaeth hon, pwy sydd yn marw yn anedifeiriol? Onid ydyw y dychweledigion mor aml a'r pechaduriaid? "Y mae deddf y Testament Newydd," meddant, "yn ddeddf o ras, wedi ei gwneuthur i blant, ac nid i gaethion: ac onid gweddus ydyw iddi ofyn llai ar eu dwylaw, ac i Dduw o'i du ef roddi mwy iddynt?"

Y mae wedi bod yn arferiad gan yr eglwys yn mhob oes i ymgynnull yn gyhoeddus yn nghysegr Duw. Yn y gwledydd Pabaidd, y mae yr addoliad yn gynnwysedig mewn darllen gwasanaeth yr offeren (*mass*); ac y mae pob Pabydd yn rhwym o fod yn bresennol yn lled aml, neu bechu. Ond y mae y Jesuitiaid wedi cael allan ffordd i esmwythau yr iau hon; dywedant mai digon ydyw ein bod yn bresennol yn y gwasanaeth yn y corff, er ein bod yn absennol yn yr ysbryd. Onid manteisiol iawn a fyddai y rheol hon i'r rhai hyny sydd yn gwneuthur cysegr Duw yn wely i gysgu ynddo? Darganfyddiad buddiol arall y maent wedi ei wneuthur ydyw, "y gall un glywed dau hanner y gwasanaeth ar yr un pryd, gan ddau wahanol offeiriad, a'i bod yn bosibl i un wrandaw ar y ddwy ran ar unwaith, ac felly gyflawni ei ddyledswydd yn gyflym, oblegid y mae dau hanner yn gwneuthur un cyfan." Y mae un arall wedi rhoddi rheol fwy manteisiol eto, trwy ddywedyd y gwna hi y tro i chwi glywed pedwar ar unwaith yn darllen gwahanol ranau y gwasanaeth, ac felly gorphenir y gwaith mewn ychydig fynydau. Y fath ddarpariaeth werthfawr ydyw hon i'r rhai sydd yn dywedyd, "Baich gair yr Arglwydd." Ac efallai y byddai y cynnull-

eidfâoedd yn lliosocach mewn rhai lleoedd yn Nghymru, pe gweithredid yn ol y rheol hon. Y mae yn arferiad yn yr Eglwys Babaidd i weddio ar y seintiau, ac yn mlaenaf yn mysg y rhai hyn y mae Mair, mam yr Iachawdwr. Ennill ei ffafr hi fydd ennill y nef. A oes yr un ffordd hawdd i wneuthur hyny? Oes medd y Jesuitiaid—"Cyfarch y forwyn sanctaidd pan y dygwydda i chwi gyfarfod â'i delw; dywedyd ei henw yn barchus, ei chyfarch â 'bore da' yn nechreu y dydd, ac â 'nos da' yn ei ddiwedd." Ond rhag y bydd rhai yn rhy ddifater am eu hiachawdwriaeth, i wneuthur peth mor lleied a dywedyd y geiriau 'Dydd da,' neu 'Brydnawn da,' am y byddai hyny yn gofyn ychydig o waith cofio, y mae i'r cyfryw ffordd esmwythach eto i fyned i'r nefoedd, sef trwy gario gyda hwynt bader-linyn, neu ddelw o'r forwyn; yna nid oes perygl damnedigaeth arnynt, er y gallant fyw mewn pechod drwy eu hoes. Pa faint o eneidiau sydd wedi eu dinystrio am dragywyddoldeb gan yr athrawiaeth echrydus hon! Gallasem ddwyn ymlaen eu hyfforddiadau mewn perthynas i ranau eraill o'n dyledswydd tuag at Dduw, pa rai sydd mor wrthwyneb i gyfarwyddiadau synwyr cyffredin ag ydynt i ddysgeidiaeth bur y Bibl; ond rhag meithder, gadawn lech gyntaf y ddeddf, i fyned ymlaen i edrych pa fodd y dysgant ni i gyflawni dyledswyddau yr ail.

Dywed yr Arglwydd Iesu fod ail orchymyn y ddeddf yn gyffelyb i'r cyntaf. Cariad oedd cyflawnder y cyntaf—cariad ydyw cyflawnder yr ail. Ond gwelsom eisoes mai hunan oedd cyflawnder y cyntaf gan y Jesuitiaid, ac y mae yr ail yn gyffelyb. Hunan yn y dosbarth hwn o'n dyledswydd sydd i benderfynu pob ymddygiad. Ac y mae eu hesboniad ar ail lech y gyfraith yn llawer mwy peryglus i'r byd nag ar y gyntaf, er ei fod yn tarddu yn naturiol o'r cyntaf; oblegid unwaith y dysgir ni i gellwair â Duw, ac i geisio ei watwor, nid anhawdd wedi hyny fydd ein perswadio i wneuthur hyn â'n cymydog. Y mae tuedd naturiol ynom i wneuthur hyn â'n cymydog; ofn Duw sydd yn ein hattal i ufuddhau iddi hi; ac os dysgir ni pa fodd i watwor Duw, nid oes yr un attalfa ar ein ffordd i dwyllo ein cymydog. Wedi clywed esboniad y Jesuitiaid ar lech gyntaf y ddeddf, yr ydym yn awr yn barod i glywed y pethau mwyaf erchyll ar yr ail. "Câr dy gymydog fel ti dy hun," medd yr efengyl; ond medd y Jesuitiaid, "Y mae yn hollol sicr nad oes rwymau arnom i garu ein cymydog ag unrhyw *act* dumewnol yn tueddu yn uniongyrchol tuag ato." Neu yn ol esboniad un arall—"Nid ydym yn rhwym gan y gorchymyn hwn i garu ein cymydog mewn ystyr wahanol i ni ein hunain, neu yn well na ni ein hunain; yn awr, nid ydym yn rhwym i garu ein hunain gydag *act* dumewnol o gariad; gan hyny, nid ydym dan rwymau cariad o'r fath at ein cymydog." Ac ymhellach eto: "Ni a allwn ddymuno niwed ein cymydog heb bechod, pan yr ydym yn cael ein gyru i hyny gan gymhelliadau da." A pha fath ydyw cymhelliadau da? Dyma hwy mewn esiampl: "Y mae mam yn ddieuog, yr hon sydd yn dymuno marwolaeth ei merched, pan o herwydd eu hagrwch neu eu tlodi nad all eu priodi hwynt fel y mynai." Ni a glywsom am famau wedi eu gyru gan newyn i ladd eu plant; clywsom am rai mewn perygl mawr wedi aberthu eu plant er mwyn cael dianc eu hunain; ond pwy ond Jesuit fuasai â'i galon yn ddigon du i ddychymygu am ddysgu mam, heb berygl o un math yn ei hamgylchu, ond yn unig o herwydd balchder ei chalon, i ddymuno marwolaeth ei merched? Ac os nad ydyw y dymuniad yn bechadurus, nis gall fod y weithred felly.

Gorchymyn cyntaf yr ail lech ydyw, "Anrhydedda dy dad a'th fam." Ond medd Jesuitiaeth: "Fe all mab ddymuno marwolaeth ei dad heb bechu, a llawenychu pan y dygwydda hyny, os bydd y llawenydd er mwyn y cyfoeth sydd yn dyfod iddo ef drwy y farwolaeth, ac nid am fod ganddo gasineb personol at ei dad." Neu, yn ol un arall: "Gall mab lawenychu, am ei fod yn ei feddwdod wedi lladd ei dad, o herwydd yr etifeddiaeth sydd yn dyfod i'w ran ef drwy hyny." Gan fod y tadau yn rhoddi rhyddid i blant i ladd eu rhieni, y maent heb betruster yn caniatâu yr un awdurdod i'r naill ddyn ar y llall. Am ba beth y cawn ni ladd ein cymydog? Bron am bob peth. A oes rhywun wedi eich digio? "Y mae yn gyfreithlawn (medd Jesuitiaeth) lladd dyn sydd wedi rhoddi sèn i ni." "Os cynnygia un ein taro, y mae yn gyfreithlawn ei ladd." "Os ceisia un ladrata coron oddiarnom, yn hytrach na cholli y goron y mae yn gyfreithlawn i ni ladd y lleidr." Eto: "Y mae yn gyfreithlawn i ni ladd dyn, pan, os na laddwn ni ef, y gwna un arall ein lladd ni. Os bydd tyst yn myned i draethu pethau yn fy erbyn, am ba rai y cawn fy rhoddi i farwolaeth, os na bydd genyf yr un ffordd arall i ddianc, y mae yn gyfreithlawn i mi ei ladd ef, oblegid heb hyny cawswn fy lladd fy hun." Eto: "Os bydd barnwr wedi ymddwyn yn anghyfiawn at garcharor ar ei brawf, y mae gan y cyhuddedig hawl i amddiffyn ei hun trwy ladd y barnwr." Dywed un arall, "Ei fod yn berffaith gyfreithlawn lladd dyn fydd wedi rhoddi dyrnod i ni, er ei fod wedi rhedeg i ffordd, os na byddwn yn gwneuthur hyny mewn ysbryd dial." Ac ymhellach eto: "A ydyw yn gyfreithlawn i ddyn o barch ladd un sydd wedi bwgwth ei daro ar ei wyneb, neu ei daro â ffon? Yr ydwyf yn sicr yn tybied fod hyn yn debygol." Ac yn lliosogrwydd eu tosturiaethau at ffaeleddau dynion, y maent yn rhoddi cenad i ni ladd am ddywedyd celwydd, ac am enllibio: "Y mae yn gyfreithlawn i ŵr eglwysig ladd enllibiwr; nid yn gyhoeddus, rhag athrod, ond yn ddirgelaidd." Eto: "Gall mynachod ac offeiriaid yn gyfreithlawn attal y rhai a wna eu niweidio drwy enllib, rhag cario eu bwriad i weithrediad, drwy eu lladd." Ac mewn perthynas i fywyd breninoedd, y rhai hyn ydyw eu rhëolau: "Nid ydyw y dyn hwnw yn gwneuthur dim allan o'i le, yr hwn er mwyn boddloni y bobl a laddai y brenin." "Fe ellir rhoddi gormesdeyrn i farwolaeth gan unrhyw un sydd yn meddu gwroldeb digonol i hyny." Pan y penderfynant roddi brenin i farwolaeth, cymerant y dyn sydd i wneuthur hyny i eglwys, i'w gysegru gan Dduw at y weithred waedlyd. Yna cymerant ddagr, oedd wedi ei gosod yn flaenorol ar yr allor, a thaenellant hi â dwfr sanctaidd. Sicrhant wrth ei charn amryw o leiniau cwrel cysegredig, dan ddywedyd, am bob ergyd a rydd y llofrudd i'r brenin, y gwareda fe un enaid o'r purdan. Ar ol y seremoni hon, rhoddant y ddagr yn llaw y llofrudd, a dywedant wrtho, "Tydi fab dewisedig gan Dduw, cymer gleddyf Jephthah, cleddyf Samson, cleddyf Dafydd, â'r hwn y torodd ef ymaith ben Goliath; cleddyf Gideon, cleddyf Judith, cleddyf y Maccabeaid, cleddyf y Pab Julius II. â'r hwn y torodd ef ymaith fywydau amrywiol dywysogion, ei elynion, gan lenwi dinasoedd cyfain â chyflafan ac â gwaed. Dos, ac eled doethineb gydâ'th wroldeb. Bydded i Dduw roddi nerth newydd yn dy fraich." Ar ol hyn syrthiant ar eu gliniau, a dywed blaenor y Jesuitiaid, "Deuwch chwi, gerubiaid, chwi seraphiaid—thronau ac arglwyddiaethau! Deuwch chwi, angelion sanctaidd, llenwch i fynu y llestr bendigedig â gogoniant anfarwol. Cyflwynwch

iddo bob dydd goron y fendigedig Forwyn Fair, y patriarchiaid sanctaidd, a'r merthyron. Nid ydym yn edrych arno mwyach fel un o honom ni, ond fel un yn perthyn i chwi. A thydi, O Dduw, yr hwn wyt yn ofnadwy, ac yn anorchfygol, yr hwn a'i calonogaist ef mewn gweddi a myfyrdod i ladd y gormesdeyrn a'r heretic, i roddi ei goron i frenin Pabyddol, dyddana, ni a attolygwn arnat, galon yr hwn yr ydym wedi ei gysegru i'r swydd hon. Nertha ei freichiau, fel y gallo gwblhau ei anturiaeth. Gwisg ef âg arfogaeth gallu dwyfol, fel, wedi iddo gyflawni ei fwriad, y gallo ddianc rhag dwylaw y rhai a erlyniant ar ei ol. Dyro iddo adenydd, fel y gallo ei aelodau sanctaidd ehedeg ymaith o afael hereticiaid annuwiol. Llanw ei enaid â llawenydd, dyddanwch, a goleuni, fel y gallo ei gorff, wedi alltudio pob ofn, gael ei gynnal i fynu a'i galonogi yn nghanol peryglon a phoenau." Ar ol gorphen hyn, arweiniant y llofrudd at allor arall, uwch ben yr hon y mae darlun James Clement, y mynach a laddodd Henry III. o Ffrainc â chyllell wedi ei gwenwyno. Y mae ei ddarlun wedi ei amgylchu âg angelion, y rhai sydd yn ei amddiffyn ac yn ei ddwyn i'r nefoedd. Wedi dangos iddo y darlun, gosodant goron ar ei ben, gan ddywedyd, "Arglwydd gwel yma fraich a gweinyddwr dy gyfiawnder. Cyfoded yr holl saint, plygant, a rhoddant iddo y lle mwyaf anrhydeddus yn eu mysg." Ar ol hyn, ni oddefir iddo ymddyddan â neb ond â phedwar o Jesuitiaid, y rhai sydd wedi eu gosod i fod yn gymdeithion iddo. Wele ychydig o lawer o'u rhëolau gwaedlyd! Pe gweithredid yn eu hol, diogelach fyddai trigo yn niffeithwch y bwystfilod gwylltion, nag yn anneddau dynion; mwy rhesymol fyddai ymddiried i anrhydedd y llew, nag i anrhydedd dyn. Pe y rhai hyn fyddai rhëolau pawb, ystaenid pob ardal â gwaed, trochid pob llaw mewn gwaed; byddai bywyd dyn yn rhy fyr i'w fesur, yn rhy ansicr i'w gymharu i ddim, a'r ddaear mor lawn o drueni fel y byddai uffern ei hun i'w dewis o'i blaen.

Yn nesaf at fywyd ein cymydog, y mae cyfraith yr Arglwydd yn murio o amgylch ei eiddo: "Na ladrata." "Ond y mae gan weision (medd Jesuitiaeth) hawl, pan yn anfoddlawn ar eu cyflog, i arfer moddion i'w godi trwy gymeryd cymaint o feddiannau eu meistradoedd ag a dybiant hwy yn anghenrheidiol i wneuthur y cyflog yn gyfartal i'w gwasanaeth hwy." Neu, "Nid ydyw yn bechod marwol cymeryd yn ddirgelaidd oddiar yr hwn a fuasai yn rhoddi i ni, pe gofynasid iddo, er y gall ei fod yn anfoddlawn i ni gymeryd dim yn ddirgelaidd; ac nid ydyw yn anghenrheidiol gwneuthur ad-daliad." "Nid ydyw yn lladrad cymeryd peth bychan yn ddirgelaidd oddiar dad neu ŵr; ond os bydd yn llawer, y mae yn rhaid ei roddi yn ol." Neu, "Bwriwch fod dyn yn methu gwerthu ei win am bris teg, o herwydd anghyfiawnder y barnwr, neu dwyll y prynwyr, pa rai sydd wedi cyttuno i fod yn ychydig mewn nifer, i iselu y pris; yna fe all leihau ei fesur, neu gymysgu ychydig ddwfr gyda'i win, a'i werthu am win pur, yn fesur llawn, gan ofyn llawn bris, os na bydd iddo ddyweyd celwydd; ac os gwna, ni bydd yn bechod peryglus na marwol; ac nis gwna ei rwymo ef i wneuthur edfrydiad." Y fath rëol gyflëus fyddai hon i holl dwyll-fasnachwyr a chribddeilwyr y deyrnas. Cymaint ydyw haelfrydedd yr urdd hon, fel y maent yn wastad yn cofio am y tlawd, ac wele un o'u cymwynasau iddynt: "Os gwel un leidr yn myned i ladrata oddiar ddyn tlawd, byddai yn gyfreithlawn ei arwain oddiwrth ei fwriad, trwy ddangos iddo ddyn cyfoethog, yr hwn y gallai ei yspeilio yn lle y tlawd." Nid

ydyw eu tosturiaethau yn llai at ddrwg-weithredwyr; ond tystiant fod y cyfoeth hwnw a ennillir trwy foddion anonest neu anfoesol, yn gyfreithlawn. "A oes gan fethdalwr (*bankrupt*) hawl i gadw yn ol gymaint o'i feddiannau ag a fydd yn anghenrheidiol i gynnal ei deulu mewn sefyllfa barchus? Oes, hyd yn nod pe byddai wedi casglu ei gyfoeth yn anghyfiawn, a thrwy droseddau cyhoeddus." "Nid oes yr un person yn rhwym gan gyfraith natur, neu gan unrhyw gyfraith arall, i ad-dalu yr hyn y mae wedi ei ennill trwy gyflawni gweithred bechadurus, hyd yn nod pe byddai y weithred hono yn groes i gyfiawnder." "Er fod y cyfoeth y mae puten yn ei ennill yn sicr yn cael ei ennill mewn ffordd anghyfreithlawn, eto, unwaith yr ennillir ef, y mae y meddiant o hono yn gyfreithlawn." O dadau, pa faint ydyw dyled trigolion llygredig y ddaear i chwi? I chwi y maent i ddiolch nad oes yr un pren gwaharddedig ar y ddaear yn awr. Pe buasech chwi yn Eden, oni fuasai Adda wedi cael ei ddysgu i fwyta o ffrwyth pren gwybodaeth, heb fod yn anffyddlaw ni gyfammod ei Dduw? Onid ymdrechu yn ofer i geisio cael dynion oddiwrth eu beiau, i'w parotôi i baradwys, y bu pawb o'ch blaen? Y chwi a ddarganfyddodd y ffordd newydd o'u cymeryd i'r nefoedd yn eu beiau, ac o droi y beiau hyny yn rhinweddau. I chwi y mae y byd yn ddyledus am y dadguddiad rhyfedd, fod moesoldeb Cristionogaeth yn is na'r eiddo Mahometaniaeth a phaganiaeth, a bod yn haws myned i nefoedd y cristion, nag i nefoedd yr Arab cyfyng ei enaid a llygredig ei foesau.

Y mae yr Hen Destament yn ein dysgu fod y dyn duwiol i fod o "wefus bur," a'r Newydd yn gorchymyn "Na ddywedwch gelwydd wrth eich gilydd." Y mae nawfed gorchymyn y ddeddf foesol yn cynnwys yr un gwaharddiad: ac y mae yn rhaid fod gan hwnw ddëall da, a all gael allan ffordd i ni fyned ar draws y ddeddf a'r efengyl yn ddiberygl. Ond wedi i'r Jesuitiaid ein dysgu ni i wneuthur y peth mwyaf, a balla eu doethineb gyda 'r lleiaf? Os gallwn gymeryd ymaith fywyd ein cymydog, a bod yn ddïeuog, onid allwn ni ddywedyd celwydd wrtho hefyd a bod felly? Y rhëol gyntaf i hyn ydyw defnyddio mwys-eiriau; *h. y.* geiriau a ellir eu dëall mewn dwy ffordd. Ond y rhëol fawr i hyn ydyw trwy dawedogrwydd meddyliol (*mental reservation*). Dyma eu hathrawiaeth ar hyny: "Fe all dyn gymeryd ei lw na wnaeth y fath beth (er ei fod wedi ei wneuthur), gan ddëall ynddo ei hun na ddarfu iddo ei wneuthur ar ryw ddydd penodol, neu cyn ei eni." Er anghraifft, os bydd unrhyw un, sydd wedi bod yn euog o ladd ryw Ioan penodol, yn cael ei holi ynghylch hyny, gall ateb na ddarfu iddo ef ladd Ioan, gan feddwl am ddyn arall o'r un enw; neu os meddylia am yr Ioan dan sylw, gall ateb na ddarfu iddo ef ei ladd, gan ddywedyd yn ddystaw yn ei feddwl, "cyn iddo gael ei eni." "Pe gelwid ni ymlaen i dystiolaethu yn erbyn dyn a welsom yn yspeilio ei gymydog, pan y gofynid i ni a welsom ni y carcharor yn gwneuthur felly, gallwn ateb yn uchel, 'Nis gwelsom ef,' ond i ni ofalu dywedyd yn ein meddwl, 'yn neidiaw dros y lleuad,' 'yn marchogaeth ar gefn yr haul;' neu 'yn dal y seren ogleddol yn ei law.'" "Ac os bydd rhai heb fod yn ddigon cyfarwydd i ddywedyd yn ddystaw yn eu meddwl, er mwyn attal i'r hyn a ddywedant â'u tafod fod yn gelwydd, digon i'r cyfryw ydyw dywedyd, nad ydynt wedi gwneuthur yr hyn a wnaethant, ond yn unig fod ganddynt y bwriad o roddi i'w hiaith yr ystyr a roddai dyn medrus iddi, sef llefaru yn eu meddwl fel yntau oni buasai eu bod yn anghyfarwydd."

Fel canlyniad naturiol i hyn, dysgir ni pa fodd i ochel cyflawni ein haddewidion: "Nid ydyw addewid yn rhwymo, pan nad oedd gan y person wrth ei gwneuthur fwriad i'w chyflawni." A phe byddai i'r addewid gael ei sicrhau gan lw, ni byddai yn fwy cadarn, oblegid meddant, "Nid rhaid i'r hwn sydd wedi cymeryd llw yn groes i'w opiniwn, gadw y llw hwnw, oblegid nid ydyw wedi tyngu, ond yn unig wedi chwareu â llw." "Nid ydyw yn bechod mawr os na bydd i un gadw ei lw yn gwbl. Er esiampl, Pe byddai dyn wedi tyngu nad yfai win, nid oes drwg mewn iddo yfed ychydig." Rhëol fanteisiol iawn i'r dirwestwyr hannerog; efallai fod rhai o honynt yn gydnabyddus â hi. Dull arall i ysgoi llw ydyw gadael un lythyren allan, a dywedyd *uro*, yr wyf yn llosgi, yn lle *juro*, yr wyf yn tyngu. Mewn gair, pa bechod a ddymunech ei gyflawni? Deuwch âg ef at y tadau hyn; cyfnewidiant ei natur yn y fan. A oes tuedd ynoch i genfigenu? Dyma y drwydded i hyny: "Y mae cenfigen wrth les ysbrydol ein cymydog yn bechod marwol, (ond pwy sydd yn cenfigenu wrth hyny), ond nid ydyw cenfigen wrth ei les tymmorol felly." Ai eich duw ydyw eich bol? A ydych wedi arfer ystyried glythineb yn bechod? Gwelwch eich camgymeriad: "Y mae yn ganiatâol i ddyn lwytho ei hun â bwydydd a diodydd yn unig er mwyn pleser; nid ydyw yn bechod, tra y gall gadw ei hun heb gyfogi." Os nad ydych yn ddirwestwr, carech wybod pa bryd y dylid ystyried dyn yn feddw. Dyma y rhëol: "Nid ydyw un yn feddw cyhyd ag y gall ef ganfod y gwahaniaeth sydd rhwng dyn a thas o wair." Pwy feiddia ddywedyd mwy fod y meddwon yn aml yn Nghymru? Ai uchelgais a balchder sydd yn fwyaf naturiol i chwi? Nid ydynt yn bechodau marwol: "Y mae uchelgais, yr hwn sydd yn gynnwysedig mewn awydd am le ac awdurdod, yn bechod maddeuadwy; ond pan y mae y mawredd yn cael ei chwennych i'r dyben o niweidio y wladwriaeth a digio Duw, y mae hyny yn ei wneuthur yn bechod marwol." A ydyw yn anhawdd genych roddi a chyfranu? Dyma ryddid i barhau felly: "Nid ydyw y cyfoethog yn euog o bechod marwol wrth ommedd rhoddi elusen o'r hyn sydd yn weddill ganddo i'r tlawd yn amser ei eisieu mwyaf." Neu, "Cyn y byddwch yn rhwym o roddi i'r tlawd, y mae yn rhaid i chwi wybod yn sicr nad all y tlawd gael ei gynnorthwy o unrhyw le arall." Yna, os nad ydych yn hollwybodol, nid oes byth rwymau arnoch roddi dim iddo. Neu, "Nid ydych yn rhwym o roddi elusen, os nad ydyw y dyn mor dlawd fel y gall ef yn gydwybodol yspeilio dyn cyfoethog." Rhëolau manteisiol iawn i gybyddion! Pa fodd yr ymdarawsai yr Iwerddon y llynedd pe buasai pawb yn ymddwyn yn eu hol? Nid ydyw y tadau wedi anghofio y rhyw fenywaidd ychwaith. Er fod y Bibl yn gorchymyn iddynt "eu trefnu eu hunain mewn dillad gweddus," y maent hwy yn trugarhau wrthynt ac yn rhoddi iddynt ddeddf fwy gydunol â'u gwendid hwy: "Os ymdrwsia gwraig heb unrhyw fwriad drwg, ond yn unig i foddhau tuedd naturiol i falchder, nid ydyw hyny yn bechod." Ond i wneuthur cyfiawnder â'r tadau, y maent yn dywedyd mai gan yr ieuanc yn benaf y mae yr hawl hon: "Gan y ser yn unig y mae hawl i ddawnsio yn wastad, oblegid y maent hwy yn feddiannol ar ieuenctid parhaus. Y dull doethaf i hen wragedd fyddai ymofyn â synwyr da, ac â drych da, gan encilio pan y mae cysgodau yr hwyr yn dechreu syrthio." Braint arall a ganiatânt i wraig ydyw chwareu am arian (*gamblo*) ac yspeilio ei gŵr i gael yr arian hyny.

Ni chawn gynnyg unrhyw esboniad ar yr egwyddorion ffiaidd hyn. Yr

ydym wedi aros yn hir, ac efallai yn rhy hir, eisoes gyda hwynt; ac er mor ddu ydyw yr arwireddau a ddygasom ymlaen, yr oedd rhai duach a mwy ffiaidd o lawer i'w cael, y rhai na oddefai gweddeidd-dra i ni eu dadguddio i'n darllenwyr. Yr ydym yn brysio i ddianc o'r fath awyrgylch heintus, gan fod yn gwbl sicr yn ein meddwl nad all rhinwedd ddim byw yno yn hir. Byddai mor resymol dysgwyl gweled gwyryf sanctaidd yn ymhyfrydu mewn darllen "*Don Juan*" Byron, ag a fyddai gweled dyn rhinweddol yn aros yn hir yn awyrgylch moesoldeb y Jesuitiaid. Y mae yr hyn y maent wedi ei ysgrifenu ar y seithfed gorchymyn yn gyfryw na feiddiwn ei ddarllen, a gobeithio yr ydym na ryfyga yr un o ddarllenwyr y "Traethodydd," pe caent gyfle, byth wneuthur hyny. Y mae yn ffôs o fudreddi, oddiar enau yr hon y diangwn ni mewn braw. Y mae yr urdd hon wedi cloddio o dan holl sylfeini gwir foesoldeb, wedi diwreiddio yr ofn cosb o fynwes dyn, heb yr hwn nid all moesau da fod mewn byd anmherffaith. Agorasant ddrysau paradwys i bob un oedd â'i ddwylaw wedi eu trochi mewn gwaed, oedd â'i gydwybod wedi ei ystaenio âg anudon, oedd â'i galon yn nythle i ragrith a thwyll. Er fod cyfraith Duw a chyfreithiau dynion yn ei gondemnio, eto y maent hwy yn dywedyd uwch ben y cyhuddedig, "Nid ydym ni yn dy gondemnio. Ni a dynwn fêl i ti o ysgerbwd anwiredd; ni a drown ffrwyth y felldith yn sypynau y fendith, ac a roddwn ddawn Duw yn gyflog i bechod."

Un achos mawr o lwyddiant yr urdd ryfedd hon ydyw ei moesddysg; ac yn gysylltiedig â hyn, dylid crybwyll am eu hadnabyddiaeth drwyadl o'r natur ddynol. Yr 'oeddynt wedi difynio y galon ddynol, ac wedi manwl chwilio holl deimladau y fynwes. Y mae dynion yn dra thebyg i'w gilydd yn mhob gwlad, ac yn mhob amgylchiad. Os ydych yn eich hadnabod eich hunain, wedi astudio eich calon eich hun, yr ydych yn sefyll ar dir manteisiol i adwaen y rhan fwyaf o'ch cyd-ddynion. Nid ydyw nwydau dynion ond ychydig mewn nifer. Astudiwch y rhai hyny, ynghydâ sefyllfa y dyn, yna chwi a welwch beth ydyw y gwrthddrychau ar ba rai y mae ei galon wedi ei gosod. Y mae y nwydau dynol yn debyg i'r ager. Wedi i chwi unwaith ddeall ei ansoddion, nid ydyw o bwys yn mha ddull neu at ba beth y cymhwysir ef: gellwch gyda chryn sicrwydd wybod pa beth a wna. Felly nwydau y galon ddynol; dëallwch hwynt yn drwyadl, a gellwch gyda'r un sicrwydd wybod beth a wnant mewn gwahanol amgylchiadau. Fel y mae y gareg a deflir i'r llyn yn ffurfio cylch bychan, a hwnw yn ffurfio un mwy, ac felly ymlaen hyd nes y bydd y llyn oll wedi ei orchuddio; ond yr unig wahaniaeth rhwng y cylchoedd ydyw, fod y naill yn fwy na'r llall; os byddwch yn dëall y cyntaf, yr ydych yn dëall yr olaf. Felly y mae cylchoedd cymdeithas; y naill yn cael ei ffurfio gan y llall, ac y mae dëall y lleiaf yn berffaith yn ddëall y mwyaf hefyd. Y cylch cyntaf ydyw y person unigol, yr ail ydyw y teulu, wedi hyny y genedl. Nid ydyw breniniaeth ond y cylch teuluol wedi ymledu; nid ydyw breniniaeth gyffredinol ond y cylch terfynol wedi ymledu yn fwy. Yr oedd y Jesuitiaid wedi astudio y cylchoedd cyntaf, wedi difynio eu calonau eu hunain, am hyny yr oeddynt yn gydnabyddus â'r holl gylchoedd eraill. Yr oeddynt gartref yn mhob cymdeithas; medrent ddarllen calon pawb; felly cyfaddasent yr abwyd i liw y dwfr, a dalient bawb. Rhwyd oedd eu moesddysg oedd yn "casglu o bob rhyw beth." Yr oedd hi yn gaeth ac yn rhydd, ac felly yn dal y da a'r drwg.

Yr ydym mewn ysgrif flaenorol wedi rhoddi bras ddarluniad o sefydliad, nerth, cwymp, ac ail gyfodiad yr urdd hon ; ac oni b'ai ein bod wedi trosеddu yn rhy faith ar amynedd ein darllenwyr eisoes, buasem yn dyfod âg anghreifftiau ychwanegol ymlaen i ddangos eu bod hwy yr un mewn gweithred ag ydynt ar air. Ac er i ni graffu yn fanwl ar eu geiriau a'u gweithredoedd, gormod i ni ydyw dywedyd ein bod yn eu hadwaen; oblegid y maent yn gymdeithas o bobl anhawdd, os nad anmhosibl, eu hadwaen. Nid ydym yn traethu ond hanner y gwir wrth ddywedyd eu bod yn ddïegwyddor ; yn hytrach fel y *cameleon*, cymerant eu lliw oddiwrth y pethau sydd o'u hamgylch ; beth bynag fydd egwyddorion y cylch y byddant yn troi ynddo, y rhai hyny ar y pryd fydd eu hegwyddorion hwy. Iddynt hwy nid oes ond un pwynt safadwy yn bod, sef anrhydedd eu hurdd—hyn ydyw seren ogleddol y Jesuit—hyn sydd i benderfynu pa un a fydd ef yn bob peth neu yn ddim, yn falch neu yn ostyngedig, yn drugarog neu yn greulawn. Anrhydedd yr urdd ydyw y gamp uchel sydd yn ei olwg; i'w chyrhaedd hi nid ydyw yn gwneuthur cyfrif o ddim, nac yn adwaen neb yn ol y cnawd. Iddo ef nid oes dad na mam, brawd na chwaer. Nid oes ganddo yr un wlad enedigol; ei wlad ydyw y byd, ei genedl ydyw yr urdd, ei dduw ydyw y llywydd, ei hapusrwydd ydyw gogoniant y gymdeithas. Nid oes ganddo ond un gofal. Nid gwaeth pwy sydd yn eistedd ar orseddfeinciau y byd—os byddant yn noddwyr i'w urdd ef, pob peth yn dda; ond os na byddant, yfed y cleddyf eu gwaed. Pe cerddai yr haint ar hyd y ddaear, pe lladdai y newyn ei filoedd, nid ydyw ef yn gofalu am ddim o'r pethau hyn. Nid oes ganddo ddim dagrau i'w tywallt, ddim cydymdeimlad i'w hebgor: y mae ei galon yn galetach nag adamant i bob peth ond un. Ni fedr dosturio wrth y weddw; nid all ei lygaid eiriach ei rhai bach hi. Os sylwa efe arni, ei ddyben fydd llwyr fwyta ei thŷ, ac yspeilio ei hamddifaid o'u cyfran. Nid oes dim llai yn ei olwg na chael llywodraeth gyffredinol ar y byd ; ac ni foddlonir ef âg un gyffelyb i'r eiddo Alexander neu Cæsar. Na, y mae yn rhaid iddo gael gosod ei iau ar y gydwybod, ac eistedd yn frenin yn y galon. Gallech feddwl nad ydyw yn ceisio dim, ond y mae rywfodd yn cael meddiant ar bob peth. Y mae yn cael y deyrnas heb ei cheisio, yn ei hamddiffyn heb filwyr, ac yn ei llywodraethu heb ddeddfau, am ei fod yn ennill ei ffordd i galon pawb. Fe swyna y pagan â'i rwysg a'i fawredd, fe ennill galon y tlawd â'i gydymdeimlad ffuantus ac â'i diriondeb gau, tra y mae ei ffugostyngeiddrwydd a'i hunanymwadiad yn sïo drwy dyb y cyfoethog. Nid eisteddai ar orsedd pe câi y cynnyg; rhwygai ei ddillad mewn braw pe estynid teyrnwialen iddo; nid y teimladwy ond yr ysbrydol y mae ef yn ei geisio. Nid ydyw yn gofalu ynghylch yr ymddangosiad ; ar y sylwedd y mae ei lygaid ef. Nid ydyw o bwys ganddo pwy fydd y corff, os caiff ef fod yn ysbryd i'w ysgogi. Anfynych iawn y bydd ef yn gweithio yn ddigyfrwng. Fel yr oedd yr ysbrydion aflan yn Judea gynt yn llefaru ac yn gweithredu trwy gyrff dynol, felly y mae yntau yn llefaru deddfau â thafod un arall, ac yn dal y deyrnwialen â llaw un arall. Lleng ydyw ei enw; y mae yn dwyn o amgylch ei amcanion mewn cymaint a hyny o wahanol ddulliau. Fe lywodraetha baganiaid Asia ac America drwy bregethu iddynt; ceidw drigolion Ewrop yn ei law drwy ysgolion; fe lywodraetha y gwr drwy y wraig. Cymer feddiant ar galon yr ofergoelus trwy lanw yr awyr o'i amgylch âg ysbrydion aflan, pa rai sydd yn cael eu cadw rhag ei

niweidio drwy ei offerynoldeb ef. Swyna y dysgedig â'i wybodaeth; y mae yn ieithwr, yn philosophydd, yn dduwinydd: y mae yn bob peth i bawb er mwyn ennill pawb: ac er nad ydyw yn ymddangos ei fod yn llywodraethu neb, y mae mewn gwirionedd yn llywodraethu pawb.

Nis gallwn edrych ar yr urdd hon heb fesur o ddychryn, oblegid y mae eu huchel-gais yn ddigon cryf i geisio am bob peth, a'u calon yn ddigon drwg i ddefnyddio pob moddion i'w cyrhaedd. Ac nid ydynt wedi llwyr fethu odid waith erioed. Y maent wedi eu maeddu lawer gwaith, ond pa bryd y gorchfygwyd hwynt? Erlyniant eu gwrthddrych yn ddiflino. Trwy ei ddyfal-barhad y llwyddodd Loyola i gael awdurdod y pab i sefydlu yr urdd ar y cyntaf, a'r un ysbryd sydd wedi achosi ei llwyddiant hi yn mhob gwlad. Gwrthododd Ffrainc hwynt am amser; ond o herwydd eu taerineb, derbyniwyd hwynt ar yr ammod na ddefnyddient y rhagorfreintiau oedd ganddynt mewn gwledydd eraill. Ond cyn pen ychydig fisoedd yr oedd ganddynt ysgolion yn holl brifdrefydd y deyrnas, ac ymdrechent am gael y brifysgol i'w dwylaw. Yn mhen o gylch dwy-flynedd-ar-hugain, alltudiwyd hwynt o Ffrainc; ond cyn pen dwy flynedd yr oeddynt yn urdd gyfreithlawn drachefn. Eu tadau hwy oedd cyffeswyr y brenin a'i lys; hwy a fu yn cynhyrfu y llywodraeth i lofruddio can' mil o Brotestaniaid, ac i beri i hanner can' mil o deuluoedd ffoi i Loegr a Holland. Ac y maent yn awr mor liosog yn Ffrainc ag y buont erioed. Y maent yn lefeinio y wlad â'u syniadau, gan amcanu cael y brifysgol ac ieuenctyd y deyrnas i'w dwylaw eto. Sefydlasant eu hunain yn foreu yn Switzerland fynyddig, cartref rhyddid a chrefydd; ac er iddynt gael eu bwrw allan oddi yno fel o bob man arall, eto y maent yn awr bron ag ailfeddiannu y wlad, ac y maent wedi dwyn o amgylch chwyldroad mewn amryw o'r Cantrefi. Yn Poland annedwydd hefyd, sefydlasant eu hun yn foreu: a gall y wlad hono briodoli yr holl waed a dywalltwyd ynddi iddynt hwy. Iddynt hwy y mae hi i ddiolch nad ydyw i'w rhifo mwyach yn mysg gwledydd y byd. Llwyddodd yr un ysbryd i'w sefydlu yn Lloegr: ac er iddynt gael eu halltudio oddi yma gan Elizabeth yn 1602, a chan James I. yn 1605, ac yn nghwymp James II. yn 1688, pan y cwympasant hwythau, eto er pob cwymp y maent yn ail gyfodi. Lluniwyd deddf yn 1829 yn eu herbyn; ond yr un peth a fuasai gosod deddf i'r gwynt. Y maent fel eu tad yn anweledig. Pa ddeddf a all ymaflyd ynddynt? Y maent yn lefeinio ein teyrnas yn raddol, yn gweithio yn ddystaw yn y tywyllwch. Ni a welwn eu gweithredoedd, ond pwy a'u gwel hwy? Y mae yr hyn a wnaethant yn Rhydychain yn amlwg i bawb: ac onid oes pedair-mil-ar-ddeg er ystalm o offeiriaid Eglwys Loegr o dan ddylanwad duwinyddiaeth Rhydychain—a phwy a ŵyr beth fydd diwedd hyny? Y mae ganddynt ddwy athrofa hefyd i ddwyn i fynu ieuenctyd. Y mae yn yr hon sydd yn Stonyhurst, yn Lancashire, dros dri chant o ysgolêigion; ac y mae yr hon sydd yn yr Iwerddon mewn undeb â Maynooth mor flodeuog a'r hon sydd yn Lloegr. Y mae llawer o'r rhai a ddygir i fynu yn Maynooth yn myned i Rydychain i gymeryd eu graddau; ac y mae genym y prawf agosaf at sicrwydd fod amryw o offeiriaid Eglwys Loegr yn Jesuitiaid proffesedig. Fel hyn y maent yn dadsylfaenu Protestaniaeth ein teyrnas.

Y mae eu cynnydd yn America hefyd yn fawr. Yn Canada y maent wedi eu sefydlu yn gyfreithlawn; a hwy ydyw enaid Pabyddiaeth yr Unol Daleithiau; ac os cynnydda Pabyddiaeth yno am ychydig flynyddau eto,

fel ag y gwnaeth yn y blyneddau diweddaf, bydd y wlad hono yn nwylaw y Pabyddion. Y mae y Pabyddion mewn amryw o'r taleithiau yn awr bron mor liosog a'r Protestaniaid. Cyn pen ychydig, byddant yn alluog i anfon eu dynion eu hunain i'r *Congress*, ac unwaith y cânt hwy lunio y deddfau, ffarwel i ryddid crefyddol a gwladol. Y mae y cyfrwysdra hwnw sydd wedi eu henwogi yn mhob man, yn dyfod i'r amlwg yn neillduol yn eu gwaith yn meddiannu America. Os bydd dyfr-ffos (*canal*) neu ffordd haiarn yn cael ei gwneuthur drwy ryw ran o'r wlad, cymerant fantais yn ddïoed ar hyny. Ond odid na bydd Jesuit gyda'r mesurwr yn chwilio allan sefyllfa pob man; a lle bynag y bwriedir adeiladu dinas neu bentref, y maent hwy yn y fan yn dechreu codi eglwys yno. Y mae cannoedd o'r eglwysi hyn yn cael eu hadeiladu ganddynt mewn lleoedd sydd bron yn anial yn awr. Y mae aml i Brotestant yn barod i ddywedyd eu bod yn hanner gwallgof; ond y mae y Jesuit cyfrwys yn gwawdio golwg byr y Protestant. Y mae ei lygad craff ef yn gweled y bydd yr holl eglwysi hyn yn gynnifer o ganolbarthau i sugno atynt yr ymfudwyr Pabyddol, ac yn gynnifer o faglau i ddal y rhai Protestanaidd.

I ddywedyd yr oll mewn ychydig eiriau,—y mae yr holl fyd Cristionogol yn cael ei gynhyrfu yn awr gan y Jesuitiaid. Y maent i'w cael yn mhob man, yn Ysbaen, Portugal, Awstria, Silesia, Prwssia, Hanover, Holland, Belgium, Switzerland, Lloegr, ac America. A lle bynag yr anfona Protestaniaid genadau, y maent hwy yn eu dilyn. Y maent yn awr yn gweithio yn egnïol yn China, yn Australia, yn New Zealand, ac yn Ynysoedd Môr y Dê. Y mae y gelyn-ddynion hyn yn hau yr efrau lle bynag yr hauir yr hâd da. Nid ydyw *simoon* y diffeithwch ddim yn fwy marwol i'r teithiwr nag ydyw eu dylanwad hwy wedi bod i wir grefydd. Edrychwch ar Tahiti, yr hon oedd yn baradwys mewn ystyr naturiol a moesol; onid ellid ei galw, o herwydd ei chrefydd a'i moes, yn frenines yr ynysoedd? Ond gwywodd ei hapusrwydd, syrthiodd ei choron, y mae hi yn llawn trueni, yn ynys waedlyd, ugeiniau o'i thrigolion diniwed wedi eu llofruddio, ei chapeli a'i hysgoldai yn garneddau. Pwy a wnaeth hyn? Y Jesuitiaid. Yn Fernando Po, a Madeira hefyd, y mae eu malais wedi llwyddo i orchfygu Protestaniaeth. Fel yr ysbrydion drwg, nid ydynt byth yn gorphwys, ac y mae eu holl fywiogrwydd yn cael ei ddefnyddio i wneuthur drwg.

Nis gallwn roddi cynghor mwy anghenrheidiol i'n cydgenedl yn y dyddiau hyn, na, Gochelwch y Jesuitiaid! Y mae eu moesddysg yn ddrwg, ond y mae eu gweithredoedd yn waeth. Casewch bob peth sydd â rhith Pabyddiaeth arno. Y mae lliaws o ysgolion Cymru, os nad ydynt yn eu dwylaw hwy yn awr, eto y maent yn nwylaw rhai sydd yn perthyn yn agos iddynt. Na adewch i ddim eich temtio i anfon eich plant i ysgolion o'r fath. Os ydyw rhinwedd a duwioldeb yn werthfawr yn eich golwg, y mae yn llawn bryd i chwi ddeffroi i wylio, oblegid y mae eich gelynion yn rhodio o amgylch. A chyda gwyliadwriaeth, arferwch weddi; er nad all ein llygaid ni ganfod eu dechreu, er fod ein braich ni yn rhy wan i'w hattal i gyrhaedd eu dybenion,—y mae llygad a wêl, y mae braich a all. Ein gweddi a fyddo ar i'r Duw sydd â'i lygad yn fflam dân, a'i fraich yn hollalluog, attal i'r gelynion hyn dwyllo y cenedloedd mwyach.

# CREFYDD OBADIAH.

## ANERCHIAD AT IEUENCTYD.

GAN fod lliaws mawr o'n darllenwyr yn bobl ieuainc, yr ydym yn barnu mai iawn yw cyfeirio atynt yn uniongyrchol yn awr a phryd arall. Y mae Duw yn ei air sanctaidd yn cyfeirio yn fynych iawn at ieuenctyd, yn enwedig yn llyfrau y Diarebion a'r Pregethwr; ac y mae yn gweddu i ieuenctyd fod yn dra chyfarwydd yn y llyfrau sanctaidd a nodwyd. Carem annog dynion ieuainc i'w trysori yn eu côf, gan fod ynddynt y fath ochel-iadau a chyfarwyddiadau cyfaddas i'w hamgylchiadau. Trwy ochel y pethau a waherddir, ac ymarfer â'r pethau a gymhellir, fe fydd eu llwybr yn lân, a'u traed ar ffordd tangnefedd. Hoffem weled y rhai fydd yn fuan yn benau teuluoedd, yn rhïeni, yn llenwi pob swyddau, yn wladol ac yn eglwysig, ac yn cario pob masnach ymlaen, yn ddynion gwybodus, rhinweddol, a chrefyddol; ac oddiar y teimladau hyn yr ydym yn eu hanerch yn awr. Fel sail i'n hanerchiad, yr ydym yn cymeryd hanes a thystiolaeth Obadiah yn 1 *Bren.* xviii. 3—13; "Ac Obadiah oedd yn ofni yr Arglwydd yn fawr.......Ond y mae dy was di yn ofni yr Arglwydd o'm mebyd."

Y mae hanes bywydau dynion sanctaidd yn llawn o addysgiadau buddiol, ac ychydig o lyfrau sydd â thuedd well iddynt na bywgraffiadau y rhai a rodiodd gyda Duw. Y mae llawer o'r ysgrythyrau wedi eu gwneyd i fynu o hanes dynion sanctaidd. Y mae ynddynt fynych grybwylliadau am rai drygionus, annuwiol, a rhagrithiol; ond nid er eu mwyn eu hunain, ond o herwydd rhyw ymwneyd o'r eiddynt â phobl neu eglwys Dduw: felly yr oedd yn anghenrheidiol cymysgu eu hanes, tuag at roi hanes yr eglwys yn gyflawn. Crynodeb o hanes bywyd dyn duwiol yw y rhanau o'r gair sanctaidd a nodwyd. Yr oedd y gŵr crefyddol hwn yn byw yn yr amser gwaethaf, ac yn y lle gwaethaf; ond gan fod ganddo wreiddyn ynddo ei hun, yr oedd ei grefydd yn para, yn blodeuo, ac yn ffrwytho yn nhy Ahab ddrygionus. Yr oedd y dwfr a roddwyd ynddo yn tarddu yn y lle mwyaf anfanteisiol. Y mae crefydd iawn yn egwyddor a weithreda hyd yn nod yn nhai Jeroboam, Ahab, a Nero. Y mae yn ddyledswydd ar bawb ymgais am y lle mwyaf manteisiol i fyw yn dduwiol; ond eto, os bydd un wedi ei arwain gan ryw amgylchiadau i'r lle mwyaf anfanteisiol, nid yw yn un dyben iddo ddywedyd nas gall fyw yn dduwiol o herwydd amgylchiadau; canys y mae eraill wedi byw yn dduwiol iawn mewn cyffelyb amgylchiadau. Fe gyfyd Joseph, Abiah, Obadiah, a Daniel, gyda'r ymesgusodwyr hyn yn y farn, ac a'u condemniant.

Y mae yr Ysbryd Glan yn rhoi hanes y gŵr sanctaidd hwn yn fỳr ac yn gynnwysfawr; ac nid anfuddiol fyddai nodi rhai o'r pethau a grybwyllir am dano, megys—

1. Ei enw—"Obadiah." *Gwas yr Arglwydd,* meddir, yw ei ystyr; ac fel yr oedd ei enw, felly yr oedd yntau. Yr oedd yn gwasanaethu Jehofah yn nghanol gwasanaethwyr Baal; yr oedd yn anrhydeddu Duw yn ngwydd ei ddirmygwyr: yr hyn sydd yn brawf fod yn ei enaid barch iddo. Y mae rhai yn medru troi gyda'r awel, a newid eu crefydd yn ol

fel y mae amgylchiadau yn newid. Dywedir fod rhai gwŷr eglwysig (fel eu gelwir) yn Babyddion yn amser Harri, yn Brotestaniaid yn amser Edward, yn Babyddion drachefn yn amser Mari, ac yn Brotestaniaid eilwaith yn amser Elizabeth. Ond nid felly Obadiah—gwas yr Arglwydd ydoedd ef.

2. Ei sefyllfa yn y byd, sef penteulu—llywydd neu olygwr ar dŷ Ahab. Y mae yn hynod i'r fath un drygionus ag Ahab ddewis y cyfryw was, a'i osod yn y fath sefyllfa uchel a phwysig; ond y mae yn ddiau mai o herwydd ei ffyddlondeb a'i onestrwydd y rhoddodd Ahab y fath ymddiried ynddo. Felly y cafodd Joseph, a Daniel a'i gyfeillion, eu dyrchafu. Y mae gwir grefydd yn gwneuthur dyn yn fuddiol yn ei le, ac yn ben y ffordd i ddyrchafiad. Yr oedd gan yr Hwn y mae calonau breninoedd yn ei law, a'r Hwn a ddywedodd, "Fy anrhydeddwyr a anrhydeddaf fi," law yn nyrchafiad ei was Obadiah. Yr offeryn a ddyrchafodd Obadiah oedd Ahab: ac y mae yn iawn gwneuthur cyfiawnder âg ef. Er mor ddrygionus ydoedd, yr oedd yn rhagori ar lawer yn ein dyddiau ni; canys yr oedd yn goddef un yn ei dŷ, ac yn ei ddyrchafu, er ei fod yn anghydffurfiwr, heb ymostwng i grefydd sefydledig y llywodraeth.

3. Ei ddefnyddioldeb i'r saint a gweision Duw yn eu trallodau. Yr oedd yn eu cuddio rhag i Jezebel eu lladd, ac yn eu porthi âg anghenrheidiau natur. Yr oedd yn caru, nid ar air ac ar dafod yn unig, ond mewn gweithred ac mewn gwirionedd. Er ei fod yn brif weinidog y brenin, nid oedd uwchlaw sylwi ar ei frodyr tlodion yn eu profedigaethau. Yr oedd yn adnabod rhinwedd mewn tlodi, ac yn gweled gogoniant yn y rhai oedd wedi eu gorchuddio â gwarth; ac yr oedd yn defnyddio ei gyfoeth a'i sefyllfa ddyrchafedig yn fantais i wneuthur daioni iddynt. Y mae yn ddiammhau y bydd yn y dydd diweddaf yn mysg tyrfa y ddeheulaw, yn derbyn y ganmoliaeth o enau y Barnwr, yr hwn a ddywed, "Bûm newynog, a chwi a roisoch i mi fwyd."

4. Ei barch i brophwyd Duw, a'i dymher ostyngedig. Er ei fod yn gydymaith i'r brenin, ac yn llywydd ar ei dŷ, eto fe syrthiodd ar ei wyneb o flaen Elias, er nad oedd ond gwr tlawd. Yr oedd yn dangos ei barch i Dduw yn ei ymddygiad at ei was. Hawdd fyddai ysgrifenu cyfrolau ar hanes y gwr hwn; ond nid hyny yw ein hamcan presennol. Gan hyny, awn rhagom at y peth arall a grybwyllir am dano, sef

5. Ei grefydd dda rhyngddo a Duw, neu agwedd ei feddwl tuag at Dduw. Y mae yr hanesydd sanctaidd yn dywedyd ei fod "yn ofni yr Arglwydd yn fawr;" ac fel prawf o hyn, y mae yn adrodd ei ymddygiad at brophwydi Duw: 1 *Bren.* xviii. 3, 4. Ac y mae yntau ei hun yn dywedyd wrth Elias, fel crynodeb o hanes ei fywyd, ei fod yn "ofni yr Arglwydd o'i febyd." Yr oedd y gwr hwn yn meddu ar grefydd gyflawn, sef ofni Duw, a chadw ei orchymynion, yr hyn yw holl ddyled dyn. Ac yr oedd yn meddu y grefydd hon o'i febyd. Yr oedd er yn fachgen yn adnabod ac yn gwasanaethu Duw Israel. Nid oedd yn cofio amser heb ei fod yn ofni yr Arglwydd; ac felly, nid rhyfedd iddo gynnyddu i "ofni yr Arglwydd yn fawr."

Y mae yr ymadrodd "ofni yr Arglwydd" yn arwyddo weithiau yr addoliad a'r gwasanaeth sydd yn ddyledus arnom i Dduw, a'r gwasanaeth a roddir iddo gan bawb sydd yn ei adnabod. "Dysgaf i chwi ofn yr Arglwydd;" sef, dysgaf i chwi y modd i'w addoli a'i wasanaethu. Y mae

yn cael ei alw yn "ofn yr Arglwydd," er dangos yr agwedd a ddylai fod ar y meddwl yn holl ranau ei wasanaeth, sef "gwylder a pharchedig ofn." Y mae yr agwedd hyf a welir yn fynych yn ei addoliad yn arwyddo fod llawer sydd yn addolwyr mewn enw, heb adnabod y Duw y maent yn codi allor iddo; canys y mae pawb sydd yn ei adnabod yn ei wasanaethu mewn prydferthwch sancteiddrwydd, tan gredu ei fod yn ofnadwy iawn yn nghynnulleidfa ei saint, ac i'w arswydo yn ei holl amgylchoedd. Bryd arall, y mae yr ymadrodd "ofn yr Arglwydd" yn arwyddo y parch neillduol sydd yn nghalon pob dyn duwiol i Dduw, ac oddiar barch iddo yr holl ymddygiad yn barchus tuag ato, a thuag at bob peth sydd yn perthyn i'w enw. Dyma yr ofn ag y mae Duw yn y cyfammod newydd yn addaw ei osod yn y galon. Fe'i gelwir gan rai yn ofn mabaidd, er ei wahaniaethu oddiwrth ofn caeth a drwg. Fe'i gelwir yn y gair sanctaidd yn "barchedig ofn," o herwydd mai parch ac arswyd wedi ei gyd-dymheru yn yr enaid yw. Y mae amlygiadau o'i fawredd, ei gyfiawnder, ei allu, a'i burdeb, yn cenedlu arswyd; ac y mae amlygiadau o'i fawr drugaredd, ei ras, a'i ewyllys da i ddynion, yn cenedlu parch a chariad. Dyma yr ofn y mae ymado oddiwrth ddrwg yn anwahanol gysylltiedig âg ef. Dyma yr ofn sydd yn gwneyd ei berchen yn rhy wan i dori gorchymynion Duw: "Ni wnaethum i felly rhag ofn Duw." Dyma yr ofn sydd yn cadw yr enaid heb gilio oddiwrth Dduw. O herwydd bod Obadiah yn ofni yr Arglwydd yr oedd yn glynu wrth yr Arglwydd a'i wasanaeth, pan yr oedd y brenin, a'i lys, a chorff y genedl, yn gwasanaethu eilunod. Nid oes neb yn meddu gwir grefydd ond y rhai y mae yr ofn hwn yn eu calonau. Y mae pawb sydd hebddo heb adnabod Duw, ac o ganlyniad heb fywyd tragywyddol; ond pa le bynag y mae yr ofn hwn wedi ei osod, y mae yno fywyd o ran ei wreiddyn a'i egwyddor, ac y mae y ffrwyth yn sancteiddrwydd, ac fe fydd y diwedd yn fywyd tragywyddol. Gwyn fyd yr hwn sydd, fel Obadiah, yn ofni yr Arglwydd o'i febyd. Sylwn

1. Y mae gan yr Arglwydd hawl gyfiawn yn holl ddyddiau dyn i'w ofni a'i wasanaethu. Mae gan dad hawl yn ei blant; mae gan feistr hawl yn ei was; ystyrir fod gan un hawl yn ngwaith ei ddwylaw; bernir fod gan un hawl yn ngwasanaeth yr hwn sydd yn byw ar ei haelioni, ac yn bwyta bara ar ei fwrdd. Y Duw mawr yw ein tad ni oll; ar ei haelioni ef yr ydym yn byw bob dydd, ac y mae yn anghyfiawnder o'r mwyaf i ddŷn beidio ofni a gwasanaethu Duw ei holl ddyddiau. Gan bwy y mae hawl ynoch, ieuenctyd hawddgar, ond gan Dduw? Pwy a'ch tynodd o groth eich mam? Pwy a'ch magodd ac a'th meithrinodd? Pwy a'ch cynnysgaethodd â rheswm ac â dëall? Pwy wnaeth eich calon yn addas eisteddle i barchedig ofn? A phwy a nerthodd eich traed i gerdded, a'ch dwylaw i weithio? Yr ydych oll yn barod i ateb mai Duw. Rhoddwch eich hunain gan hyny i Dduw. Os gellwch fyw un foment arnoch eich hunain, neu ar ryw greadur, y mae genych ryw esgus dros beidio rhoi y foment hono i'r Arglwydd; ond os ynddo ef yr ydych yn byw, yn symud, ac yn bod, y mae cyfiawnder yn gofyn am i chwi roddi eich holl ddyddiau iddo. Nid oes arnoch ddyled i neb sydd yn ymgeiswyr am danoch ond Duw. Pa ddyled sydd ar neb o honoch i bechod? Pa elw a gawsoch oddiar law satan? Mae efe yn perffaith gasâu ei weision ffyddlonaf; ac y mae yn dychymygu bradwriaeth yn eu herbyn pan y maent ar eu goreu yn ei wasanaeth! Ystyriwch, O ieuenctyd, hawl yr Arglwydd ynoch. Onid

oes gan yr hwn a'i rhoddes ei hun yn bridwerth dros lawer hawl ynoch? Gan bwy y mae y fath hawl a'r hwn a'ch prynodd â'i waed? Onid yw yr hwn fu yn ufudd hyd angeu, ie, angeu y groes, yn deilwng o'ch dyddiau goreu i'w garu a'i wasanaethu?

2. Nid yn unig y mae gan yr Arglwydd hawl gyfiawn yn eich holl ddyddiau, ond y mae ei ofni a'i wasanaethu ef o'r mebyd yn fraint oruchaf. Y mae yn anmhosibl dechreu bod yn ddoeth yn rhy foreu, a "dechreuad doethineb yw ofn yr Arglwydd." Y mae cael yr ofn hwn wedi ei osod yn y galon ryw adeg ar yr oes yn drugaredd anmhrisiadwy; ond y mae bod yn feddiannol arno o'r mebyd yn drugaredd fwy. Y mae yr holl gyfeiriadau sydd yn y Bibl at ieuenctyd yn profi hyn; y mae profiadau y rhai a'i cafodd yn ieuainc yn profi yr un peth; ac y mae ocheneidiau llwythog, a chŵynion chwerwon y rhai a roddodd foreu eu hoes i wasanaethu pechod, ond a gipiwyd fel pentewynion o'r tân, yn profi yr un gwirionedd, sef mai braint annhraethol yw ofni 'r Arglwydd o'r mebyd, fel Obadiah. Yr ydym yn gobeithio, ein darllenwyr ieuainc, yr ystyriwch hyn.

Y mae hyn yn foddion effeithiol i'ch cadw rhag y drygau a'r pechodau ag yr ydych yn agored iddynt. Y mae llygredigaeth y natur yn ysgogi dyn o'i febyd at bechodau gweithredol. Y mae Duw y gwirionedd yn tystio fod bryd calon dyn yn ddrwg o'i ieuenctid: *Gen.* viii. 21. Nid damwain yw i ddyn wneuthur drwg; ond y mae mor naturiol iddo ag yw i bren drwg ddwyn ffrwythau drwg, neu i ffynnon aflan fwrw allan ddyfroedd aflan. "Y mae calon plant dynion yn llawn ynddynt i wneuthur drwg." Y mae yn gymhwys eu galw o'r groth yn droseddwyr. Y mae nerth mawr yn llygredigaeth y natur; y mae yn gryfach na chynghorion rhïeni, ie, na chyhuddiadau cydwybod ac arswyd cosb. Y mae yn drech na phob peth ond ofn Duw yn y galon. Yr ydym yn gorfod edrych arno yn ysgogi ein plant yn ieuainc iawn at y cyflawniad o bechodau gweithredol; ac y mae yr ysgogiadau hyn yn gamrau ar ffordd dinystr. Y mae dynolryw yn ysgogi yn naturiol oddiwrth Dduw at ddrwg; y mae'r galon yn drysor drwg, ac yn bwrw allan bethau drwg, a dyma y pethau sydd yn halogi dyn. Ac y mae cyfeillach lygredig ac esiamplau drwg yn ennyn nwydau llygredig y galon, ac yn eu tynu allan mewn gweithredoedd. Y mae tafod aflan yn gosod troell natur lygredig yn fflam. Yn y dyddiau o flaen y dylif yr oedd pob cnawd yn llygru ei ffordd; ac y mae yn rhy debyg yn ein dyddiau ninnau. Y mae rhai ar eu goreu yn llygru yr ieuainc o ran eu hegwyddorion a'u moesau; a dyma y gweision defnyddiolaf i'w deyrnas a fedd y diafol: canys y maent yn hyfforddi yr oes sydd yn codi yn ei wasanaeth—yn dysgu y gelfyddyd o bechu i'w holynwyr. Y mae eu hesiamplau a'u haddysg yn debyg o fod yn y byd ar eu hol hwy. Ac fel y maent yn dra llwyddiannus i lygru yr oes ddyfodol, y maent hefyd yn parotoi iddynt eu hunain y lle mwyaf poenus yn uffern; oblegid nid yw yn ddigon ganddynt fod yn llygredig eu hunain, ond y maent ar eu heithaf yn llygru eraill hefyd. Gan hyny, ein darllenwyr ieuainc, "ciliwch oddiwrth y dynion drygionus hyn." Dywedwch, fel Jacob, "Na ddeled fy enaid i'w cyfrinach." Gweddiwch yn daer bob dydd, "Na chasgl fy enaid gyda phechaduriaid." Ofn Duw a'ch ceidw heb eich llygru, er gorfod byw yn mysg rhai llygredig iawn, fel Joseph. Y mae y pysgodyn yn cadw ei groewder er byw mewn dwfr hallt; felly, ofn Duw a'ch ceidw chwithau yn sanctaidd mewn byd llawn o halogrwydd.

Ofni yr Arglwydd a'ch diogela rhag niwed oddiwrth demtasiynau y diafol. Y mae gweled dyn ieuanc yn myned allan i'r byd drwg heb ofn Duw yn ei galon yn olygfa athrist. Y mae yn cychwyn mordaith, a chwant yn feistr ar ei lestr, a gwynt temtasiynau y diafol yn rhuthro arno; ac y mae yn debyg iawn o gael ei yru i ryw sugndraeth, a boddi i ddinystr a cholledigaeth. Y mae dyn yn mhob adeg ar ei oes mewn perygl oddiwrth demtasiynau satan; ond fe ddichon ei fod mewn mwy o berygl pan yn ieuanc, canys y mae'r diafol yn fwy ymroddgar i'w lygru a'i goleddu, ac y mae yntau yn fwy anwyliadwrus. Y mae y meddwl yn fywiog a'r aelodau yn heinif, ac y mae satan yn deall mai hon yw ei awr, a bod tynged y gwr ieuanc yn debyg iawn o droi ar yr adeg bresennol. Pan y mae yr ieuanc yn trigo yn ddiofal, y mae'r gelyn yn gwylio, ac yn gosod maglau i'w ddal. Pa fodd y mae y diafol yn dylanwadu, neu pa fodd y mae y naill ysbryd yn gweithredu ar ysbryd arall, nid ydym yn cymeryd arnom geisio egluro, ac nid yw yr ysgrifenwyr ysbrydoledig ond yn adrodd y ffaith. Ond yr ydym dan rwymau i gredu dylanwad yr ysbrydion syrthiedig ar ddynion, neu anghredu tystiolaethau eglur yr ysgrythyrau. Priodolir yr holl ddylanwad i'r penaeth, fel y priodolir ennill brwydr i'r prif swyddog, er fod lluoedd yn ymladd dano. Tuag at gyrhaedd ei amcan, y mae y diafol yn presennoli meluschwant o flaen y meddwl, ac yn addaw oes faith i'w fwynhau. Y mae yn gosod crefydd allan yn beth trymaidd ac anhyfryd; nid yw yn gwadu nad yw yn eithaf peth i'r oedranus, ond haera ei bod yn iau annyoddefol i'r ieuanc; a dywed bod pleser a mwyniant mawr mewn pechod. Y mae miloedd o bobl ieuainc yn mhob oes yn llyncu yr abwyd heb ystyried fod ynddo fach—yn chwareu â'r sarph heb feddwl dim am y brathu fydd yn y diwedd. Maent yn dilyn ei hudoliaethau, ac yn myned i'w faglau, fel y maent ganddo wrth ei ewyllys.

O ieuenctyd! yr ydych yn agored i gael eich trybaeddu mewn pydewau ffiaidd gan eich llygredd eich hunain, a'ch denu i lwybrau drwg gan esiamplau eich cyd-ddynion a themtasiynau y gelyn diafol. Gwelwyd llawer tad a mam yn dra llawen wrth edrych ar eu plant yn myned i sefyllfâoedd oedd yn debyg o'u gwneyd yn ddefnyddiol i gymdeithas, ac yn ddedwydd eu hunain; ond yn fuan fe archollwyd eu calonau trwy eu syrthiad i bechodau. Gwelwyd llawer dyn ieuanc yn myned allan i'r byd fel llong tan ei llawn hwyliau, a phob gobeithion yn ymddangos am fordaith lwyddiannus; ond yn y fan fe chwythodd temtasiwn arno, a chan ei fod heb ofn Duw, fe wnaeth longddrylliad ar graig meluschwant. Fe welwyd aml un yn myned dros drothwy tŷ ei dad, â'i ddillad yn wynion; ond hwy a syrthiasant—rhai i bydew meddwdod, eraill i aflendid, ac eraill i anonestrwydd a llofruddiaeth; ac yn y byd yr ydych chwithau yn myned allan iddo y dygwyddodd y pethau hyn oll; ac yr ydych chwithau, ein cyfeillion ieuainc, yn agored i'r un drygau. Y mae grym rheswm a dysgeidiaeth wedi eu profi yn rhy weiniaid i gadw rhag y pechodau echryslonaf; ond y mae ofni Duw yn sicr o'ch cadw. Hyn a gadwodd Joseph a'i ddillad yn wynion er yr holl droi fu arno ymhlith y crochanau. Yr oedd ei demtasiwn yn un gref, ac fe ddichon nas gallasai un gryfach ymosod arno. Ond yr oedd ofn Duw yn ei wneyd yntau yn ddigon cryf i wrthsefyll y chwant, ac yn rhy wan i droseddu yn erbyn yr Hwn ag yr oedd ei enaid yn teimlo ei bresennoldeb sanctaidd.

Dymunem eich annog i ddwys ystyried pwysigrwydd adeg mebyd ac

ieuenctid. Y mae canlyniadau anfeidrol o ran eu pwys i chwi yn crogi ar yr adeg sydd yn myned drosoch yn awr. Y mae y llwybr i barch, a defnyddioldeb, a hapusrwydd, yn agored o'ch blaen; ac felly hefyd y llwybr i warth, a thrueni, a gwae. Ac yn awr yw yr adeg i chwi ddewis. Yr ydych yn awr i ddewis eich llwybr am dragywyddoldeb, i gychwyn llwybr wrth bob tebyg a ddilynwch am eich hoes, yr hwn a derfyna yn y nefoedd neu yn uffern; ac y mae'r tebyg yn fwy y dewiswch ffordd nid yw dda! Y mae y peryglon sydd o'ch amgylch y fath ag y mae y nifer fwyaf pan yn ieuainc yn anystyriol iawn o honynt. Ac yr ydym yn teimlo arswyd rhag i luoedd o ieuenctyd Cymru gamgymeryd y ffordd i hapusrwydd, a myned ar grwydr i rai o'r miloedd o ffyrdd sydd yn cyfansoddi un ffordd lydan, yr hon sydd yn arwain i ddystryw.

Ni a nodwn rai o beryglon yr adeg dan sylw.

1. Dechreu cellwair â drygau a phechodau. Ychydig sydd yn ystyried y perygl o ddechreu cellwair â'r hyn a elwir yn driciau, neu yn fân-bechodau. Y maent yn edrych ar yr eithafion yr aeth eraill iddynt gyda ffieiddiad a dychryn, ond y mae yn anhawdd ganddynt gredu fod y pethau ag y maent hwy yn dechreu cellwair â hwynt yn arwain yn anffaeledig i'r eithafoedd hyny. A thra y maent yn arswydo yr eithafion, y maent yn anturio cyflawni y pethau sydd yn tywys iddynt. Trwy gilio oddiwrth y cyflawniad o ddyledswyddau, ac ymollwng yn achlysurol i dueddiadau llygredig y natur, y maent yn teithio y ffordd sydd yn arwain i eithafion drygioni. Nid oes un camgymeriad mwy cyffredin, na mwy dinystriol, nag edrych ar gellwair â'r hyn a elwir yn fai bychan yn beth dibwys. Hyn sydd yn cadw arferiadau pechadurus mewn bod o oes i oes, ac yn arwain i ddinystr cyrff ac eneidiau. Y mae pob ysgelerder yn dechreu yn y pethau ag yr edrychir arnynt yn feiau bychain. Darllenasom am un yn addef ar y dïenyddle, mai lladrata pres oddiar ei fam oedd y cam cyntaf tuag at y weithred ysgeler a'i dygodd i'r fath ddiwedd ofnadwy. Darllenasom am un arall yn y cyffelyb amgylchiad yn tystio mai ŵy oedd y peth cyntaf a ladratâodd; ond i'r duedd o hyny allan fyned mor gref, nes yr yspeiliodd ac y llofruddiodd ei gydwas. Hawdd fyddai nodi lliaws o esiamplau o'r fath. Nid aeth neb erioed i eithafion drygioni ar unwaith, ond yn raddol. Y maent yn dechreu gwyro ychydig oddiwrth reolau uniondeb, ac yn myned rhagddynt o un gradd mewn pechod i radd arall, nes i'r gydwybod gael ei serio, ac i'r tueddiadau llygredig fyned mor gryfion, fel o'r diwedd yr aberthwyd enw da a phob peth gwerthfawr er mwyn eu boddio. Nid oes dim yn fwy amlwg na'r cysylltiad sydd rhwng dechreuad a pherffeithiad drwg; ac eto nid oes dim yn anhaws na chario argyhoeddiad i feddwl yr ieuanc o wirionedd hyn. Pan yn cychwyn ar lwybr drwg, nid ydynt yn dychymygu nac yn arswydo y canlyniadau; ond y maent yn bwriadu sefyll ar dir diogel, ac y maent yn dra sicr yn eu meddwl y gallant ddianc pan y gwelant berygl yn ymddangos. Ond cyn iddynt ystyried, y maent wedi eu cymeryd yn garcharorion yn nghrafangau haiarnaidd arferion llygredig. Felly y dygwyddodd i Samson. Cymerwch, er esiampl, ŵr ieuanc yn yfed ar brydiau yn lled helaeth er mwyn y gwmnïaeth. Nid yw yn tybied ei fod yn cychwyn ar lwybr sydd yn debyg o ddybenu yn eithafion anghymedroldeb. Nid yw yn dychymygu fod un perygl o hyn. Y mae yn edrych ar, ac yn dywedyd am ei bechod, "Onid bychan yw?" Ond yn fuan ceir ei weled yn gaethwas i un o'r pechodau ffieiddiaf. Pa

mor ddiniwed bynag y mae pechod yn ymddangos yn ei ddechreuad, y mae cysylltiad rhynddo âg eithafion drygioni. Yr ydym yn ymwybodol ein bod wedi desgrifio y llwybr yr aeth llawer gŵr ieuanc gobeithiol ar hyd-ddo i eithafion drygioni a thrueni. Ac y mae o flaen ein meddwl wrth ysgrifenu y llinellau hyn liaws sydd yn y perygl mwyaf. Canys y maent yn anturio cellwair â phethau sydd wedi dinystrio miloedd. Pan y mae dyn yn gosod ei droed ar dir gwaharddedig, y mae yn ei daflu ei hun i diriogaeth y dinystrydd; gan hyny, nid oes diogelwch ond trwy ochel y dynesiad cyntaf at ddrwg.

2. Perygl arall yr adeg dan sylw yw gwammaldod ac ysgafnder meddwl. Y mae gwneuthur yn llawen yn dueddol iawn i ŵr ieuanc. Ymlidia ymaith o'r meddwl bob ystyriaeth ddifrifol am Dduw, ac angeu, a barn. Y mae gormod o duedd yn mhawb i bellhau y dydd drwg; ond fe ddichon mai yr ieuanc sydd yn fwyaf tueddol i hyn. Y mae yn dra hoff o gyfeillach lawen, ac yn barod i edrych ar bawb sydd yn ddifrifol yn rhai pruddglwyfus ac anhapus. Yr oedd Paul yn edrych ar yr ieuanc yn dra agored i'r drwg hwn; gan hyny fe annogai Titus i'w cynghori i fod yn sobr: *Titus* ii. 6. Pan y maent yn wammal ac yn gellwerus, nis gallant fod yn wyliadwrus; ac felly y maent yn agored i gael eu llyncu gan y llew rhuadwy: yr anwyliadwrus yw ysglyfaeth y diafol. Yn yr agwedd hon y maent fel y blufen ar wyneb y dòn, neu fel y dail yn hydref o flaen y gwynt. Yr oedd y mab afradlawn yn rhy ysgafn i ddal yr awel; fe aeth ymaith i wlad bell, gan ymroddi i geisio boddio ei nwydau llygredig. Y mae dyn ieuanc yn dra thueddol i ymgysegru i fwyniant pechod, a meluswedd buchedd, gan geisio hapusrwydd ar faes y cnawd. Y mae chwant y cnawd, a chwant y llygad, a balchder y bywyd, yn ymddangos yn deg o flaen ei ddychymyg. Y mae yn anhawdd meddwl am olygfa drymach na gweled dyn ieuanc yn myned o flaen y gwynt, yn ymroddi yn wirfoddol i wasanaethu amryw chwantau, yn dibrisio pob rhwystrau, ac yn dirmygu pob rhybuddion. A dyma yr agwedd sydd ar filoedd yn ein gwlad. Pa beth fydd diwedd hyny? Y mae yn dra pheryglus i Dduw eu rhoddi i fynu i gyflawni mesur eu hanwiredd. Nid ydym yn gwybod am un feddyginiaeth effeithiol rhag yr ysgafnder a'r gwammaldod sydd mor naturiol i'r ieuanc, ond ofni Duw, fel Obadiah. Gwna hyn y meddwl yn sobr heb fod yn athrist—yn ddifrifol a phwysig, heb fod yn bruddglwyfus. Darllenasom am Syr Francis Walsingham, yr hwn oedd yn un o wŷr y llŷs yn amser y Frenines Elizabeth, fod rhywrai llonwych wedi dyfod i ymweled âg ef, ac i un o honynt sylwi ei fod yn ymddangos yn bruddglwyfus. "Na (eb efe), nid wyf yn bruddglwyfus, ond yr wyf yn ddigellwair; ac y mae yn dra phriodol i mi fod felly: canys, fy nghyfeillion, pan yr ydym ni yn cellwair, y mae pob peth yn ddigellwair o'n hamgylch. Y mae Duw yn ddigellwair, yr hwn sydd yn gweithredu amynedd tuag atom. Y mae Crist yn ddigellwair, yr hwn a dywalltodd ei waed i wneuthur cymmod drosom. Y mae yr Ysbryd Glan yn ddigellwair yn ei ymrysoniadau â'n calonau cyndyn. Y mae yr ysgrythyrau sanctaidd yn llyfr digellwair; y mae yn gosod ger ein bron yr ystyriaethau pwysicaf. Y mae yr holl greadigaeth yn ddifrifol yn gwasanaethu Duw a ninnau. Y mae pawb sydd yn uffern yn ddigellwair. Pa fodd, gan hyny, y gallwn ni fod yn gellwerus, a pha fodd y gallwn oferdreulio ein hamser gwerthfawr a phwysig?" Ah! ein cyfeillion ieuainc, llanwer eich calonau â'r ystyriaethau oedd yn gwneyd Walsingham mor

ddifrifol, ac yna chwi a fyddwch yn rhy bwysig i wyntoedd profedigaethau eich taflu yn ol ac ymlaen.

3. Perygl arall yr adeg dan sylw yw ammheugarwch ac anghrediniaeth. "Y mae yn ffaith (medd un) fod tuedd gref yn meddwl yr ieuanc at ammheu crefydd ddadguddiedig ac at anffyddiaeth; ac y mae hyn, nid fel y dywed Bacon, am fod ychydig o philosophyddiaeth yn tueddu at anffyddiaeth, a bod graddau helaeth o philosophyddiaeth yn arwain yn ol at grefydd; ond y mae peth yn y galon yn wrthwyneb i grefydd, am fod crefydd yn darostwng ucheldrem dyn, ac yn dyrchafu Duw, yr hwn y mae syniad y cnawd yn elyniaeth yn ei erbyn; ac o herwydd bod crefydd yn rhwystr ar ei ffordd i fwynhau ei feluschwant." Clywsom yn ddiweddar am fachgenyn tan ddeg oed, wedi ei ddwyn i fynu mewn teulu Cristionogol, yn ymchwyddo, ac yn dywedyd wrth ei gymdeithion, "Nid wyf fi yn coelio y Bibl." Pa egwyddorion oedd yn gweithredu yma? Yr un rhai ag a dyfasant i nerth yn Voltaire, Paine, a Hume. Yr oedd gwreiddiau y pren gwenwynig yn ei galon. Ac y mae y gwraidd oedd yn y plentyn a nodwyd wedi tyfu yn bren gwenwynig ar rai a fagwyd yn sŵn yr efengyl yn Nghymru. Y maent oddiar gariad at hynodrwydd, ac er mwyn cael heddwch mewn pechod, yn gwadu angel, ac ysbryd, ac adgyfodiad. Y mae ystyriaeth o'u cyfrifoldeb yn eu dychrynu, ac y maent yn ceisio tangnefedd a diogelwch mewn pechod trwy ammheu dwyfol ddadguddiad. Y mae cariad at bethau gwaharddedig yn y Bibl yn demtasiwn gref i ammheuaeth; ac y mae calon lygredig yn ysgogi yn naturiol at hyn; canys y mae yn gas ganddi Dduw, a phob peth sydd yn perthyn iddo. Y mae yn ein gwlad heddyw filoedd o anffyddwyr ymarferol, os nad ydynt yn egwyddorol. Y mae egwyddorion anffyddiaeth fel pla dinystriol yn yr oes hon. Efallai mai yr egwyddorion hyn yw y bwystfil a ddaeth allan o'r pydew diwaelod, ie mai dyma yr anghrist y rhagfynegwyd am dano; canys y mae yn dirmygu Crist a phob peth sydd yn perthyn iddo. Hwn oedd yn teyrnasu yn Ffrainc yn amser "teyrnasiad y dychryn," ac y mae yn yr oes hon yn estyn ei deyrnwialen dros lawer o deyrnasoedd Ewrop. Pa beth yw rhesymolwyr Germany, ond deiliaid y bwystfil hwn? Beth yw y difaterwch am grefydd, a'r dibrisdod cyffredinol sydd ar bethau Duw, ond ymostyngiad i lywodraeth y bwystfil? Ac y mae yn beth mawr os dianga ieuenctyd Cymru heb dderbyn ei nôd, a chael eu dyfetha ganddo. O ieuenctyd! yr ydych yn myd y drygau a'r peryglon, ac y mae ein henaid yn teimlo drosoch. Ac nid oes a'ch diogela rhag y drygau a nodwyd ond ofni 'r Arglwydd, fel Obadiah. Wedi i chwi unwaith deimlo yn eich heneidiau awdurdod crefydd, a derbyn ei hegwyddorion i'ch calonau, fe fydd genych dystiolaeth ynoch eich hunain, ac nis gall holl gyfrwys ddadleuon y byd eich siglo.

Y mae yr ofn hwn, nid yn unig yn foddion i'ch cadw rhag y drygau a'r pechodau ag yr ydych yn agored iddynt, ond i'ch cadw hefyd rhag y gofidiau a'r blinderau sydd yn anwahanol gysylltiedig âg amddifadrwydd o ofn Duw. Tra y mae dyn yn byw heb ofni Duw, y mae yn casglu defnydd blinder erbyn amser dyfodol. Os caiff drugaredd, fe fydd yn gorfod meddiannu camweddau ei ieuenctid, a gwisgo cywilydd o herwydd ei hen bechodau. Gyda pha fath gywilydd a gofid yr oedd Paul yn galw i gôf ei gydsyniad â'r weithred o labyddio Stephan: *Act.* xx. 20? Pwy all ddirnad ei deimladau pan y dywedai, "Nid wyf deilwng i'm galw yn

apostol, am i mi erlid eglwys Dduw; yr hwn oeddwn o'r blaen yn gablwr, yn erlidiwr, ac yn drahaus." Y mae adgoffa pechodau mebyd ac ieuenctid yn archolli ysbryd ac yn gofidio meddwl llawer yn ein dyddiau ninnau. Y mae yr hen bechodau yr ymarferwyd â hwy yn rhuthro ar brydiau gan ofyn gwasanaeth, a thrwy hyn y maent yn terfysgu yr enaid yn ddirfawr. Bryd arall y mae cyhuddwr y brodyr yn eu dannod i'r enaid, ac yn eu presennoli ger ei fron, nes y mae ar lewygu yn yr olwg arnynt. Y mae darllen hanes bywyd yr hen Bunyan, a'r gofid a gafodd o herwydd pechodau ei ieuenctid yn ddigon, gellid meddwl, i gyffro y meddwl i ymroddi i ofn Duw yn ieuanc; canys y mae y rhai sydd yn ofni 'r Arglwydd yn eu mebyd yn cael llonyddwch oddiwrth y gofidiau a nodwyd. Pwy a glybu Ioan neu Timotheus yn cwyno yn chwerwder eu henaid fel Paul? Y pechodau ac y mae pobl ieuainc yn chwareu ynddynt, y maent yn sicr o archolli y galon rywbryd, ac o droi yn chwerw mewn rhyw amgylchiadau. Os mynech ochel y gofidiau hyn, llefwch am i Dduw osod ei ofn yn eich calonau yn ieuainc. Yr ydym wedi meddwl lawer gwaith y buasai yn well genym na'r byd, pe buasem, fel Obadiah, yn ofni yr Arglwydd o'n mebyd.

Y mae ofni yr Arglwydd yn ieuanc, nid yn unig yn ddiogelwch rhag llawer o ofidiau, ond y mae yn debyg o godi ei feddiannydd i fod yn ddefnyddiol yn ei oes; a dyma beth y dylai pawb ymestyn ato. Dyma y fraint uchaf a gafodd dyn erioed, sef bod o ryw ddefnydd dros Dduw i'w gyd-ddynion. Y mae yr arglwyddi uchaf yn edrych arni yn fraint cael gwneuthur rhyw wasanaeth oddeutu person y brenin; ond pa faint mwy braint yw i ddim, a llai na dim, gael gwneuthur y gwasanaeth iselaf i Frenin y breninoedd? Gwasanaethu yr eglwys, yr hon yw corff Crist, yw y fraint uchaf a gafodd creadur erioed. Pe caffai dyn ei alw yn ei henaint, nis gallai fod o nemawr ddefnydd. Mae y meddwl wedi marweiddio, a'r holl beiriant yn anhwylus i waith. Braint annhraethol, O ieuenctyd! yw bod yn foreu gyda gwaith yr Arglwydd, a gweithio yn ddiwyd trwy 'r dydd, a chael galwad adref yn gynnar. Y mae llawer sydd ar y maes yn foreu yn cael y fraint hon. Melus fydd gorphwys wedi gweithio yn ffyddlawn, a derbyn y wobr wedi gorphen y gwaith.

Y mae ofni yr Arglwydd yn ieuanc nid yn unig yn ben y ffordd i ddefnyddioldeb, ond yn sicr o ddwyn i anrhydedd. Yr oedd dyn yn ei ddechreuad yn greadur anrhydeddus; ac y mae yn naturiol iddo ymestyn at anrhydedd. Ond y mae y nifer fwyaf yn ceisio anrhydedd ar ffordd sydd yn arwain i warth. Y ffordd sydd yn arwain yn anffaeledig i anrhydedd yw ofni yr Arglwydd o'r mebyd. "Dyrchafa di hi, a hithau a'th ddyrchafa di: hi a'th ddwg di i anrhydedd, os cofleidi hi: hi a rydd ychwaneg o ras i'th ben di; ïe, hi a rydd i ti goron gogoniant." Y mae rhyw anrhydedd neillduol yn cael ei osod ar y rhai hyn yn yr ysgrythyrau sanctaidd. Nid yw ein terfynau yn caniatâu i ni fynegi am Joseph, Abiah, Daniel a'i gyfeillion, y rhai y mae eu coffadwriaeth yn fendigedig. Y mae enwau Ioan a Timotheus yn beraroglaidd. Mae yr enw "hen ddysgybl" yn gosod anrhydedd oesol ar Mnason. Yr oedd y cyfryw un ag apostol mawr y cenedloedd yn ei chyfrif yn fraint cael lletya gydag ef. Ac y mae yn anmhosibl bod yn hen ddysgybl heb fod yn ieuanc yn yr ysgol. Y mae coffadwriaeth y rhai a nodwyd fel gwin Libanus; ac os cofleidiwch chwithau grefydd yn ieuainc, hi a'ch dwg i anrhydedd yn y byd hwn, ac yn y byd a

ddaw. Adnabuom rai y pydrodd eu henwau o flaen eu celain; ond y mae enw da y rhai sydd yn ofni 'r Arglwydd o'u mebyd yn byw yn ein mysg er eu bod hwy wedi meirw.

Y mae ofni yr Arglwydd yn ieuanc yn codi y cyfryw i fod yn wrthddrych hoffder neillduol yr Arglwydd Iesu Grist. Yr oedd Daniel yn ofni yr Arglwydd o'i febyd, ac fe'i gelwir gan yr angel yn "ŵr anwyl," a chafodd amlygiadau hynod o ffafr Duw. Tybir mai Ioan oedd yr ieuengaf o'r dysgyblion, a gelwir ef "y dysgybl anwyl," a'r "dysgybl yr hwn yr oedd yr Iesu yn ei garu." Ioan oedd yn pwyso ar fynwes yr Iesu; i Ioan y rhoddes ofal ei fam; Ioan gafodd ei weled yn ei ogoniant yn Ynys Patmos. Yr oedd yn hoff iawn gan yr Arglwydd Iesu weled rhai ieuainc yn dyfod ato. Yn awr, beth debygech am ymroddi o'ch gwirfodd i'r Arglwydd yn moreu eich dyddiau? Efallai y tynwch trwy hyn ddirmyg arnoch eich hunain oddiwrth rywrai; ond y mae yn fraint ac yn anrhydedd cael dioddef anmharch er mwyn ei enw ef. Os bydd y byd yn eich casâu, cewch ewyllys da Preswylydd y berth. Os collwch ffafr rhai o bryfed y ddaear, cewch ffafr yn ngolwg yr Hwn sydd yn "Arglwydd pawb oll." A bod yn wrthddrychau ei ffafr ef fydd yr unig beth o werth yn yr amgylchiadau sydd o'ch blaen.

Y mae ofni 'r Arglwydd o'r mebyd yn rhoi hyder neillduol yn y meddwl na wrthyd Duw ef mewn hen ddyddiau. Yr oedd hyn yn ddefnydd cysur cryf i'r Salmydd: *Salm* lxxi. 17, 18, "O'm hieuenctid y'm dysgaist, O Dduw, hyd yn hyn y mynegais dy ryfeddodau." Yr wyf tan dy addysg o'm mebyd, ac yn dy wasanaeth trwy fy oes; ac yn awr yr wyf yn ymyl henaint a methiant; "Na wrthod fi chwaith, O Dduw, mewn henaint a phenllwydni." Ac y mae y gair wedi myned allan o enau Duw yn Esaiah, gan gadarnhau yr hyn y gweddïai y Salmydd am dano; "Tŷ Jacob, gwrandewch arnaf fi, a holl weddill tŷ Israel, y rhai a ddygpwyd genyf o'r groth, ac a arweddwyd o'r bru; Hyd henaint hefyd myfi yw; ïe, myfi a'ch dygaf hyd oni phenwynoch; gwnaethum, arweddaf hefyd; ïe, dygaf, a gwaredaf chwi." Y mae ambell i eglwys gnawdol sydd â'u clustiau yn merwino, yn bwrw allan ei hen weinidog er mwyn cael newyddian: ond nid felly y gwna Duw; "Hyd henaint myfi yw." Pan yr ydych yn analluog i waith, ac wedi eich cylchynu gan wendid, a'ch perthynasau agosaf, efallai, wedi blino arnoch, ac yn dymuno gweled eich claddu; eto, "Myfi yw." Yr wyf fi yn parhau yr un pan y mae pawb yn newid; ïe, pan yr ydych chwithau yn newid gan henaint a gwendid, "Myfi yw." Y mae pendefigion o anrhydedd yn ofalus am y rhai a roisant flodau eu dyddiau yn eu gwasanaeth; ond nid oes neb fel ein Duw ni. Pan bydd eich nerth wedi ei dreulio, fe'ch "harwedda." Pan bydd yr archwaeth at ymborth wedi darfod, fe hilia eich bwrdd â danteithion y fath a gara eich henaid; fe enfyn botelau i'ch cynnal, ac afalau i'ch cysuro. Pan y byddwch yn myned allan o gyrhaedd eich brodyr, fe fydd dwylaw eich Harglwydd yn derbyn eich ysbryd. Pan y bydd rhywrai yn eich claddu allan o'r golwg, fe fydd eich Meistr yn dywedyd, "Cleddwch chwi, ond mi a'i hadgyfodaf ef yn y dydd diweddaf." Fe ysgrifena yn ei lyfr y fan y gorwedd eich llwch, ac fe ddisgyn ei hun i'ch cyrchu adref, i fod lle y mae yntau am dragywyddoldeb. Gwyn fyd y rhai sydd yn ofni yr Arglwydd o'u mebyd!

O ein darllenwyr ieuainc! ymofynwch am y grefydd hon. Gwyliwch wrthod yr Arglwydd yn eich ieuenctid, rhag iddo yntau eich gwrthod

chwithau: "Ceisiwch yr Arglwydd tra y galler ei gael ef." "Y sawl a'm ceisiant yn foreu a'm cânt." Gallwn ddywedyd wrth liaws o honoch, Ceisiwch, ac ofnwch Arglwydd Dduw eich tadau. Y weithred ynfytaf a ellwch ei chyflawni yw gwrthod Duw eich rhieni. Pa fodd y gellwch edrych ar estroniaid eithafoedd y ddaear gyda hwy yn nheyrnas nefoedd, a chwithau wedi eich bwrw allan? Bydd yn rhyfedd gan baganiaid eich gweled chwi allan. Bydd y cythreuliaid sydd yn eich temtio heddyw yn eich gwawdio byth am eich ynfydrwydd. Gan hyny, ymroddwch yn ddioedi i Dduw a'i wasanaeth.

Ond fe ddichon ein hysgrif fyned i law y rhai a dreuliasant eu mebyd a'u hieuenctid heb ofn Duw ger bron eu llygaid: y rhai a roddasant eu dyddiau goreu i wasanaethu pechod. Yr ydym o dan rwymau i'ch beio, ac y mae Duw yn eich beio yn ddirfawr. Ond er y cwbl, "yn nghymdeithas y rhai byw oll y mae gobaith." Mae y Duw trugarog a hwyrfrydig i ddig yn para i alw arnoch, "Heddyw ar ol cymaint o amser; megys y dywedir, Heddyw, os gwrandewch ar ei leferydd ef, na chaledwch eich calonau." Nac oedwch yn hwy. Rhoddwch eich calonau heddyw i'r Arglwydd. Cyflwynwch eich hunain i'r hwn a dderbyniodd y lleidr, pan yn safn marwolaeth. Gochelwch oedi, rhag y cewch deimlo yr hyn sydd yn nghynnwys y gair, "Yn foreu y'm ceisiant, ond ni'm cânt."

Gosoded Duw ei ofn yn nghalonau holl ieuenctyd Cymru, er mwyn haeddiant ein Harglwydd Iesu Grist.

---

## YSGRIFENIADAU MORGAN LLWYD.

Y MAE yn gysur genym weled cymaint o lyfrau newyddion yn cael eu hargraffu yn Nghymru y dyddiau hyn, nid yn unig er mwyn yr argraffwyr eu hunain, ond hefyd, ac yn benaf, er mwyn y dorf o ddarllenwyr, yr hon, y mae lle i feddwl, sydd o hyd yn cynnyddu mewn archwaeth dda a gwybodaeth fuddiol, yn gystal ag mewn rhifedi. Nid ydym ychwaith yn grwgnach o herwydd fod y llyfrau goreu yn iaith y Saeson yn cael eu cyfieithu i'r Gymraeg. Y mae yn rhaid addef fod ganddynt hwy amryw gyfansoddiadau, nad oes genym ni ddim i'w gysdadlu â hwynt. Hoff yw genym ein gwlad a'n hen iaith odidog, ond hoffach yw gwirionedd. Yr ydym yn elynion marwol i bob rhagfarn genedlaethol a chrefyddol. Ond nid anfuddiol fyddai cofio y dichon fod rhagfarn yn erbyn y Gymraeg yn gystal ag o'i phlaid; ac nad yw y ffaith fod llyfr wedi ei ysgrifenu yn iaith Hengist yn ddigon i brofi ei fod yn werth ei gyfieithu, neu o'r tu arall, ei fod o anghenrheidrwydd yn annheilwng o dderbyniad o herwydd darfod ei fyfyrio a'i gyfansoddi rhwng bryniau creigiog Cymru. Yr ydym yn cofio clywed am dyddynwr parchus yn sîr Ddinbych, yr hwn, pan yn cychwyn i'w daith i un o wledydd breision Lloegr, a dderbyniodd orchymyn penodol oddiwrth ei brïod serchus i brynu y darn goreu a fedrid gael am arian o ryw ymborth neillduol, yr hwn a ystyrir gan lawer yn anhebgorol fel attodiad ar ddiwedd ciniaw. Nid rhaid ei enwi yma. Digon yw dywedyd

fod sir Gaerlleon yn enwog am dano er ys blyneddau; a'i fod yn rhan arbenig o'r hyn a gynnwysir yn y gair rhagorol hwnw, *enllyn*—yr hwn air, wrth fyned heibio, nid oes gan y Saeson yr un yn eu hiaith yn cyfateb iddo. Wele, yr ymborth gorchymynedig a brynwyd, ac a ddygwyd adref yn ddiogel. Mawr oedd y ganmoliaeth a roddid iddo gan y dyeithriaid a ddygwyddent gyfranogi o hono; a lliosog oedd yr holiadau am y lle y cafwyd ef, a'r pris a roddwyd am dano. Ond ryw ddiwrnod, tarawai y gyllell wrth ryw sylwedd caled yn ei ganol; ac erbyn edrych, pa beth oedd yno ond allwedd fechan, yr hon yr oedd gwraig y tŷ wedi ei cholli amryw fisoedd cyn hyny. Na ddyweded neb fod yr hanesyn yma yn rhy wael i ymddangos yn y "Traethodydd;" oblegid y mae yn ddesgrifiad cywir o'r dull yr ymddygir yn rhy gyffredin at gyfansoddiadau o darddiad Cymreig. Dyma ysgrifeniadau Morgan Llwyd yn llawn o athrylith wreiddiol a gwirioneddol, ac eto nid oes un o bob cant o'r Cymry yn gwybod dim am danynt. Nid oes, am a wyddom ni, mewn bod, ond ychydig iawn o goffadwriaeth am dano. Er holi llawer, methasom gael nemawr ychwaneg o'i hanes nag a gynnwysir yn "Nrych yr Amseroedd," gan Robert Jones, Rhos-lan. Os oes rhai yn meddu ychwaneg, byddai yn dda genym glywed oddiwrthynt. Ar ol sôn y byddai yn pregethu yn Mhwllheli ar ddyddiau marchnad, ac yn arfer myned trwy y farchnad â'i ddwylaw ar ei gefn, a'i Fibl yn ei law; ac y byddai y bobl yn cilio o'i flaen, fel pe buasai gerbyd yn carlamu trwy yr heolydd; y mae awdur y llyfr difyr hwnw, rai tudalenau ymhellach ymlaen, yn dywedyd am dano fel y canlyn:—

"Yr oedd Morgan Llwyd o deulu Cynfal, yn mhlwyf Maentwrog, sir Feirionydd. Mab ydoedd, medd rhai, nai medd eraill, i Hugh Llwyd, Cynfal. Clywais ddywedyd, pan oedd yr hen ŵr yn glaf, ychydig cyn marw, ei fod yn dymuno gweled Morgan. Gofynodd y rhai oedd gydag ef iddo, 'Ai nid ydych yn ewyllysio gweled eich mab Dafydd?' Atebodd yntau, 'Nac wyf: nid yw hwnw ond ffwl meddw fel finnau. O na chawn weled Morgan.' Mae yn debygol wrth hyn mai ei fab ydoedd. Mae yn dra thebygol mai drwy weinidogaeth Mr. Walter Cradoc y cafodd dröedigaeth, pan oedd Mr. Cradoc yn gweinidogaethu yn Ngwrecsam: ond pa un ai yn yr ysgol, ai ar ryw achos arall, yr oedd efe yno, nid yw yn hysbys. Yr oedd yn ŵr o gynneddfau cryfion, yn nodedig am ei dduwioldeb, dwfn iawn yn ei fyfyrdodau: ac yr oedd llawer o bethau dirgelaidd yn ei ymadroddion, ei lythyrau, a'i lyfrau, anhawdd i lawer eu deall. Ysgrifenodd amryw o lyfrau bychain yn Gymraeg, megys 'Llyfr y Tri Aderyn,' 'Gair o'r Gair,' 'Yr Ymroddiad,' 'Gwaedd yn Nghymru,' &c. Teithiodd lawer trwy Gymru i bregethu yr efengyl. Gelwid ef gan wyr y Deheudir, Morgan Llwyd o Wynedd. Bu yn weinidog yn Ngwrecsam dros rai blyneddau, yn yr amser y trowyd amryw o offeiriadau anfucheddol allan o'r llanau. Bu farw o gylch y flwyddyn 1660, a chladdwyd ef yn mynwent yr Ymneillduwyr gerllaw Gwrecsam. Gwelais y gareg yno a fuasai ar ei fedd, ac arni y ddwy lythyren yma, sef M. Ll. Dywedir i ryw wr boneddig, o erlidiwr creulon, yn ei gynddaredd wrth fyned heibio, drywanu ei gleddyf i'w fedd hyd at y carn. Dywedir fod rhyw bwys a thrymder neillduol wedi syrthio ar feddyliau Mr. Vavasor Powell, y nos y bu farw Morgan Llwyd, ac iddo ddywedyd wrth y rhai oedd gydag ef y geiriau hyn, 'Aeth y seren ddysgleiriaf yn Nghymru dan gwmwl heno:' er na wyddai efe y pryd hwnw ddim am y farwolaeth a ddygwyddasai. Byddai rhyw bethau neillduol yn cael eu hamlygu i Morgan Llwyd cyn eu dyfod i ben. Un tro, pan oedd yn pregethu yn mhentref Ffestiniog, a bod yno, yn mysg amryw oedd yn cellwair ac yn gwawdio, un dyn ieuanc yn rhagori arnynt oll mewn ysgafnder a chellwair; wrth sylwi arno, nododd ef allan, gan ddywedyd wrtho fel hyn, 'Tydi, y dyn ieuanc, gelli adael heibio dy gellwair: tydi yw y cyntaf a gleddir yn y fynwent yma.' Ac felly y bu. Bryd arall, fel yr oedd yn pregethu yn Machynllaith, a rhai plant wedi dringo i goed ag oedd gerllaw, efe a gyfeiriodd ei law tuag atynt, gan ddywedyd y geiriau hyn, 'Pan ddel y plant hyn i oedran gwŷr, fe ymâd yr efengyl o Fachynllaith:' ac felly y bu dros faith flyneddau. Ond y peth hynotaf oedd ei

rhagfynegiad am ddiwygiad mewn crefydd yn Nghymru, yn y geiriau nodedig sy'n canlyn :—

"'Mae dynion gwych, hiliogaeth yr hen Jacob, yn barod i gyfodi allan o'r pridd; 'ac er hyny, o'r nefoedd y disgynant. Y mae ffynnonau y môr tragywyddol yn tori allan 'ynddynt; ac ni all y byd, na'r cnawd, na'r cythraul, mo'u cau, na'u cadw dan y 'ddaear. Y tri hyn a orchfygant y tri byd; oddi fewn, oddi allan, ac oddi fry. Fe 'fydd y rhai hyn yn golofnau yn nheml Duw, ac arnynt hwy yr ysgrifenir y tri enw: 'ynddynt hwy y darllenir enw y Tad nefol, yr hwn yw y Brenin anfarwol; a'r Fam 'nefol, yr hon yw Caersalem newydd, a'r naturiaeth angelaidd; a'r Brawd nefol, Crist, 'o flaen yr hwn nid yw yr haul ganol dydd ond fel sachlen ddu dywyll; ac wrth ei 'enw newydd, ni bydd ond ychydig a'i hedwyn. Yna yr ymddengys Paradwys, a phren 'y bywyd, ac arch y dystiolaeth, a'r manna cuddiedig, a'r byd anweledig sydd trwy y 'byd hwn; a hwnw a bery byth. Ni theflir y pethau hyn i'r cŵn. Bwyd y moch yw 'y mês, ond y rhai ysbrydol a fwytânt o fara 'r bywyd: ac yno y cair gweled rhagor 'rhwng y morwynion call a'r rhai anghall, ac y dywedir y llais cryf, Y sawl sy 'frwnt, bydded frwnt eto, a'r gwatwarwr coegddall, bydded ddall byth. Ond y cyf-'iawn a grêd, ac a gaiff weled â'i lygaid y Brenin Iesu yn ei degwch; a'r delwau a 'gwympant o'i flaen, a'r teyrnasoedd a blygant i'r bummed freniniaeth, fel meibion 'Israel i Joseph, megys y dywed yr Ysgrythyr sanctaidd yn helaeth. Mae hyn yn 'agos, wrth y drws: ïe, ac yn oes gŵr fe'i gwelir. Mae y droell yn troi yn rhyfedd 'drwy yr holl fyd yn barod; ac a drŷ eto yn gyflymach ac yn rhyfeddach beunydd: '*Dan.* xii. 10; *Math.* xxv; *Dat.* xxii. 11; *Esay* xxxiii. 17; *Dan.* vii. 27; *Esay* 'xi. 9.'

"D.S...Os cymherir yr amser yr ysgrifenodd M. Llwyd y rhagfynegiad uchod â'r amser y torodd y diwygiad allan yn Nghymru; ïe, yn Lloegr, Scotland, ac America hefyd, sef tua'r flwyddyn 1739, gellir gweled i'r cyflawniad ddyfod i ben fel y rhagddywedasai, sef, "Yn oes gwr fe'i gwelir."

Yn y gyfrol gyntaf, tudal. 31, o'r "Drysorfa Ysbrydol," a gyhoeddwyd gan Mr. Charles, dywedir fel y canlyn :—

"Trwy weinidogaeth Mr. Walter Cradoc, yn Ngwrecsam, y cafodd Morgan Llwyd o Gynfal ei alw. Gwr tra enwog yn ei oes oedd Morgan Llwyd; o gynneddfau cryfion, dwys fyfyrdod, a symlrwydd duwiol. Bu yn fynych yn y parthau hyn yn pregethu, yn y Bodweni, a manau eraill. Y rhai a alwyd trwy ei weinidogaeth ef oeddynt ddechreuad y gynnulleidfa gyntaf o Ymneillduwyr yn y fro hon."

Yn yr un gyfrol, tudal. 171, cawn y sylw a ganlyn yn hanes Mr. Cradoc :—

"Oddeutu'r flwyddyn 1632, trwy ryw Ragluniaeth anadnabyddus i ni yn bresennol, daeth Mr. Cradoc i fod yn gurad yn Ngwrecsam, yn sir Ddinbych. Gwisgwyd ef yno â nerth neillduol o'r uchelder; a bu yn hynod ddefnyddiol i alw pechaduriaid i edifeirwch. Yr oedd yn llafurus iawn yn ei waith; yn pregethu nid yn unig yn y dref, ond hefyd mewn parthau oddiamgylch. Yn y cyfamser yr oedd Morgan Llwyd yn ddyn ieuanc yn yr ysgol, yn Ngwrecsam. Trwy weinidogaeth Mr. Cradoc yr ymwelodd yr Arglwydd gyntaf â'r gwr enwog hwnw, yr hwn a fu yn gweinidogaethu yn Ngwrecsam ar ol i Mr. Cradoc ymadael oddiyno, ac a fu yn dra llafurus yn pregethu mewn amryw fanau, yn Neheubarth a Gwynedd.

Nid ydym yn cyfrif ein hunain yn ddigon medrus i esbonio y rhagddywediadau rhyfeddol a grybwyllir uchod. Ond y mae yn rhaid i ddyn fod yn hynod o anwybodus, os nad yw yn dëall fod llawer o bethau yn dygwydd yn y byd y rhai nid yw efe yn alluog i'w hamgyffred. Pe agorem ein llygaid, ni a welem ein bod yn byw o hyd yn nghanol rhyfeddodau. Ond oes ryfeddach na chyffredin oedd yr oes hono mewn llawer ystyr, pan oedd pob math o egwyddorion yn ymweithio yn erbyn eu gilydd mewn llawn nerth, ac yn gwneuthur yr holl deyrnas yn dryblith drwyddi; pan

o'r diwedd y torwyd pen träarglwyddiaeth yn mherson Siarl y cyntaf, ac y dyrchafwyd yr ynys hon dan lywyddiaeth Cromwell i uwch bri yn ngolwg cenedloedd y ddaear nag y buasai erioed o'r blaen. Yr oedd yn oes o ddinystr cyffredinol ar ffurfiau difywyd, ac o gyffro alaethus ymhlith y pryfed copyn wrth weled eu gwëoedd yn cael eu hysgubo ymaith mor ddiarbed. Dymunol fuasai pe gallesid difodi gwaith y creaduriaid hyn heb beryglu eu bywydau, na pheri iddynt ddyoddef llawer o anghyfleusdra; oblegid nid ydym yn chwennych niweidio cymaint a phryf copyn, os gellir peidio. Er hyny, dylem gofio mai am fywyd, ac am bethau gwerthfawrocach na bywyd, yr oeddynt hwy yn ymladd: a phan ddelo amgylchiad felly, nid hawdd yw cadw o fewn terfynau rheswm na rheol. Ond nid oes modd i ni ddesgrifio yr amseroedd hyny yn well nag yn ngeiriau Morgan Llwyd ei hun, yn "Llyfr y Tri Aderyn:"

"Nid oes chwaith neb yn nheyrnas Lloegr, nag yn ninas Llundain, yn ei ddëall ei hunan. Y peth a wnelont heddyw, mae rhyw ysbryd yn ei ddadwneuthur yfory. Ni welaf i ddim yn dyfod i ben yn ol meddyliau dynion: ond mae rhyw droell arall yn troi uwchlaw synwyr pawb. Mae yr ûs yn ymgasglu, a chorwynt disymwth yn ei chwalu: mae y pryf copyn yn hir yn gweu ei rwyd, a rhyw blantos yn ysgubo y cwbl i lawr mewn mynyd awr. Mae y bobl ar a welaf i mewn odyn galch, neu fel plant yn gwneuthur tai bach yn min afon, a'r llifeiriant yn ddisymwth yn codi, ac yn ysgubo y cwbl. Mae rhyw nerth yn mysg dynion yr awrhon nad oedd o'r blaen. Mae rhyw ysbryd rhyfedd yn gweithio, er nad yw y bobl yn gweled."

Dyma nodweddiadau ei oes; ac y maent i'w gweled yn amlwg yn ei ysgrifeniadau. Nid oes ynddynt ddim tebyg i ffurfioldeb. Y mae yr awdur yn dal cymdeithas â natur yn ei holl sylweddolrwydd, a'i phrydferthwch cynhenid. Yr ydym wrth ddarllen ei waith yn teimlo fel dyn yn dianc o ganol un o drefydd myglyd Lloegr—a phwy na wnai hyny pan y gallai—i anadlu awyr iach mynyddoedd Cymru. O ganlyniad y mae ei feddyliau yn hynod o wreiddiol. Y mae natur bob amser yn newydd; ac y mae rhywbeth ffres yn mhob dyn sydd yn meddwl ac yn llefaru yn ei ddull naturiol ei hun. Pwy bynag a fyno fod yn wreiddiol, nid rhaid iddo ond treiddio trwy ffurfiau i natur pethau: y mae yma ystorfa anhysbyddadwy. Pan fyddo gwyneb y tir wedi ei weithio allan, nes myned yn hollol ddiffrwyth, gyrer yr aradr yn ddyfnach i'r ddaear, a cheir yn fuan gynnyrch toreithiog; hyny yw, os bydd yno ddyfnder daear i'w gael. Ond ar rai amserau, y mae Awdur natur ei hun yn rhwygo holl ffynnonau y dyfnder mawr, ac yn dwyn nerthoedd newydd i fynu o grombil y ddaear, nes y bydd yn ymddangos fel byd newydd ei greu, yn barod i dderbyn yr hâd ymron heb ddim triniaeth. Felly y bu yn amser y Diwygiad Protestanaidd. Y mae yn debyg mai y pryd hwnw y bu y cynhyrfiad mwyaf ar feddyliau dynion er dyddiau yr apostolion; ac y mae yr effeithiau i'w gweled yn nghyfansoddiadau beirdd ac athronwyr, yn gystal a duwinyddion, yr oes hono. Er nad oedd y cyffro yn amser Cromwell yn cyrhaedd mor bell, eto yr oedd yn llawn mor ddwys, os nad yn ddwysach, yn yr ynys hon: ac y mae dyfnder cyfatebol i'w weled yn ysgrifeniadau Milton, Owen, Howe, a Baxter. Nid ydym am gymharu Morgan Llwyd âg un o'r gwŷr hyn gyda golwg ar faintioli ei feddwl. Ond eto y mae yr un naturiaeth yn rhedeg trwy ei holl waith yntau; ac nis gallwn lai na thybied ei fod, o ran gwreiddiolder, yn sefyll mor uchel a neb o'i gydoeswyr.

Fel y rhan fwyaf o awduron ag sydd yn nodedig am wreiddiolder, y mae Morgan Llwyd weithiau yn lled aneglur; ac ysgatfydd ei fod mewn rhai manau yn rhy gyfriniol. Er hyny, nid hawdd yw penderfynu pa le y mae y clawdd terfyn i fod, tuhwnt i'r hwn nis gall ysgrifenydd ysgogi heb fod yn euog o aneglurder gormodol. Yr hyn sydd yn amlwg i un a ddichon fod i'r llall yn dywyll fel y fagddu. Ymhlith yr awduron enwocaf yn yr Almaen, y mae Novalis a Jean Paul Richter, y rhai ydynt weithiau yn dra aneglur. A dywedir fod y cyntaf o'r ddau yn hoff iawn o Jacob Behmen, y mwyaf cyfriniol, ond odid, o'r holl ysgrifenwyr. Ond heb ymdroi gydag ysgrifenwyr Almaenaidd, nid ydym yn credu fod neb erioed wedi canfod y pen pellaf i feddyliau mawrion Shakspeare a Milton. Y gwir yw, nad oes un llyfr yn werth llawer, os na fydd ambell waith yn agor rhyw olygfêydd o flaen y darllenydd, y rhai nid yw efe, nac ychwaith yr awdur ei hun, yn medru olrhain eu terfynau. Mae yn debyg mai yr oll a ellir yn rhesymol ei ddysgwyl yw, fod yr awdur yn ein harwain i le digon manteisiol i weled, a hyny ar dywydd digon clir. Gofaled na fyddo niwl yn ei amgylchynu ef a'r darllenydd, yn cuddio pob gwrthddrych oddiwrthynt, ac yn eu rhwystro efallai o'r diwedd i weled eu gilydd. Bydded yno ryw gymaint, a goreu po mwyaf, yn hollol eglur, ac os bydd yr olygfa yn ymestyn ymhell tuhwnt i gyrhaeddiad ein golygon, bydd yn hyfryd genym ei dilyn ymlaen, nes y byddo y nefoedd a'r ddaear, yn raddol, yn ymddangos fel yn cyffwrdd â'u gilydd, a ninnau yn colli ein hunain mewn anfeidroldeb. Byddai yn dda i bob myfyriwr ieuanc ystyried nad yw i feddwl am fesur yr hyn oll a ddarlleno. Dylai gofio drachefn a thrachefn fod pob peth naturiol yn cynnwys dirgelwch, ac o ganlyniad ei fod yn anolrheinadwy.

Un achos o ymddangosiad cyfriniol mewn rhai awduron yw eu gwaith yn cario dull allegawl o ysgrifenu i eithafoedd. Y mae gradd o hyn i'w weled yn Christmas Evans, a mwy efallai yn Morgan Llwyd; ond nid cymaint yn neb a'r rhagddywededig Jacob Behmen. Tra y cedwir y dull hwn o ysgrifenu o fewn terfynau, y mae yn un o'r addurniadau godidocaf mewn cyfansoddiad. Y mae yn gwisgo meddylddrychau ysbrydol â chyrff daearol, ac yn eu gosod yn weledig o flaen ein llygaid. Y mae nid yn unig yn tystiolaethu ac yn profi fod y fath beth yn bod, ond y mae hefyd yn dangos pa fath ydyw. Ond nid oes dim yn fwy peryglus yn llaw ysgrifenydd heb chwaeth gywir, yr hwn sydd yn rhy dueddol i anghofio y sylwedd wrth ddilyn y cysgod. Nid da gormod o ddim. Anghenrheidiol yw gwybod pa le a pha bryd i beidio, rhag i ni fod yn gyffelyb i'r Gwyddel, yr hwn a dybiai, os oedd cymeryd llonaid llwy bob dydd o'r physigwriaeth yn debyg o'i wella mewn ychydig wythnosau, y byddai cymeryd yr holl gostrelaid ar unwaith yn rhwym o wneyd yr un peth mewn un noswaith. Priodol hefyd yw cadw mewn côf fod rhyw berthynas, rhyw gyfatebrwydd, i fod rhwng y gyffelybiaeth a'r mater y dymunir ei osod allan. O ddiffyg sylwi ar hyn, y mae llawer, wrth geisio portrëadu eu meddyliau trwy gyffelybiaethau, yn rhy debyg i'r paentiwr hwnw, yr hwn oedd mor anghelfydd, medd y chwedl, fel y gorfyddai iddo ysgrifenu, Dyma lûn dyn, neu, Dyma lûn coeden, cyn y gallesid penderfynu pa wrthddrychau yr amcenid eu darlunio.

Yn gyferbyniol, o'r ochr arall, os na fyddwn yn dra gwyliadwrus, yr ydym mewn perygl o fyned i'r niwl wrth geisio dilyn cyffelybiaethau yn

ol at eu harwyddocâd. Nid ydym yn ddiammheuol nad yw Morgan Llwyd wedi ysbrydoli gormod ar yr arch yn "Llyfr y Tri Aderyn." Ond wrth ystyried yr oes yr oedd yn byw ynddi, y rhyfeddod yw ei fod wedi ymgadw mor dda o fewn rhyw derfynau. Ymhell ar ol ei amser ef, cyhoeddwyd llyfryn yn Gymraeg, dan yr enw, "Dwy Bregeth; y gyntaf, am y crëaduriaid yn myned i mewn i arch Noa: yr hyn ydoedd gysgod o iachawdwriaeth etholedig eglwys Dduw yn a thrwy Iesu Grist. Yr ail, am y crëaduriaid yn myned allan o'r arch i Fynydd Ararat: yr hyn ydoedd gysgod o symudiad yr eglwys filwriaethus o ystâd o ras i ystad o ogoniant. Gan Edmund Jones, Gweinidog yr Efengyl. Trefecca; argraffwyd yn y flwyddyn, 1782." Yn y bregeth gyntaf, y mae yr hybarch Edmund yn profi pob cangen o'r athrawiaeth Galfinaidd oddiwrth fynediad y crëaduriaid i'r arch: ac nid yw yn ymddangos ei fod yn teimlo yr anhawsder lleiaf i ysbrydoli y cwbl, o'r falwoden a'r ceiliog rhedyn i fynu hyd at y llew a'r elephant. Gallesid meddwl y cawsai beth trafferth gyda'r crëaduriaid aflan: ond nid oes un rhwystr a saif o flaen y dull hwn o ymresymu. "Yr oedd gwaredigaeth y crëaduriaid aflan yn yr arch," medd efe, "pa rai sydd niweidiol, a drwg eu natur, yn dangos i ni y byddai i rai o'r dynion gwaethaf yn y byd gael eu hachub trwy Grist, cystal ag eraill o well natur." Ac os gofyn neb, Paham yr achubwyd mwy o'r crëaduriaid glân? y mae Edmund yn ateb, "Eithr y rheswm ysbrydol, paham yr achubwyd mwy o'r rhai glân nag o'r rhai aflan, ydoedd i ddangos i ni, y byddai nifer y rhai a achubid o eglwys weledig Duw yn y byd, yn fwy saith waith na nifer y rhai a gymerid allan o'r byd, a'u ystâd halogedig wrth natur, i ddechreu eglwys yr efengyl â hwynt." Ar yr un pryd, y mae llawer o ddywediadau da dros ben yn y ddwy bregeth; ond gresyn yw eu bod wedi eu gosod i sefyll ar sylfeini mor weiniaid. Y perygl, wrth geisio dëongli cyffelybiaethau, yw gosod y cysgod yn lle y sylwedd, ffurfiau allanol yn lle y gwirionedd tufewnol, amgylchiadau llëol ac amserol yn lle egwyddorion cyffredinol a thragywyddol. Hyfryd ar noswaith dawel, deg, yw syllu ar y sêr yn mynwes yr afon lydan, lonydd; ond os edrychwn ar yr adlewyrchiadau hyn fel gwrthddrychau sylweddol, yr ydym yn rhwym o gymeryd ein camarwain, ac o ddyoddef siomedigaeth ddirfawr yn y canlyniad.

Y penaf o gyfansoddiadau Morgan Llwyd yw "Llyfr y Tri Aderyn," yr hwn a ysgrifenwyd ar ddull ymddyddan rhwng yr Eryr, y Golomen, a'r Gigfran. Nis gellir darllen ond ychydig ddalenau heb weled fod yr awdur yn feistr ar y dull yma o gyfansoddi. Y mae yr Eryr yn siarad fel Eryr, y Golomen fel Colomen, a'r Gigfran fel Cigfran. Tybygid fod yr Eryr yn cynnrychioli Cromwell, a'r Golomen yn sefyll am yr Anghydffurfwyr, neu o leiaf y rhai a fuasent felly cyn i Cromwell gymeryd meddiant o'r llywodraeth, ac mai wrth y Gigfran y mae i ni ddëall yr hen Eglwys Sefydledig. Nis gellir canfod priodoldeb nac ystyr amryw ranau o'r ymddyddan heb gadw hyn mewn golwg. Ond dilys ydyw, fod yma hefyd gyfeiriad pellach, fel y mae rhai o'r esbonwyr goreu yn barnu fod mewn llawer o'r darluniadau prophwydoliaethol yn y Bibl; a bod y Golomen wedi ei bwriadu i ddynodi gwir Gristionogion yn mhob oes; a bod y Gigfran, â'i "llais garw gwrol," yn llefaru iaith gelynion y gwirionedd, ac erlidwyr crefydd ysbrydol; a'n bod, yn ngwedd freninol yr Eryr, yn gweled dyn cydwybodol a diragfarn i athrywynu rhwng y pleidiau. Nid oes yn hyn

ddim yn annaturiol; oblegid nid oedd y rhyfel cartrefol rhwng y brenin a'r senedd ond parhad o'r hen ryfel rhwng cnawdolrwydd ac ysbrydolrwydd. Dyfetha crefydd ysbrydol oddiar y ddaear oedd dyben yr Archesgob Laud a'i ganlynwyr, ac amddiffyn y grefydd hono oedd dyben y blaid wrthwynebol. Pwy bynag a wado hyn, nid yw ond bradychu ei anwybodaeth: ac y mae yr anwybodaeth hono yn awr yn ddïesgus, wedi i'r mater gael ei chwilio mor fanwl, a'i ddangos mor oleu, gan Thomas Carlyle a Dr. Merle D'Aubigne. Tawed y Cigfrain, gan hyny, tra fyddom yn gwrandaw ar y Golomen fwyn yn mynegi ei syniadau ar rai o brif byncian crefydd. Fel y canlyn y mae yn traethu am Y Bod o Dduw.

"*Eryr*. Er a ddywedech di, nid yw hyn yn myned i'm pen i, nac i'm calon ychwaith: a'r pen yw drws y galon. Pa fodd y mae i ddyn feddwl heb gamfeddwl am y pethau hyn?

*Colomen*. Ni all fod ond un anfesurol; a hwnw am ei fod ef yn berffaith, rhaid iddo fod yn mhob man ar unwaith, ac yn llefaru wrth bawb yn wastad, yn clywed ac yn cynnal pob peth ar unwaith. Nid rhan o hono sydd yma, a rhan acw, canys nid oes mo'r rhanau ynddo: *Jer*. xxiii. 24. Ond y mae efe i gyd, ac yn gwbl, ac yn hollawl, yn mhob man ar unwaith. Am hyny y gallai Moesen chwedleua âg ef wyneb yn wyneb: canys yr oedd yr holl Dduwdod o flaen ei lygaid ef. Ond ni wel neb hyn ond y meddwl ysbrydol, megys na's gellir gweled yr haul ond yn ei oleuni ei hunan. Pwy sydd yn gweddïo; neu pwy sydd yn pregethu; neu yn rhoddi tro yn y byd; ac yn gweled fod yr holl Dduwdod i gyd, sef y Duw mawr, a'i holl olwg arno? ac yn dëall mai lle y mae ei gariad ef, yno y mae y bywyd a pharadwys; a lle y mae ei ddig ef, yno y mae angeu ac uffern? *Mat*. xi. 27. Hwn yw y Duw anfesurol, bendigedig byth, yn ymlonyddu ynddo ei hunan; ac iddo fe bo'r clod yn mhob man yn dragywyddol: *Rhuf*. ix. 36; *Deut*. xxviii. 58. Ni ddylai dyn son am ei enw ef heb barch a chryndod, canys ynddo y mae pawb yn son am dano: *Dat*. vi. O'i flaen ef mae 'r nefoedd yn dianc, a cher ei fron ef y mae 'r angelion sanctaidd yn ymguddio: *Esay* vi."

Dyma feddyliau mawrion mewn iaith ardderchog. Pe buasai Dr. Samuel Clark wedi dëall cymaint a hyn, ni chynnygiasai brofi Y Bod o Dduw trwy gymeryd yn ganiatâol fod hyd a lled yn un o briodoliaethau yr Anfeidrol. Ond gwrandawn yn nesaf pa beth a ddywed y Golomen am Arfaeth ac Etholedigaeth. A rhag i'r Gigfran gael lle i feio, caniatâwn iddi ddyfod ymlaen i ddyweyd ei chŵyn yn fŷr. Er mwyn dëall ei gwrthddadl, efallai mai anghenrheidiol yw sylwi, fod Noa yn ei waith yn adeiladu yr arch, yn cael ei olygu trwy yr holl lyfr fel yn arddangos y Tad yn rhoddi y Mab i fod yn Waredwr pechaduriaid.

"*Cig*. Mae Noa wedi fy ngwrthod i; ac nid gwaeth i mi beth a wnelwyf, os gwrthodedig ydwyf.

*Er*. Nid efe a'th wrthododd di, ond ti a'i gwrthodaist ef, ac a aethost ymaith: *Ezec*. xxxiii. Cariad ac ewyllys da yw efe, ac nid oes tywyllwch ynddo. Hawdd ganddo faddeu i'r gwaethaf; anhawdd ganddo ddigio, a gwych ganddo hir-ymaros.

*Cig*. Ond mae llawer yn dywedyd ei fod ef wedi gwrthod llawer, a dewis rhai, cyn eu geni.

*Er*. Mae hyn tuhwnt i'm dysg i: efallai y gŵyr y golomen y dirgelwch hwn. Beth a ddywedi di?

*Col*. Anhawdd dywedyd, ac anhawdd dëall, pa fodd y mae y dyfnder hwn yn Noa. Ond mi ddarllenaf i chwi yr A, B, C, yn gyntaf fel hyn. Mae yn nhragywyddoldeb dri yn un, sef, ewyllys, cariad, a nerth; a'r naill yn ymgyrhaeddyd erioed a'r llall, ac yn ymborthi, ac yn ymgenedlu yn eu gilydd byth: *Diar*. viii. Oni b'ai fod pleser tragywyddol i borthi yr ewyllys anfeidrol, ni byddai neb yn gadwedig. Ac oni b'ai fod cynhyrfiad yr ewyllys cyntaf yn dân llosgadwy, ni byddai neb yn golledig. Ac oni b'ai fod y tri fel hyn yn cydweithio, ni buasai na dyn, nac angel, nac anifail, na dim arall wedi ei wneuthur. Mae rhai wedi ymesgor erioed yn y cariad trwy ysgogiad yr ewyllys, yr hwn sydd yn eu gwasgaru fel gwreichion allan o hono ei hun, ac yn eu tym-

heru yn nwfr y difyrwch, yr hwn yw yr arch. Nid yw gwreiddyn y tri ond cariad ynddo ei hun, heb gasâu neb. Ond yn yr ewyllys gweithgar hwnw mae'r ysgogiad yn tewychu y peth sydd ynddo, ac yn gadael heibio (fel pren ei ddail, neu ddyn ei boeryn) y peth nad yw un ag ysbryd y galon: *Ioan* iv. 8. Wele, nid yw y cigfrain yn adnabod tarawiad y tant yma yn y delyn nefol. Ond deall di, O eryr! ac fe ddeall y colomenod hyn yn fwyfwy. Canys fel dyma wreiddyn y mater, a ffynnon pob peth. Dyma fôn derwen yr holl fyd gweledig hwn: dyma y cynhyrfiad tragywyddol sydd yn achosi pob symudiad yn mysg yr holl greaduriaid. Ond nid yw yr adar ar ganghenau y pren yn meddwl pa fodd y mae y gwreiddyn yn cynnal eu naturiaeth, a hwythau ynddi. Yr ewyllys cyntaf yw gwreiddyn pob un, fel y mae y wreichionen yn dyfod o'r gareg; ac mae efe ei hun yn ymgyrchu yn wastad i fynwes y mab, ac yn ymlonyddu yno yn y cariad; ond mae llawer o'r gwreichion heb fynu ymoeri felly, ond yn ehedeg gyda Lucifer yn erbyn y goleuni i'r tywyllwch tragywyddol, ac yn aros yn yr ysgogiad tanllyd, heb gael esmwythdra byth, eisieu dyfod i'w geisio allan o'u naturiaeth eu hunain: *Mat.* iii. 17. Mae gallu yn yr ewyllys i ysgog, ond nid oes mo'r ewyllys gyda gallu i ddychwelyd, fel y dywed y gigfran o'r blaen ran o'r gwir: am hyny mae llawer yn eu gwrthod eu hunain, ac yn achwyn ar Noa. Ac er bod ei fynwes ef yn eu chwennych, mae eu mynwes danllyd hwynt yn eu dal yn eu teyrnas eu hunain. Ond, O Eryr! os cofi di ofyn ymhellach am hyn pan fo'm ni wrthym ein hunain yn y dystawrwydd, mi ddangosaf yn helaethach wreiddyn pob dirgelwch."

Attolwg i ti, O golomen hawddgar! ai hyn a elwi yn A, B, C? Mewn difrif, os felly y mae, yr ydym yn anobeithio cyrhaedd byth hyd at yr a, b, ab. Er hyny y mae un peth yn eglur, sef, na fedr neb brofi *nad* oes yma synwyr, yr hyn sydd fwy nag a ellir ei ddywedyd am bob peth a draethwyd ar y mater hwn. Wrth edrych hefyd yn fanwl, y mae rhyw drymwydd yn dyfod i'r golwg, nes ein galluogi i benderfynu nad oedd Morgan Llwyd ymhell, o ran sylwedd ei farn, oddiwrth yr hen wir-air Cymreig, "Pob da oddiwrth y Creawdwr, a phob drwg oddiwrth y creadur." Nid ydym yn cofio i ni erioed weled dywediad mwy cynnwysfawr am yr ewyllys na hwn, "Mae gallu yn yr ewyllys i ysgog, ond nid oes mo'r ewyllys gyda gallu i ddychwelyd." Anhawdd yw dyweyd yn well er ysgrifenu cyfrolau. Ond yn niwedd y dyfyniad uchod, gwelir fod y Golomen yn addaw dangos mwy ar hyn pan fyddai hi a'r eryr wrthynt eu hunain yn y dystawrwydd. Ac felly, hwyrach mai cystal fyddai aros hyd hyny am oleuni ychwanegol. Ar ol cryn lawer o ymddyddan ymhellach, y mae yr Eryr yn gwasgu at y Gigfran yn fwy difrifol, nes yw hithau o'r diwedd yn blino, ac yn cymeryd ei hedfa oddiwrthynt yn y modd canlynol:—

"*Er.* Gwrandaw, O Gigfran: rhaid i mi o'r diwedd dy holi di yn ddwysach. Paham na ddoi yn ol at dy Arglwydd?

*Cig.* Mi welaf dy fod di yn fy erbyn i yn hollawl; ond cymer Noa, a'i arch, rhyngot ti a'r Golomen. Minnau a wn p'le caf fy swper. Mi glywaf sawyr burgunod ar y ddaear.

*Er.* Fe dderfydd y rhai hyny o'r diwedd, ac yno fe dderfydd am danat tithau.

*Cig.* Nid oes fater. Mi a'u cymeraf tra caffwyf. Ffarwel i Noa, ac i'w arch, ac i tithau, ac i'th Golomen. Ni ddeuaf atoch mwyach. Crawcc. Crawcc. Ymaith, ymaith. Ymhell ddigon."

Yn awr, dyma yr Eryr a'r Golomen "wrthynt eu hunain yn y dystawrwydd." Gadawer i ni wrandaw pa esboniad pellach a gawn ar y materion blaenorol.

"*Er.* Tri yn un, meddi di, oedd ef. Ond a oes dim drwg yn dyfod oddiwrth y Rheolwr cyntaf fel oddiwrth Noa?

*Col.* Nag oes. Nid oes, fel y dywedais o'r blaen ond cariad a goleuni ynddo: er bod digter ac arglwyddiaeth gydag ef pa le bynag y mae: 1 *Ioan* i. 5; *Esay.* xxvii. 4.

Ac y mae ef yn mhob man yn llenwi'r nefoedd a'r ddaear. Gochel feddwl fod dim drwg ynddo, er ei fod ef yn hir yn cyd-ddwyn â'r drygioni sydd yn y byd. O Eryr, deall hyn. Canys dyma wreiddyn ymraniad holl ganghenau gwybodaeth a naturiaeth. Canys y naturiaeth dragywyddol yw ffynnon y naturiaethau amserol. Ti wyddost nad yw y gair da ynddo ei hunan yn ddrwg, a ddel allan o un â meddwl da; ond cyn gynted ag y dyweder ef, mae y glust ddrwg yn ei wyro. Felly mae ysbryd y byd wedi cipio a chamu enaid dyn, er iddo ddyfod yn bur ac yn berffaith allan o'r un daionus."

Meddyliem fod hyn yn gystal esboniad a dim a ellir ei gael. Mae yn amlwg fod Morgan Llwyd yn gweled yr anhawsder, ac yn ei deimlo. Os na lwyddodd i'w symud yn hollol, nid yw hyny yn rhyfedd, wrth gofio fod pawb wedi methu o'i flaen, ac ar ei ol. Wedi 'r cwbl, tybygid nad oes gan neb lawer ychwaneg i'w ddywedyd ar y materion hyn na'r hen weinidog hwnw yn y Deheudir, yr hwn, pan ofynwyd iddo, pa fodd yr oedd yn deall y geiriau hyny, "Esau a gaseais," a atebodd, "Ië, nid ydych chwi yn deall yr adnod yna. Nid wyf finnau yn ei dëall. Ond nid yn yr un man yr wyf fi yn methu a chwi. Nid wyf fi yn synu un tipyn iddo gasau Esau. Y peth sydd yn fy nyrysu i yw, meddwl iddo erioed garu Jacob." Dichon, gan hyny, mai doethineb i ni fyddai disgyn at ryw bethau mwy dëalladwy, neu bethau o'r hyn lleiaf ag y mae llai o berygl wrth ymdrin â hwynt.

Bu dadl led faith yn y "Drysorfa" rai blyneddau yn ol mewn perthynas i ddeilliad yr enaid. Y mae Morgan Llwyd, o ran y dull o ymadroddi, yn cydfyned â'r naill blaid; ond o ran sylwedd, â'r llall. Ei farn ef ydyw, fod yr enaid yn dyfod trwy genedliad naturiol oddiwrth y rhieni; ond yr ysbryd yn uniongyrchol oddiwrth Dduw. Fel hyn y mae efe yn gwahaniaethu rhwng yr enaid a'r ysbryd; ac o'n rhan ni, nis gallwn wadu fod ynom ogwydd cryf i feddwl fod y gwahaniaethiad yma yn gywir. Onid dyma y ffordd fwyaf naturiol i ddëall y rhanau hyny o'r Bibl, lle y sonir am enaid ac ysbryd yn yr un adnod? Ac onid yw y golygiad hwn yn taflu goleu ar y gwahaniaeth rhwng dyn ac anifel? Ar yr un pryd, gan fod y gair "enaid" yn cael ei arfer am "ysbryd," ac yn cael ei ddëall felly yn unig yn ein dyddiau ni, byddai ceisio dyrysu pobl gyffredin trwy ddyweyd fod enaid mewn anifel, pan y gwyddom y cymerent hwy y gair mewn ystyr wahanol oddiwrth yr eiddom ni, yn arwydd o brinder mewn synwyr a gras. Nid ydym ychwaith yn anfoddlawn i'r dywediad, "mai dwy ran sydd mewn dyn, sef corff ac enaid;" oblegid y mae y gair "corff" yn y dywediad hwn, yn cynnwys yr holl ran anifeilaidd o ddyn; a'r gair "enaid" yn golygu yr hyn a eilw Paul "yr ysbryd," sef y sylwedd anfarwol, yr hwn, pan fyddo dyn, farw, "sydd yn myned at Dduw, yr hwn a'i rhoes ef." Gyda golwg ar y gofyniad am ddeilliad yr ysbryd, y mae yn ddirgelwch i ni pa fodd y gallai neb gredu ei fod yn hanu o'r rhieni trwy genedliad naturiol. Y mae y farn hon yn arwyddo, un ai fod yr ysbryd yn effaith cyfluniad corfforol, a dim ond hyny; neu ynte, fod dynion yn meddu ar allu crëadigol. Ond nis gall dyn roddi bod i'r un mymryn o sylwedd corfforol; pa faint llai i sylwedd ysbrydol ac anfarwol? Ond fel y canlyn y mae'r ymgomiad ar y pynciau hyn rhwng yr Eryr a'r Golomen:—

"*Er.* Yr oeddwn i gynnau yn barod i lewygu, ond yr awrhon mae ynof beth nerth, a chefn, a chalon i ymofyn ymhellach cyn ymadael. Attolwg dangos beth yw y rhagoriaeth rhwng yr enaid a'r ysbryd yn yr un dyn.

*Col.* Ysbryd dyn yw'r trysor mawr, a'r enaid sydd megys llong i'w ddwyn o'r naill i'r llall. Ysbryd dyn yw'r castell, a'r enaid sydd megys tref o'i amgylch. Yr ysbryd

yw canhwyllyn y meddyliau, a'r enaid yw plisgyn y rheswm oddiallan: yr ysbryd, medd yr ysgrythyr, yw'r mer, a meddyliau'r enaid yw'r cymalau. Ysbryd dyn yw gwreiddyn y pren, a rhesymau 'r enaid yw 'r canghenau. Mae enaid yn mhob peth byw, a math ar ddëall gan anifail: *Heb.* v. 12; 1 *Thes.* v. 23. Ond nid oes ysbryd anfarwol mewn dim ond mewn dynion ac angelion. Yr enaid y mae dyn yn ei lun ei hun yn ei genedlu, ond Duw yw tad (ac nid taid) yr ysbryd. Yr enaid rhesymol yw hwylbren dyn, ond yr ysbryd yw llyw y llong. Weithiau y mae ysbryd dyn yn rhodio (fel Dina) allan yn rhodfeydd yr enaid; ac yno y mae gwynt ysbryd y byd hwn yn ei gipio; ond mae ysbryd dyn naturiol yn wastad allan o hono ei hun, fel y mab afradlawn, nes dychwelyd, yn cael ei ddwyn yn nghertwyn y cythraul, ac yn dilyn ei chwibianiad ef yn y cnawd: *Luc* xv. 17. Mae'r ysbryd fel tŷ Lot, a'r enaid yn y cnawd fel hëol Sodom: *Eph.* ii. 2, 3. Ac fel y mae rhagoriaeth rhwng anadl dyn a'i feddwl, felly y mae rhwng yr enaid a'r ysbryd. Yr ysbryd yw neuadd yr enaid, a'r enaid yw porth yr ysbryd. Dyma'r ysbryd (yn angeu'r corff) sydd yn esgyn i fynu at breswylwr tragywyddoldeb, pan fo enaid anifail yn disgyn i lawr, canys gwaed yw: *Preg.* iii. 21."

Ond na thybied y darllenydd mai pynciau sychion yn unig yw testunau yr ymddyddan yn "Llyfr y Tri Aderyn." I'r gwrthwyneb, y mae yn llawn o gyfeiriadau grymus at y gydwybod, a'r rhai hyny yn fynych yn taraw i'r byw. Braidd na feddyliem mai yn hyn y mae ei nerth mwyaf, a'i ragoriaeth penaf. Nid yw wedi ei ranu yn bennodau ar wahanol faterion. Ceir ynddo yr un amrywiaeth naturiol ag mewn ymddyddanion cyffredin. Ond nid yw yn gadael pum mynyd i fyned heibio heb ryw air at y gydwybod. Rhoddwn yma ddyfyniad i ddangos mor ddidwyll a diarbed y mae y Golomen yn traethu y gwirionedd i'r Eryr tywysogaidd:—

"*Er.* Ond pa ryw ddyfnder yr wyt ti yn ei feddwl? Pa beth yw'r dyfnder, a'r uchder?

*Col.* O Eryr, os gwrandewi fel y dylit, ti gei fwy o ddëall: *Dat.* xxi. 8. Y dyfnder yma yw 'r pwll diwaelod, a hwnw yw 'r ail angeu, a'r angeu mawr hwnw yw 'r uffern, a'r llid annhraethadwy sy 'n llosgi pechod a phechaduriaid cyndyn fel afon o frwmstan; canys mae 'r pechod lleiaf yn cynhyrfu y digofaint mwyaf: ac am yr uchder, hwnw yw diwedd yr ailenedigaeth. Nid oes neb a'i hedwyn ond y rhai sydd yn ehedeg allan o honynt eu hunain iddo, ac yn byw ynddo: *Esay* xxx. 33.

*Er.* Ond ai diogel i ddynion ehedeg yn uchel? Fe allai mai po uchaf yr ymgodant isaf y cwympant.

*Col.* Gwir ddigon yw os bydd esgyll o gwyr naturiaeth ganddynt. Canys felly yr ehedodd Lucifer a'i lu i waelod uffern. Y balch a ostyngir, a'r isel o galon a ddyrchefir: *Luc* xiv. 8. Ond os calon ddrylliedig a gais adnabod dwfn gariad Duw, hi a gaiff ei dysgu, a'i chynnal, a'i chodi i ucheldera u 'r Arglwydd, a'i chyfarwyddo yn ysbryd y gwir Noa: *Salm* xxv. 8; *Phil.* iii. 20; *Phil.* iii. 2, 13.

*Er.* Ond yr wyt ti yn fynych yn sôn am Noa. Pa beth yw yr ysbryd?

*Col.* Ysbryd y Goruchaf yw 'r awel dragywyddol, a'r seren foreu, a goleuni 'r byd, ffynnon yr oesoedd, sêl y Testament, anadl yr Oen, rhëolwr angelion, a bywyd dynion: a'r Ysbryd hwnw sydd yn dwyn rhai i baradwys tra fo eu cyrff hwy ar y ddaear.

*Er.* Paradwys—Pa le mae 'r ardd hono? Mi glywais son llawer am dani

*Col.* Ni all neb ehedeg yno, ond y sawl sydd yn rhedeg allan o hono ei hunan, sef allan o'i ewyllys, a'i gyfrwysdra, a'i ddiweddion, a'i lwybrau ei hunan. Mae paradwys nid ymhell oddiwrthyt, ond yn mhob man lle y mae cariad Duw yn ymddangos. Ac mae 'r holl golomenod cywir ynddi, yn clywed geiriau annhraethadwy, yn mysg myrddiynau o angelion, ac ysbrydoedd perffaith: *Heb.* xii. 22; *Luc.* xvii. 21. Ac hefyd o'r tu arall, mae uffern, a'r tân, a'r nâd, a'r tywyllwch yn nghalonau llawer tra f'ont yma yn rhodio ar y ddaear.

*Er.* Ond gad i mi ofyn i ti, Onid oes un nef nag uffern ond sydd yn y byd yma?

*Col.* Och lawer! Mae nef dragywyddol, ac uffern fel ffwrn a bery byth. Ond er hyny, mae naill ai nef ai uffern yn mhob dyn yn y bywyd hwn: *Iago* iii. 6. Ond nid yw dyn yn gweled yma pa le y mae, mwy na gwr yn cysgu yn ei wely sydd â lleni tywyll y cnawd o'i gwmpas, a'i holl ffenestri wedi eu cau. Ond mae 'r amser i ddeffro yn agos, pan gladder neu pan losger y cnawd, ac yna mae pawb yn myned i'w gartref, ac yn canfod ei orweddfa.

*Er.* Ond mae arnaf ofn hyn: Pa le y byddaf fi yn oes oesoedd?

*Col.* Er bod Ffelix yn crynu, nid oes fawr dan y diwedd yn ymofyn am hyn: *Act.* xxiv. 25. Os dilyni naturiaeth, ti gei losgi fyth heb fyned byth yn ulw. Ond os cei di naturiaeth arall a chalon newydd, ti fyddi gyda 'r colomenod yn y llawenydd: *Act.* xxvi. 18.

*Er.* Ai son a wnei di wrthyf fi am galon newydd? Parchedig oeddwn i erioed, a'm hynafiaid hefyd, fel y mae 'r achau yn dangos: ac mae llawer a gawsant gred a bedydd nad oes arnynt ofn uffern mwy na thithau.

*Col.* Er hyny, fe ddaw uffern heb ei hofni. Ac nid yw achau teuluoedd ond rhwyd a weuodd naturiaeth, yn yr hon y mae pryf copyn balchder yn llechu. Nid wyt ti nês er dyfod o honot o dywysogion Cymru, onid wyt ti yn un o had Tywysog breninoedd y ddaear; wedi dy eni, nid o ewyllys gwr, ond o'r had anllygredig. Rhaid i ti, er glaned wyt oddiallan, gael newid dy naturiaeth oddifewn, neu fe a'th losgir di yn dy blu, a'th foneddigeiddrwydd a'th synwyr dy hunan: *Iago* i. 18. Ac am gred a bedydd dyfrllyd, nid yw hyn fwy na gwelltyn yn y domen, oni chei di gyda hyn yr ailenedigaeth: *Act.* xiii. 23.

*Er.* Peth na wn i oddiwrthyf fy hunan yw 'r ailenedigaeth, er i mi ar glust glywed son am dani.

*Col.* Yr ailenedigaeth yw dyfodiad dyn allan o'r naill fyd i'r llall yn y bywyd yma. Pan fo 'r enaid yn yr ysbryd (mewn poen dan weiddi) yn tori drwy gwrs naturiaeth oddifewn, heb fynu mo'i ddal yn hwy yn nghroth y meddwl daearol, ond er gwaethaf pob crëadur yn dyfod allan o dywyllwch i oleuni, allan o fryntni ysbrydol i burdeb, allan o gâs i gariad, allan o gaethiwed i ryddid nefol, allan o'r carchar i rëoli, allan o helynt y byd i gymdeithas sanctaidd, allan o fynwes cythreuliaid i gyfeillach angelion Duw, allan o swn y cnawd i glywed llais Duw, allan o'r oferedd i sobrwydd meddwl, allan o'r chwerthiniad i brudd-der paradwysaidd, allan o'r cnawd drewllyd i'r ysbryd bywiol, allan o groth naturiaeth i Gaersalem nefol: *Act.* xxvi. 18; *Eph.* vii. 1, 2. Mae yn yr ailenedigaeth ddwy ran; un i'r enaid a'r ysbryd, am yr hon yr ydym ni yn son, a'r llall i'r corff yn y diwedd, yr hon a elwir mabwysiad y corff: *Rhuf.* iii. Ac fel y mae 'r corff yn y bedd heb ei eni hyd yr adgyfodiad, felly mae 'r enaid yn pydru yn naturiaeth nes iddo adgyfodi gyda Crist, ac fe wna Duw i ddyn weled ei fod ef yn gorwedd yn uffern, ac yn llechu yn y ddaear, cyn iddo ddwyn y meddwl i baradwys.

*Er.* Yr wyt ti yn son yn fynych am baradwys. A wyddost ti pwy sydd yno?

*Col.* Dôd genad i mi son yn ddifyr am fy ngwlad a'm bro fy hunan: *Luc* vi. 45; *Rhuf.* viii. 38, 39. Rhaid i bawb son am ei gartref. Yr wyf mewn rhan ynddi yn barod, a'r colomenod gyda fi, fel y dywedais i ti.

*Er.* Ond beth pe bawn i yn dy ladd di yr awrhon, i ba le yr ait ti?

*Col.* I mewn ymhellach i'm gwlad; canys ni ellir mo'm gwthio i allan o'm naturiaeth, a naturiaeth nefol yw paradwys.

*Er.* A wyddost ti beth yr wyt ti yn ei ddywedyd?

*Col.* Gwn, er na allaf beri i ti ddëall.

*Er.* Onid oes arnat ti ofn marw er hyn i gyd?

*Col.* Nag oes, mwy nag ar un sydd wedi blino fyned i'w wely i orphwys: *Phil.* i. Cenad yw angeu oddiwrth fy nhad, i'm dwyn i adref allan o ysgol y byd hwn fel allan o garchar y cnawd."

Y mae adfywiad i ysbryd dyn mewn troi oddiwrth athroniaeth anifeiliaidd y dyddiau hyn at syniadau uwch-ddaearol Morgan Llwyd. Mewn gwirionedd, yr ydym bron meddwl na ddarfu i ni ganmawl hanner digon arno. Wrth ddarllen y dyfyniad uchod, ac amryw ranau eraill o'r llyfr, gellid tybied mai Plato sydd yn siarad, dan ddylanwad ac yn ngoleuni y grefydd Gristionogol. Os na ellir dywedyd ei fod yn chwalu y muriau sydd yn cylchynu ein byd bach ni, yn yr hwn nid oes ond ychydig heblaw ffurf ac ymddangosiad; y mae o leiaf yn tynu y caeadleni oddiar y ffenestri, ac yn gollwng pelydr yr haul ganol dydd i fewn ar chwareufwrdd amser, nes y mae ei holl ardderchawgrwydd yn diflanu, a ninnau yn gorfod credu nad yw sylweddau tragywyddoldeb ymhell oddiwrthym. Ond "Nid oes neb a'i hedwyn, ond y rhai sydd yn chedeg allan o honynt eu hunain iddo, ac yn byw ynddo." Mynych y mae yn curo ar yr hoel hon. Ymddengys

ei fod yn edrych ar "hunan," fel drwg y drygau. Fel y dywedodd Rowlands, Llangeitho, gan' mlynedd wed'yn, dyma 'r peth y mae dyn yn ei wisgo gyntaf, ac yn ei ddyosg olaf. Cymerer ychydig ymhellach ar y mater hwn, allan o'r ymddyddan a fu rhyngddynt cyn i'r Gigfran eu gadael :—

"*Er.* Beth yr wyt ti yn ei ddywedyd yn erbyn doethineb? Mae arnaf ofn dy fod di yn anmhwyllo.

*Col.* Geiriau sobrwydd yr wyf fi yn eu traethu. Nid magl i'r cyffylog yw synwyr y cnawd, ond i'r aderyn doethaf daearol. Y dynion naturiol goreu a gollir. Am hyny gocheled pawb ei synwyr ei hun. Ni fedr anifail hoyw ehedeg; ac nid ysbrydol yw 'r naturiol, er gwyched fo yn ngolwg dynion. Mae llawer o bregethwyr yn anghymeradwy ac yn golledig: 1 *Cor.* ix. 27. Eu hathraw yw synwyr y cnawd: maent yn ysgrifenu eu pregethau; ond oni b'ai cyflog dynion, ni wnaent bwyth o waith; ac er hyny, fel gweinidogion yr efengyl y mynent eu hanrhydeddu. Ac heblaw y dysgawdwyr deillion, nid oes mewn tref na gwlad ddyn llwyd llwm anllythrenog, nag oes sarph yn ei fynwes, a synwyr y cnawd yn ei galon.

*Er.* Nid rhyfedd wrth hyn fod llawer yn golledig, os yw pob dyn fel nythaid o nadroedd, yn llawn o feddyliau cnawdol. Ond beth a ddywaid y Frân wrth hyn?

*Cig.* Dyma daro at y gwreiddyn. Os drwg gynghorwr, drwg ganlynwr. Os tywyll goleuni rheswm, mae 'r holl gorff yn dywyll, a phob gair ar a ddywedais i erioed yn ofer. Ond o'm rhan i, yr wyf yn tybied fod rheswm yn mhob peth; ac mai rheswm naturiol yw y goleuni goreu. Dyma wreiddyn y pren a blanwyd yn ddwfn. Diwreiddied y golomen ef os gall.

*Col.* Mi wn mai dyma Salomon y byd, ond mae ysbryd gwirion y Golomen yn fwy na Salomon yn ei holl ogoniant a'i ddoethineb. Ond i ddangos i ti ddoethineb ddaearol y Fran. Ei synwyr hi yw hyn:—Dalied pawb ei eiddo, cipied pawb a allo. Safed pob dyn ar ei waelod ei hun. Na ddyweded mo'r gwir mewn cariad, ond mewn creulondeb. Na ddringed uwchlaw rheswm dyn. Canlyned y byd a'i arfer. Maged ei naturiaeth, ei gnawd a'i waed, a gwaried ei amser mewn trythyllwch. Bwytâed ac yfed, a bydded lawen. Boddloned pawb er ei fwyn ei hun. Bydded ganddo ddau wyneb yn barod, a'i galon yn ddauddyblyg. Bydded gall drosto ei hunan, onide marw a wna. Ond dyma ffolineb y byd. Dyma ynfydrwydd pen agored, canys nid call y dyn a'i ceisio ei hun. Y sawl sydd â dau wyneb gantho, mae un o'r ddau yn gythreulig: y neb a wenieithio ddynion sydd bwdr yn ei galon. Hawdd yw bwyta, ac yfed, a chwareu gormod, a dawnsio yn y cnawd ar ol pibell yr ysbryd drwg. Ysbryd y gwaed yw cwmwl y meddwl. Arfer y byd yw 'r porth llydan i ddystryw. A'r sawl na ddringo uwch ei law ei hun, ni eistedd fyth yn y nefoedd. Mae 'r dyn difyr chwerthinog allan o'i gof ei hun, aco 'r tu fewn i gof y sarph. Amser dyn yw ei gynnysgaeth, a gwae a'i gwario yn ofer. Rhaid yw dofi ysbryd y cnawd, a magu bywyd ysbryd yr uchaf. Boddi a wna 'r dyn na nofia yn erbyn ffrwd y wlad. Y rheswm uchaf yw 'r afreswm isaf. Ni saif neb ond un arno ei hun. Nid eiddo neb ei hunan. Cadwed pawb ei galon at Dduw. Adrodded pob un ei gydwybod yn ddoeth. Cladded dyn ei reswm ei hun. Ond dyma iaith nad oes nemawr yn ei dëall. Nag ofned neb arall cymaint ac ef ei hun. Oni fedri roi taw ar eraill, dystawa dy hun. Pan fo mwyaf swn yn y byd, bydded lleiaf yn dy galon. Nag ofna ddiafol, na châr y pechod, ac na chynnwys dy hun. Na ddalied ysbryd y crëadur di, ond nofia i ysbryd y Crëawdwr. Cyfrif y da o'th flaen yn berl, a'th waith o'th ol yn dom. Melys i'r cnawd yw siwgr diafol, ond bwyta di y manna dirgel. Mochyn yw Luciffer yn ymdreiglo yn nghnawd dyn. Crochan hwn yw calon fudr yn berwi ar dân uffern. Gwyniau 'r cnawd y'nt feirch o ryfel; disgyn oddi arnynt, ac nac oeda. Perthen o ddrain yw rhesymau dyn. A'i gwado ei hun, a ddianc o honi. Portha dy chwant, ac fe a'th ladd. Lle y mae dynion, mae angelion; lle y mae angelion, y bydd dynion. Y sawl sy'n byw ynddo ei hun, sy'n byw allan o fynwes y Tad. Oni elli achub eraill, dïanc dy hun oddiwrthyt dy hun. Gwell yw adnabod y galon yn y byd yma, na'i bod hi yn adnabod digofaint byth. Pa fodd y gelli fod yn llonydd oni byddi ar y graig? Nid gwaeth beth a ddywedo ffyliaid, nid eu gair hwy a saif."

Ond os awn ymlaen fel hyn, byddwn mewn perygl o adysgrifenu yr holl lyfr. Yr oeddym wedi nodi allan amryw ddarnau eraill, mor faith a'r rhai

hyn, ac yn llawn mor odidog; ond rhaid ymattal. Er hyny, byddai yn drosedd anfaddeuol i ni fyned heibio, heb bigo, a rhoddi at eu gilydd, rai anghreifftiau byrion eto, o wahanol ranau o'r llyfr, y rhai a ymddangosant i ni yn brydferthach na dim gemau a fu erioed yn addurno pendefigion neu bendefigesau y ddaear. Cynghorem ein darllenyddion, ac yn enwedig y rhan brydweddol o honynt, i'w cylymu hwy am eu gyddfau, a'u hysgrifenu ar lechau eu calonau. Beth meddech, gyfeillion hynaws, a chyfeillesau hawddgar, am dlysau o fath y rhai canlynol? Oni feddyliech chwi eu bod yn hardd dros ben?

"Mae gan bob dyn ddigon o gyfrwysdra i'w dwyllo ei hunan: *Act* xiii. 10.

Pan ddelo ysbryd y nef i mewn, efe a ostega trwy ostwng y dwfr diluw sydd yn dy galon di, ac yno di gei weled penau y bryniau, a'r meddyliau tragywyddol cariadus yn ymddangos o'r tu fewn.

Ni all neb ganfod y Duwdod ond trwy'r Tad, na'r Tad ond trwy'r Mab, na'r Mab ond trwy'r Ysbryd, na'r Ysbryd ond trwyddo ei hunan.

Pan fo dyn duwiol yn ymadael â'r byd, nid yw ond gadael ei wisg fel Joseph yn nwylaw gwraig Putiphar, hono yw'r ddaear.

Mae llawer, y rhai byddai wych ganddynt deithio yr holl fyd drosto, ond nid adwaenant y byd mawr helaeth yn y galon.

Mae ysbryd dyn siaradus yn farch i ddiafol heb un ffrwyn yn ei safn.

Er cyfrwysed a fo dyn, cofied a chanfydded fod y byd yn gweled peth, a'r angylion lawer, a'r gydwybod fwy, a Duw yn gweled y cwbl ar unwaith: *Eph.* iv. 29; *Col.* iv. 6.

Mae yn rhy ddiweddar i lawer y foru, am fod heddyw yn rhy gynnar ganddynt.

Na phregethed, ac na ddyweded neb ond y peth y mae efe yn barod i'w selio â'i waed.

Tra f'och di yn gadael i'r meddwl redeg allan drwy'r llygaid a'r synwyrau, neu yn edrych oddifewn ar luniau a delwau y peth a welaist neu a gofiaist, mae'r meddwl, fel Lot, yn gadael ei dŷ, i ymresymu â'r Sodomiaid, nes i Ysbryd Duw dy gipio di i mewn i ymddyddan â Duw yn ystafell y galon.

Cyn gynted ag y dyweder y gair, mae efe wedi ei argraffu yn yr awyr, ac mae'r angelion yn ei estyn ef i'r byd arall."

Dichon fod rhai, a dybiant eu hunain yn feirniaid go dda, yn analluog i ganfod prydferthwch y dywediadau hyn: ond nis gallwn gredu fod neb mor amddifad o archwaeth ymhlith derbynwyr cyson y "Traethodydd." Nid yn fynych y cyfarfyddir â chyffelybiaethau clysach na'r rhai a welir uchod, am ysbryd y nef yn gostegu y dwfr diluw yn y galon, Joseph yn gadael ei wisg yn nwylaw gwraig Putiphar, a Lot yn gadael ei dŷ i ymresymu â'r Sodomiaid, nes ei gipio i mewn i ymddyddan â Duw yn ystafell y galon. Mewn traethodau crefyddol, y mae yn ymddangos i ni fod priodoldeb neillduol mewn cyffelybiaethau wedi eu seilio ar hanesiaeth ysgrythyrol. Sylwer hefyd ar y cyntaf yn y gyfres uchod: "Mae gan bob dyn ddigon o gyfrwysdra i'w dwyllo ei hunan." Y mae byd o synwyr yn y dywediad hwn; ac y mae ynddo hefyd ddigon, ond nid gormod, o arabedd a challineb dystaw, fel halen i roddi blas arno. Canfyddir yr un gynneddf mewn manau eraill, fel yn yr anghraifft a ganlyn:—

"*Cig.* Mae'r hen rai yn gweled fod tro mawr ar fyd yn agos, a'r cigfrain ifainc yn dwndro, ac yn cymeryd eu pleser. Mi fûm yn Rhufain y dydd arall, ac yno mi welwn y Pab yn crynu yn ei gadair. Mae hi yn llawn bryd i mi i edrych yn fy nghylch.

*Er.* A ydyw efe yn mysg y crynwyr? Paham y mae efe yn crynu?"

Mae y crybwylliad hwn am y Crynwyr, y rhai oeddynt yn y dyddiau hyny newydd ddechreu, ac yn dyoddef llawer o erlidigaeth, yn ein harwain

i ymofyn, beth oedd syniadau Morgan Llwyd am ryddid crefyddol: a rhaid yw cyfaddef nad ydynt mewn un modd mor oleu, ac mor gyflawn ag y dymunasem eu bod. Fel hyn y llefara yr Eryr wrth y Gigfran:—

"Mae cyfraith naturiaeth yn dysgu dynion i fyned ar ol eu goleuni eu hunain. Rheswm a chydwybod yw dau lygad dyn naturiol, a'r dyn a dyno ei lygad ei hun allan o'i enaid, fe ddylai 'r barnwr ei gospi, nid am nad yw efe yn myned ar ol tyb grefyddol y llywodraethwr, ond am ei fod yn myned yn erbyn ei reswm ei hun. Ac os gwnei di yn erbyn dy oleuni, yr wyt ti yn dy gospi dy hun oddifewn, ac yn peri i'r swyddogion oddiallan dy gospi hefyd."

Dyma yr hen reswm a arferwyd gan erlidwyr yn mhob oes. Ei sylwedd ydyw, "Fel hyn yr wyf fi yn barnu, ac y mae genyf fi hawl i farnu drosot ti, ac os wyt ti yn dyweyd yn wahanol, yr wyt yn dyweyd yn erbyn dy gydwybod, ac y mae cadwraeth dy gydwybod di wedi ei ymddiried i mi, ac am hyny, mi ddylwn dy gospi." Ar yr un pryd, dylid cofio mai ychydig iawn yn yr oes hono oedd yn dëall dim am natur rhyddid crefyddol. Nid oes gan un blaid lawer o le i oganu eraill yn y mater hwn. Wrth edrych ar yr honiadau a wneir weithiau, gellid meddwl nad oes neb, *oddigerth y "Traethodydd,"* yn darllen y ddwy ochr i'r ddalen. Ond dywedent a fynont, y gwir yw, fod pob plaid a gafodd erioed gyfle wedi bod yn euog o erlid. Cynghorem Esgobaethwyr a Henaduriaethwyr i ddarllen bywgraffiad Dr. Owen gan Orme, a chynghorem Annibynwyr i ddarllen adolygiad Dr. Macrie ar y gwaith hwnw. Yr oedd golygiadau Dr. Owen ei hun ar y pwnc hwn yn dra anmherffaith. Ysgrifenodd Jeremy Taylor, gyda mwy na'i hyawdledd arferol, dros ryddid i bawb brophwydo fel y dewisent, pan oedd ef ei hun wedi gorfod encilio i sîr Gaerfyrddin yn amser Cromwell; ond pan ddyrchafwyd ef i awdurdod gan Siarl yr Ail, ymddygodd yn hollol groes i'r egwyddorion a amddiffynasid ganddo o'r blaen. Ac am yr Annibynwyr, y mae yn hysbys ddarfod i lawer o honynt fyned drosodd i America, yn yr amseroedd hyny, er mwyn rhyddid cydwybod: ond ar ol myned yno, nid hir y buant cyn rhoddi mewn grym yr hen ddeddfau caethion ag yr oeddynt wedi dianc rhagddynt, a dangosasant at bawb a feddyliai yn wahanol oddiwrthynt hwy, yr un creulonder ag yr oeddynt hwy eu hunain wedi ei ddyoddef cyn hyny yn yr hen wlad. Dichon hefyd nad oes genym ninnau yn y dyddiau hyn gymaint o achos ymffrostio. Os oedd eiddigedd dros Dduw a'i ogoniant yn eu cario hwy i eithafoedd, nid oes *dim dwywaith* (chwedl pobl Gwynedd) nad yw swrn mawr o'r siarad a glywir yn awr, yn enwedig oddiwrth olygwyr newyddiaduron Saesneg, yn tarddu o ddifaterwch am y gwirionedd, os nad casineb gwreiddiol tuag ato.

Ond dyma rywun yn gwaeddi ar ein hol, ac yn taeru yn galed ein bod wedi crwydro yn rhy bell oddiwrth ein testun. Pa fodd bynag am hyny, y mae yr adolygiad a'r llyfr yn tebygu i'w gilydd mewn un peth, sef mewn rhyddid perffaith oddiwrth bob rhëol a ffurf. Nid mewn areithfa yr ydym ar hyn o bryd yn traethu darlith drefnus; ond yn ein llyfrgell mewn hen gader freichiau led anrhydeddus: a thybied a wnaethom, ddarllenydd hoff, dy fod dithau yn eistedd gyferbyn â ni; a'n bod yn ymddyddan tipyn, ar draws ac ar hyd, am "Lyfr y Tri Aderyn." Ond ofnwn dy fod yn dechreu blino bellach, er dy fod yn rhy foesgar i gwyno; a dychymygasom unwaith neu ddwy i ni weled cysgodion cwsg yn hofran o flaen dy amrantau. Wele, y mae wedi myned yn hwyr; a'n doethineb ninnau fyddai meddwl am ein

gorphwysfâoedd. Ond nis gallwn ganiatâu i ti ymadael heb gyfeirio rhai ymadroddion eto at dy gydwybod; a gobeithiwn y bydd i ti fyfyrio arnynt yn ddifrifol wrth roddi dy ben ar y gobenydd. Fel hyn y mae Morgan Llwyd yn ein harwain rhwng Ebal a Gerizim, i glywed y felldith a'r fendith. Grandaw dithau, ac ystyria.

"Ond gwae chwi 'r cyfreithwyr, mae cyfraith a'ch ysa: gwae 'r cynhenus mewn gwlad, pentewynion uffern ydynt: *Iago* ii. Gwae chwi, ryfygwyr llofruddiog, mae llawer och wedi myned i'r lân arall yn eich erbyn. Gwae chwi, wyr trawsion yn llyncu cyfoeth, rhaid i chwi chwydu'r cwbl gyda 'ch gwaed eich hunain: *Job* xx. 15. Gwae chwi, yr uchelwyr drwg eu siamplau, yn llusgo y tlodion ar eich ol i ddystryw: *Salm* x. 9, 10. Pa fodd y rhoddwch chwi gyfrif am eich tenentaid truain? *Job* xxiv. 9. Beth a ddaw o honoch chwi pan dorer a phan losger bob peth uchel? *Esa.* ii. 2; *Mat.* iii. 10; *Zac.* xi. 1; *Preg.* xi. 8, 9; *Job* xi. 11; *Job* xxiv. 5; *Diar.* vi. 13, 15; *Mat.* xxiii. Gwae bob pren mawr a phob pren bychan ag nad yw 'n dwyn ffrwyth da. Mae 'r tân wedi enyn yn Nghymru. Mae drws dy fforest di, O wlad y Brytaniaid presennol, yn agored i'r eirias dân. Ac hefyd mae 'r fwyall ar dy wreiddyn di; oni ddygi yr awrhon ffrwyth da, fe a'th dorir rhag bod yn bobl. A gwae chwi 'r oferwyr, sy'n gwario eu hamser, a'u hiechyd, a'u harian, a'u meddyliau tragywyddol mewn oferedd. Gwae di, lafurwr anwybodus. Dy holl waith yw cloddio 'r ddaear a'i thrin, a throi 'r anifeiliaid yn y mynydd, a hwy a gymerant eu troi genyt ti, am hyny tystion ynt yn dy erbyn. Gwae di, ddarllenwr cyfrwysddrwg, yr hwn wyt yn chwilio llyfrau i ganfod lluniau neu feiau. Fe genfydd y gwirionedd dy feiau di, ac a'th farna. Gwae di, ragrithiwr, yr hwn wyt yn ofni golwg dyn. Nid wyt ti yn ofni pechu yn y dirgel, di a gei dy farnu yn yr amlwg. Gwae di, gardottyn heinyf segurllyd, na fyni weithio er lles i neb. Lles ni cheisi, lles a golli: *Diar.* xix. 15. Gwae di, gydwybod gysglyd, yr hon fel ei mud wyt yn bradychu dy berchenog, mae amser hir i ti i udo. Gwae chwi, sy'n ymgyrchu i'r dyrfa (yn hoyw eich ysbrydoedd) yn bwyta siwgr chwant y cnawd yn ngyrfa diafol, ac yn carowsio eich eneidiau. Ar fyrder ni bydd defnyn o ddwfr i ti i'w gael i oeri blaen dy dafod. Gwae chwi, foneddigion drwg, sy'n llyfu chwys y tlodion, yn peri i'ch tenantiaid ochneidio, ac yn tori eu hesgyrn. Mae amser eich gwasgfa chwi yn prysuro heb oedi. Gwae chwi, offeiriaid mudion, yn caru llwynogod, yn cyfarth defaid, cŵn deillion, chwerwon, beilchion, diog, gwancus, chwrnllyd, cysglyd, llydlyd, drewllyd. Fe 'ch troir chwi oll allan o'r eglwys. A gwae chwi, holl hen Gymry sydd eto heb eu hadnewyddu. Ond gwyn eich byd chwi sy'n hiraethus am Dduw, chwi gewch eich llenwi âg ef, ynddo ac iddo. Gwyn eich byd chwi, rai diwyd ffyddlon parhaus, chwi a gewch fendith ar eich gwaith. Gwyn eu byd y gweddiwyr diragrith, hwy a gânt eu gwrando bob amser: *Jer.* xxix. 13; *Marc.* iv; *Sal.* xxv. 11. Gwyn eu byd a gadwant eu hunain, ni wâd Duw mo honynt hwy. Gwyn eu byd a gywir hauant wenith Duw, hwy a gânt fwynhau cnwd ysbrydol. Gwyn eu byd y rhai ysbrydol, canys gyda hwy y mae cyfrinach Duw. Gwyn eu byd y gwyliadwrus, ni chaiff diafol afael arnynt. Gwyn eu byd y disgwylwyr dystaw, fe ymwel yr Arglwydd Iesu â hwynt. Gwyn eu byd y rhai a ddyoddefant dros yr Oen, gyda 'r Oen y teyrnasant. Gwyn eu byd y rhai a ddihunwyd ac a ddihunanwyd, byw a wnant yn Nuw ei hunan. Gwyn eu byd a barhant hyd y diwedd mewn daioni; annhraethadwy yw eu cyflog hwynt. Gwyn eu byd y llesg gostyngedig, toredig eu calonau, canys ynddynt hwy yr erys Duw. Gwyn eu byd y diniwaid, ni all neb eu niweidio. Gwyn eu byd blant bychain Duw, mawr yw ei ofal am danynt. Gwyn fyd weision grymus y Tad, eisteddant i wledda, a'r Oen a'u gwasanaetha. Gwyn eu byd y rhai boddlon dyoddefgar, nid oes dim a all eu cythruddo. Gwyn eu byd a arosant yn isel, hwy a godir yn uchel. Gwyn eu byd a nofiant yn erbyn ffrwd naturiaeth, hwy a ddeuant i'r môr lle y mae 'r ysbrydoedd sanctaidd. Gwyn eu byd ar a wnelont bob daioni ar a wypont, hwy a gânt wybod a fynont, a nerth newydd fel eryrod: *Ioan* vii. 17; *Heb.* xi. 5; *Mat.* v. 8; *Dat.* xxi. 7; *Dat.* vii. 17; *Eph.* v. Gwyn eu byd a rodiant gyda Duw (fel Enoch), Duw a'u geilw ac a'u derbyn o fysg dynion. Gwyn ei fyd y meddwl pur llonydd, fe edwyn hwnw Baradwys a phren y bywyd. Gwyn ei fyd a ymprydio oddiwrth gnawdoliaeth, fe gaiff fwyta Manna Duw. Gwyn ei fyd a wrthodo holl bleserau 'r cnawd, efe a yf o afon Duw. Ac (mewn un gair) Gwyn ei fyd yr ailenedig, hwnw a anwyd i etifeddu pob peth, Duw sydd yn dad iddo, ac yntau yn blentyn anwyl i Dduw. Yr Oen fydd ei oleuni, ac yntau fydd oleuni yn yr Arglwydd. Ni all dim ei ddrygu, ond pob peth a gydweithia er lles iddo. Pan na allo ddal ei afael ar Dduw, fe ddeil Duw ei

afael ar ei hâd ynddo ef. Fe gaiff orphwys byth ynghalon Duw (yr hwn yw ei Fab) pan fo llawer eraill byth yn crasu ar y llechau duon tanllyd, yn farw heb fyw, yn fyw heb farw yn dragywyddol. Ond ni all yr ail angeu newid yr ailenedig, ac nid oes dafod angel a all gyfrif yr holl drysorau sydd ynghadw yn Nuw cyn dechreuad y byd i'r enaid hwnw. *Rhuf.* viii. 2; 1 *Cor.* ii. 9; 1 *Tim.* i. 13. Ond efe a'i cenfydd ac a'i caiff, a'i waith ef fydd eu cyfrif a'u mwynhau yn dragywyddol. Wele 'r awrhon, dyma 'r felldith a'r fendith. Wele dyma fynydd Ebal a mynydd Gerizim. Dyma angeu a dyma fywyd. Dewis di, O ddyn, fywyd ac nid angeu."

Dyma ni yn terfynu. Rhoddasom ddyfyniadau helaethach nag arferol, oblegid fod gweithiau Morgan Llwyd mor anadnabyddus i'r Cymry; ond nid ydym yn credu y dadleua neb eu bod yn rhy faith. Ac er y cwbl, nis gallasom gael lle i ddim ond "Llyfr y Tri Aderyn," o'r hwn y mae genym hen argraffiad, dan yr enw "Dirgelwch i rai i'w ddëall, i eraill i'w watwor: sef Tri Aderyn yn ymddyddan; yr Eryr, a'r Golomen, a'r Gigfran, neu Arwydd i Annerch y Cymry am y flwyddyn 666. Argraffwyd yn Ngwrecsam, ac ar werth yno gan R. Marsh, gwerthwr llyfrau. 1778." Yn awr a oes neb a gymer mewn llaw roddi argraffiad newydd a hardd o'i holl ysgrifeniadau? Ond na chynnygier ar y gorchwyl oni wneir ef yn iawn; ac ymlaenaf oll, rhaid cael golygydd medrus a ffyddlawn i ddiwygio y gwallau yn yr hen argraffiadau.

---

## HWDA I TI, A MOES I MINNAU.

Felly y dywedai yr hen Gymry am dalu am bob peth wrth ei gael: Hwda i ti yr eiddo (gan nad beth a fyddai), a dyro i minnau yr arian. A thyna y cwbl drosodd, heb eisieu son am ammod ymhellach, dydd tâl, na chôf-lyfr. Wrth brynu unwaith, a thalu ar y pryd, ni thelir ond unwaith, ac ni phalla tâl; pan y mae y gŵr gonest wrth brynu ar goel, yn talu lawer gwaith mewn bwriad, ac efallai yn methu gwneyd mewn gweithred yn yr amser apwyntiedig: a'r twyllodrus, er addaw yn deg, heb gymaint a bwriadu yn ddichlyn dalu byth. Dywedir fod dau dalu drwg, sef talu ymlaen, a thalu rywbryd wedi yr amser yr oedd tâl yn ddyledus. Ychydig sydd ddigon gonest, os telir ymlaen, i werthu i'w gofynwyr heb grogbris; ac nid oes nemor ychwaneg wedi prynu ar goel yn ddigon penderfynol i dalu yn yr amser. Ond y mae talu am eiddo wrth ei gael, yn gyfrwng dedwydd rhwng y ddau eithafion uchod.

Nid hwyrach nad oes genedl ar y ddaear yn prynu ac yn gwerthu mwy ar goel, yn ol eu rhif, na chenedl y Cymry, na'r un genedlaeth o'r Cymry wedi bod felly gymaint a'r genedlaeth hon. Yn awr, gan hyny, feibion a merched Cymru, gwrandewch arnom yn ddyoddefgar, pan y dywedom fod llawer o'ch gofidiau a'ch gofalon, eich petrusder a'ch ofnau, eich tlodi a'ch cywilydd, a lliaws o'ch siomedigaethau, yn tarddu yn uniongyrchol oddiwrth gyfundrefn y coelio. Y mae temtasiynau y drefn hon yn rhy gryfion i'r rhan amlaf o blant Adda. Awydd y masnachydd a'r crefftwr i werthu eu nwyfau, a chadw eu cwsmeriaid, a bair iddynt anturio mwy nag sydd ddiogel i'w hamgylchiadau. Ond, ysgatfydd, yn gyffredinol y mae y

temtasiynau yn llawer mwy i'r prynwr; ac felly sylwer yn astud ar y pethau canlynol:—

1. Y mae yn temtio i drefn ry gostus o fyw—i wario mwy nag sydd yn dyfod i mewn. Ac os treulir tair-ceiniog-ar-ddeg am bob swllt sydd yn cael ei ennill, neu ryw ffordd yn dyfod i mewn, suddir i ddyled yn gynt nag y mae llawer yn ystyried. Bydded fod y llyn wrth y felin cyhyd, can lleted, a chan ddyfned ag y byddo, os bydd rhywfaint yn ychwaneg yn myned o hono nag sydd yn dyfod iddo, fe â yn wâg yn gynt na'r dysgwyliad. Y mae awydd mewn dyn i feddiannu, ac y mae cael eiddo heb roddi ei gydwerth yn ei le ar y pryd yn brofedigaeth nid bechan iddo. Y dydd tâl, dydd drwg ydyw; ac y mae y natur ddynol yn dra chwannog i'w bellhau. "Prophwydo y mae efe am amser pell."

2. Pob peth a brynir ar goel sydd o anghenrheidrwydd yn ddrutach. Nid oes fodd i'r rhai sydd yn rhoddi coel werthu heb ychwaneg o ennill na phe cawsant arian parod. Y mae yr arian yn cymeryd cymaint yn ychwaneg o amser i droi fel hyn, fel y gellid troi yr un arian bedair gwaith am un ond cael arian parod. Gŵyr pawb fod yn rhaid i'r masnachwr fyw. Heblaw hyny, y mae rhyw nifer yn prynu ac heb dalu byth. Pwy sydd yn y golled? Atebwn, mai y bobl onest sydd yn prynu ac yn talu ar y pryd, neu cyn pen blwyddyn. Dyma y gonest yn talu dros yr anonest, y sobr dros y meddw, y llafurus dros y dïog, a'r gofalus dros y diofal. Nid ydym yn dywedyd fod y masnachydd neu y crefftwr yn ddigolled oddiwrth y rhai sydd heb dalu. Ond dylid ystyried fod yn rhaid i'r rhai hyn eu cael cyn y gallont eu colli. O ba le, gan hyny, y maent yn eu cael? Yr ydym yn ateb mai o ddwylaw y rhai sydd yn prynu ganddynt, ac yn talu, ac yn benaf o law y rhai sydd yn talu yn brydlawn. Tybier fod y crŷdd yn gweithio mewn tref neu bentref, ac yn gwerthu esgidiau ar goel; tybier hefyd fod un pâr o bob ugain yn myned heb dâl am danynt byth, na gobaith ychwaith; yn awr, allan o reswm yw tybied y gall y crŷdd fforddio colli cymaint ag un pâr o bob ugain trwy ei oes. O ba le ynte y daw tâl am yr ugeinfed? O ddwylaw y rhai a brynasant y pedwar-pâr-ar-bymtheg eraill, ac a dalasant am danynt. Wrth fod y crŷdd yn rhoi chwe' cheiniog yn ychwaneg nag a wnaethai y tro, fel ennill i gynnal ei deulu, ar bob un o'r pedwar-ar-bymtheg, talasant am yr ugeinfed dros y cnâf a ddïangodd heb dalu. Tybygem nad oes dim yn amlycach.

3. Y mae yn gwneuthur llafur yn flin, ïe, yn flinach nag y byddai raid ei fod; am ei fod yn llafur am a fwynhäwyd, yn lle am yr hyn a fwynhëir. "Nid côf y bara a fwytäwyd;" ac oblegid hyny eilwaith, "Nid yw y fudd yn lladd y lludded." Mae yn lled hysbys i bawb fod talu neu weithio am yr hyn a fwytäwyd ac a yfwyd, neu a wisgwyd, er ys blwyddyn, yn beth a wneir fynychaf mewn teimlad anhyfryd. "Dal llygoden a'i bwyta," a ddarlunia sefyllfa o gryn dlodi. "Byw o'r llaw i'r genau" ydyw hyny, sef byw heb weddill. Ond y mae y cyfryw yn byw fel tywysog o'i gymharu â'r neb sydd yn "bwyta ysgyfarnog cyn ei dal," sef yn bwyta ei fara cyn ei ennill; ac os bydd yn ddyn gonest, y mae yn ddiammhau yn dwyn ofn ac yn petruso. Nid oes tlodi yn mysg dynion anwar, ond tlodi dydd yn ei ddydd; ond y mae y neb sydd yn suddo i ddyled yn ei drethu ei hun â thlodi mewn amser i ddyfod.

4. Mae hyn yn peri fod gofynwyr yn fynych yn gofyn eu dyledwyr pan nad oes ganddynt fodd i dalu, yr hyn yn lled gyffredin a bair deimlad

chwerw o'r ddeutu. Cryn ruthr ar amynedd dyn ydyw gofyn arian iddo yn gynt nag y mae yn dysgwyl, ac efallai y swm gofynedig yn fwy nag y mae yn ei feddwl; oblegid cofier o hyd fod gofynwyr yn llawer gwell eu cof na dyledwyr. Dywed y dyledwr, "A oes arnoch eisieu arian càn gynted a hyn? Nid oeddwn i yn meddwl chwaith fod arnaf yn agos gymaint a hyn yma." Y mae yn hawdd gweled teimlad y gofynwr oddiwrth y fath iaith. Pethau o'r cyffelyb a ddygwyddant yn dra mynych; ac y maent yn terfynu yn aml mewn ysbryd ac iaith annedwydd.

5. Canlyniad cyffredin y dull hwn o drin y byd yw, tori addunedau, a siomedigaethau heb rif. Tori adduned mewn amgylchiad lled ddibwys a arwain i dori rhai pwysicach, yr hyn, bob yn ronyn, a wna ddyn yn annheilwng o'i goelio mewn dim. Siomedigaethau, drachefn, pan y cyfarfyddir â hwynt yn fynych, a chwerwant neu a suddant yr ysbryd, ac a barant surni ar y tymherau. Y pethau hyn dros yr amser presennol ydynt anhyfryd, ac ni roddant heddychol ffrwyth cyfiawnder i'r rhai sydd wedi cynnefino â hwynt.

6. Y mae y drefn hon yn peri y cywilydd o geisio eiddo ar goel a chael gommeddiad, yr hyn sydd dra anhyfryd i deimlad pawb. Ond er anhyfryted, y mae y sawl a dreulio gymaint ag a allo gael o hyd iddynt, a chymaint ag a gaffo ar goel, yn sicr o'u profi. Gellid meddwl mai tlodion y bobl yw gwrthddrychau hyn o linellau; ond y mae càn rheitied i'r cyfoethogion glywed a'r tlodion: y mae llawn cymaint o'r rhai hyn, yn ol eu rhif, yn byw yn uwch na'u hennill. Gwelsom unwaith fab i ŵr urddasol yn cael ei ommedd o dorth chwe' cheiniog ar goel, er fod ei heisieu, dybygid, erbyn *tea* brydnawn i'w dad a'i fam. Yn marn pawb, onid oedd hyn yn beth diflas, heblaw ei fod yn gadael y cylläon yn weigion? Mae yn debyg, medd rhywun, mai tipyn o gynghorwr tlawd o ryw enwad neu gilydd oedd y gwr hwnw. Nage, nage; yr oedd ei fywioliaeth ar y dechreu yn werth, meddynt, o bump i saith gant o bunnau yn y flwyddyn: y drwg i gyd oedd gwario tair-ceiniog-ar-ddeg ar swllt. Nid oes diwedd byth ar y benbleth a'r cywilydd sydd yn canlyn prynu ar goel tra ceffir. Clywsom am hen bulpudwr oedd yn byw lawer o ugeiniau o flyneddau yn ol, ac yn arfer bwyta ac yfed yn uwch na'i foddion. Un boreu Sabboth, gorchymynodd i'w was fyned at Dafydd y cigydd i geisio *leg o futton*, fel y gallai y forwyn ei thrwsio erbyn ei ddyfod o'r addoliad. "Ac," ebe wrth y bachgen—"ac yna tyred dithau i'r gwasanaeth." Y bachgen, wedi derbyn y cyfryw orchymyn, a aeth ymaith nerth ei draed at Dafydd y cigydd; a'r hen weinidog dawnus (canys nid y dylaf o'r plant oedd efe), ac âi yntau i'r addoliad. Pa fodd bynag, daeth y gwas o dŷ y cigydd, ac a aeth i'r gwasanaeth. Erbyn hyn yr oedd yr hen barchedig frawd wedi cymeryd ei destun yn hanes y cawr Goliah a Dafydd; ac wrth fyned dros yr ymddyddan rhwng Dafydd a'r cawr, gofynodd y pregethwr mewn llais uchel a phendant, "A pha beth a ddywedodd Dafydd?" Y bachgen, gan feddwl mai iddo ef yr oedd yn gofyn, gan ei fod o bosibl yn edrych arno ar y pryd, a atebodd, "Efe a ddywedodd na chaech chwi ddim cig at eich ciniaw, hyd oni thalech am y llall!" Mae pob synwyr yn dywedyd fod yn ddigon anhawdd gorphen y bregeth wedi cael pelen feddygol mor chwerw a hono ar adeg mor anfanteisiol i'w llyncu. Effeithiai yr un drefn yn gyffelyb ar bob pregethwr, pa un bynag ai cydffurfiwr ai anghydffurfiwr a fyddo, sydd yn euog o ymollwng gyda 'r brofedigaeth o brynu ar goel.

7. Y mae y dull hwn yn groes i rediad cyffredin yr ysgrythyrau. "Na fyddwch yn nyled neb o ddim, ond o garu bawb eich gilydd:" dyma yr iaith a arfer y Bibl yn wastadol. Ac onid yw bod yn ddrwg am dalu yn gŵyn tra chyffredin yn erbyn crefyddwyr yn ein dyddiau? Mae yn rhy wir ei bod. Nid yw egwyddorion a phenderfyniadau proffeswyr yr oes bresennol yn ddigon nerthol i werthsefyll temtasiynau sydd mewn cael eiddo ar goel. Nid ydym yn gwadu nad oes ambell eithriad anrhydeddus i'r rhëol hon; eto dyma y rhëol.

Yn awr, dyma amryw o'r anfanteision sydd yn dilyn prynu ar goel. Bellach rhoddwn rai annogaethau i dalu am bob peth wrth ei gael. Ni a'u cymerwn oddiwrth y manteision sydd yn dilyn hyn.

1. Nid hwyrach y byddai gwell ceisio dangos yn gyntaf oll fod hyn yn ddichonadwy. Er prawf, y mae amryw yn gwneyd hyn. Fe geir rhai tlodion yn talu i lawr am y cwbl a brynant, a hyny pan y cawsent eu coelio; a cheir eraill wedi colli eu coel, fel na chânt ddim at ddiwallu eu hanghen ond am arian parod. Rhai cyfoethogion hefyd ydynt yn arfer o dalu ar y pryd am y cwbl o'r draul, fel nad oes *bill* yn dyfod i'r tŷ yn oed y flwyddyn. Y peth sydd yn gyrhaeddadwy i ddyn fel y cyfryw, sydd trwy ryw foddion neu gilydd yn gyrhaeddadwy i bob dyn. Os oes eisieu, ac os gwell talu am bob peth wrth ei gael, diammhau fod rhyw ffordd i wneyd hyny.

2. Arferer pob cynnildeb a diwydrwydd tuag at gyrhaedd modd i dalu. Nid yw anghenrheidiau natur ddim yn llawer. Mae yn hen ddywediad y gwna natur y tro ar ychydig, a gras ar lai, ond nad oes dim digoni ar chwant. Dynolryw yn fynych a gyfrifant eu hanghenion wrth yr hyn sydd gan eu cymydogion, ac nid wrth eu gwir eisieu eu hunain. Nid oes arnom ni ddim gwir anghen am balas i'w breswylio, am fod rhyw nifer fechan o blant Adda yn byw mewn lleoedd o'r fath. Etyb tŷ cyffredin yr un dyben, ïe, i raddau helaeth, "y bwth bach a'r mŵg main." Nid yw bod

"Rhai mewn cerbydau, yn gwisgo porphor a sidanau,"

byth yn peri fod y pethau hyn yn wir anghenrheidiol i neb. Yr un modd, nid yw tŷ mawr, dodrefn costus, a dillad gwychion, yn anghenrheidiol chwaith. Addcfwn fod tŷ glan, ac ymborth iach, a dillad trefnus a glanwaith, nid yn unig yn ddymunol, ond hefyd yn anghenrheidiol. Ond gall fod bwth y wraig dlawd lanwaith yn dra chysurus yr olwg arno, er nad yw ei gynnwys werth ond ychydig, ïe, pe 'i gwerthid i'r uchaf ei geiniog. Felly hefyd gellir gweled llawer gwraig a geneth yn dra chryno, o'u coryn i'w sawdl, er fod pâr o glocsiau am eu traed, a'u dillad o'u gwneuthuriad eu hunain. Yr oll o gysur a pharch sydd yn dygwydd i ddynion (pa un bynag ai meibion ai merched), a dardd oddiwrth eu glanweithdod a'u crynoder, ac nid oddiwrth eu bod yn dreulfawr. Na cheisiwch, gan hyny, bethau sydd ar ryw gyfrifon yn gysurus ac yn gyfleus eu bod mewn tŷ, hyd onid alloch yn gysurus eu fforddio. Darllenasom am un wraig newydd briodi, a chanddi ryw swm o arian tuag at ddodrefnu ei thŷ. Yr oedd *Miss* yn llawn awydd i wychder; prynodd amryw ddodrefn hardd, ac ymhlith pethau eraill, prynodd *garped* costus dros ben. Erbyn talu am y cwbl, yr oedd yr arian wedi myned i *gered*, fel y dywed pobl y Dê; a chafodd y fûn dirion, cyn i un lleuad basio, fod ei thŷ yn ddiffygiol tua'r

gegin, a lleoedd o'r fath, o liaws o bethau llwyr anghenrheidiol. Nid oedd yno fath yn y byd o gafn tylino; na chymaint a chrochan i ferwi cawl. Yr oedd y *carped* o'r goreu i'r sawl a allasai ei gostio; ond y mae yn hawdd i blentyn wybod fod yn haws gwneyd hebddo mewn tŷ na heb gafn tylino. Y mae yn wir ei wala hefyd nad yw diodydd costus yn anghenrheidiau natur. Ni bu Cymru erioed yn llawnach o dystion eu bod yn afraid, nag ydyw yn y blyneddau hyn. Miloedd o bob rhyw, ac oedran, ac amgylchiadau, sydd yn byw hebddynt yn ddigon diddig a chysurus. Addefir hefyd, hyd yn nod gan y rhai sydd yn ei ddefnyddio, nad ydyw y *tobacco*, er difyred yw y dial arno wrth ei gnoi a'i losgi, ddim yn dyfod i restr anghenrheidiau natur, er yr haerir ei fod yn un o'i chysuron a'i difyrau diniwed. Fe ŵyr pawb na cheir mo'r tair ceiniog a elo am dano at ddim arall, pa faint bynag fyddo y galw am danynt: ni ddeuant yn eu hol mwy na'r meirw o'u beddau. O ganlyniad, diogelach peidio a'i arfer, hyd nes y byddo yn amlwg fod rhagluniaeth yn rhoi modd i'w gael. Gwell "gwasgu y fêg" ar chwant nag ar natur; a gwell peidio cynnyrchu y chwant na hyny. Ar y pen hwn hefyd rhaid dywedyd, er fod y gorchwyl yn anhyfryd, nad yw *tea* a siwgr ychwaith yn anghenrheidiau bywyd. Maent yn ddiau yn gysurol ac yn adfywiol, ïe, yn fwy felly nag yn wir gynnaliaethol: ar yr un pryd daethant i ymarferiad tra chyffredin yn ein gwlad gydâ phob dosbarth; ac er eu bod yn is nag y buont, y maent eto yn ddrudion. Can' mlynedd i heddyw, nid oedd nemawr o ddefnyddio arnynt ond gan foneddigion yn unig. Mae miloedd heddyw yn fyw yn Nghymru nad oedd na *theakettle* na *theapot* yn y tŷ ddydd priodas eu teidiau a'u neiniau. Nid diogel, er hyny, yw dywedyd llawer yn eu herbyn, gan eu bod yn gangenau helaeth o fasnach, ac archwaeth llawer wedi dyfod mor llwyr atynt, nes y maent yn y drws nesaf i fod yn anghenrheidiau. Eto, gan nad ydynt wir anghenrheidiau, cynghorem bawb i dreio gwneyd hebddynt, hyd oni allont dalu arian parod am danynt. Ond dywed rhywun, nas gall efe byth gael arian parod i dalu, a bod yn rhaid iddo ef gael *tea*, a siwgr i'w felysu. O'r goreu, nid ydych yn meddwl peidio talu am dano rywbryd, efallai cyn pen blwyddyn; ac os telir y *bill* yn llwyr yn mhen y flwyddyn wedi iddo ddechreu rhedeg, y mae hyny ar y cyfan yr un peth a chael coel am chwe' mis. Wel, yn awr, cosber y blys am *dea* am hanner blwyddyn, a bydd genych, o ran y tê, arian parod i dalu am dano am eich oes, pe byddech byw cyhyd a Thomas Parr.

3. Y mae yn dra chysurus meddwl fod yr hyn sydd yn y tŷ ac allan wedi talu am dano; ni bydd raid ofni pwy a ddelo i mewn, nac â phwy y cyfarfyddom. Mae dyn gonest yn gweled ei ofynwr yn mhob cynnulliad, er efallai nad yw y gofynwr yn meddwl am dano ef. Ond am y neb sydd yn talu am eiddo wrth ei gael, gall hwnw fod yn ddiofal, er fod ei ddiwyg yn gyffredin, a'i fwyd heb fod yn ddanteithiol; y mae yn iachus, a'i hûn yn felus. "Diofal y cwsg potes maip."

> "Cael pryd o gawl erfin, heb neb yn fy ngofyn,
> Mi a gysgwn yn sydyn, mor esmwyth ag undyn."

O'r tu arall, pe byddai dyn yn cymeryd byd da helaethwych beunydd, ac yn ddyledog, y mae ei enaid yn chwerw, a'i gydwybod yn ofnus; ac y mae yn ddïareb mai "anhawdd cysgu ar obenydd y dyledog." Yr un ffunud am y bachgen a'r lodes sydd yn talu am eu dillad wrth eu cael;

er nad yw eu cyflog ond ychydig, y mae yn ddigon; ac am ei fod wedi ei ennill trwy hir wasanaeth, y mae yn cyrhaedd ymhell. Nid oes arnynt ben tymmor ofn y siopwr, na'r crŷdd ychwaith. Dygant eu hunain i arfer dda, yr hon ond odid nad ymadawant â hi am eu hoes. Ni wna rhieni tlodion yn fynych waeth gwaith na dysgu eu plant i brynu ar goel pan yn dechreu gwasanaethu, ac felly eu cynnefino â dyled am eu holl ddyddiau. Addefwn y gall y mwyaf cynnil a diwyd dan ryw amgylchiadau fyned yn dlawd; ond eithriad yw hyn, ac nid y rheol; ac anfynych iawn yr arosant yn hir cyn y cânt ryw ymwared. O fabwysiadu yr egwyddor hon, ni a fyddwn sicr o beidio colledu neb arall; ac y mae hyny yn gysur mawr i gydwybod onest.

4. Edrych ar roddi eiddo Cæsar i Cæsar, a'r eiddo Duw i Dduw. Fe allai fod gormod o edrych ar grefydd ar wahan oddiwrth wneyd yr hyn sydd gyfiawn. Gwir fod adnabod pla ein galon ein hun, a dyfod i ymofyn "pa fodd y cyfiawnhêir dyn gyda Duw, a pha fodd y bydd yr hwn a aned o wraig yn lân," i'w gwahaniaethu oddiwrth rodiad ac ymarweddiad da. Eto, nid ydynt mewn un modd i'w gwahaniaethu y naill oddiwrth y llall. Y dyn sydd yn ddrwg am dalu ei ffordd, heb roddi yr eiddo dyn i ddyn, y mae yn fwy na thebyg fod hwnw heb roddi yr eiddo Duw i Dduw. Ac y mae bron bawb sydd yn hoff o gael eu coelio, yn troi allan bob yn dipyn yn ddrwg am dalu.

Gan hyny, anwyl ddyn, os gwerthfawr genyt dy barch a'th gysur, dy enw da fel dyn gonest, a'th gymeriad fel dyn crefyddol, na fydd yn nyled neb o ddim. Na thriged cyflog y gweithiwr gyda thi hyd y boreu. Ac i'r dyben o gyrhaedd hyn, na phryn ddim ar na fo eu heisiau arnat, pe ceit hwynt am hanner a dalont. Na âd ddim yn îs na'th sylw. Na âd tan yfory yr hyn a ddylit ac a ellit ei wneyd heddyw. Na chais neb i wneuthur yr hyn a ellit ac a ddylit ei wneyd dy hun. Na fachnïa dros neb am bris yn y byd. Na ddos ychwaith i gyfraith â neb dros dy flingo yn fyw: yma mae yr ennillwr yn golledwr. Bydd gymydogol. Dod elusen. Bydd dosturiol. Bydd gymwynasgar. Gwasanaetha dy genedlaeth. Ac uwchlaw y cwbl, gwasanaetha dy Dduw. Ymdrech am ei adnabod; derbyn ei Fab; cred ac ymddiried ynddo; ymostwng iddo; cymer ei Ysbryd yn arweinydd, a'i air yn rhëol dy ymarweddiad yn mhob peth. Gwna hyn oll mewn cariad, a dedwydd fyddi yn dy fywyd; byddi farw hefyd o farwolaeth yr uniawn, a bydd dy ddiwedd fel yr eiddo yntau.

---

## AMEN.

Gan fod y gair anghyfiaith hwn yn cael ei arferyd mor fynych yn ein gweinyddiadau crefyddol, barnem na byddai dernyn byr arno yn y "Traethodydd" yn anmhriodol nac annerbyniol; canys ofnwn, er ei fynych arferiad, ei fod yn air tra dyeithr yn ei arwyddocâd a'i ystyr amrywiol i lawer. Ymdrechwn i fod yn fyr, eto mor eglurhäol ag y gallom, a hyderwn, yn ddigon dëalladwy i'n holl ddarllenwyr.

Amen sydd air Hebreig, yn tarddu o'r ferf *aman*, yr hwn yn y ffurf oddefol a arwydda gwirioneddol, ffyddlawn, &c. Gwneir hefyd o'r gair hwn fath o ragferf gadarnhaol, yn arwyddo, yn wir, felly y mae, &c. Tybia y Rabbiniaid fod y gair Amen yn cael ei gyfansoddi o lythyrenau cyntaf y geiriau *Adonai, Melech, Neeman*, yr Arglwydd, y brenin ffyddlawn; ymadrodd cyffredin ymhlith yr Iuddewon, pan y mynent roddi pwys neu sicrhad i'r hyn a ddywedent.[1]

Y mae weithiau yn yr ysgrythyrau sanctaidd yn cael ei ddodi o flaen yr hyn a draethir; felly yn rhoddi rhybudd blaenorol fod rhyw wirionedd pwysig ar gael ei ddywedyd, fel y derbynier ef gyda sylw a pharch priodol. Yn yr amgylchiadau hyn, cyfieithir ef, Yn wir. "Yn wir, yn wir," —amen, amen—"meddaf i ti, oddieithr geni dyn drachefn, ni ddichon efe weled teyrnas Dduw:" *Ioan* iii. 3. "Yn wir, yn wir,"—amen, amen—"meddaf i chwi, Pa beth bynag a ofynoch i'r Tad yn fy enw i, efe a'i rhydd i chwi:" *Ioan* xvi. 23.

Y mae y gair yn cael ei roddi yn niwedd pob un o'r efengylau, a'r rhan fwyaf o'r epistolau, fel cadarnhad o wirionedd yr ysgrifeniadau hyny. Y mae yn cael ei arferyd i ddynodi geirwiredd a ffyddlondeb Crist yn ei air a'i addewidion. "Y pethau hyn y mae Amen yn eu dywedyd, y Tyst ffyddlawn a chywir:" *Dat.* iii. 14. "Holl addewidion Duw ynddo ef ydynt ïe, ac ynddo ef amen:" 2 *Cor.* i. 20.

Ond bwriadwn ei ystyried yn benaf yn ei berthynas â chyhoedd addoliad Duw. Pe byddai yr holl addolwyr yn ailadrodd eu gweddïau yn lleisiol ar ol y gweinidog, byddai tŷ Dduw yn olygfa o ddyryswch ac anghydfod afreolaidd, anweddus i symlrwydd a dwysder y gorchwyl o addoli Duw. Ac ar y llaw arall, pe peidiai y bobl a chymeryd dim rhan ymarferol o fath yn y byd yn nefosiynau yr addoliad, byddai i'w meddyliau, oblegid annhueddrwydd naturiol dyn i'r fath waith, grwydro oddiwrth Dduw; a deuai ei wasanaeth yn ffurf o dduwioldeb yn unig, heb y grym. Trwy i'r holl gynnulleidfa gyduno mewn Amen galonog ar ddiwedd pob erfyniad, y maent yn dadgan eu cydsyniad â gweddïau y gweinidog, neu y neb a fyddo yn gweinyddu yn llefarol. Felly ysgöir annhrefn, a chedwir yr ystyriaeth yn effro. Y mae agos yn anmhosibl lai nag addoli Duw mewn ysbryd a gwirionedd pan ddysgwylir wrtho yn y dull hwn.

Dylai y bobl ddyweyd Amen i fawl a diolch. "Bendigedig fyddo Arglwydd Dduw Israel o dragywyddoldeb i dragywyddoldeb: a dywedodd yr holl bobl Amen, gan foliannu yr Arglwydd:" 1 *Cron.* xvi. 36. Dylent hefyd ddyweyd Amen i erfyniad. "A'r holl ddaear a lanwer o'i ogoniant, Amen, ac Amen:" *Salm.* lxxii. 19. Gwel hefyd *Matt.* vi. 13, lle y ceir y gair hwn yn niwedd Gweddi yr Arglwydd. Dylai yr holl gynnulleidfa gyduno ynddo. "Bendigedig fyddo Arglwydd Dduw Israel erioed ac yn dragywydd; a dyweded yr holl bobl Amen:" *Salm* cvi. 48. "Ac Ezra a fendithiodd yr Arglwydd, y Duw mawr; a'r holl bobl a atebasant Amen, Amen, gan ddyrchafu eu dwylaw; a hwy a ymgrymasant ac a addolasant yr Arglwydd â'u hwynebau tua'r ddaear:" *Neh.* viii. 6. Dylai gael ei adrodd yn niwedd pob erfyniad, ac nid unwaith yn unig, yn niwedd yr addoliad neu weddi. Pan oedd y melldithion yn cael eu cyhoeddi o dan y gyfraith, gorchymynid i'r bobl ddywedyd Amen yn niwedd pob un o

[1] Gwel "*Crocker's Dictionary*," a "*Rees' Cyclopædia.*"

honynt. Ni chymerai y rhan hyny o'r gwasanaeth ddim mwy na thri neu bedwar o fynydau; ac yn ystod yr amser hwnw, yr oedd gan yr holl bobl i ddyweyd Amen ddeuddeg gwaith. Gwel *Deut.* xxvii. 14—26. Os oedd yr holl gynnulleidfa i ateb eu Hamen yn niwedd pob melldithiad, nis gallwn dybio yn sicr eu bod i'w gadael heibio yn niwedd pob bendithiad.[1]

Ymddengys yn eglur iawn oddiwrth 1 *Cor.* xiv. 16, fod yr apostol yn bwriadu i arferiad y gair fod yn gyffredinol a chyson yn yr eglwys Gristionogol. Yn y bennod a enwyd uchod y mae yn diwygio llawer o ymarferion oedd wedi ymlusgo i'r addoliad dwyfol; ac yn gosod i lawr reolau, wrth y rhai y gallent eu dwyn ymlaen yn weddus a threfnus. Ymhlith pethau eraill, y mae yn eu cyfarwyddo fod i'r addoliad gael ei gyflawni mewn iaith ddëalladwy gan yr addolwyr, fel y gallai yr hwn a gyflawnai le yr anghyfarwydd ddyweyd Amen pan ddiolchid.

Gan hyny, ni a gawn fod yr arferiad hwn wedi myned yn gyffredin yn y brif eglwys. Y mae Mosheim, yn ei hanes am y ganrif gyntaf, wrth son am y bara a'r gwin yn cael ei arferyd yn Swper yr Arglwydd, yn dywedyd, "Yr oedd y rhai hyn yn cael eu cysegru trwy weddïau penodedig a draethid gan yr esgob ei hun, i'r hyn y rhoddai y bobl eu cydsyniad trwy ddywedyd Amen."[2] Justin Martyr, yr hwn oedd yn byw oddeutu 160 mlynedd wedi Crist, a ddywed, "Y pen gweinidog a offrymai weddi a mawl â'i holl nerth, a'r bobl yn ateb Amen."[3] Gwnaed Dionysius yn Esgob Alexandria yn mlwyddyn ein Harglwydd 248. Yn ei bummed epistol at Sixtus, Esgob Rhufain, o berthynas i fedydd hereticiaid, y mae y geiriau hyn, "Ni feiddiaf ailfedyddio un a glywodd y dodiad diolch, a'r hwn ynghyda'r gynnulleidfa a ddywedodd Amen iddo."[4] Y mae Valesius, mewn nodyn ar y geiriau hyn yn sylwi, "Wedi i'r offeiriad orphen gweddïau pwysig y cysegriad yn y cymun, yr holl bobl mewn bloedd a ddywedent yn uchel, Amen; hyny yw, felly y byddo. Rhaid i ni ddëall fod y lle hwnw gan St. Paul, yn 1 *Cor.* xiv. 16, yn cael ei lefaru mewn cyfeiriad at yr arferiad hwn." Cyfarwydda Basil a Chrysostom "y bobl i ateb gweddïau y gweinidog, weithiau âg Amen, ac weithiau âg Arglwydd trugarha wrthym," &c. Yr un Basil a ddywed, "Os yw y môr yn deg, pa fodd nad yw cymanfa y gynnulleidfa yn llawer tecach, yn yr hon y mae cydleisiau gwyr, gwragedd, a phlant (fel pe byddai dònau y môr yn curo ar y traeth), yn anfon allan ein gweddïau at Dduw." A Chrysostom ar eiriau Paul, a ddywed, "Can gynted ag y clywai y bobl y geiriau hyn, yn oes oesoedd, atebent yn ebrwydd Amen."[5] Gwnaed Basil yn Esgob Cæsarea yn mlwyddyn ein Harglwydd 369. Chrysostom a wnaed yn ddarllenydd i Eglwys Antioch oddeutu y flwyddyn 370; efe wedi hyny a wnaed yn esgob neu olygwr Constantinople. "Gwelodd rhai yn gyfaddas," medd Dr. Ridgley, "wrth uno mewn gweddi, i'r holl gynnulleidfa, heblaw yr hwn sy'n enau trosti, i ddywedyd Amen â llais uchel, ac felly i arwyddo eu cydsyniad â'r, a'u hystyriaeth yn, y deisyfiadau a gynnwysir ynddi, yr hyn a ymddengys oedd arferiad yr eglwys yn ei hoesoedd boreuaf: fel y

[1] Meddylia rhai y dylai yr hwn a fo'n gweddïo yn lleisiol, wneyd gorphwysiad yn niwedd pob erfyniad, fel y gallo y gynnulleidfa gael cyfleusdra i roddi eu Hamenau, heb golli dim o'r weddi, na chreu anghydfod.

[2] "*Eccles. Hist.*" Llyfr i. tudal. 128. Argraffiad newydd.

[3] Homili Eglwys Loegr ar Weddi Gyffredin a Sacrament.

[4] "*Eusebius' History of the Church.*" Llyfr vii. pen. 9.

[5] Homili ar Weddi Gyffredin a Sacrament.

sylwa Justin Martyr, ei bod yn ei amser ef; ac a arferid hefyd yn amser Jerome, yr hwn a gymharai y sŵn a wnai y cydleisiau i sŵn taran."[1] Dr. Stillingfleet, Esgob Gloucester, yn ei esboniad ar Gatecism yr Eglwys, ar y gair Amen, tudal. 161, 162, a ddywed y geiriau hyn: "Nid gan un yn unig y mae yr Amen hwn i gael ei ddywedyd, ond gan yr holl gynnulleidfa. A'r hwn a esgeulusa ddywedyd Amen i'r cais, sy'n haeddu na chaffo ran yn y rhodd. Fel na chaffo ei wneyd yn oer a llesmeiriol, dylai ein Hamenau ar ddiwedd ein gweddïau fod fel yr eiddo y prif Gristionogion, y rhai a leisient Amen gyda'r fath rym, zel, a gwres, fel y tybiai y neb a glywai adsain eu tafodau zelog, ei fod yn clywed sŵn rhuad y môr, neu sŵn nerthol taran gref."

Y mae y tystiolaethau hyn yn fwy na digon i ddangos beth ydoedd arferiad eglwys Crist, am y pedair canrif cyntaf. Y mae y llygredigaethau mawrion a lliosog a ddygwyd wedi hyny i'r addoliad dwyfol yn ei gwneyd yn ddianghenrhaid dilyn yr ymchwil ddim pellach.

Y mae y gair hwn, y dyddiau hyn, wedi myned agos allan o arferiad. Mae yn wir, y dywedir ef lawer gwaith yn ystod y gwasanaeth yn Eglwys Loegr, ond nid gan yr holl gynnulleidfa yn ol yr hen arferiad. Y maent hwy yn cyflogi dyn i ddywedyd Amen trostynt, a'r rhelyw yn boddloni i addoli Duw trwy ddirprwy (*proxy*). Y mae yr Ymneillduwyr Annibynol wedi syrthio yn ol gymaint oddiwrth yr hen arferiad, fel mai prin y dywed neb yn y gynnulleidfa air o atebiad i'r gweddïau. Ni a glywn, weithiau, y gair Amen yn nghynnulleidfaoedd y Methodistiaid; ond gan ychydig iawn o hen addolwyr ei harferir; a hyny, fynychaf, mewn llais mor isel, fel y tybid fod arnynt ofn cael eu dal ar y weithred o gydweddïo!

*Gwrthddadl* 1. "Onid yw dyrchafu y galon at Dduw yn ddigon, a rhoddi ein cydsyniad dystaw i'r gweddïau a offrymir gan y gweinidog yn ein henw?" Tybir nad ydyw. A ellwch chwi newid gorchymyn Duw, heb ei waethygu? A ydyw cydymffurfiad â'r gorchymyn hwnw yn fwy na digon? Cyfarwyddodd Duw fod i'r holl bobl ateb a dywedyd, Amen.

*Gwrthddadl* 2. "Ond nid oes anghenrheidrwydd am ddywedyd, Amen, yn uchel." Efallai nad oes: nid ydyw yn bechod chwaith. Nid oes rëol pa mor uchel y dylid dyrchafu y llais yn hyn, mwy nag yn y rhanau eraill o addoliad dwyfol; a chan hyny, os yw gormodedd i gael ei ysgoi, dylai rhyddid gael ei ganiatâu. Ni ddylai neb gael ei ammheu ei fod yn ddiffygiol o fywyd crefydd, oblegid nad yw yn bloeddio yn ei ddefodau crefyddol. Nid yw cywirdeb dyn i gael ei brofi wrth nerth ei beiriannau llafar. Gallem yn gystal wneyd sŵn yn safon iawnffyddiaeth, a'i wneyd yn brawfiedydd duwioldeb. Ac ar y llaw arall, ni ddylai neb gael ei alw yn benboethyn, neu wallgofddyn crefyddol, oblegid gwasanaethu Duw "â llais uchel." Gall yn hawdd gyfiawnhau ei ymddygiad o'r Bibl. Wedi lladdfa fawr y Benjaminiaid, "daeth y bobl i dŷ Dduw, ac a arosasant yno hyd yr hwyr ger bron Duw, ac a ddyrchafasant eu llef, ac a wylasant âg wylofain mawr: ac a ddywedasant, O Arglwydd Dduw Israel, paham y bu y peth hyn yn Israel, fel y byddai heddyw un llwyth yn eisieu yn Israel:" *Barn*. xxi. 2, 3. Pan osodwyd sail yr ail deml, "yr holl bobl a floeddiasant â bloedd fawr, gan foliannu yr Arglwydd...y bobl oedd yn bloeddio â bloedd fawr, a'r sŵn a glywid ymhell:" *Ezra* iii. 10, 13. Un o'r deg gwahangleifion a iachawyd gan yr Iesu, "pan welodd ddarfod ei iachau, a ddych-

[1] "*Body of Divinity*." Tudal. 694. Trydydd argraffiad.

welodd, gan foliannu Duw â llef uchel; ac efe a syrthiodd ar ei wyneb wrth ei draed ef, gan ddiolch iddo:" *Luc* xvii. 15, 16. Yr apostol Ioan, pan yn llefaru am addoliad Duw yn y nefoedd, a ddywed, "Mi a glywais megys llef uchel gan dyrfa fawr yn y nef, yn dywedyd, Aleluia; iachawdwriaeth, a gogoniant, ac anrhydedd, a gallu, i'r Arglwydd ein Duw ni....A syrthiodd y pedwar-henuriad-ar-hugain, a'r pedwar anifel i lawr, ac a addolasant Dduw, yr hwn oedd yn eistedd ar yr orseddfainc, gan ddywedyd, Amen; Aleluia. Ac mi a glywais megys llef tyrfa fawr, ac megys llef dyfroedd lawer, ac megys llef taranau cryfion, yn dywedyd, Aleluia; oblegid teyrnasodd yr Arglwydd Dduw Hollalluog:" *Dat.* xix. 1—6. Mewn un o'r esiamplau hyn yn unig y ceir y gair Amen; ond dïos ei bod mor gyfreithlawn dywedyd y gair hwn â llais uchel ag eraill; a dylid sylwi iddo gael ei arferyd yr unwaith hwn gan drigiannyddion y nefoedd, yr hyn yn sicr sydd yn awdurdod uchel iawn. Nid yn hawdd y gellir peidio sylwi, y fath debygoliaeth hynod sydd rhwng yr addoliad a gyflawnir yn y nefoedd, yn ol yr apostol Ioan, a'r eiddo y prif Gristionogion, yn ol Esgob Gloucester. Yn y nefoedd, clywodd yr apostol "megys llef dyfroedd lawer, ac megys llef taranau cryfion." Am y prif Gristionogion, sylwa yr esgob, "y tybia y neb a glywai adsain eu tafodau zelog, ei fod yn clywed sŵn rhuad y mor, neu sŵn nerthol taran gref." Er hyny, rhaid sylwi fod dywedyd Amen gyda'r fath wresogrwydd yn gyfeiliornus iawn, heb fod yn ei-ddilyn gywirdeb a difrifoldeb enaid mawr; ond ni ddylid ammheu tymher y meddwl pan y byddo y bywyd yn cyfateb i'r gofyniadau dwyfol, yn ol rhëol gair Duw; a lle y mae cyd-darawiad tymher y meddwl â'r ymddygiad, nid oes dim anghydsain yn nghlust y Nefoedd, mewn Amen uchel. Wedi y cwbl, rhaid i ni gadw yn ein côf y gwahaniaeth mewn iechyd, dygiad i fynu, tueddiad naturiol, oed, arferiad, &c.; ac yma byddwn yn alluog i roddi cyfrif am y gwahaniaeth graddau o zel yn nodiad yr Amenau, heb dybio gwahaniaeth cyfartal mewn cyrhaeddiadau ysbrydol.

*Gwrthddadl* 3. "Ond gwnai y sŵn a achlysurai adnewyddiad o'r arferiad hwn aflonyddu y gwastadrwydd a'r tawelwch meddwl hyny, a ddylai gael ei gynnal bob amser yn nhŷ Dduw." Nid yw yn hollol eglur y dylai y meddwl fod yn llonydd a thawel bob amser mewn addoliad neu ddefosiwn crefyddol. A ddylai y meddwl fod mor dawel wrth gyffesu pechodau, fel pe na byddai dim yn y byd o'i le? A ddylai y pechadur fod yn dawel ei feddwl, wrth ddeisyf am drugaredd, pan y mae digofaint Duw yn aros arno, a damnedigaeth uffern yn dysgwyl am dano? A all rhywun heblaw y rhagrithiwr mwyaf ysgeler, gyfarch y Bod Goruchaf yn y cyfryw eiriau a hyn, "Arglwydd, trugarha wrthym!" "O Arglwydd, bendithia ni!" "O Dduw, achub yn awr!" heb deimlad yn ysgwyd ei holl enaid? A ydyw yn bechod anfaddeuol i deimlo rhywbeth tebyg i lesmair crefyddol, wrth foliannu Duw am iachawdwriaeth trwy Iesu Grist?

*"O ye cold-hearted, frozen formalists!*
*On such a theme, 'tis impious to be calm;*
*Passion is reason, transport temper, here."*

Terfynir y traethawd hwn â dau neu dri o sylwadau ar fuddioldeb yr arferiad o ddywedyd, Amen, gan gynnulliadau crefyddol.

*Byddai yn fuddiol i'r addolwyr.* Sylwyd yn barod, fod dyn yn naturiol yn annhueddol i ymarferiadau crefyddol. Y mae hyd yn nod y gwir dduwiol yn cael eu meddyliau yn rhy dueddol i grwydro. Ond pan fo gan y bobl

i roddi eu Hamenau, rhaid iddynt sylwi ar y gweddïau; a phan fyddo eu hystyriaeth yn cael ei gyfarwyddo at y gwrthddrych priodol, y maent yn debyg iawn o fod ar y ffordd i dderbyn lleshad.

*Byddai yn fuddiol i'r gweinidog.* Pan na byddo y bobl yn cymeryd dim rhan ymarferol yn yr addoliad cyhoeddus, nid oes gan y gweinyddwr brawf eu bod yn addoli Duw yn yr ysbryd. Gall eu meddyliau fod yn crwydro, neu gallant fod yn cysgu. Gyda'r ansicrwydd hwn, pa fodd y gall ef deimlo rhyddid wrth arwain eu defosiynau? Ond pan y dywedant Amen gyda bywiogrwydd, y mae yn gweled eu bod yn ymwneyd gydag ef wrth orsedd gras; y mae hyny yn bywhau ei enaid—yn cynneu ei zel—yn ei lenwi â hyder; y mae y nefoedd yn disgyn, a phawb yn y lle yn cydgyfranogi o'r fendith.

*Byddai* i'r gwres sanctaidd hwn yn nghyhoedd addoliad Duw fod o *wasanaeth, hyd yn nod i'r diefal,* i ddeffroi eu sylw; y rhai, wrth weled y fath ddifrifoldeb a defosiwn yn yr addolwyr, nas gallai lai na gweithio argyhoeddiad yn eu meddyliau, a chynneu ynddynt hwythau ysbryd defosiynol. Y mae yr apostol, yn y bennod hono, lle y mae yn rhoddi y cyfarwyddiadau hyny ynghylch addoliad cyhoeddus, fel ag y gallo y bobl ddywedyd Amen, yn ein hysbysu pa effeithiau a gai y cyfryw drefn ar yr anghrefyddol: "Os prophwyda pawb, a dyfod o un digred neu annysgedig i mewn, efe a argyhoeddir gan bawb, a fernir gan bawb; ac felly y gwneir dirgelion ei galon ef yn amlwg; ac felly gan syrthio ar ei wyneb, efe a addola Dduw, gan ddywedyd fod Duw yn wir ynoch:" 1 *Cor.* xiv. 16, 24, 25. Gwel "*Dr. A. Clarke's Sermon on the Christian Prophet.*"

---

## Y DUWDOD.

"Tri pheth nis gall namyn Duw: dyoddev pythoedd y ceugant; cynghyd a phob cyvlwr heb newidiaw; a rhoi gwell a newydd ar bob peth, heb ei roi er goll."—*Barddas.*

Cyn iti greu y ddaear gron,
A gosod deddvau oesol hon,
Y lloer, a'r sêr, a'r huan llon,
Oeddit dragywyddol Dduw:
A phe dyrysai rhai'n i gyd,
Neu pe dyddymid hwynt ynghyd,
A phob crëadur byw 'mhob byd
Ti vyddi y Duw byw.

Tra byddo yn y ceugant[1] tau,
Y bydoedd wrth dy ddeddvau 'n gwau
Heb ballu, bythol yn parhau
I draethu 'th ddwyvol glod,
Ceir eglur ganvod ynddynt hwy
Dy allu mawr a'th Dduwdod mwy
Nes synu i ddyddymdra trwy
Dy wel'd Anveidrol Vod.

Mor gain y bydoedd oll i gyd
Yn hongian wrth dy air bob pryd,
Heb sail *ond gair* i'w dal ynghyd!
Mor rymus ydyw hwn!
A *gair* a roddodd Ev i'r gwan,
Dir air y byddai ar ei ran,
Ei air a'i lŵ i'w ddwyn i'r lân,
Er maint ei boen a'i bwn.

Tra dadgan haul ei glod y dydd,
Y lloer a'r sêr, y nos, mor rydd;
Moliannwn ninnau Ev trwy fydd,
Gan orphwys ar ei air:
Yr hwn sydd yn eu dal i'r lân,
A'n cyvyd ninnau yn y man
I'w vynwes vwyn, O! hyvryd van,
Ac yno 'n cadw wneir.

[1] Eiddo ti.

Os rhyvedd gwel'd y bydoedd vry
Yn hardd ymhoewan oll yn hy
'Nol dy beriaeth nerthol di
Trwy'r oesoedd yn y nen;
Mil myrdd mwy rhyvedd, diau yw,
Gweled eu Perydd mawr a'u Llyw,
*Ei hun*, yn neddvle dynolryw
Yn hongian ar y pren!

Pe pallai 'r haul a thraethu clod,
Pe collai lloer a sêr eu rhod,
A diva daear vach o vod,
Bydd myrdd o'i phlant yn vyw!
Cant vyw yn hyvryd iawn mewn hedd;
Cant vyw, er bod yn ngwaelod bedd,
A byw i wel'd tirionav wedd
Eu Brawd (mewn cnawd) a'u Duw.

Os canodd yr angelion llon
Pan welsant greu y ddaear gron,
A'i waith yn doeth lywyddu hon,
A bydoedd maith heb ri;
Os dadgan yr holl luoedd têr
Byth, voliant a gogoniant Ner,
Coronwn ninnau 'r odlau pêr—
Bu varw trosom ni!

Cyn esgyn i'w ogoniant vry
Gadawodd air o'i ol i ni—
"Byw ydwyv a byw vyddwch chwi;—
Par'töav i chwi le."
A ddaeth o'i enau sydd tan sêl,
Cyvlawna 'i gynghor yn ddigêl,
Ac ni newidia, doed a ddêl,
Yr "Ydwyv," yw eve.

Mor ddedwydd y credadyn gwyw
Vod ei gadernid ev yn Nuw!
A'i bendervyniad y caif vyw
Heb ddifyg byth na bai!
Bydd tan ddylian dwyvol pur
Heb wall, na phall, na choll, na chur,
"Rhoir gwell a newydd" arno 'n wir
Heb dranc, na thor, na thrai.

Er gwel'd ei hen gartrevle 'n fiam,
Ond ev ei hun yn iach ddinam
O hedd yn llawn, yn rhoddi llam
I gartrev llawer gwell!
Yn llawn o rym, a nerth, a nwy!
Yn ieuanc heb heneiddio mwy!
Mal cerub cryv yn treiglo trwy
"Gylch pur y gwynvyd pell!"[1]

---

# RHAGLUNIAETH.

Mewn perthynas i ragluniaeth neu lywodraeth Duw ar y byd, mae dau wirionedd pwysig yn ymgymhell i'n sylw yn flaenaf oll; sef hawl Duw, a hefyd ei gymhwysder, i lywodraethu ei greaduriaid. Fe dardd ei hawl yn naturiol oddiar y berthynas sydd rhyngddo a hwy fel eu Creawdwr a'u cynnaliwr—ac fe dardd ei gymhwysder yn anocheladwy oddiar ystyriaeth o'i berffeithiau dwyfol a gogoneddus.

Gellir sylwi mai yr hyn a olygir yn gyffredin wrth ragluniaeth yw, gofal a rhag-olygiaeth Duw am a thros ei greaduriaid. Arferai yr hen dduwinyddion olygu rhagluniaeth ddwyfol tan ddau ddosbarthiad cyffredinol, sef yn gynnaliol a llywodraethol—gwaith Duw yn cynnal pob creadur, ynghyd â'i lywodraeth arnynt. Mae y naill a'r llall yn wirioneddau pwysig a gadarnheir yn gystal gan reswm a chan air Duw. Yn awr, ond i ni gymeryd golwg ar lywodraeth Duw tan y ddau osodiad a ganlyn, sef yn gyffredinol a neillduol, meddyliem y canfyddir fod yr hyn a olygid wrth ragluniaeth gynnaliol Duw i raddau yn gynnwysedig yn yr hyn ydym yn ei ddëall wrth ei lywodraeth gyffredinol ar y byd; hyny ydyw, gwaith Duw yn cynnal deddfau natur; oblegid y mae gweithrediad y deddfau hyn yn fath o lywodraeth o eiddo Awdur natur ar ei greaduriaid, os na bydd i ni

[1] Tri chylch hanvod y sydd: cylch y ceugant, lle nid oes namyn Duw, na byw na marw, ac nid oes namyn Duw a all ei dreiglo; cylch yr abred, lle pob ansawdd hanvod o'r marw, a dyn a'i treiglwys; *cylch y gwynvyd*, lle pob ansawdd hanvod o'r byw, a dyn a'i treigla yn y nev.—*Barddas.*

wahaniaethu rhwng effeithiau y gosodiadau hyn, a gwaith Duw yn eu cynnal mewn gweithrediad.

Yn gyntaf, Cymerwn olwg ar yr hyn a olygir wrth lywodraeth gyffredinol Duw. Mae yn amlwg fod Awdur natur gwedi ei gosod yn ddarostyngedig i, a than lywodraeth, deddfau cyffredinol a sefydlog. Mae hefyd mewn doethineb anfeidrol gwedi cynnysgaethu dyn â chyfansoddiad cymhwys a phriodol i fod tan lywodraeth y deddfau hyny. Yn awr, gan mai Duw yw awdur y greadigaeth, ac mai efe a sefydlodd y deddfau a nodwyd, ac sydd hefyd yn eu cynnal mewn gweithrediad cyson a pharhaus, a'i fod hefyd yn cynnysgaethu y creadur â chyfansoddiad cydweddol â'i osodiadau yn nhrefn natur, amlwg yw fod yn hyn lywodraeth wirioneddol ac effeithiol o'i eiddo ef ar y byd. Ennilla y deddfau hyn enwau priodol yn ol ansawdd y gwrthddrychau y maent yn dal perthynas â hwy—megys deddfau anianyddol, deddfau peirianyddol, a hefyd deddfau deallawl. Mae y cyntaf yn dal perthynas â natur difywyd—yr ail â'r deddfau hyny y mae cyfansoddiad y creadur yn rhwymedig wrthynt—a'r rhai olaf â gweithrediadau y meddwl dynol. Nid yw yr effeithiau a gynnyrcha elfenau natur yn ddim ond arddangosiad o'r deddfau hyny a osodwyd gan Dduw. Ac y mae gweithrediad y gosodiadau hyn yn un rhan arbenig o lywodraeth Duw, ac yn ddangosiad mai ewyllys Awdur natur yw i'r dyn ochel eu troseddu. Ni oddef y deddfau hyn i'r dyn droseddu yr un o honynt heb iddo deimlo y canlyniadau niweidiol o hyny; neu mewn geiriau eraill, fe ddilyn ei gosbedigaeth yn anocheladwy. Ac o'r ochr arall, os byw a wna y dyn yn gydweddol â'r gosodiadau hyn, fe deimla iechyd a chysur yn dilyn iddo o hyny. Dyma lywodraeth o eiddo Awdur natur yn cyfateb yn gymhwys i lywodraeth ddynol, ond fod ynddi yr hyn sydd yn hynodi holl waith y Creawdwr rhagor eiddo y creadur, sef ei rhagoriaeth a'i pherffeithrwydd. Dywed Butler, " Ei fod yn amlwg fod Duw gwedi ein rhoddi ar ddeall benodi o hono foddhad a hyfrydwch i fod yn ganlyniadau i ni weithredu mewn un modd, a phoen ac anesmwythder i ni weithredu fel arall ac i ni beidio gweithredu oll—ein bod yn canfod y canlyniadau y rhybuddiwyd ni ymlaen llaw o honynt yn dilyn yn gyson —gallwn ddysgu ein bod yn bresennol mewn gwirionedd o tan ei lywodraeth yn yr ystyr mwyaf cywir a phriodol, yn y cyfryw ystyr fel y mae yn ein gwobrwyo ac yn ein cosbi am ein gweithredoedd. Unwaith y caniataer awdur i natur, nid yw gymaint yn gasgliad o eiddo rheswm ag yw yn bwnc o brofiad ein bod fel hyn o tan ei lywodraeth—o tan ei lywodraeth yn yr un ystyr ag yr ydym o dan lywodraeth yr awdurdodau gwladol. Oblegid cysylltu hyfrydwch â rhyw weithredoedd, a phoen â rhai eraill a fo yn ein gallu ni i'w gwneyd neu i'w gadael heibio, a rhoddi rhybudd ymlaen llaw o'r gosodiad hwn i'r rhai y perthyna iddynt, yw y meddwl mwyaf priodol (*the proper formal notion*) o lywodraeth. Pa un a yw yr hyfrydwch neu y boen a ddilyna fel hyn ar ein hymddygiad yn eiddo Awdur natur yn gweithredu arnom bob mynyd yr ydym yn ei deimlo; neu ei fod ar unwaith gwedi llunio a gweithredu ei ran ei hun yn nghynllun y byd, ni wna unrhyw wahaniaeth mewn perthynas i'r pwnc sydd o'n blaen. Oblegid pe gallai ynadon gwladol beri i gosbedigaethau eu deddfau gymeryd lle, heb ymyraeth ychwanegol ar ol eu gwneuthur; heb reithbrawf a threfniadau cosbawl; pe gallent wneyd i'w cyfreithiau weinyddu eu hunain, neu i bob troseddwr eu gweinyddu arno ei hun—byddem yn

uniawn yn yr un ystyr tan eu llywodraeth bryd hyny ag yr ydym yn awr, ond mewn graddau llawer uwch a modd mwy perffaith. Er esiampl, os yw y boen yr ydym yn ei deimlo wrth wneyd yr hyn a duedda i ddystrywiad ein cyrff, meddylier drwy ddynesu yn rhy agos at dân, neu anafu ein hunain, gwedi ei osod gan Awdur natur i'n rhwystro i wneyd yr hyn a duedda fel hyn i'n dystrywiad, mae hyn yn gwbl gymaint dangosiad o'i waith yn cosbi ein gweithredoedd, ac o ganlyniad ein bod o tan ei lywodraeth, a phe cyhoeddai â llais o'r nef, os byddai i ni weithredu felly y byddai iddo roddi y cyfryw boen arnom." Fod Awdur natur yn cario y llywodraeth hon ar y byd sydd ffaith wirioneddol a theimladwy.

Dyma gan hyny un ran arbenig o'r hyn a olygir wrth ragluniaeth ddwyfol, sef cynnal deddfau natur mewn gweithrediad cyson a pharhaus. Ond wrth son am ddeddfau natur, mae perygl i ni foddloni ar swn geiriau, heb geisio edrych i'w hystyr—cymeryd enwau yn lle pethau. Rhaid i ni edrych yn is na'r wyneb cyn y gallwn ganfod pethau yn eu goleu gwirioneddol. Fe siarada llawer, ac fe ysgrifena rhai am ddeddfau ac ordeiniadau Duw yn nhrefn natur, heb ystyried ond ychydig am y dibyniaeth cyson, a'r cysylltiad agos o eiddo pob gwrthddrych a deddf â'r Bod mawr, a hyny bob amrantiad. Dybygid, mai yr hyn a ddylem ei ddëall wrth ddeddfau cyffredinol natur, ydyw rhyw weithrediad cyson a pharhaus o eiddo Duw yn a thrwy holl natur: neu ynte rhyw yni dwyfol sydd yn cyrhaedd trwy holl elfenau natur, ac a ennilla yr enw hwn oddiwrth gysondeb ei weithrediad. Eto dal mai hyn yn unig a olygir wrth lywodraeth Duw ar y byd, fyddai yn gamsyniad pwysig a niweidiol. Yn wir, pe na byddai dim yn ychwaneg i'w ddeall wrth ragluniaeth na bod Duw gwedi creu y byd, a'i osod tan lywodraeth deddfau penodol, a chynnysgaethu y dyn â chyfansoddiad cydweddol â'r rhai hyny, ac yna ei adael i ymdaraw a gofalu am dano ei hun goreu a allai, heb unrhyw ofal ychwanegol drosto, yna gyda phriodoldeb y gellid dywedyd, "Gadawodd yr Arglwydd y ddaear." Os na feddylir dim yn ychwaneg na bod galluoedd gwedi eu rhoddi i fodau, a deddfau cyffredinol gwedi eu sefydlu, ac yna goddef i ddygwyddiadau godi modd y mynont, heb unrhyw ofal neillduol neu raglywyddiad, yn yr amgylchiad hwn y mae yr athrawiaeth o ragluniaeth yn cael ei hollol wrthod—ac os yw y golygiadau hyn yn wir, yna y mae y byd eto yn dryblith—cymeriad ei Awdur yn anmherffaith—pob ymddiried ynddo ac anerchiad ato yn ffolineb; ac nid oes i un ran o grefydd ymarferol unrhyw sylfaen dda. Yn awr, ceisiwn ddangos fod y Bod mawr yn cario llywodraeth fwy neillduol na hyn ar y byd, a bod holl ddygwyddiadau amser, a holl amgylchiadau plant dynion tan ei sylw manylaf ef. Os nad ydym yn camsynied, dyma yw yr hyn a olygir wrth lywodraeth Duw yn benaf, os na ellir dywedyd, gydag ychydig o eithriadau, yn *gwbl* yn ngair Duw. Wrth geisio dangos a phrofi fod Duw yn cario llywodraeth neillduol ar y byd hwn, dealler nad ydys wrth hyny dan rwymau i ddal ei fod yn gweithredu dim yn groes nac uwchlaw deddfau sefydlog natur. I'r Bod anfeidrol, y mae meddyliau dirgelaf calon pob dyn yn berffaith hysbys, ynghyda gweithrediad y deddfau hyny ag y mae y meddwl dynol yn ddarostyngedig iddynt; a hefyd pob amgylchiad o fewn cwrs amser, a holl effeithiau deddfau anian ar y byd. Hawdd yw canfod y gallai y fath Fod, drwy ddylanwadau dirgelaidd ar feddyliau dynion—drwy ddwyn ymlaen wahanol nodweddiadau i weithredu ar chwareufwrdd amser at

amserau a lleoedd priodol—drwy weinidogaeth bodau anweledig, a chyfaddasiad achosion a dygwyddiadau anianyddol a moesol—hawdd yw canfod, meddwn, y gallai y cyfryw Fod goruchel gario llywodraeth ar y byd heb effeithio dim ar ddeddfau sefydlog natur. Er anghraifft, canfyddwn lafurwr duwiol ar ei liniau y boreu wrth orsedd gras yn gorchymyn ei hun a'i deulu i ofal Duw. Mae ei alwedigaeth yn ei rwymo heddyw i fyned at ochr rhyw fur uchel—gŵyr Duw fod y mur hwnw yn sicr o syrthio, ac y mae yn hysbys o'r foment y cymer hyny le. Os â y dyn at y mur yr amser penodol hwnw, ymddengys na byddai modd cadw ei fywyd heb attal gweithrediad deddf pwys a thyniad. Mae yn wir y *gallai* Duw wneyd hyny, ac nid oes neb a all ddywedyd nad *yw* yn gwneyd hyny pan y gwelo yn oreu. Ond yn yr amgylchiad tan sylw, hawdd yw gweled y gallai Duw ateb gweddïau y dyn *heb wneyd hyny*. Gallai yn rhwydd, drwy ddylanwadu ar ei feddwl mewn modd dirgelaidd ac anweledig, beri iddo, naill ai myned i'r fan *cyn*, neu oedi myned yno *nes* i'r amgylchiad gymeryd lle. Fel hyn, gallai Duw rwystro unrhyw ddygwyddiad, trwy lywyddu achosion naturiol, a meddyliau dynion, heb wneyd unrhyw drais ar y naill na'r llall. Pe byddai genym ni ein hunain fwy o wybodaeth o ddeddfau natur, a mwy o ddylanwad ar feddyliau dynion, gallem oruwchlywyddu llawer o ddygwyddiadau sydd yn awr allan o'n cyrhaedd. Ond pa faint hawddach ydyw i'r Bod mawr wneyd hyn yn hollol ac yn berffaith, i'r hwn y mae holl alluoedd natur yn ddarostyngedig, a'r hwn sydd yn canfod drwy bob dibyniaeth a chysylltiad, ac sydd a rhyddid gwastadol iddo at galon pob dyn, ac a fedr ei thrin modd y gwel yn oreu. Hefyd os edrychwn i'r Bibl, canfyddwn esiamplau nodedig o waith Duw yn cario llywodraeth neillduol ar amgylchiadau plant dynion, drwy foddion cwbl naturiol. Pan y byddai i blant Israel droseddu a gwrthryfela yn erbyn Duw, byddent yn cael eu ceryddu a'u cosbi am eu pechodau. Ond yr ydym yn cael fod y ceryddon a'r cosbedigaethau neu y barnau hyny yn dyfod arnynt drwy foddion hollol naturiol, ac heb wneyd unrhyw drais ar ddeddfau sefydlog natur. Eto yn y modd mwyaf pendant y sicrhëir i ni mai Duw ydoedd yn dyfod â'r drygau neu y barnau hyn arnynt—mai yn gosbedigaeth am eu pechodau y rhoddid hwy arnynt—ac yr oeddynt yn cael eu rhybuddio gan Dduw y byddai iddo eu dwyn arnynt os parhäent i wrthryfela i'w erbyn—ac hefyd addewid troi y drygau yn ol os byddai iddynt edifarhau. Codi anghreifftiau o hyn, pryd y mae hanes y patrieirch, a duwiolion yr Hen Destament, ynghyd âg amryw o freninoedd Israel yn ei ddangos, fyddai yn afreidiol.

Ceisiasom fel hyn ddangos nad ydyw yn anghènrheidiol aflonyddu dim ar ddeddfau natur er cario llywodraeth neillduol ar amgylchiadau y byd hwn. Yn awr, amcanwn osod i lawr rai rhesymau er profi fod gan Dduw lywodraeth neillduol ar amgylchiadau dynion. Nid yw y rhesymau a ddygir ymlaen gan nifer mawr o awduron gymaint at ein gwasanaeth yn bresennol, gan nad ydynt yn benodol yn profi fod rhagluniaeth yn neillduol, ar wahan oddiwrth ei bod yn gyffredinol. Ond gosodwn y pethau a ganlyn at ystyriaeth y darllenydd.

I. Mae Duw yn gweithredu yn gyson a pharhaus er rhoddi a chynnal bywyd a phob ysgogiad yn y byd afresymol ac elfenol; o ganlyniad, gan fod y byd ysbrydol a moesol yn gymaint rhagorach a mwy ei ganlyniadau, gellir barnu nad yw y gweithrediad cyson hwn ddim yn eisieu yma

ychwaith. Credir fod rhyw yni dwyfol yn anghenrheidiol yn a thrwy holl ysgogiadau deddfau natur, neu ynte syrthient yn bentwr difywyd yn y fan, gan nad oes dim defnydd bywyd na symudiad mewn sylweddau elfenol. Gwelwn na pheidiodd y dylanwad dwyfol a gweithredu yn adeg y greadigaeth, gan mai i hyn y rhaid priodoli cenedliad cyson o blanigion ac anifeiliaid, y rhai a gedwir yn y byd. Mae'n hollol annirnadwy fod gwaith o gelfyddyd mor fawreddus ag yw cyrff planigion ac anifeiliaid, myrddiynau o ba rai a ffurfir yn barhaus o'n cylch, yn tarddu oddiwrth ddeddfau a blanwyd yn adeg y greadigaeth mewn mater marw, y rhai byth gwedi hyny a weithredant eu hunain. Y rhai a ddywedant hyn, ni wyddant beth y maent yn ei feddwl. Gwnant i eiriau diystyr sefyll yn lle achosion, a phriodolant i fater anfeidrol fwy nag y mae yn alluog o hono. Pob planigyn newydd, neu anifel, yr ydym gan hyny yn ei ystyried fel cynnyrchiad newydd o allu dwyfol yn gweithredu yn barhaus a chyson yn ol trefn hen ddyfais a osodwyd trwy anfeidrol ddoethineb ar y cyntaf. A all fod rhyw reswm i wadu nad â'r gallu hwn y gweinyddir rhagluniaeth. Gan ei fod yn cael ei weithredu yn barhaus yn nghadwraeth deddfau sefydlog natur yn y byd sylweddol, a chynnyrchiad bodau bywydol a difywyd; a raid meddwl nad oes ganddo ddim i'w wneyd âg amgylchiadau goruchwylwyr moesol? Gan nad oes yr un gronyn elfenol nad yw yn gweithredu arno, a ellir yn rhesymol farnu fod yr un bod byw, ynghylch yr hwn y mae yn hollol ddifater? Os nad oes yr un gareg yn syrthio hebddo ef, a ydyw yn rhesymol barnu fod dyn yn dyoddef hebddo ef? A ydyw y cyfryw ddylanwadau ag sydd anghenrheidiol er dyfod o amgylch reolaeth gymhwys o ddygwyddiadau y byd moesol, yn annhebycach na'r dylanwadau y gwyddom a weithredir yn barhaus er cynnal trefn y byd difywyd? Y gwir yw, nad ydyw y byd difywyd o ddim canlyniad ar wahan oddiwrth y byd bywydol a rhesymol. Rhaid gan hyny fod y cyntaf yn cael ei lywodraethu yn gwbl gyda golwg ar yr olaf.

II. Nid oes dim mwy o reswm i ni wrthod y dyb o fod dylanwad dwyfol yn cael ei weithredu yn llywyddiad amgylchiadau y byd, mwy nag i wrthod y dylanwad y mae cyfansoddiad y byd yn ei ganiatâu i greadur rhesymol mewn cyfartalwch i'w allu a'i wybodaeth. Nid oes yr un person nad yw yn dylanwadu mewn amrywiol ffyrdd ar yr hyn sydd yn cymeryd lle yn y cylch o'i gyfeillion a'i gydnabod; ac ni feddyliwyd erioed eto fod rhyddid dynolryw, neu gylch eu gweithrediad yn cael effeithio arno ganddo. Yn awr, ffaith gyffelyb yw dylanwad dwyfol, ac nid ymddengys ar un cyfrif ei bod yn fwy agored i wrthddadleuon. A gawn ni gydnabod dylanwad pob goruchwyliwr ar ddygwyddiadau, a gwadu hwnw o eiddo y Goruchaf. A fuasai gymhwys âg un weithred wreiddiol iddo gau allan ei hun oddiwrth bob gofal ychwanegol am ei waith. Neu a ydyw yn briodol meddwl am y Bod goruchel, yr hwn yw ffynnonell pob ysgogiad, a natur yr hwn yw perffaith weithgarwch a gallu, ei fod ef yr unig Fod segur yn y byd? Onid yw y gwrthwyneb yn llawer mwy rhesymol i'w gredu, fod ei ddylanwad ar amgylchiadau yn cyrhaedd yn gymaint a hyny ymhellach a mwy cyson na'r un bod arall, o gymaint ag y mae ei berthynas, yn yr hon y mae yn sefyll i'r bodau hyny, yn agosach, a'i allu a'i ddoethineb yn fwy.

III. Os nad ydyw yr athrawiaeth hon yn wir, yna nid oes unrhyw sylfaen i grefydd ymarferol. Cyfeirio gweddïau—yn y rhai yr ydym yn dymuno cynnorthwyon dwyfol, ac yn erfyn bendithion oddiuchod—at Dduw

yr hwn na wrendy, nac ychwaith a ystyria ddim o honynt, a fyddai yn arddangosiad o'r ffolineb mwyaf. Tybier gan hyny unrhyw grefydd neu addoliad dwyfol, fe ddilyna yn uniawn oddiar hyny y rhaid fod rhagluniaeth neillduol. Yn wir, mor eglur yw hyn, fel ag y mae y rhai a wrthodant yr athrawiaeth hon yn gwadu llawer o ddyledswyddau ymarferol crefydd —yn hyn rhaid addef eu bod yn gyson â hwy eu hunain. Yn eu golwg hwy, nid oes unrhyw les mewn gweddi, ddim pellach nag fel y mae yn dylanwadu yn foesol ar feddwl y dyn; nis golygant fel ordinhad Duw i gyfranu bendithion i bechadur. Fel hyn, ânt tan wraidd holl ddyledswyddau y grefydd Gristionogol.

IV. Mae yr ysgrythyrau yn dangos mai Duw yw unig awdur tröedigaeth a chyfnewidiad pechadur. Mae hwn yn bwnc eglur yn y gwirionedd, ac y mae yn cau allan pob defnydd ymffrost oddiwrth y dyn, ac yn sicrhau y clod i gyd i Dduw. Yn nychweliad pechadur, cawn yn aml fod yr argraffiadau cyntaf ar ei feddwl am ei achos ysbrydol i'w briodoli i ryw amgylchiadau neillduol y dygwyd y dyn iddynt. Yn awr, os nad oes gan Dduw law yn nygiad yr amgylchiadau hyny i gydgyfarfyddiad, yna pa fodd y gellir priodoli tröedigaeth a dychweliad y pechadur hwnw i Dduw yn unig. Os addefwn ynte fod gan Dduw lywodraeth ar yr amgylchiadau hyn, rhaid i ni addef ar yr un pryd fod y fath beth a rhagluniaeth neillduol yn bod.

V. Mae athrawiaeth y Bibl am yr angelion yn profi yr un pwnc. Ychydig iawn, rhaid addef, a wyddom ni am y byd ysbrydol—ychydig iawn a wyddom am ysbryd oll. A pheth yw disgyn yr ysbryd noeth i ganol ysbrydion, sydd berffaith ddirgelwch i ni. Am yr angelion hefyd, y mae ein gwybodaeth yn hynod fyr—eu nifer—eu galluoedd—a pha fodd y maent yn cynnal cymdeithas â'u gilydd heb gymhorth synwyrau corfforol. Ond er maint ein hanwybodaeth am yr ysbrydion glân, os oes rhyw ystyr i lawer o adnodau o air Duw, dangosant yn eglur iawn fod ganddynt gryn lawer o ddylanwad ar amgylchiadau y byd hwn. Pa fodd y mae y naill ysbryd yn dylanwadu ar ysbryd arall sydd berffaith ddirgelwch i ni. Ond tebygol mai nid mwy felly na'r modd y mae ysbryd y naill ddyn yn argraffu ei feddwl trwy gyfrwng geiriau ar ysbryd dyn arall. Ond fod Duw yn gwneyd defnydd o weinidogaeth angelion yn nygiad goruchwyliaeth rhagluniaeth ymlaen sydd beth dichonadwy; ac nid yn unig hyny, ond dengys y Bibl fod hyn yn bod. Yn wir y mae y desgrifiad a rydd gair Duw o'r ysbrydion sanctaidd yn dangos cymhwysder mawr ynddynt i ddwyn dybenion rhagluniaeth ymlaen. Y mae eu nifer, eu gwybodaeth, eu cyflymder, ynghyd â'u sancteiddrwydd a'u hufudd-dod i ewyllys Duw, yn dangos hyny. Yn awr, ymddengys fod gwadu rhagluniaeth neillduol yn anghyson â'r hyn a ddysgir yn yr ysgrythyrau am yr angelion.

VI. Yn rhoddiad a throsglwyddiad y dadguddiad dwyfol—sefydliad goruchwyliaeth Moses, a'r un Gristionogol—codiad prophwydi, apostolion, a diffynwyr y ffydd Cristionogol—yn yr holl amgylchiadau amrywiol a phwysig hyn, fe welir yn amlwg fod Duw gwedi ymyraeth yn neillduol âg achosion y byd hwn. Cyfodi prophwydi i fynegi am Grist a'i eglwys, helynt teyrnasoedd, teuluoedd, a phersonau, ni buasai ond dychymyg ofer, pe na buasai pob peth yn cael eu trefnu yn ol ewyllys ac wrth lywodraeth neillduol Duw. Yn wir, rhaid i ni ar unwaith wadu gwaith y prynedigaeth o gwbl, os na chaniatâir yr athrawiaeth hon. Beth bynag sydd eto

yn aros o ddirgelwch ar ein ffordd i gael eglurhâd boddhâol ar Lyfr y Dadguddiad, fe gyduna pawb i addef, os oes rhyw ystyr iddo, ei fod yn cynnwys yr ystyriaeth bwysig a chysurus fod Duw drwy yr holl oesoedd yn gofalu am ei eglwys, ac yn llywodraethu amgylchiadau y byd er ei lles.

VII. Mae yr athrawiaeth hon hefyd yn sylfaenedig ar liaws o ymadroddion pendant ac uniongyrchol yn ngair Duw. Nis gallwn gydio ystyr yn y byd wrth lawer o adnodau o'r Bibl os gwadwn y pwnc tan sylw. Dyma rediad eglur a chyson yr ysgrythyrau, fel ag y mae o'r bron yn afreidiol cyfeirio at adnodau neillduol; a gwadu yr athrawiaeth hon sydd yr un peth a gwadu gair Duw. Yn wir, y mae y rhai a wrthodant y pwnc hwn yn gorfod teimlo felly; oblegid ceisiant esbonio ymaith ystyr eglur llawer o ranau o hono. Mae yn wir nas gwyddom pa fodd y mae y Bod goruchel yn llywodraethu amgylchiadau a gweithredoedd goruchwylwyr moesol heb gaethiwo eu rhyddid, na gwneyd ei hun yn awdur pechod; eto, gwadu ei lywodraeth sydd nid yn unig yn afresymol, ond hefyd yn anysgrythyrol. Mae 'r Salmydd, gwedi myned dros restr o greaduriaid Duw, yn nodi yr anifeiliaid, asynod gwylltion, adar y nefoedd, y geifr, y cwningod, y cenawon llewod, y bwystfilod bychain a mawrion sydd yn y môr, ac hefyd y dyn, yn y diwedd yn dywedyd, "Y rhai hyn oll a ddysgwyliant wrthyt, am roddi iddynt eu bwyd yn eu bryd," &c. Fe ddywed un o'r prophwydi na bydd dim drwg yn y ddinas heb i'r Arglwydd ei orchymyn; ïe, na bydd dim heb iddo ei orchymyn. Mae yr Arglwydd Iesu hefyd yn llefaru yn ogoneddus yn ei bregeth ar y mynydd, am ofal rhagluniaeth Duw am ei greaduriaid mwyaf distadl, gan dynu y casgliad naturiol a chysurus, os ydyw yn gofalu felly am y rhai hyny, oni ofala efe yn hytrach o lawer am ei blant ei hun. Mewn man arall y dywedir, fod ei "Dad yn gweithio hyd yn hyn." Fe addefa pawb ag sydd yn cydnabod Llyfr y Dadguddiad o ddwyfol awdurdod, ei fod yn cynnwys traethawd cynnwysfawr ar ragluniaeth ddwyfol hyd ddiwedd y byd.

---

## Y CYMRY—Y GYMRAEG—A GWYBODAETH.

"BOD yr enaid heb wybodaeth nid yw dda," ebai un o'r rhai mwyaf cymhwys i roi barn ar hyny ymhlith holl blant Adda. Nid yw anwybodaeth yn fantais i ddyn yn ei gysylltiad â'r byd hwn, nac yn ei berthynas â'r byd a ddaw; ond yn anfantais ddirfawr. Y mae y byd yn gyffredin yn teimlo hyny yn y dyddiau hyn. Y mae cenedloedd Ewrop yn dechreu rhwbio eu llygaid o ddifrif, ar ol hir gysgadrwydd, ac yn eu plith cenedl y Cymry.

Fe fu adeg yn ein bywyd pan y meddyliem mai y Cymry oedd y genedl fwyaf gwladgarol dan haul. Cof genym am yr arganmoliaeth a glywem gan ein perthynasau a'n cyfeillion, pan yn ein blyneddau plentynaidd, am orchestion ein hynafiaid dros eu gwlad a'u cenedl, a'r swyn a gâi hyny ar ein meddwl—a phan y cynnyddasom mewn dyddiau i ddechreu darllen y misolion, y beirdd, a'r hanesion Cymreig, ynghyd âg ymrestru mewn cymdeithasau llëenyddol a Chymröaidd, a chanfod y mwg a'r tân oedd yn llanw

yr awyrgylch o blaid Cymru, Cymro, a Chymraeg—credasom yn ddiysgog nad oedd neb gwir wladgarol ond y Cymry. Ond, fel Paul, "pan aethum yn wyr, ni a roddasom heibio bethau bachgenaidd." Nid ni a roddasom heibio garu ein gwlad, ein cenedl, na'n hiaith—ond ni a roisom heibio y sŵn i gael edrych am y sylwedd. Dechreuasom sefyll ac ystyried beth mewn gwirionedd oedd ein hynafiaid a'n cydoeswyr wedi ei wneyd. Taflasom ein golwg o Gaergybi i Gaerdydd, ac nid oedd yno yr un brifysgol yn Gymraeg na Seisoneg. Rhedasom dros siroedd y De a'r Gogledd, ac nid oedd athrofa genedlaethol yn un o honynt. Chwiliasom mor fanwl ag y medrem bob ardal a chymydogaeth, a methasom a chael cymaint ag un ysgol ddyddiol wedi ei sefydlu i ddysgu gwybodaeth i'r plant yn yr iaith a ddëallent. Ië, ni chwrddasom eto â chydwladwr a dalodd gymaint a chwe' cheiniog am ddysg i'w blant yn yr iaith Gymreig. Safasom yn syn am ennyd, ond canfuom fod yr holl frol am "Gymro—Cymru—a Chymraeg" yn terfynu mewn gwynt. Berwodd y siomedigaeth hon ein hysbryd mewn dygasedd, a phenderfynasom wadu pob cysylltiad â'n cenedl byth mwy: ond deallasom yn fuan fod ein Cymreigyddiaeth yn is na'r croen, ac nad allem ei olchi ymaith fel golchi ein gwyneb. Felly, nid oedd dim i ni i'w wneyd hyd fedd ond taflu ein hatling goreu y gallem i'r drysorfa, i ddwyn gwyneb gwell ar ein gwlad.

Buasai yn dda genym pe gallasem derfynu ein cwyn gyda'r esgeulusdra gwarthus yma, ond y mae ffeithiau yn ein rhwymo i fyned gam ymhellach—ffeithiau sydd yn siarad llawer dros neu yn erbyn synwyr a gwladgarwch ein cenedl; barned y darllenydd pa un.

Gwyddom am dair ysgol yn Nghymru yn ymofyn am athrawon—mynai cyfeisteddfod un o honynt Albanwr—mynai y llall Sais—a mynai y trydydd rywun oddieithr Cymro—rhywun, sylwer—gallasai fod yn Sais, yn Albanwr, yn Wyddel, yn Indiad, ïe yn Fwshman ar a wyddom ni; ond nid yn Gymro!

Nid llawer o flyneddau y sydd er pan y cynhyrfodd Cymreigyddion Llundain wlad eu genedigaeth o barth cael esgobion a barnwyr Cymreig yn Nghymru. Dangoswyd cyfiawnder, rhesymoldeb, anghenrheidrwydd, a daioni cyffredinol y pwnc o flaen ein cydwladwyr mor oleu a haul hanner dydd; ynghyda y tebygolrwydd, ïe y sicrwydd, y ceffid hyny, ond gwneyd ymegnïad têg am dano. Wel, a wnaeth Cymru ei dyledswydd? Barned y darllenydd—fe anfonodd ddeisebion i'r perwyl, a dyna y cwbl! Gadawodd crefyddwyr, llëenyddion, a Chymreigyddion y Dywysogaeth i'r ymgais fyned heibio fel gwegi. Beiddiwn ddyweyd, pe buasai Charles o'r Bala yn fyw, mai nid felly y buasai. Ond ymattaliwn—y mae hyn yn ein dwyn at ein pwnc.

Yn awr, na feddylied ein darllenwyr ein bod yn meddwl nad ellir bod yn wladgarol heb wneuthur brol mawr am ein hiaith—ac mai arwydd anffaeledig o wladgarwch yw ein bod yn siarad y Gymraeg: na, pell ydym oddiwrth hyny. Y mae cannoedd o'n cenedl yn siarad y Gymraeg o orfod, am na fedrant un iaith arall; a phan y dygwydd i ambell un o'r cyfryw ddysgu ychydig o eiriau Seisoneg, clywir hwynt beunydd yn eu bragaldio—yn neillduol efo eu plant, pan nad oes un anghenrheidrwydd am hyny. Ond ein pwnc ni yn bresennol yw dangos nad ellir gwneyd i Gymru yn yr oes hon, yr hyn a ddylid wneyd, ond trwy gyfrwng y Gymraeg.

Nid ein hamcan chwaith yw dadleu rhagoriaeth y Gymraeg, er nad oes

arnom ofn "tynu yn y dorch" am hyny; ond yn unig dangos mai yr unig ffordd i gyfranu gwir wybodaeth a rhinwedd i'n cenedl ni fel pob cenedl arall, yw trwy gyfrwng yr iaith a ddëalla.

Dywedir[1] i ni fod o drigolion Cymru 400,000 na fedrant ond Cymraeg —200,000 yn medru tipyn o Saesoneg—200,000 yn medru Saesoneg yn dda; a 100,000 na fedrant ddim Cymraeg. Tueddir ni i gredu fod y dosbarthiad yma yn rhy ffafriol i'r Saesoneg; hyny yw, bod mwy nag a nodir uchod yn analluog i ddëall yr iaith hono. Ond cymerwn yn ganiatâol fod y dosbarthiad yn gywir, yna fe saif y nifer sydd heddyw yn Nghymru yn analluog i wneyd defnydd buddiol o unrhyw iaith ond y Gymraeg, fel hyn—

400,000 heb fedru ond Cymraeg—
200,000 yn medru tipyn o Saesoneg—

Yn gwneyd cyfanswm o 600,000; hyny yw, *chwe' chan' mil,* neu yn ol y cyfrif uchod, *dwy ran o dair o'r genedl.* Dyma, gan hyny, y nifer sydd yn awr o Gymry nad ellir gwneyd lles iddynt mewn gwybodaeth, moes, na chrefydd, ond trwy gyfrwng yr iaith Gymraeg.

Y pwnc yn awr yw, beth a wneir? Pa un ai sefydlu ysgolion, a moddion eraill gwybodaeth yn yr iaith Gymraeg, ynte chwanegu at y nifer sydd eisoes yn Nghymru o ysgolion Seisonig. Pa un ai dysgu y genedl ieuanc trwy gyfrwng iaith a ddëallant, ynte ceisio eu dysgu trwy gyfrwng iaith na ddëallant? Ein hateb penderfynol ni yw, dysgu y bobl yn eu hiaith eu hunain, ac nid mewn iaith estronol.

Y mae sefydlu ysgolion Seisonig i ddysgu plant nad ydynt yn dëall ond Cymraeg, yn ymddangos i ni yn beth eithaf afresymol. Pe y gofynem i'n darllenydd, beth yw dyben ysgol, odid nad sylwedd ei atebiad fyddai, mai sefydliad ydyw i addysgu plant ac ieuenctyd. Ond pe y gofynem yn mha beth y mae yr addysg hyny yn gynnwysedig, neu yn hytrach yn mha beth y dylai fod; efallai na chaem atebiad mor foddhaol. Tybia miloedd mai dyben eithaf ysgol yw dysgu y plant i ddarllen, ysgrifenu, a rhifo; ac os chwanegir tipyn mewn gramadeg a daearyddiaeth, y bydd wedi cyrhaedd tir uchel iawn. Wel, pe hyna yn unig a ddylai fod mewn ysgol, nid oes eisieu llawer o fedrusrwydd ymresymiadol i ddangos i'r dylaf fod y plentyn

[1] Gwel "Jones ar nodweddiad Cenedl y Cymry." Nid oes dim yn fwy o fwg i'n llygaid nag ambell draethawd ar ansawdd y Cymry; o herwydd, yn gyffredin, nid yw yr ysgrifenwyr yn dëall dim ar ein hiaith, ac o ganlyniad, yn gwybod fawr am eu testun. Beth a feddyliai y Saeson am ryw German a ysgrifenai ar agwedd lëenyddol a chrefyddol Lloegr, ac yntau heb allu darllen un llyfr yn ddëalladwy yn y Seisoneg, nac wedi treulio mis erioed yn y wlad er mwyn chwilio i'w bwnc? A ystyrid y fath awdur yn haeddu gwrandawiad? Eto, dyna y fath driniaeth y mae ein gwlad ni yn ei chael. Ysgrifenir ar wybodaeth, moesau, a chrefydd y Cymry gan ddynion na fedrant ddarllen hyd bys o Gymraeg, ac na fuant fis erioed yn ein plith yn chwilio y pwnc! Ond y mae gwaith Mr. Jones yn eithriad; ac y mae ynddo liaws o sylwadau gwerthfawr: ond nid yw yn llanw y diffyg na dim yn debyg. Dichon fod mynediad diweddar yr awdur i fynwes yr Eglwys Wladol yn un rheswm am foelder ei ddesgrifiad o Gymru anghydffurfiol. Beth bynag am hyny, cawsom ein siomi yn fawr yn y traethawd. Yr oeddym yn meddwl fod Mr. Jones yn fwy hyddysg yn llëenyddiaeth ei wlad nag yr ymddengys ei fod, ac y buasai yn ymdrin yn fwy athronaidd â'r testun; ac yn benodol y buasai ei gyfansoddiad yn lanach oddiwrth y broddau (*phrases*) basdarddaidd sydd yn britho llyfrau Cymraeg y dyddiau hyn; broddau sydd mor groes i briod-ddull y Gymraeg. Pa fodd bynag, teimlwn yn wir ddiolchgar i'r awdur am ei lafur.

fo heb ddeall iaith ei athraw dan anfantais ddirfawr i ddysgu ei wersi—ond pe b'ai yr athraw yn defnyddio yr iaith a ddealla y plentyn, y dysgai efe y gwersi yn well ac yn gyflymach o'r hanner, a chyda mwy o bleser iddo ei hun. Ond nid dyna y cylch addysg a ddylai fod mewn ysgol. Y mae yn wir y dylai y pethau a enwyd fod i mewn—i mewn, meddwn, fel rhan; ond y rhan fwyaf ddibwys. Dyben ysgol yw dechreu dadblygu meddwl y plentyn, a dysgyblu ei galon—dysgu gwersi mewn gwybodaeth iddo ar un llaw, a gwersi mewn moesau ar y llaw arall. Y mae addysg y galon yn fwy o bwys nag addysg y deall, er mai ychydig o sylw a deliv i hyny yn yr oes hon. Y mae cychwyn ac arwain plentyn yn ffyrdd rhinwedd yn well iddo ef ac i'r byd, na'i gychwyn yn ffyrdd dysg. Y mae planu egwyddorion gonestrwydd, geirwiredd, &c. yn ei galon, yn fwy o bwys fil o weithiau nag argraffu tipyn o ramadeg a daearyddiaeth ar ei ddeall. Ond dylai pob ysgol gynnwys y ddau—ac nid yw yn deilwng o'r enw ysgol mewn gwlad baganaidd, chwaethach mewn gwlad Gristionogol, heb y ddau. Ond gan nad ellir gwneyd nemawr â deall y plentyn am y blyneddau cyntaf, dylai y pryd hyny gael ei ddysgu bron yn gwbl mewn moesau ac arferion da.

Yn awr, y mae yn hanfodol angheurheidiol i'r ysgolor ddeall iaith ei athraw cyn y gall yr ysgol ateb ei dyben ar y deall nac ar y galon. Meddylier am y llanc yn dysgu rhyw gangen o wybodaeth. Y mae y cwbl yn dywyll iddo wrth gychwyn, a digon o orchwyl i'r athraw fyddai gwneyd y pwnc yn oleu, er defnyddio iaith hysbys i'r dysgedydd; ond yn lle cael ei gynnorthwyo yn y dull rhesymol hyny, rhaid iddo ef, druan, wrandaw ar ei athraw doeth yn egluro y wers mewn iaith nad yw yn deall un gair o bedwar; a'r canlyniad yw, gadael y bachgen fel "hwrdd mewn niwl," heb wybod i ba le i symud—ei adael, meddwn, yn hanner hurtyn. Ond nid ei fai ef yw hyn, eithr bai y dull afresymol o'i addysgu. Fel hyn, y mae yn annichon i'r ysgol ateb ei dyben i oleuo nemawr ar ei ddeall, ac yn fwy annichon iddi effeithio yn rhinweddol ar ei galon. Nid ydym yn hòni nad yw y plant yn cael peth lles trwy yr hen drefn; ond y mae yn amlwg i bob dyn ystyriol y gallent gael fwy bedair gwaith yn yr un faint o amser, pe caent eu dysgu yn yr iaith a ddeallant.

Beth pe golygem ein darllenydd yn ymrestru mewn dosbarth, dan ryw athraw medrus, i efrydu "*Novum Organum*" Bacon, ac heb fedru hanner dwsin o eiriau Lladin. Dacw ef a'r dosbarth a'r athraw yn cwrdd—y mae hwnw yn dechreu darlithio ar Bacon a'i waith, yn neillduol y llyfr oeddynt hwy yn myned i'w efrydu—ond syndod, yn y Lladin y mae yn siarad. Nid oes cymaint a gair Seisoneg neu Gymraeg yn disgyn dros ei wefusau. Y mae yno un neu ddau yn deall tipyn o'r hyn y mae yn ei ddyweyd; ond y rhan fwyaf heb allu gwneyd synwyr o un frawddeg. Yn awr, a gyfrifai y darllenydd y dull yma yn un doeth a manteisiol iddo? ac a fyddai digon o benderfyniad ynddo i fyned ymlaen? Tybiwn yr atebai yn nacäol. Wel, yr ydym yn llygad-dyst o ugeiniau a channoedd o blant Cymru yn gymhwys yn yr un cyflwr. Tra y byddai yr athraw, gyda doethineb patriarchaidd, yn esbonio rhyw bwnc iddynt, safai llygaid pob un bron fel llygaid myharan, a gallesid darllen ar eu gwynebpryd nad oedd y cwbl ond Lladin pur iddynt hwy.

Pa genedl dan dywyniad haul, heblaw cenedl y Cymry, sydd yn *dewis* i'w plant gael eu haddysgu mewn iaith nad ydynt yn ei deall? Gwyddom

fod y Gwyddelod yn cael eu gorfodi i beth tebyg gan gynllun dall y llywodraeth: ac edrycher ar y canlyniadau. Beth a feddyliai y Saeson am y fath drefn? Beth pe yr agorai Ffrancwr ysgol yn Lloegr i ddysgu y Ffrancaeg a changenau gwybodaeth fuddiol, gan ei dwyn ymlaen yn unig yr yr iaith hono, gan ddirwyo pwy bynag a ddywedai air o Saesoneg? A gefnogid y fath ysgol? Na, na, edrychid ar gynnygiad o'r fath yn wallgofrwydd. Gŵyr y Sais yn rhy dda nad all plentyn na neb arall ddysgu iaith ddyeithr ond trwy gyfrwng iaith hysbys iddo, ac nad all amgyffred unrhyw gangen o wybodaeth heb ei hegluro iddo mewn iaith y bo yn ei deall.

Yn wir, dylasem ninnau fel cenedl fod wedi dysgu y wers hon yn dda erbyn hyn, ar ol y prawf gogoneddus a wnaed trwy lafur a zel yr anfarwol Charles. Gwyddai ef yn dda nad oedd gwir addysg ddim yn gynnwysedig mewn dysgu siarad Saesoneg, ac ysgrifenu; ond mewn agor y meddwl a diwyllio y galon, pa iaith bynag a ddefnyddid i hyny: ond gwyddai hefyd nad ellir cyrhaedd y nod yma yn iawn ond trwy gyfrwng iaith fo eisoes yn ddealladwy. Y syniadau goleu, synwyrgall, a phrofadwy hyn a gynhyrfodd y gwladgarwr Cristionogol hwnw i sefydlu ysgolion nosawl, Ysgolion Sabbothol, argraffu y Bibl, a chychwyn yr hen "Drysorfa;" a beth fu yr effeithiau? Wel, dyna y pryd y deffröwyd y bobl at ddarllen a gwybodaeth; dyna yr adeg y dechreuodd meddwl y genedl ymagor; a byth wedi hyny y mae yn myned yn fwyfwy, ac yn gryfach gryfach bob blwyddyn; a'r canlyniad yw, codi y werin Gymreig yn uwch mewn gwybodaeth yn gystal ag mewn rhinwedd a moes na gwerin unrhyw genedl arall dan dywyniad haul.

Y mae yn eithaf amlwg i bawb a ystyria y pwnc, nad ellir dadblygu meddwl na diwyllio calon dyn ond trwy gyfrwng iaith hysbys iddo. Nid gwaeth pa iaith; yr amcan yw dyfrhau y planigyn i wneyd iddo flaguro a thyfu: ond nid yw iaith ond y rhaff sydd yn myned i lawr i'r pydew i gyrchu y dwfr; a'r cwbl sydd yn eisieu yw, fod y rhaff hono yn eiddo i'r dyn, ac felly at ei wasanaeth: gan hyny, i'r Sais, Saesoneg ddylai fod; i'r Ffrancwr, Ffrancaeg; ac i'r Cymro, Cymraeg. Ail ddywedwn, nad gwaeth pa iaith a ddefnyddir, ond iddi fod y iaith a ddeallir oraf gan y dysgybl; canys nid yn y rhaff y mae y rhinwedd, ond yn y dwfr a godir â'r rhaff. Ond beth ydyw ysgol? Man ydyw, neu o'r hyn lleiaf y dylai fod, lle y dyfrhëir y planigion ieuainc: ond yn Nghymru, ychydig o ddwfr a gyfrenir; ac yn wir, nid ellir dysgwyl yn amgen, o herwydd treulir yr holl amser bron i geisio plethu y rhaff. Yn lle defnyddio y rhaff dda odiaeth sydd eisoes yn ei feddiant, rhaid i'r llanc ymdrechu gwneyd un arall; a chyn y bydd wedi ei gorphen, i wneyd nemawr o ddefnydd o honi, y mae tymmor ei ysgoliad ar ben; ac felly yr amser a'r arian, mewn rhan fawr, wedi eu treulio yn ofer.

Dychymygwn weled, erbyn hyn, ambell Gymro hynod o wybodus yn ei dyb ei hun, yn neidio ar ei "bedion," gan dywallt ffrydlif o areithyddiaeth i'r perwyl a ganlyn; "Dyna y gwall, eisieu newid y rhaff sydd; y Gymraeg yw y rhwystr i'r Cymry lwyddo; a phe gallem alltudio yr iaith, byddai hanner y gwaith wedi ei wneyd." Gan bwyll ein cyfaill—gwyddom yn dda fod ffregawd o'r fath yna yn rhesymiad gloew gan nifer o'n cydgenedl y dyddiau hyn, ond beiddiwn ddyweyd fod mwy dan groen y pwnc nag a feddyliodd y rhan fwyaf o'r fath wladgarwyr. Ai iaith yr Eidal yw

yr achos ei bod yn fwy llwyddiannus mewn rhai pethau na Chymru? Ai rhyw swyn sydd yn iaith Germany yw yr achos fod y byd dysgedig yn eistedd wrth droed y genedl hono? Nagê, nagê; a ffolineb yw meddwl fod iaith y Cymry yn rhwystr iddynt hwythau, nac y byddai ei newid yn llwyddiant iddynt. Y mae hanesiaeth y byd yn profi mai ynfydrwydd fyddai dysgwyl y fath beth. Y mae aflwyddiant y Cymry yn tarddu o achosion eraill—achosion hawdd i'w henwi, ond a adewir yn ddisylw yn yr ysgrif hon.

Ond gadewch i ni ganlyn y rhesymiad uchod am dipyn—gadewch i ni roddi eithaf chwareu teg iddo—gadewch i ni edrych arno yn eithaf ei rymusder. Er mwyn iddo sefyll ar y tir mwyaf manteisiol iddo, nyni a'i cymerwn i fynu yn y goleuni mwyaf anffafriol i'r pwnc yr ydym yn ceisio ei amddiffyn. Yn awr, beth pe gellid difodi y Gymraeg mewn diwrnod, a phlanu y Saesoneg yn ei lle, pa ennill—nid pa ennill crefyddol yn unig—ond pa ennill gwladol fyddai hyny i'n cenedl? "O, llawer yn mhob rhyw fodd. 1. Agorai ddrws i lwyddiant masnachol y wlad. Yn awr, tra nad yw y bobl yn deall Saesoneg, y mae masnach y dalaeth yn cael ei chau i fynu. 2. Byddai gan y Cymro iaith y pryd hyny adnabyddus trwy y byd, a gallai deithio i unrhyw wlad i ennill ei damaid, yn lle iaith na adnabyddir gan neb braidd tu allan i Gymru. 3. Byddai yn fanteisiol i wybodaeth y wlad. Wedi hyny, byddai holl faes dysg a chelfyddyd y byd o flaen y Cymro, pryd yn awr mai ychydig sydd ganddo yn neillduol mewn gwybodaeth gyffredin." Wel, dyna sylwedd y cwbl a glywsom erioed dros ddyddymiad y Gymraeg, gan bawb sydd yn dymuno hyny: ond i ni, ymddengys yr effeithiau yn hollol wahanol. Gadewch i ni eu hadolygu yn fyr o un i un.

Dywedir wrthym yn un peth fod y Gymraeg yn attalfa i lwyddiant masnachol y wlad. Ond sut? Ai difa ysbryd masnachol y mae, ynte y masnachwyr sydd heb ddeall dim ond y hi? Byddai y dybiaeth gyntaf yn groes i natur pethau, ac yn groes i ffeithiau; canys y mae lliaws o fasnachwyr o blith ein cenedl mor anturiaethus a neb o'u sefyllfa ar wyneb daear.

Gwyddom fod diffyg ysbryd anturiaethus yn ein plith fel cenedl—a chredwn mai dyna un o brif achosion ein haflwyddiant masnachol; ond nid all hyny darddu o'n hiaith. Nid yw ychwaith yn tarddu o ddiffyg adnabyddiaeth o'r Saesoneg. Y mae holl fasnachwyr Cymru yn deall llawn ddigon o Saesoneg i wneyd eu masnach. Ni wybuom erioed am gymaint ag un eto a attaliwyd i gychwyn masnach yn unig am na fedrai Saesoneg. Nid cynnydd yr iaith hono a chwanega hanner dwsin at fasnachwyr ein gwlad. Pe dyddymid y Gymraeg heddyw, a phe plenid y Saesoneg yn ei lle cyn nos yfory, ni fyddai hyny ynddo ei hun yn foddion i ychwanegu gymaint a phunt at gyfoeth masnachol Cymru. Y mae llwyddiant masnachol unrhyw wlad yn tarddu o ffynnon hanfodol wahanol i iaith y genedl. Y mae yn wir fod llwyddiant masnachol unrhyw genedl yn foddion i ledanu ei hiaith ei hun; ond nid yw yr iaith byth yn achos o lwyddiant ei masnach. Felly, gall llwyddiant masnachol y Saeson ennill y Cymry, o'r diwedd, i lwyr anghofio a dibrisio y Gymraeg; ond nid yw hyny yn un sicrwydd y bydd iddynt hwy lwyddo. Gallant golli eu hiaith ar ol colli eu tir, a phara yn yr un cyflwr—ïe, a syrthio raddau mawr yn is fel gwladwriaeth nag ynt yn awr. A chaniatâu mai y diwedd fydd i'r

Saesoneg lyncu ein hiaith ardderchog, fel y llyncodd gwartheg culion Pharaoh y rhai tewion—beiddiwn ddyweyd ei bod yn dra anamserol, o ran llwyddiant gwladol ein cenedl, i hyny gymeryd lle yn yr oes hon. Hyd yma, y mae y Gymraeg wedi bod yn llen rhyngom a'r byd i fesur mawr; á marweidd-dra masnachol ein gwlad heb gyffroi nemawr ar drachwant ein cymydogion; ac eto, ni adewir Cymru dlawd i ni ein hunain. Os bydd ryw ysmotyn brasach na'r cyffredin o'n tir, neu os bydd rhyw waith ennillfawr i'w wneyd—neu ynte, os bydd rhyw swydd barchus i'w chyflawni, llygadir y naill a'r llall gan ryw Scotsman, neu Sais, neu Wyddel, yn ddioedi. Nid oes ond un man y mae y Cymro yn ei gael iddo ei hun ymhlith ei genedl—y pulpud; ac nid rhaid iddo ddiolch am hyny—collai hwnw, fel pob peth arall, pe b'ai cyflog da i'w gael am fyned iddo. Y fynyd hon y cofiasom fod Eglwys Wladol yn ein plith, a degwm da mewn ambell blwyf. Ond pwy sydd yn ei fwyta? Pwy yw yr esgobion? O Gymru dlawd ac ynfyd!! Yn awr, sylwed ein darllenydd, pe y difodid y Gymraeg heddyw, a phe agorid drysau i lwyddiant gwladol yn ein plith, heidiai y Saeson a'r Albanwyr atom fel locustiaid, a bwytâent bob llysieuyn gwyrddlas ger bron ein llygaid; a darostyngid ninnau, o ran corff y werin, yn fwy o gaethweision nag y buom erioed. Na, ein cydgenedl, dylem ddeffroi bellach i gymhwyso ein gilydd a'n plant i gymeryd y blaen gyda phob peth o fewn cyffiniau Cymru beth bynag, fel y byddo ein llwyddiant fel cenedl yn gyfartal i lwyddiant ein talaeth. Ond pa fodd y gwneir hyny heb ddadblygu meddwl, a symbylu eiddigedd ac yni yr oes sydd yn codi? A pha fodd y gwneir hyny ond trwy eu haddysgu yn yr iaith a ddeallant?

Nid allwn derfynu y pwnc hwn ar hyn ychwaith. Pe y llwyddai masnach ein gwlad, y doethineb mwyaf i Gymru fyddai, nid dileu ein hiaith, ond ei pharhau. Heblaw y cadwai hyny bob swydd ennillfawr o fewn y dywysogaeth yn nwylaw y Cymro, agorai ddrysau newyddion iddo trwy yr holl fyd masnachol. Yn lle adeiladu ein cyfundraeth ar dyb, nyni a'i seiliwn ar ffaith. Y mae llawer o fasnach, fel y gwyddys, rhwng Cymru a Manchester, yr hyn sydd wedi agor y drws i liaws o'r Cymry fyned i breswylio i'r lle hwnw, a llwyddo yn fwy nag y buasent pe na buasai y fasnach yn bod, neu pe buasai Cymru i gyd yn Saesoneg. O herwydd—gan fod masnach rhwng y lle hwnw a Chymru, a chan fod Cymru yn dalaeth Gymreig, y mae mwy o werth ar Gymro yno nag all fod mewn un man nad yw y cysylltiad masnachol yma yn bod. Dywedodd masnachwr parchus o'r lle uchod wrthym yn ddiweddar, nad oedd yr iaith Gymraeg yn un rhwystr i'w masnach â Chymru—bod Cymro yn mhob masnachdy; ac y gallai y Cymry ysgrifenu eu *horders* yn Gymraeg, a derbyn yr eiddo yn llawn mor hwylus a phe baent yn ysgrifenu yn Saesoneg. Fel hyn, yn lle aflwyddiant, y mae y Gymraeg yn wir lesiant i'r Cymry yn eu masnach â'r lle a enwyd.

Wel, byddai yr un fath yn mhob man arall. Pe yr agorid masnach â gwledydd tramor ar y cyfandir, â'r Aipht, â China, &c., agorid drysau i lwyddiant y Cymry dros wyneb y byd adnabyddus, yr un fath ag yn y lle a enwyd, ar y dybiaeth fod y Gymraeg yn para yn iaith y Cymry.

Ond dywedir wrthym eilwaith, pe y dysgid y Saesoneg i'r Cymry, y gallent droi eu gwynebau i unrhyw wlad bron i ennill eu bara; ond nad allant heb hyny. Y mae hyn yn ddigon gwir; ond nid oes dim pwys

ynddo fel gwrthreswm i destun ein hysgrif. Nid addysgu y Cymry, i'w gyru ar grwydr fel cenedl, yw amcan sefydlu ysgolion yn eu plith; ond i'w gwneyd yn bobl oleu a rhinweddol yn eu cartref. Nid ym yn anfoddlawn i'n cydgenedl symud i'r wlad hon neu y wlad arall, os bydd rhaglunIaeth yn agoryd y drws iddynt—nac ydym mewn modd yn y byd; eto, dymunem iddynt gredu fod eisieu cymhwysderau i'r daith, heblaw siarad Saesoneg. Y mae yn ddigon hawdd i'r Cymro ddysgu digon o Saesoneg, a theithio o wlad ei enedigaeth am flyneddau, a dychwelyd yr un mor anghenus ag ydoedd yn cychwyn.

Yn wir yr ydym wedi teimlo i'r byw lawer gwaith, wrth weled ein cydwladwyr yn nhrefydd mawr Lloegr yn cyflawni y gwasanaeth mwyaf isel, a hyny am daliad llwm. Yr olwg arnynt yn slafaidd, a gwael, ac annuwiol ar lawer pryd—mwy caethwasaidd na neb yn ngwlad eu genedigaeth. Y mae crwydriad cannoedd o'r fath wedi troi allan yn ddinystr iddynt hwy ac yn warth i'w cenedl. Ond y mae genym bob sail i gredu y buasai yn bur wahanol arnynt pe buasent wedi cael eu haddysgu yn moreu eu hoes yn yr iaith a ddëallent. Buasai eu harchwaeth, eu hegwyddorion, a'u harferion yn wahanol; ac yn lle cychwyn oddicartref heb fawr o sail i obeithio gwella yn y byd, buasent yn myned wedi eu cymhwyso i wneyd defnydd da o bob cyfnewidiad ffodus yn eu heinioes, a thrwy hyny i ymwella yn feunyddiol. Ail ddywedwn, mai amcan blaenaf addysg yn Nghymru ddylai fod, gwneyd y Cymry yn genedl wybodus, fedrus, a rhinweddol, yn ngwlad eu genedigaeth; yna, os bydd ambell un yn teimlo blys symud i wlad estronol, fe fydd yn barod i'r daith, odid fawr; ac ni fydd gan y pellaf ar ol, ond dysgu tipyn ar iaith ei gymydogion. Yn wir, pe na fyddai dim mewn golwg ond parotoi bechgyn a merched Cymru i wynebu ar y byd i ennill eu bywioliaeth, dywedem yn ddibetrus, mai y drefn fwyaf naturiol ac effeithiol fyddai eu dysgu yn dda yn gyntaf trwy gyfrwng eu hiaith eu hunain; ac yna, dysgent iaith eu cymydogion tan ganu. Dechreu gydag egwyddorion gwybodaeth, a moes, a chrefydd, a therfynu gyda Saesoneg. Fel hyn y sicrhëid i bob un y pethau anghenrheidiol at lwyddiant a chysur; ac nid oes berygl na chyrhaedda pawb y llall, y byddai yn werth iddynt ei chyrhaedd.

Ond dadleuir eto, fod y Gymraeg yn rhwystr i lwyddiant llëenyddol y Cymry—fod llyfrau ar bob cangen o ddysgeidiaeth yn y Saesoneg; ond bod cylch y Gymraeg yn fychan iawn.

Cydnabyddwn ar unwaith fod maes llëenyddol y Saesoneg yn bur ëang, a maes llëenyddol y Gymraeg yn bur gyfyng mewn cymhariaeth; ond nid ydym mor barod i gydnabod y byddai y Cymry ar yr ennill wrth roddi heibio yn llwyr eu llëenyddiaeth eu hunain er mwyn ymuno â'u cymydogion.

Yn un peth, y mae cymaint o ŵyd ar faes y Saesoneg ag sydd o rinwedd. Yn wir, y mae llawer mwy. Profwyd yn ddiweddar gan un awdur, fod llawer iawn mwy o gyhoeddiadau a llyfrau anffyddol, tor-Sabbothol, a chroes i bob crefydd a rhinwedd, yn cael eu cyhoeddi yn Llundain yn unig, nag sydd o blaid crefydd a moesoldeb trwy yr holl deyrnas. Am bob tri sydd yn cael eu cyhoeddi i oleuo y byd mewn rhinwedd a chelfyddyd, y mae pedwar o bwrpas i feithrin llygredigaethau dûaf a ffieiddiaf y natur ddynol. Ond nid felly Cymru, o drugaredd. Os yw ei maes hi heb y cnwd mawr o rawn sydd ar eiddo Lloegr, y mae yn lân hefyd oddiwrth y cnwd anferth o rawn gwylltion sydd yno. Yn awr, ai doethineb fyddai

i'r ffarmwr newid maes bychan iachus am un mawr, fo yn cynnyrchu yn doreithiog y mae'n wir, ond dros hanner y cynnyrch yn llysiau gwenwynig —llysiau y gŵyr ef yn dda nad all eu symud? Na, na; ond ni a ddangoswn iddo ffordd well. Gan fod pob rhyddid iddo wneyd hyny, trosblaned y llysiau gwych sydd yn maes ei gymydog i'w faes ei hun, a gadawed y rhai gwael ar ol; yna fe gaiff y da heb y drwg. Felly y dywedwn wrth Gymry—newid da bychan y Gymraeg am y cymysg mawr o ddrwg a da y Saesoneg fyddai yn annoethineb; ond gwnewch yr hyn sydd yn werthfawr gan eich brodyr yn eiddo i chwi eich hunain—cyfieithwch ac aildylinwch eu llyfrau da i'r Gymraeg; ond na ddeued eu rhai drwg o fewn awyrgylch ein iaith.

Eilwaith, nid yw nifer llyfrau yn brawf o werth llëenyddol unrhyw wlad. Nid yw pob llyfr newydd yn newydd mewn gwirionedd. Gellir amlygu yr un pwnc, neu yr un drychfeddwl, mewn lliaws o ffyrdd, ond yr un ydyw wed'yn. Y mae llawer llyfrgell fawr yn gynnwysedig mewn ychydig o lyfrau. Nid yw yn anhawdd cwrdd â chant o gyfrolau mewn llyfrgell, pe y dewisid dwsin o honynt, y gellid llosgi y gweddill heb un golled wirioneddol. Felly, nid yw gwerth llyfrgell yn dibynu ar amlder y llyfrau, ond ar eu nodweddiad. Gall llyfrgell o ugain cyfrol fod yn fwy gwerthfawr o lawer nag un arall ddengwaith cymaint. Felly yn gymhwys y mae efo gwlad. Gall ei llyfrau fod yn ychydig mewn nifer, eto yn wir werthfawr. Gwell i ddyn, a gwell i genedl, gael un llyfr gwir dda, na chant o rai gwael neu gyffredin. Y maent yn ennill mwy o nerth llëenyddol wrth feistroli un o'r fath, nag wrth ugeiniau o nodwedd gwahanol. Y mae'n wir fod llyfrau y Saeson yn lliosog iawn, ond y mae eu sylwedd mewn llai o gwmpas nag y meddylid. Ac o'r tu arall, y mae llyfrau y Cymro yn ychydig iawn mewn cymhariaeth; eto beiddiwn ddyweyd fod ganddo fwy yn ei iaith ei hun o lyfrau cymhwys i ëangu ei feddwl, ac i feithrin ei athrylith, nag oedd yn meddiant hen feirdd ac athronwyr Groeg gynt. Nid ym am hòni nad oes diffygion yn ein llëenyddiaeth; ond pe deffröai y genedl, gwnaid pob diffyg hanfodol i fynu mewn ychydig o amser. Pa fodd bynag, a'i chymeryd fel y mae, yr ydym yn hollol gredu y byddai newid dwy lëenyddiaeth yn fwy o golled i Gymru nag o ennill.

Yr oeddym yn llwyr fwriadu sylwi ar ein testun yn ei gysylltiad crefyddol â ni; ond y mae ein hysgrif wedi chwyddo lawer mwy nag y bwriadem wrth ddechreu. Pa fodd bynag, caniatäer i ni ddyweyd cyn terfynu, fod Cymru, beth bynag am wledydd eraill, yn ddyledus i'w chrefydd am bob gwelliant yn gyfangwbl. Ni wnaeth ei llywiawdwyr ond ei gorthrymu a'i gadael—ni wnaeth ei haelodau seneddol ond gadael i'w gelynion wadu eu hiawnderau—ac ni wnaeth ei chyfoethogion o oes i oes ond hela ar ei mynyddoedd, a llygru ei dyffrynoedd, a chludo ei brasder i'w fwyta mewn gwledydd estronol. Buasai Cymru mor resynol a'r Iwerddon heddyw oni b'ai ei chrefydd. I'w gweinidogion, ei phregethwyr, a'i chrefyddwyr y mae yn ddyledus am y cwbl. A thrwyddynt hwy y mae wedi ei chodi i uwch tir mewn crefydd a moes nag un wlad dan dywyniad haul. Ond credwn y cyll ei choron pan y cyll ei hiaith. Y mae genym rinweddau a neillduolion crefyddol na flagurant byth ond yn sawyr y Gymraeg.

Hyd yn hyn y mae ein iaith a'n defodau wedi ein cysgodi ni oddiwrth y byd—ond pan y collwn hi, fe deflir Cymru yn waeth i wrthdarawiad â

phob drwg yn gystal a phob peth da yr oes; a haerwn mai colled iddi fydd hyny. Pan y collwn ein iaith, ni gollwn arddull briodol ein gweinidogaeth—ni gollwn ein hymnau melus—ni gollwn ein hen dônau nefolaidd—ni gollwn yr holl gynhesrwydd sydd yn tarddu o'n Cymreigyddiaeth—cynhesrwydd sydd yn gydnaws iawn â ni fel cenedl, ac yn fanteisiol iawn i'n crefydd: mewn gair, ni gollwn fil mwy nag a ennillwn.

Ond efallai y gofynir i ni, A ydych am attal y Cymry i ddysgu Saesoneg? Dim o'r fath beth. Ein hamcan yw dangos mai nid dysgu y plant yn y Saesoneg a ddylid yn ysgolion Cymru—ac nid dysgu y Saesoneg trwy gyfrwng y Gymraeg ychwaith ddylai fod amcan blaenaf ein hysgolion—ond dysgu gwybodaeth, a synwyr, a rhinwedd, a chrefydd i'n plant yn eu hiaith ardderchog eu hunain i ddechreu; yna dysgant y Saesoneg ac ieithoedd eraill yn well ac yn gyflymach nag y gwnaent heb hyny. Ail ddywedwn fod dysgu plant mewn iaith nad ydynt yn ei dëall, yn afresymol, yn anwladgarol, ac yn anghrefyddol.

Ond braidd na ddychymygem glywed ambell Gymro (!) yn sibrwd, "Gadewch y Gymraeg yn llonydd, y mae yn sicr o farw." Wel, nid amcan ein hysgrif oedd dadleu dros barhad y Gymraeg, ond dros roddi addysg ynddi i'r miloedd nad ynt yn dëall ond y hi. Eto, gellir "dyweyd ar ddwywaith" a ydyw ar drengu ai peidio. Bu mor debyg, a mwy tebyg, ddeunaw cant o flyneddau yn ol, i farw ag ydyw yn awr. Yr oedd cymaint o'r Cymry yn ceisio dynwared y Rhufeiniaid y pryd hyny ag sydd yn awr yn ceisio dynwared y Saeson. Yr oedd mor "foneddigaidd a dysgedig" siarad Lladin y blyneddau hyny ag ydyw siarad Saesoneg y blyneddau hyn. Yr oedd Dic Sion Dafydd, a Sian Sion Dafydd, mor amled ymhlith ein cenedl yn yr oes hono ag ydynt yn yr oes hon. Ond y mae'r Rhufeiniaid a'u hiaith wedi marw, a'r Cymro a'i iaith yn fyw, ac yn gwreiddio yn nodedig yn ystod yr ugain mlynedd a aeth heibio. A phe gwybyddem mai marw a wna, ni fyddai hyny yn un esgus dros beidio cyfranu gwybodaeth drwyddi tra y bo yn fyw. Ond os trefn rhagluniaeth y nef yw ei symud, ofer yw gwingo yn erbyn y symbylau. Os daw y dydd pryd na fydd ond un hen ŵr neu hen wraig ar wyneb y ddaear yn medru gair o Gymraeg, dymunem yr anrhydedd i hwnw neu hono fod yn un o blant ein plant. A phan y byddo ein iaith ardderchog yn cael ei hanadlu i dragywyddol ebargofiant, bydded i'w marwolaeth gael ei uno â marwolaeth rhyw———. Ond

"Yn ddilys byth na ddelo—y diwrnod
I'w chlod hi fachludo—
Arhosed, bydded tra bo
Bel daear yn blodeuo."

---

## CYWYDD Y MEDDWYN.

ADRODD holl aflywodraeth
Y coeg feddwyn cyndyn caeth,
Nis gallaf, ac nis gellir
Rhoi llun hwn ar y llên hir.

Ai mochyn yw y dyn dwl
Yn maeddu heb un meddwl?
Ar glawdd yn min bawdd mae'i bwys,
Mingamu mae yn gymhwys!

Syrth i'r baw 'n swrth ar ei ben,
Rhyw dwlcio ar ei dalcen;
Yno y bydd, yn y baw
Aml orig yn ymlawriaw;
A'i labystfa, lô bostfawr,
Fel treigl hwch yn llwch y llawr;
A'i fraint mysg llyffaint a llau
Yw rhuo nwydwyllt oer nadau.
Poer a rhêg o'i geg a gôr
Cau 'i llygaid a'u cil agor.
Seryddwr yw'r gŵr ar gyrch
Antur fesuraw 'r entyrch:
Nen asur yn iawn esyd
I'w threfn, ar ei gefn, hyd gyd;
Dyna fo, fel llo mewn llaid
Yn bolio ar ben byliaid.
Dyna radd a dawn ei ryw
Hyd hir gofrestr ei gyfryw.
Ei âch ffôl myn ei choffâu,
Dadwrdd ynghylch ei deidiau;
Ac am ei nerth anferthol
Y cwyd ei lais, ceidw lol.
Weithiau nef, a gwir grefydd
Bob yn ail llwnc a'i bwnc bydd,
Brygawthau am bregethu,
A beiaw tost ar bob tu.
Y peint i bawb, pwyntia 'i big
Yn fudan dyrchafedig—
I'w gawg 'r edrych:—gwag rodres
Gan swagro a brolio 'i bres;
Hael i bawb, hwylio y bydd
Ar lunio mawr lawenydd.
Daw ar hyn fachgenyn gwyl
Blin teneu o'i blant anwyl,
O! 'i gefn llwm, mor drwm y drych,
Adrian wylasai 'n edrych;
Eisieu bwyd, ac anwyd oedd,
Y cylla yn wag gelloedd.
Swatio 'i ben, yn ddystaw bach
Tystia dylodi tostach:
Ac amnaid wna i'r cwmni
Yn wael ei fyd, "Wele fi."
Dynesa â'i don isel,
"O fy nhad, gad yn ddigel,
Ddwy geiniog at ddigoni
Pump a mam—nid pwmp i mi."
Un o chwech er hyn ni chai
O ddu amod un ddimai!
Dwrdio ymhyllio am hyn,
Rhegu a churo 'r hogyn.
Calon bres oer, coeliwn braidd
Sy'n ei fynwes anfwynaidd:
Gwrdd ellyll, gyrodd allan
Ei wyl fab, ei gynfab gwan.
Yn rhywle mewn oer helynt,
Dysgrythai 'r fam yn gam mewn gwynt,
Yn rhynu gan oer anwyd,
Gwaraidd o lais a'i grudd lwyd;
Nychlyd oedd ei hiechyd hi,
Heb obaith bwyd i'w babi.
Crych â'r croen, gan boen ei byd
A phoenau aml ei phenyd.
Y gwr heb raid, ger ei bron
Yn curo 'i hanner coron;
Gan wasgu'r *handl* diandlawd
Wrth ei fin, rhydd win o wawd,
Hithau draw wthia, druan!
Trwy arw fodd try hi o'r fan.
Unwaith bu "fy ngeneth bach,"
Gan y ffullawg hen ffolach,
Awff du, eddig; wfft iddo
Aed ar frys o dre ei fro,
I Siberia oera iâs,
O tan naw-clo tyn Nic'las,
Er ei sobri îs wybren,
O'i wall byw i wella 'i ben.
At ei dŷ eto deuwn,
Gwael, oer, hyll y gwelir hwn;
Trwy'r byd o'r cynfyd nis caid
Waeth annedd i wyth enaid.
Nyth gwae, anhywaith i gyd,
Yw ei drigfan llawn drygfyd;
Gwall erwin y gell oeraidd
Sycha win y brenin, braidd:
Wyla 'r nef nes troi 'n ddefni
Ar hyd y llawr rhed y lli.
Dim mawn ar tân dwymna 'r tŷ,
Na bwydydd mwy na beudŷ;
Mor oer a gwlyb—marwor glo
Na chrinwydd ni cheir yno,
Gwely main cul; fel gwâl mewn cwm
Cwrlid ni fedd y carlwm;
Bwthyn o'i fath byth na fo
Dŷ ag amrwd i Gymro.
Nwyd astrus a llawn dystryw
Delw'r bedd ar deulu 'r byw;
Edrychwn ar ei drachwant;
I borthi blys abertha 'i blant!
Yfwyd eu gwaed, O! fyd gwel
Mae rheswm?—O! mor isel
Yw dynoliaeth dan eilun
Llethu ei had, llwytho 'i hun!
Meddwyn ar y dibyn dwys
Ger uffern ar gwr aphwys;
Yr adyn wedi 'i rwydo
Gan ei wanc ni ddianc o,
Ac er uched y crechwen
Daw hyd y bywyd i ben;
O'i gwrw fe syrth i gerwyn
Llid Ior!—dyma golli dyn!

Llaeth yfwyf, nid llith afiach—y gerwyn;
Nid gwariaw am sothach
Gwenwynig, a wna anach;
Y nodd dŵr wna ddiod iach.

## CENEDL Y CALEBIAID.

"A'R gwr oedd galed, a drwg ei weithredoedd; a Chalebiad oedd efe." Dyna fel y llefara ysbrydoliaeth am Nabal y Carmeliad yn 1 *Sam.* xxv. 3. Dëallir yn gyffredin oddiwrth yr ymadrodd diweddaf, "A Chalebiad oedd efe," fod Nabal wedi disgyn oddiwrth Caleb mab Jephunneh, o lwyth Judah; ac â'r esboniad yna y cyttuna y cyfieithiad Seisoneg, "*And he was of the house of Caleb.*" Ond llawer o feirniaid ysgrythyrol a ddarllenant, "A chïaidd oedd efe;" a dyna, meddir wrthym, yw y darlleniad yn y cyfieithiadau Samariaidd, Syriaidd, ac Arabaidd. Peth arferedig yn mysg yr Israeliaid, fel ymhlith yr hen Gymry, oedd rhoddi enwau anifeiliaid ar eu gilydd, i arwyddo eu bod wedi eu hynodi â rhai cynneddfau cyffelyb i eiddo yr anifeiliaid hyny. Yr oedd *Caleb*, neu *kelb*, yn enw dyn, ac yn enw cî; a phriodol yw meddwl fod yr ansoddair *Calebe*, neu *kelbe*, yn y lle hwn yn arwyddo tymher sarug a chostogaidd Nabal, yn hytrach na'i haniad oddiwrth Caleb, yr hen ysbïwr duwiol. Sylwer ar amgylchiadau yr hanes, a gwelir fod Nabal yn ateb i'r desgrifiad hwn. Yr oedd Dafydd y pryd hyn, yn ei ffoedigaeth rhag Saul, yn gwersyllu yn agos i'r fan lle y cedwid praidd llïosog Nabal; ac yr oedd Nabal yn rhwymedig i Dafydd a'i wŷr am eu caredigrwydd yn gwarchodi ei ddefaid rhag eu hyspeilio, a'i fugeiliaid rhag eu niweidio, gan williaid yr anialwch. Felly yr addefai y bugeiliaid am danynt: "A'r gwŷr fu dda iawn wrthym ni; ac ni wnaed sarhâd arnom ni, ac ni bu i ni ddim yn eisieu yr holl ddyddiau y rhodiasom gyda hwynt, pan oeddym yn y maes. Mûr oeddynt hwy i ni nôs a dydd, yr holl ddyddiau y buom gyda hwynt yn cadw y defaid." Yr oedd yn amser cneifio, pryd yr oedd Nabal, yn ol yr arfer gyffredin, yn darparu gwledd fawr i'r cneifwyr. Ac yn yr adeg hon o lawenydd a bywioliaeth dda, Dafydd, yn ei anghen, a anfonodd genadau at Nabal, i ofyn, yn y modd mwyaf parchus a moesgar, am rodd o luniaeth iddo ei hun a'i ddynion, yr hyn oedd y peth lleiaf a allasai Nabal ei wneyd fel cydnabyddiaeth am eu cynnorthwy gwerthfawr. Ond Nabal a nacäodd eu cais, gan ateb yn y modd mwyaf trahäus a sarhäol, "Pwy yw Dafydd? a phwy yw mab Jesse? llawer sydd o weision heddyw yn tori ymaith bob un oddiwrth ei feistr. A gymeraf fi fy mara a'm dwfr, a'm cig a leddais i'm cneifwyr, a'u rhoddi i wŷr nis gwn o ba le y maent?" Cymhwys y dywedodd un o'i weision ei hun am dano: "Efe sydd fab i Belial, fel na ellir ymddyddan âg ef." Ac felly, dybygem, fod y gair "Calebiad" yn yr adnod a nodwyd, yn arwyddo mai tymher cî oedd gan Nabal, ac nid yn ei gysylltu â dyn a elwid yn gî.

I weled grymusder priodol yr ansoddair, dylem gofio fod cŵn yn ngwledydd y dwyrain yn nodedig am eu hafrywiogrwydd a'u ffyrnigrwydd. Nid ydynt, ond yn dra anfynych, yn eiddo i berchenogion penodol, ac ni chaniatêir iddynt ddyfod i mewn i deiau; ond y maent yn myned yn heidiau o amgylch yr hëolydd yn y dinasoedd a'r pentrefydd, gan fyw ar unrhyw ysglyfaeth a fyddo yn gyrhaeddadwy iddynt. Nid ydynt felly yn arddangos dim o gynneddfau cyfeillgar a hoffus cŵn cartrefol y wlad hon; ond y mae eu ffyrnigrwydd naturiol, wedi ei awchlymu gan newyn, yn eu gwneyd yn

bla cyffredin yn y gwledydd hyny. Yno mae yr enw ei yn arwyddlun o bobpeth isel, dirmygus, a ffiaidd. "Ai cî ydwyf fi," meddai Goliath wrth Dafydd, "gan dy fod yn dyfod ataf fi â ffyn?" A ydwyf fi, y cawr galluog, mor wael a dirmygedig yn dy olwg, fel yr wyt yn anturio ataf gyda yr hyn a gymerir i guro cŵn, ac nid gyda'r arfau â pha rai y mae campwyr yn ymladd â'u gilydd? Pan yr oedd Abner yn cael ei gyhuddo o fai adgas gan ei feistr Isboseth, efe a atebodd yn ddigllawn, "Ai pen cî ydwyf fi, pan osodaist i'm herbyn fai am y wraig hon heddyw?" Ai y pen neu y blaenaf o haid o gŵn ydwyf, pan roddit y fath drosedd esgymun yn fy erbyn? Pan yr hysbyswyd i Hazäel gan y prophwyd galarus am y creulonderau echrydus a gaent eu cyflawni ganddo pan y cyfodid ef i deyrngader Syria; y milwr uchelfrydig, pryd nad oedd eto wedi ei lygru gan ddylanwad awdurdod, a ddywedodd, "Pa beth? ai cî yw dy was, fel y gwnelai efe y mawr-beth hyn?" A ydwyt yn meddwl fy mod mor annynol a gwarthruddus, fel y gallwn fod yn euog o'r fath ddirdra ofnadwy? Haroun-al-Raschid, penaeth enwog y Saraceniaid, pan yn ysgrifenu ei lythyr at yr Ymherawdwr Nicephorus, a'i cyfeiriodd, "At y cî Rhufeinig." Fel hyn, nis gellid llefaru yn addasach am y Nabal diserch, sarug, ac anfoneddigaidd hwn, na'i alw yn Galebiad, neu ddyweyd, yn ol y Gymraeg, mai *cïaidd* oedd efe.

Gan gymeryd y gair yn yr ystyr yma, dymunem nodi fod cenedl y Calebiaid i'w chael ar y ddaear eto. Ydynt; ac y mae llïaws o honynt yn trigiannu yn y Deyrnas Gyfunol. Wrth sylwi ar dymher ac ymddygiad llawer dynsawd yn Nhywysogaeth Cymru, mae yn rhaid i ni ddywedyd am dano, "A Chalebiad yw efe." Mae amrywiaeth mawr yn rhywogaeth y cŵn, ac felly y mae llawer math o'r Calebiaid yn mysg y "dynol deulu." Edrychwch arnynt! y rhai ffrom, hawdd i'w tramgwyddo, a thueddol i ddychymygu fod rhywrai yn eu sarhâu o hyd—y rhai croesion, ymrafaelgar, parod i wrthddadleu, a chwannog i wrthwynebu a rhwystro—y rhai hunanol, cyndyn, ystyfnig, sydd yn erwin am eu ffordd eu hunain yn mhob peth, cam neu gymhwys, ac a fynant ddal at bwnc er gwaethaf rheswm, yn unig am iddynt hwy ei ddywedyd, neu a gyfiawnhânt weithred ar draws uniondeb, yn unig am iddynt hwy ei gwneyd—y rhai hyfeiol (*censorious*), athrodgar, sydd yn gweled bai â llygad barcud, ac yn ei gyhoeddi â thafod cloch—y rhai dïalgar, anfaddeugar, a gadwant pob trosedd i'w herbyn dan glô yn eu côf, ac y mae yn felusder iddynt attal daioni neu weinyddu drwg mewn ffordd o ad-daliad—y rhai annhosturiol, caledgalon, sydd yn gâs ganddynt roddi a chyfranu—y rhai anniddig, anfoddog, ac anynad—y rhai gwaedwyllt, cyffröus, a chyflym i ddig—y rhai gormesol, gorthrymus, a thräarglwyddiaethol—a chymeriadau eraill a ellid eu henwi, cyffelyb i'r rhai hyn—y maent oll yn perthyn i genedl y Calebiaid.

Gormod gorchwyl i ni ar hyn o bryd yw olrhain holl amrywiaethau y Calebiaid; ac felly caiff ein sylwadau gyfeirio yn benaf at y dosbarthiadau cynhenus, digofus, ac annhrugarog o'r genedl neu y rhywogaeth hon. Mae y cî yn ddïarebol am ei gwerylgarwch:—

"Mynych y ceir mewn manau,
Dorf o gŵn i dyrfu a gwau,
I drin yn flin aflonydd;
Lle byddo nhw rhyw ferw fydd."

Yn hëolydd tref, os bydd yno nifer o gŵn, dygwyddiad pur gyffredin yw

iddynt fyned i ymladd â'u gilydd, nes y byddo eu nadau anhyfryd yn syfrdanu pob clust. Mewn lle o addoliad, gwelsom, weithiau, ddau neu ychwaneg o gŵn, wedi cyfarfod â'u gilydd, yn dechreu brathu a llarpio y naill y llall, gan gyfarth yn ddychrynllyd, yn hollol ddiystyr o bwysigrwydd a gwaith y cysegr, a thrwy hyny, fel y dywedodd hên brydydd,

"Yn rhwystro yr athro duwiol
I seinio 'r nefol sŵn,
A thaflu 'r dyrfa i fwsdwr,
O achos cynhwr' cŵn."

Ac y mae yn hen sylw, nas gall dau gî fyw yn heddychol yn yr un tŷ. Cyffelyb yw y Calebiaid. Mae ymryson yn blanedig yn eu hysbrydoedd. Yn lle rhoi eu bryd ar fod yn llonydd, hwy a ymladdant â'u sodlau, fel y dywed yr hen air, os na chânt rywrai eraill i ymladd â hwy. Gwelir eu gwynebau yn cochi fel ceiliog twrci, a'u llygaid yn tanio, am y peth lleiaf. Llosg-fynyddau corfforol ydynt; ni wyddoch pa fynyd yr ymrwygant ac y taflant allan eu ffrydiau poethion, nes difa pob eginyn o gysur o'u hamgylch.

Megys yr oedd Abigail, mae yn ddïau, yn gorfod goddef anhyfrydwch yn fynych oddiwrth Nabal, felly y mae llawer gwraig gall a charüaidd eto yn cael byd chwerw gyda gŵr o Galebiad. Mae yr anian Galebaidd yn sicr o'i dangos ei hun mewn perffeithrwydd yn y tŷ gartref. Wrth ymddyddan âg ambell ddyn ar yr hëol, neu wrth ddal cyweithas âg ef yn y cylch cyfeillgar, efallai na feddyliech o gwbl ei fod yn un o genedl y Calebiaid; mae yn edrych, yn siarad, ac yn ymddwyn yn foesgar a thirion iawn. Ond pe gallech ei ddilyn yn anweledig i'w drigfa, ac edrych arno yn mysg ei deulu, wedi ymddyosg o'i wisg ymweliadol, chwi a welech yn fuan oddiwrth ei olwg cuchiog a'i eiriau annhirion, mai "Calebiad yw efe." Am un o'r tylwyth yma, yr hwn oedd ormesdeyrn gartref, a chydymaith difyr oddicartref, dywedai boneddiges wrth ei wraig, "Yr ydych yn hapus yn eich gŵr; rhaid mai hyfryd yw byw gydag ef, o herwydd y mae yn delyn yn mhob cwmni lle byddo." "Yn wir," meddai y wraig, "os felly y mae, nid ydym ni yn cael dim peroriaeth ganddo gartref; mae yn cadw ei delyn y tu ol i'r drws wrth ddyfod i'r tŷ." Fel yr awel afiach yn mallu gwyrddlesni a ffrwythlondeb, felly yn fynych y mae dyfodiad Calebiad i'w dŷ. Dacw y wraig yn myned ymlaen yn ddyddan gyda'i gorchwylion teuluaidd, a'r ferch yn ei chynnorthwyo yn siriol; mae y bechgyn hynaf yn cydseinio y dôn newydd a glywsant yn y cyfarfod canu; a'r plentyn lleiaf yn chwareu yn ddifyr gyda 'r ci neu 'r gath. Ond ust! dyma 'r Calebiad yn dyfod i mewn; ac wele! mae sirioldeb y fam a'r ferch wedi ei newid am bryder ac ofn; mae cân y bechgyn wedi dystewi; mae 'r plentyn yn rhedeg, fel cyw rhag ofn y barcud, i gysgod ei fam; ac y mae y crëaduriaid direswm yn cyfranogi o'r teimlad cyffredin; mae *Snap* yn llaesu ei gynffon rhwng ei goesau, a'r gath, gan edrych yn llygadgam, yn encilio yn gyfrwys i lechu o dan y bwrdd. Mae Calebiaid o'r fath yma wedi bod yn llwyddiannus yn aml i anfon gwragedd tyner yn anamserol i'r bedd. Os nad oeddynt yn defnyddio eu dyrnau i'w maeddu (mae rhai o'r Calebiaid yn hylaw gyda'r gwaith hwnw), defnyddiasant ffordd lawn mor effeithiol. Lladdasant eu hysbrydoedd, ac yr oedd lladdedigaeth eu cyrff yn dyfod yn ganlyniad naturiol.

Ond y mae yn rhaid i ni ddywedyd nad yw y Calebiaid teuluaidd i'w

cyfyngu i restr y gwŷr: gwelwyd rhai ffyrnig iawn, ysywaeth, yn mysg yr ystlen deg. Dywedodd un, wedi bod yn ciniawa mewn tŷ lle yr oedd y wraig yn Galebëes, "Yr oedd yno arlwy da; ond yr oedd tymher, a gwyneb, a thafod y wraig, yn troi pob peth yn winegr i mi." Os oedd ymwelydd dyeithr yn teimlo mor anghysurus, lle nad oedd raid iddo fod ond am ryw awr o amser, beth am gyflwr y truan oedd wedi ei gondemnio i fyw gyda'r gecren hyd dranc? Mae y gŵr doeth wedi tynu portrëad bywiog o annymunoldeb sefyllfa yr hwn y mae ganddo Galebëes yn wraig: "Gwell yw bod mewn congl yn nen tŷ, na bod gyda gwraig anynad mewn tŷ ëang. Gwell yw aros yn yr anialwch na chyda gwraig anynad ddigllawn. Defni parhäus ar ddiwrnod gwlawog, a gwraig anynad, cyffelyb ydynt." Peth digon anhyfryd yw bod allan am hanner awr ar y ffordd mewn cawod o wlaw; ond nid ydyw i'w gymharu wrth fod yn y tŷ dan y defni trwy y dydd. Fe fynai y gŵr o'i ran ei hun aros gartref, ond y mae tafod cynhenllyd y wraig fel y defni o'r tô yn disgyn ar ei ben pa le bynag yr eisteddo, nes y mae heddwch a chysur yn ei orfodi i fyned allan i rywle. Yn lle bod fel telyn Dafydd yn lleddfu cynddeiriogrwydd Saul, y hi yw y drwg-ysbryd i ennyn a gyru ymlaen yr anesmwythder a'r terfysg. Ac, fel mae'r gwaethaf, fe fyn dynes o'r argraff yma ddangos i bawb mai Calebëes yw. Gall gŵr gelu ei Galebiaeth, megys y nodwyd, fel na byddo yn weledig ond yn unig o fewn cylch ei deulu; ond mae holl bobl yr hëol, os nad holl bobl y dref, yn gwybod am gymeriad y wraig anynad. "Y mae yr hwn a'i cuddio hi," medd Solomon, "megys yn cuddio y gwynt, ac olew ei ddeheulaw, yr hwn a ymddengys." Nis gallwn yma ymarbed heb adysgrifio esboniad synwyrgall ein hen gyfaill ymadawedig, James Hughes, ar yr adnod hòna: "Mae gwraig anynad mor anllywodraethus ac yn gymaint ei sŵn a'r gwynt ystormus, ac ni waeth i'r gŵr geisio cuddio a gostegu y gwynt na cheisio cuddio drwg-anwydau ei wraig rhag eraill; hi a ddengys ei thymherau drwg ar gyhoedd pawb, gwnaed efe a fyno ac a allo i geisio eu cuddio. Pan fyddo dyn yn dal olew peraroglaidd yn ei ddeheulaw, neu pan fyddo wedi iro ei ddeheulaw yn fwriadol neu yn ddamweiniol âg olew felly, bydd yn sicr o ymddangos, neu i'w adnabod wrth ei arogl: ac felly y wraig anynad, mae yn anmhosibl ei chuddio hi. Po mwyaf y gwasger yr olew yn y deheulaw, mwyaf y cynhesa, ac o ganlyniad mwyaf yr arogla: felly po mwyaf y ceisier attal a ffrwyno y wraig anynad, i'w chuddio hi a'i thymherau, mwyaf cynddeiriog a direswm a fydd hi. Y ffordd oreu i ochel poen gyda'r fath wraig yw gofalu a gweddïo, cyn priodi, na chaffer y fath un."

Os sefyllfa druenus yw bod wedi ymuno mewn glân briodas â gŵr neu wraig o'r fath a nodwyd, rhaid mai lle enbyd yn wir sydd yn y tŷ hwnw lle mae Calebiad o ŵr a Chalebëes o wraig wedi cyfarfod â'u gilydd, a'r naill mor anhyblyg a'r llall. Nid yw dau gi yn yr un tŷ ond darlun gwan i ddangos y dadwrdd, yr ymgecru, a'r ymryson a gyfodir yn ddibaid gan y ddeu-ddyn angharíadol. Uffern ar y ddaear yw trigle y cyfryw. Ië, gallwn ddyweyd eu bod yn fwy dilywodraeth nag ellyllon y pwll. Mae Satan yn gallu llywio pethau hyd yn hyn fel ag i beidio ymranu yn ei erbyn ei hun. Yr oedd saith o gythreuliaid yn medru aros mewn cydfod o fewn yr un dyn; ïe, yr oedd lleng o honynt yn trigo yn gyttûn yn yr un galon; ond y mae yn annichonadwy i ddau Galebiad fyw yn heddychol dan yr un gronglwyd. Rhag i'n henaid ddyfod i'w cyfrinach hwynt, gwared ni, Arglwydd daionus!

Anhawdd yw i ddyn wadu ei genedl; ac felly am y Calebiaid, mae rhyw amgylchiadau o hyd yn peri iddynt ddangos beth ydynt. Gyda llawer, mae yr *alcohol* pendronllyd fel tân yn codi yr yscûm Calebaidd i'r wyneb. Pan yn sobr, mae synwyr, ofn, neu gywilydd yn cadw y dyn yn o weddaidd; ond gadawer iddo fyned i gyfathrach â'r "ddïoden," a dyna ei dymher gïaidd yn amlwg i bawb a ddelo yn agos ato. Mae codiad i uchafiaeth ac awdurdod yn amgylchiad tra effeithiol i ddangos Calebiad. Mae hanes Hazäel yn profi hyn. Tra yr oedd Nero yn ddyn anghyhoedd, yr oedd yn cael y gair o fod yn un o ducddfryd hynaws; ond wedi ei ddyrchafu yn amherawdwr Rhufain, aeth yn anghenfil o greulondeb. Yr ydym yn cofio clywed hen hanes am fynach oedd yn enwog am ei wylder a'i grefyddolrwydd; nid oedd yn ymddangos yn cymeryd sylw ar ddim o amgylchiadau y fynachlog; yr oedd ei wefusau bob amser yn ymsymud mewn gweddïau; yr oedd yn wastad yn crymu tua'r llawr; ni chodai ei olygon i fynu gan ei ddirfawr ostyngeiddrwydd. Bu farw yr abad neu y penfynach, ac aed i ddewis olynwr iddo. Yr holl fynachod a ddywedasant yn unllais, "Y brawd crymedig, gwylaidd, a gaiff fod yn benfynach; mae ef mor wastadol a difrifol gyda'r pwnc mawr o gadwedigaeth ei enaid ei hun, fel y gallwn fod yn sicr na wna ef gymeryd gormod o sylw ar ein hymddygiadau." Wel, cafodd y mynach gwargam ei wneyd yn abad. Ond yn fuan wedi ei sefydlu yn ei benaduriaeth, canfyddwyd fod ei holl ddull a'i ymddygiad wedi derbyn chwyldröad trwyadl. Yn lle crymu ei ben wrth gerdded, yr oedd yn rhodio yn warsyth a phenuchel; yn lle bod heb sylwi ar ddim, yr oedd yn gwneyd y sylw manylaf ar bob peth; ac yn lle gadael i'w frodyr mynachaidd gael gwneyd fel y dewisent, yr oedd yn arglwyddiaethu arnynt â gwialen haiarn. Anturiodd un hen gyfaill draethu ei syndod o herwydd y trawsffurfiad hynod a ddaethai mor ebrwydd arno. "O," meddai yr abad, oddiar ei gader esmwyth, "yr oeddwn i yn crymu fy mhen i chwilio am agoriad y fynachlog; ac yn awr, wedi i mi ddyfod o hyd iddo, nid oes achos i mi ddal fy llygaid i lawr mwyach." Mae y mynach gostyngedig a'r abad ymddyrchafedig wedi cyfarfod yn mherson llawer mab i Adda ar ol y tro hwnw. Gwelsom ddynsodion, y rhai oeddynt, pan y daethom gyntaf i gydnabyddiaeth â hwynt, yn nodedig, dybygasem ni, am eu mwyneidd-dra, eu carueiddwch, a'u parodrwydd i wasanaethu yr iselaf; ond wedi iddynt gael "agoriad y fynachlog" i'w dwylaw, wedi eu codi i swyddogaeth a dylanwad, gorfu arnom newid ein barn am danynt, a dywedyd, "A Chalebiaid oeddynt hwy." Nid oes dim yn fwy dirmygus genym na thrahausder corachol wedi eu gwisgo â thipyn o swydd, yn wladol neu eglwysyddol. Maent hwy yn dychymygu eu bod yn dangos eu hunain yn ddynion mawr a phwysig; ond, druain! profi y maent mai Calebiaeth, ac nid dynoliaeth, sydd yn perthyn iddynt.

Mae rhai o'r Calebiaid wedi llwyddo, rywfodd, i fyned i mewn i gylchoedd crefyddol; ac yn nillad crefyddwyr y maent adgasaf a mwyaf niweidiol. Llawer o braidd Duw a anafwyd o bryd i bryd gan frathiadau y rhyw hwn. Pan y gwelom ddynyn yn tynu gwyneb hirllaes, yn crychu ei safn, ac yn ysgwyd ei ben, fel rhagymadrodd sanctaidd i'w waith yn gollwng ei dafod i ddynoethi beiau ei frodyr—pan y clywom ef yn rhoddi anair i'r cymeriadau uchaf, a chyda sicrwydd mawr yn priodoli egwyddorion drwg i'r gweithredoedd goreu—byddwn yn union yn cofio yr ymadrodd, "A Chalebiad oedd efe." Da fyddai pe rhoddid asdyllen yn grogedig wrth

yddfau y cyfryw rai, a'r geiriau hyny yn argraffedig arni mewn llythyrenau breision, "GOCHELWCH GWN!" Pan y byddo un mewn cynnulliad eglwysig neu gymanfäol yn gwastraffu anathemau trymion, yn siarad yn anfoesgar a haerllug dan y rhith o fod yn onest a ffyddlawn, ac yn ymddangos yn awchus i esgymuno neu ddiarddel am y trosedd lleiaf, oddiar gymeryd arno fod yn zelog am gadw tŷ yr Arglwydd yn lân, bydd yn anhawdd i ni beidio gofyn, "Ai Calebiad yw efe?" Nid yw Calebiad yn malio dim am deimladau neb ond yr eiddo ei hun; ei holl gais sydd am dderbyn parch, ac nid am roddi parch; digon bychan ganddo ef yw offrymu heddwch eglwys yn aberth i'w foddhâd personol. Rhodded yr Arglwydd ddoethineb i wylwyr Sïon yn Nghymru i "graffu," cael allan, a rhoddi nôd, "ar y rhai sydd yn peri anghydfod a rhwystrau," fel na chaffont eu ffordd, ac na chyrhaeddont eu gwynfyd.

Er nad oes yr un o wir ddilynwyr yr Oen yn Galebiad, eto gallesid dywedyd ar amserau wrth ambell ddyn da a duwiol, "Ti a leferaist *fel* un o'r Calebiaid." Am y rhai y mae eu tymherau naturiol yn eu tueddu i fod yn erwin a meistrolgar, er y gall fod gras yn eu calonau, mae yn anghenrheidiol iddynt yn barhaus gadw y wyliadwriaeth fanylaf arnynt eu hunain, onidê hawdd y gallant lithro i ysbryd ac ymddygiad a'u gwnelo yn dra annhebyg i'r Hwn a ddywed, "Addfwyn ydwyf a gostyngedig o galon." Mae yn debyg fod yr hen bregethwr hwnw yn ymollwng yn ormodol ar brydiau i'r hen natur Galebaidd, ŵyr bach yr hwn a ddywedodd, "Mam, nid ydwyf fi yn hoffi myned i'r nefoedd." "Pam hyny, fy machgen?" meddai y fam. "Wel, fe fydd fy nhaid yno; oni fydd?" atebai y bychan. "Bydd, fy machgen; fe fydd dy daid yn y nefoedd, gobeithio." "Wel, yn wir, mae yn well genyf fi beidio myned i'r nefoedd ynte," meddai y bachgen yn hollol ddifrif; "o achos pan wel fy nhaid ein bod ni yno, efe a ddaw gan ysgowlio, a dyweyd, Pw! pw! beth y mae'r plant hyn yn geisio yma?" Yr oedd yr henwr, dybygid, yn lled annyoddefus gyda hwy yn y teulu, a syniad plentynaidd y bachgen ydoedd mai yr un fath y byddai yn y nefoedd, ac yr oedd hyny yn suro y nefoedd yn ei feddwl. Nid anmherthynol yw i ni yma gyflëu darluniad tarawiadol a wnaeth y diweddar Barch. Richard Jones, o'r Wern, o hen flaenor, mewn Cyfarfod Misol yn sir Feirionydd. Yr oedd yr hen frawd wedi bod yn moreu ei oes yn wasanaethgar iawn yn mhlaniad yr achos crefyddol yn ei ardal; ond nid mor hawdd oedd gweled ei ddefnyddioldeb yn ei flyneddau oedranus. Ni wnai neu ni allai weithio ei hun, ac ni chai y bobl ieuainc ag yr oedd ysbryd gweithio ynddynt wneyd dim ganddo. "Y fi," meddai wrthynt, "yw y blaenor." Wrth ymddyddan âg ef yn y gynnadledd, dywedai Mr. Jones yn ei ddull digymhar ei hun—"Y mae genyf fi hen gi mawr yn y Wern; bu unwaith o wasanaeth ar hyd y fferm; ond y mae yn awr wedi myned yn ddiwerth, yn hen, ac yn anniddig. Mae ar y teulu acw eisieu i mi ei ladd; ond ni laddaf mo hono, er mwyn ei ddaioni gynt. Nis gall ef yrŵan wneyd dim daioni ei hun, ac y mae yn chwyrnu ar y cŵn eraill sydd yn wasanaethgar genym; efe a orwedd yn y tŷ o flaen y tân, ac ni chaiff un o honynt ddyfod yn agos ato. Yr wyf yn ei gadw yn fyw yn unig o herwydd iddo fod yn gi go lew er ystalm." Nis gwyddom a effeithiodd yr ymadroddiaeth ar y pryd i ddwyn yr hen ddiacon i weled ei bortrëad, ac i ddiwygio; ond yr oeddym ni yn gydnabyddus âg ef yn ei dymmorau diweddaf, a'r pryd hyny yr oedd yn dangos mwy o'r oen nag o'r ci; yr

oedd ei groesineb yn myned wanach wanach, a'i addfwynder yn myned yn gryfach gryfach.

Yr ydym yn hyderu ein bod wedi dywedyd digon am genedl y Calebiaid i ddangos i'n darllenwyr pwy ydynt, ac i'w dwyn i wylio rhagddynt, ac i ymogelyd rhag bod yn gyffelyb iddynt. Y cymhwysiad goreu a allwn ni ei roddi oddiwrth y cyfan, ydyw, "Tyner ymaith oddiwrthych bob chwerwedd, a llid, a dig, a llefain, a chabledd, gyda phob drygioni; a byddwch gymwynasgar i'ch gilydd, yn dosturiol, yn maddeu i'ch gilydd, megys y maddeuodd Duw er mwyn Crist i chwithau."

---

## YR YSGOL SABBOTHOL.—GWEITHIAU MR. THOMAS DAVIES, DOLGELLAU.

[1. *Hyfforddwr Ymarferol yr Ysgol Sabbothol.* Dolgellau: argraffedig gan Evan Jones.
2. *Yr Enaid heb Wybodaeth; sef Darlith, sylfaenedig ar Diar.* xix. 2. Llanelli: argraffwyd gan D. Rees.
3. *Diwygiad yr Ysgol Sabbothol.* Y trydydd argraffiad. Dolgellau: argraffedig gan Evan Jones. 1847.]

ADDYSG ydyw pwnc mawr yr oes hon. Nid ydyw y sylw cyffredinol a delir iddo ond un o arwyddion mwyaf gobeithiol yr amserau. Mae dynoliaeth wedi hir ruddfan yn nghadwynau anwybodaeth, ond arwydda holl symudiadau addysgiadol yr oes fod angel ar ddisgyn i daro ymaith y cadwynau, ac i arwain y carcharorion allan o'r carchar i ganol heol hyfryd gwybodaeth. Oddiyno, nid nepell y ffordd i heol rhyddid, yr hon sydd yn arwain i diroedd paradwysaidd cariad cyffredinol. Yno y teyrnasa "gogoniant yn y goruchaf i Dduw; ar y ddaear tangnefedd; i ddynion ewyllys da."

Nid ydyw gwelliant sefyllfa gymdeithasol a moesol dynion i gymeryd lle heb ymdrechion o'u heiddo eu hunain. Nid ydyw Rhagluniaeth yn helpu neb ond y rhai a helpiant eu hunain. Un o argoelion mwyaf gobeithiol ein dyddiau ydyw ymdrechion gorchestol y bobl i addysgu eu hunain. Y mae genym fwy o ffydd yn hyn nag yn holl gymdeithasau addysgol yr oes, a holl gynlluniau gwniadur-chwareuol y llywodraeth. Gall cymdeithasau a'r llywodraeth ddarparu moddion addysg mewn helaethrwydd; ond os na werthfawrogir hwy gan y bobl eu hunain, ni bydd y llafur ond ofer. Dyger y wlad i deimlo awydd am wybodaeth, a dyna y gorchwyl ar ben. Ni bydd eisieu arian, eisieu ysgoldai, ac ni bydd un eisieu arall a saif o flaen y bobl. Crëer yr ewyllys, a ni a ymrwymwn am y gallu. Tardda ein holl drueni o ddiffyg ewyllys. Megys yr oedd yn y dechreu y mae yr awrhon—"Ni fynwch ddyfod ataf fi fel y caffoch fywyd."

Dedwydd oedd y dydd a gwynfydedig oedd yr awr y sefydlwyd yr

Ysgol Sabbothol. Hi ydyw prif athrofa y bobl. Addysgwyd, ac addysgir ynddi, feibion lawer i ddefnyddioldeb yn y byd hwn, ac i ogoniant yn y byd a ddaw. Bydd enwau Robert Raikes a Thomas Charles yn berarogl i oesoedd dyfodol, ac yn ymffrost gwlad a gogoniant cenedl tra y pery dyddiau amser. Wedi i gof-ddelwau falurio, ac wedi i'r rhwd lygru colofnau o bres, blodeua eu henwau hwy yn holl newydd-deb peraroglaidd ieuenctid. Gwasgarant eu sawr fel gardd y perlysiau, nes adfywio myrddiynau o bererinion tua gwlad yr addewid. Mynegir yr hyn a wnaethant o oes i oes, a'r bobl a grëeir a foliannant yr Arglwydd.

Dichon ar y cyfan nad yw Ysgolion Sabbothol un wlad mor uchel eu bri ag ysgolion Cymru. Gwnaethant lawer er mwyn ein cenedl, ac hyd yma nid yw y bobl wedi bod yn nodedig anniolchgar. Hoff genym, mewn unigolrwydd, ymddifyru yn mysg adgofion boreu oes. Yr ydym drwy hyn yn cael ail fyned i'r llyfr A, B, C; oddiyno i'r a—b, ab; ac felly ymlaen o ddosbarth i ddosbarth, nes yn y diwedd y chwyddai ein calon ieuanc gan lawenydd am ein gosod yn "nosbarth y bobl fawr," sef dosbarth y Biblau, pryd nad oeddym ond prin naw mlwydd oed. Ystyriem hyn ar y pryd yn un o brif orchestion ein bywyd byr, bach. Cymerasom ein rhan mewn llawer ysgarmes lëenorol ac addysgol ar ol hyny, ac am a wyddom ni cawsom gymaint ag a deilyngem o'r hyn a elwir anrhydedd; ond eto, nis gallwn byth anghofio yr anrhydedd o gael ein hanfon yn blentyn bach i ddosbarth y bobl fawr. Eithr nid o'r boddhad personol hwn yn unig y tardd ein dedwyddwch. Yr ydym yn derbyn llawer o hono oddiwrth y budd personol a gawsom, ac yr ydym yn ddyledus am lawer o'r budd hwnw i'r ffaith fod cynlluniau awdur y gweithiau dan ein sylw yn cael eu harferyd i raddau yn yr ysgol y derbyniasom ein haddysgiadau boreuol ynddi.

Y mae Mr. Thomas Davies, o Ddolgellau, bellach mewn gwth o oedran. Y mae wedi myned dros ben nifer "dyddiau blynyddoedd ein heinioes," ac y mae "nerth" ei gyfansoddiad cadarn yn ei ddwyn tua 'r "pedwar ugain mlynedd." Addurnir ei ben â "choron anrhydeddus," yr hon a gafwyd yn "ffordd cyfiawnder." Er ys llawn bum-mlynedd-a-deugain, y mae wedi bod yn ddiwygiwr ymarferol yn yr Ysgol Sabbothol. Y mae wedi ymweled â channoedd o ysgolion, ac wedi teithio cannoedd o filltiroedd, ac wedi rhoddi miloedd o wersi ymarferol ar bwnc mawr ei fywyd. Y mae ef yn byw er mwyn yr Ysgol Sabbothol. At ei gwasanaeth hi y mae er ys hir amser wedi cysegru ei amser, ei arian, ei lafur, a'i fywyd. Y mae yn awr yn ei hen ddyddiau ar bererindodau meithion drwy Ogledd a Deheu, yn ceisio diwygiad yr Ysgolion Sabbothol, fel "un yn ceisio arian, ac yn chwilio am dano fel am drysorau cuddiedig." Cas gan eneidiau rhai arolygwyr ac athrawon ei weled. Ymgroesant rhagddo yn mhob dull a modd. Bron na theflir hwy i lewygon dirdynol, os clywant ei fod o fewn ugain milltir o ffordd iddynt. Mae ei enw yn ddychryn, a'i bresennoldeb yn gwneyd i'w holl esgyrn grynu, a blew eu cnawd sefyll. Ac och! fel y cuchiant ac y chwysant pan y mae "yr hen ddyn cas yna" yn myned o ddosbarth i ddosbarth dan gau ei lygaid, estyn ei ben, a throi ei glust i wrandaw ar y darlleniad a wneir gan yr ysgolêigion. A phan y rhwbia ei ddwylaw, ac y caua ei lygaid wrth ddechreu anerch yr athrawon yn y diwedd, gellir darllen yn eu hwynebau adfydus mai iaith drymllyd eu calon ydyw, "Syrthiodd arnom yr hyn

oeddym yn ei ofni." Ymgrymant, ymnyddant, ac ymddolenant o dan ei athrawiaeth, fel pe byddai diwygiad yr Ysgol Sabbothol yn golled arswydus iddynt mewn rhyw lwybr neu gilydd. Ond holl ddirgelwch eu helbul ydyw eu diogi,—yno y mae cuddiad cryfder eu hanfoddlonrwydd. Fel pob diwygiwr ymarferol arall, dyma ydyw tynged Mr. Davies gydag amryw; ond hoff genym ddeall fod nifer y dosbarth hwn yn lleihau yn feunyddiol, a bod presennoldeb a chynnorthwy yr hen wron hybarch yn cael ymofyn am danynt yn awyddus mewn nifer liosog o ysgolion. Mae ei lyfrau hefyd yn tynu sylw, gan fod amryw filoedd o honynt wedi eu gwerthu. Er rhoddi i'n darllenwyr awgrym am y diwygiadau a fernir yn angenrheidiol gan Mr. Davies, gosodwn ger eu bron y diffygion a nodir ganddo:—

"1. Cymeryd gormod o amser i ddarllen, canu, a gweddïo, wrth ddechreu yr ysgol, a'r weddi yn anmherthynasol.

2. Cymeryd agos i hanner awr o amser i adrodd pennodau ac adnodau, y naill ar ol y llall, a hyny yn wael, trwy gymhorth y gwrandawydd; a'u rhoi yn y llafur, megys pe buasent wedi eu dysgu a'u hadrodd yn deilwng. Pe dysgai pawb yn ystod yr wythnos y wers i'w darllen y Sabboth dilynol, a'i chydadrodd yn y dosbarth, os mynant, ni chymerai ond ychydig o amser, a byddai yn gymhorth neillduol iddynt wrth gael eu hegwyddori.

3. Holi eu gilydd pa le yr oedd y wers, a chwilio eu llyfrau gryn amser cyn ei chael, a thaeru ynghylch y lle darllen.

4. Dyweyd cynnwysiad y bennod oll; neb yn ceisio ei gofio na'i ddeall; yn lle dyweyd cynnwysiad un dosran ar y tro, nes y cofiai ac y deallai pawb y mater.

5. Darllen bawb ei adnod; ac ar ol darllen adnod, rhifo y dosbarth i wybod pa adnod a ddeuai i'w ran yr ail dro: rhoddi bys ar hono hyd oni chlywai y nesaf ato yn tewi, i gael edrych o'i amgylch, neu siarad, tra y byddai eraill yn darllen eu hadnodau.

6. Yr athraw, neu rywun, yn dyweyd yr adnod, neu y lle i'w ddarllen, er fod y darlleniad yn ddigon uchel i bawb glywed, a gwybod pa le oedd iddynt ddarllen, pe sylwasent.

7. Darllen rywsut, yn wael ac yn ddiofal, a'r athraw yn goddef hyny, yn lle mynu ail ddarllen, nes ei wneyd yn addas.

8. Camseinio llythyrenau, megys, "a dorir i lawr, ac a deflir yn *dân*" (tân)—Phariseád, a Pharisêd, yn lle, Pharisead, Phariseaid—*c* yn *g*—*t* yn *d*. "Pan welodd Ioan lawer o'r Phariseᴀᴅ—yn dyfod i'w fedydd ef"—llawer o'r Phariseᴀᴅ, ac nid yr oll o hono, oedd yn dyfod i'w fedydd ef, tybygid.

9. Camosod y pwyslais, yn enwedig ar ragenwau anghyferbyniol, megys, "Yn wir, meddaf i ᴛɪ:" Ioan iii. 3. "Ond yr wyf fi yn dywedyd gwirionedd i ᴄʜᴡɪ:" Ioan xvi. 7. Rhoddi pwyslais ar y "ti" a'r "chwi," a awgryma y dywedai yr Arglwydd gelwydd i eraill.

10. Y dosbarth yn ymddangos yn hollol ddiofal a diymgais i ddeall yr hyn a ddarllenont, a'r athrawon yn cydymfoddloni, yn lle mynu sylw manylaf pawb yn barhaus. Prif ragoriaeth yr ysgolion diwygiedig yw, mynu rhoi y gwirionedd yn y deall, a'i gymhwyso.

11. Yr athraw yn eistedd gyda 'i ddosbarth i roddi gwers, yn rhy debyg i'r aderyn wrth gysgu, a'i ben yn ei blyf, heb allu na gweled na gwybod yr hyn a wnai eraill o'i amgylch.

12. Rhai o'r athrawon a'r ysgolëigion yn gorphwys ac yn edrych o'u hamgylch yn hollol ddisylw o'r hyn a ddarllena eraill yn y dosbarth.

13. Pan seinia darllenydd air yn anghywir, yr athraw neu rywun arall yn ei seinio ar ol y llall, yn lle dysgu gwneyd y gair o'r llythyrenau drwy ei silliadu.

14. Athrawon yn gadael eu dosbarthiadau i fyned at eu gilydd, yn sefyll neu eistedd i siarad, a'u cefnau at eu dosbarthiadau, yn lle bod yn craffu ar wrthddrychau eu gofal, ac yn eu cadw i ymwneyd yn ddibaid â'u priodol waith, mewn agwedd deilwng o'i bwysigrwydd.

15. Canu neu weddio ar ganol yr ysgol, yn lle bod yn ddidor yn ymwneyd â rhyw gyfran o'r gwirionedd, er ei egluro a'i ddeall yn well.

16. Rhai wrth ddarllen, neu holwyddori, yn lleisio mor uchel nes peri dyryswch i eraill.

17. Darllen adnod a'i hesbonio, adnod arall a'i hesbonio, ac felly cymysgu gwahanol ranau y gwaith, yn lle perffeithio un ran cyn dechreu ar y llall. Lle bydd y mater yn cynnwys amryw adnodau, y mae yr arferiad mor anfanteisiol a phe cymysgai pregethwr wahanol faterion ei bregeth.

18. Yr athraw yn esbonio, esbonio, esbonio, dwndwr parhaus fel rhuad rhaiadr, heb wybod a oedd dim o'r oll o'i bregethu yn nghof a deall ei ddosbarth.

19. Yr ysgrifenydd wrth gasglu llafur â'i lyfr a'i bwyntil—ysgolaig yn edrych ei lyfr, dyweyd adnod, a'i rhoddi i lawr—un arall yn edrych adnod, ei hadrodd, a'i rhoddi i lawr—y dosbarth oll, y naill ar ol y llall, yn dyweyd hyd yn dair neu bedair o adnodau bob un, nid i'w cofio fynyd yn hwy na'u hadroddiad, ond yn unig er mwyn chwyddo y llafur.

20. Agwedd farwaidd a difraw—y gwaith a ddylai fod yn wir bleser a hyfrydwch calon i bawb, yn ymddangos yn faich trwm, anhawdd ei ddwyn, a bron a'u llethu.

21. Dyfod i'r ysgol ymhell wedi yr amser penodol i'w dechreu; ac ar ol dyfod yno, yn lle yr agwedd effro a weddai fod arnynt, yn rhy debyg i rai â'r hunllef arnynt.

22. Yr athraw yn chwilio am gwestiynau anorphen, adnodau na allodd neb eu hesbonio i foddlonrwydd, i'w rhoddi i'r dosbarth, i beri dyryswch yn hytrach nag adeiladaeth dduwiol.

23. Taeru nes myned i agwedd ysbryd anaddas, heb gofio gorchymyn Iesu, i fod yn addfwyn a gostyngedig o galon, fel efe. Onid digon i bob un draethu ei farn yn syml?

24. Yr athraw yn gofyn y gofynion oll oddiwrth adnod, i'r hwn a'i darllenodd; yn lle ei gyru yn brysur o amgylch y dosbarth, er tynu sylw, a chadw pawb ar lawn waith yn barhaus.

25. Wrth holwyddori, yr holedig yn darllen i ateb, neu yn dyweyd mwy nag ateb priodol i'r gofyniad.

26. Adrodd y deg gorchymyn bob Sabboth, megys pe byddai yr ugeinfed o Exodus (lle nad oes air o son am drefn gras i achub) yn rhagori ar yr efengyl, yr hon sydd yn llawn o ras a thrugaredd. Oni ellir dysgu ac adrodd y deg gorchymyn holl ddyddiau yr einioes, a bod mor dywyll am drefn iachawdwriaeth a'r paganiaid tywyllaf? Y pab a'i feibion a sefydlodd y ddefod o'u hadrodd bob Sabboth, y rhai a gymysgant y ddwy oruchwyliaeth, er mwyn hòni hawl i ddegwm ac offrwm. Syndod fod dynion call yn canlyn y fath ddefod. Na chydymffurfiwn â'r byd hwn, nac â thywysogion y byd hwn, er ein colled.

27. Yr holydd yn ateb ei ofyniad ei hun, yn lle rhoi y dosbarth oll i'r prawf yn gyntaf, eu croesholi, a'u harwain trwy ymholiad, i gael y meddwl, yna eu cynnorthwyo os yn ddiffygiol.

28. Darllen holwyddoregau i ateb y gofynion—darllen esboniadau meithion, yn lle ymbarotoi yn addas.

29. Darllenwyr yn ymwneyd â'r dwyfol wirionedd mor ddiofal nes anghofio yn y fan y geiriau a seiniant, chwaethach ystyr yr ymadroddion. Dylai pob athraw fynu agwedd deilwng o natur a phwysigrwydd y gwaith; gan y rhaid i bawb ddal ar, deall, a gwneyd gair yr Arglwydd i allu ysgoi colledigaeth eu heneidiau. Seinir geiriau heb feddwl dim am eu hystyr.

30. Wedi llafurio i gael yr addysgiadau yn y wers, esgeuluso eu cymhwyso a'u gwasgu ar y gydwybod: gadael y balm, ar ol ei gael, heb ei ddefnyddio i iachau y briw.

31. Yr athrawon yn esgeuluso cydgynnulliad yn yr ysgol athrawon, neu yn esgeuluso rhagbarotoi i'w gwaith Sabbothol.

32. Athraw yn ymollwng i ysgafnder, cellwair, neu sarugrwydd, yn lle meddiannu ei hun mewn sobrwydd urddasol, a dangos bob parodrwydd i gynnorthwyo ei ddosbarth.

33. Athrawon yn gadael eu dosbarthiadau i fyned i ymweled â chleifion, ac i gynnal cyfarfodydd gweddïo ar amser yr ysgol. Annhrefn gresynus!

34. Yr athrawon yn ymddangos mor ddiserch ac oeraidd y naill at y llall a phe byddent yn elynion, yn lle gwneyd cyfrif mawr o'u gilydd mewn cariad er mwyn eu gwaith. Cydweithwyr Duw, a gweision Iesu Grist ydych.

35. Wrth holwyddori yn gyhoeddus ar ddiwedd yr ysgol, yr atebwyr yn taeru ar gyhoedd yr ysgol, yn lle bod wedi ymdrin yn fanwl â'r wers yn yr ysgol athrawon, i ragflaenu ymddygiad mor farbaraidd a niweidiol.

36. Athrawon yn esgeuluso rhoi tasgau i'w dosbarthiadau i lafurio ynddynt ddyddiau yr wythnos: neu ar ol rhoi, esgeuluso eu mynu ganddynt wedi eu hiawn gyflawni. Nid oes un athraw ffyddlawn a oddef i'w ddosbarth fod yn esgeulus yn ei ymwneyd â gair Duw. Ni thycia dyweyd, cynghori, annog, a rhybuddio, gyda llaweroedd—dim ond rheol, a rhwymo i'w dilyn.

37. Treulio gormod o amser gydag hanesiaeth, enwau personau, a phethau eraill o ychydig bwys, a rhy fach, os dim, i wneyd cymhwysiad o'r gwirionedd er ceisio achub yr enaid.

38. Dull cecrus, pigog, hunanol, ceisio dal a maglu eu gilydd wrth ymdrin â'r gwirionedd dwyfol; yn lle edrych ar Iesu, a'i ddilyn, gan rodio mewn cariad, yn ol ei orchymyn ef."

Wele uchod rês anferth o feiau, yn ol barn Mr. Davies; ac y mae yn deg i hynafgwr o'i lafur a'i brofiad ef gael adrodd ei farn. Dichon na chyttuna pawb o'n darllenwyr âg ef i osod yr hyn oll a noda yn rhestr y beiau: ond wedi i bawb dynu ymaith ei ddewis bwnc, ofnwn y bydd cryn nifer yn aros yn frychau a meflau yn ein cariad-wleddoedd. Yr ydym yn ystod y ddwy flynedd diweddaf wedi sylwi yn lled fanwl ar lawer o ysgolion: a rhwymir ni i gyfaddef yn onest ein bod wedi ein llwyr argyhoeddi fod nifer liosog o'n hysgolion yn sefyll mewn anghen am ddiwygiad. Wrth reswm nid ydym yn awgrymu fod yr oll o'r beiau a nodwyd i'w cael yn yr un ysgol, ond ofnwn fod Rhif. 1, 2, 4, 5, 6, 10, 19, 21, 28, 29, 31, 33, a 36, yn rhy gyffredin o lawer. Byddai symud ymaith yr holl amryfuseddau hyn yn sicr o ddirfawr ychwanegu at wasanaethgarwch yr Ysgol Sabbothol.

Y dull yr ewyllysiai Mr. Davies weled yr ysgolion yn cael eu dwyn ymlaen a eglurir yn y dyfyniad canlynol o "Ddiwygiad yr Ysgol:" tudal. 6, 7:—

"*Ei dwyn ymlaen yn rheolaidd.*—Pawb ynddi erbyn yr amser penodol i'w dechreu—cymeryd ond ychydig o amser i ddarllen, canu, a gweddio, wrth ddechreu—galw enwau yr athrawon a'r athrawesau—pawb i'w le yn ddioedi—yr athrawon a'r athrawesau yn sefyll gyferbyn a'u dosbarthiadau, fel y gallont ganfod yn barhaus agwedd pob un o'u hysgolëigion, a'u cadw yn fywiog ac ar lawn waith trwy gydol amser yr ysgol. Y dull mwyaf manteisiol, yn enwedig ar wastadlawr, ydyw i'r ysgolëigion a'r athrawon sefyll; canys gwnant hyny dros hwy amser, ac heb ddim lludded, gyda gorchwylion llawer iawn llai eu pwys nag ymdrin â dwyfol wirionedd. Pwy a garai weled gof yn eistedd yn ochr ei einion i guro ei haiarn mewn agwedd hanner mor farwaidd ag ambell athraw yn ceisio achub eneidiau ei ddosbarth? Ar ol dechreu yr ysgol, a phawb i'w le, ac adroddiad y dasg, ymofyn â'r dosbarth am brif faterion y Sabboth o'r blaen, yna at y wers yn ddioedi—gwneyd i bawb ddweyd cynnwysiad y wers, ei ddeall, a'i gofio—ac yn mha lyfr, pennod, ac adnodau o'r bennod, y mae. Darllen at attalnodau yn unig; a phan seinio darllenydd air yn anghywir, nid ei seinio iddo, na goddef i arall wneyd, ond gwneyd iddo ail ddarllen; ac os metha ei seinio yn gywir yr ail waith, gwneyd iddo ei silliadu, a'i gynnorthwyo i hyny, fel y dysgo ranu ei eiriau yn briodol. Pan y byddo un, er pob ymdrech, yn methu darllen brawddeg yn addas, yna gadael i arall a fedr yn well ei darllen er siampl i'r methedig, a dangos ei ddiffyg iddo; a lle byddo brawddeg neu adnod o gryn anhawsder i'w darllen, byddai ei gyru o amgylch y dosbarth yn fuddiol, a gwneyd sylwadau er hyfforddiant. Wedi cael darlleniad pob rhan o'r wers yn foddhaol gan bawb, holi y dosbarth am ystyr y geiriau a'r ymadroddion yn y wers, canys ni ellir deall ymadrodd oni ddeallir y geiriau a'i cyfansodda—holi y dosbarth, i gael yr atebion sydd yn y wers; atebant o'r llyfr yn gyntaf, yna heb edrych yn y llyfr; ac wedi hyny, eu holi am yr addysgiadau a ellir eu cael yn y wers a ddarllenwyd; ac yn olaf, cymhwyso at y dosbarth yr addysg ysbrydol cynnwysedig yn y gyfran hono o'r gwirionedd, a'i wasgu ar y gydwybod. Cyn dybenu, rhydd yr athraw wers y Sabboth nesaf yn dasg i'w ddosbarth i'w dysgu allan, a'i hystyried yn ystod yr wythnos, a myn wybod y Sabboth dilynol a fyddant wedi ymdrechu yn ystod yr wythnos i gyflawni y dasg yn ffyddlawn. Y mae o bwys

mawr eu bod yn cymeryd yn dasg wythnosol yr hyn a drinir y Sabboth dilynol; felly caiff yr hyn a ddysgont allan ei egluro iddynt, a'i gymhwyso atynt, yr hyn ni wneir yn y dull arferol o ddysgu allan."

Os dyben mawr yr ysgol ydyw cyflwyno addysg dda, a gwneyd y deiliaid yn feistriaid ar yr hyn fyddo dan eu sylw, rhaid i ni addef ein bod yn hoffi dull Mr. Davies yn neillduol. Os oes neb o'n darllenwyr a ammheuant nad oes eisieu pwyso ynghylch ystyr y geiriau a'r ymadroddion yn y wers, nid rhaid iddo ond myned at ddosbarth cyffredin o ddarllenwyr, a dechreu eu holi, er cael ei lwyr argyhoeddi. Yn ystod yr hâf diweddaf, treuliem rai Sabbothau yn un o drefydd destlusaf Cymru, a chymerem ein lle yn rheolaidd gyda dosbarth y gwyr cyfrifolaf, bron dan y pulpud. Yr oedd y dosbarth yn myned dros lyfr Ezeciel ar garlam wyllt; nid oedd chwe' pennod y Sabboth ond pryd bychan yn eu golwg. Bwytâent y llyfr yn yr ystyr hon, fel pe buasai rhaib yr angeu arnynt. O'r diwedd, cymerasom ein cenad i ofyn beth oedd Euphrates. "Euphrates," ebe un, ac "Euphrates," ebe y llall—"beth hefyd a all o fod?" "Wel," ebe yr athraw, ar ol astud a dwys fyfyrdod, "y mae yn debyg mai enw gwlad ydyw o." Amser a ballai i ni, pe y dechreuem fynegu ein holl helbulon gyda Juda, ac Ephraim, a Gog a Magog, a Mesech a Thubal, a lliaws o wroniaid a lleoedd eraill. Wedi lled ddirnad fel hyn amgylchedd gwybodaeth arglwyddi y greadigaeth, tarawodd iâs arnom am roddi prawf ar ddosbarth, yn yr hwn yr oedd o'r "gwragedd penaf nid ychydig." Cawsom hwy yn darllen un o'r efengylwyr. Wedi eu moes gyfarch, anturiasom ofyn pwy oedd Pilat? a hysbyswyd ni ar ol ychydig ystyriaeth, mai "dyn" oedd. Gofynasom drachefn, "Pa fath ddyn?" A chawsom allan yr hyn na wyddem o'r blaen, sef mai Pharisead ydoedd. Fel hyn, mewn ysgol led liosog yn un o drefydd tlysaf Cymru, gofidus genym gofnodi, na chawsom ond dau ddosbarth y gallasem farnu eu bod yn deall yr hyn a ddarllenent. Dïau genym nas gellir cymeryd yr ysgol hon yn gynllun teg o *nemawr* o ysgolion Cymru, ond ofnwn mai nid anhyall fyddai darganfod eraill yn yr un cyflwr. Yn awr, y mae holl gynllun Mr. Davies wedi ei fwriadu mewn modd neillduol er goleuo y deall yn gystal a hyfforddi y galon; a chan fod ei gyfarwyddiadau i'w cael mor rad a rhesymol, nis gall un ysgol hòni anwybodaeth rhag rhodio yn y "ffordd fwy rhagorol" a ddangosa. Ystyriwn ei "Hyfforddwr Ymarferol" yn drysor gwerthfawr i bob athraw—yn drysor ag na cheir ei fath yn gyffredin am chwe' cheiniog. Anhawdd mynegu gwerth ei anerchiad at rieni a phenau teuluoedd—ei sylwadau ar ddysgu y dosbarth iselaf—dysgu silliadu—dysgu darllen—egwyddori—cynllun newydd o addysgu—darllenwyr trwsgl—egwyddori cyhoeddus ar ddiwedd yr ysgol—a'r ysgol athrawon. Pe y mabwysiedid ei awgrymiadau, byddai dechreuad oes newydd ar ysgolion Cymru gerllaw. Er mwyn dangos ymhellach fudd ymarferol ei gynllun, erfyniwn sylw ein darllenwyr at ei adran.

## AM DDYSGU SILLIADU.

"Silliadau sydd rîs raid ei dringo mewn trefn i fedru darllen, fel y mae darllen mewn trefn i ni allu chwilio yr ysgrythyrau. Gan mai i gyfleu drychfeddyliau y defnyddir geiriau, y mae gwneyd eu hystyr yn ddëalladwy i'r ysgolëigion yn anhebgorol angheuraidiol.

Anhawdd genym gredu fod plant mor anwybodus o ystyr llawer o eiriau a fedrant silliadu yn ddigon cywir. Gwaith anhawdd ydyw cael gan blant feddwl drostynt eu hunain. Yn ol graddau yr anhawsdra, y dylai ein hymdrech fod i ddiwyllio eu meddyliau. Y mae ein gwaith o fewn ychydig yn ofer, os nid yn hollol, oddieithr cyn belled ag y gwnawn iddynt arfer eu galluoedd meddyliol. Cofiwn hyn. Tra fyddo plentyn yn silliadu gair, megys *anfad, gerwin*, &c., ni argreffir ar ei feddwl un drychfeddwl newydd, perthynasol, neu ddefnyddiol, ddim pellach na'r modd y saif rhyw nifer o lythyrenau neu sillau; ond pan fyddo esboniad eglur o ystyr y geiriau yn cael ei roi wrth eu silliadu, y mae hyfforddiant ychwanegol yn cael ei gyfranu: ond nid ydyw hyny mor fynych, ysywaeth, ag y dylai fod.

Mae y dull canlynol o silliadu yn rhagori ar bob dull arall adnabyddus i mi. Tybiwn fod dosbarth o fechgyn yn sefyll o flaen eu hathraw: efe a draetha ymadrodd o'r Bibl neu o Sillydd—megys, 'Cofia yn awr dy Greawdwr.' Edrydd y cyntaf yr ymadrodd—'Cofia yn awr dy Greawdwr:' yna dywed y gair cyntaf 'cofia,' gan ei seinio yn gywir ac yn eglur; yna silliada ef, c—o—f——i—a, gan orphwys rhwng pob llythyren, a dau cymaint rhwng y sillau. Yna y dywed yr ail fachgen 'yn,' a silliada ef, y—n; dywed y trydydd, 'awr,' a'r pedwerydd, 'dy,' a'r pummed, 'Greawdwr,' yn yr un modd. Yna y dywed yr athraw, 'Yn nyddiau dy ieuenctyd;' ailedrydd y chweched bachgen y frawddeg; wedi hyny y dywed y gair cyntaf, a silliada ef; a gorphenir y frawddeg hon yr un modd a'r llall. Yn y diwedd yr edrydd yr athraw y frawddeg oll, ac ymofyna â'r plant am ystyr y geiriau, a chymhwysa y wers at eu calonau. Os dygwydd i rywun o'r plant anghofio y gair a ddaw i'w ran ef, neu ei seinio yn wallus, neu ei silliadu yn anghywir, y nesaf ato ef, trwy amnaid yr athraw, a ddiwygia y gwall, ac a gymer ei le ef; neu gellir ei adael yn rhydd i rywun o'r plant is yn y dosbarth ddiwygio y gwall, os gwelir hyn yn oreu, a chymeryd lle y methydd, gan fyned i fynu y tu blaen i'r dosbarth, a'r methydd i lawr i'w le ef y tu cefn i'r dosbarth. Os bydd y plant ymlaen llaw yn y gwaith o silliadu, gallant mewn amser ddyweyd y mân eiriau heb eu silliadu. Tybier fod y dosbarth oll wedi dysgu emyn: gall yr athraw eu gwrandaw yn ei ddyweyd ac yn ei silliadu ar yr un pryd, fel y canlyn:—1. Dy d—y; 2. babell, b—a—b——e—ll; 3. di, d—i; 4. mor, m—o—r; 5. hawddgar, h—a—w—dd——g—a—r; yw, y—w; ac felly ymlaen.

Ymddengys rhagoriaeth y dull hwn i mi yn y pethau canlynol:—

1. Y mae dealltwriaethau y plant yn cael eu hymarferyd. Mewn geiriau unigol, megys *gwael, hael*, &c., nid oes dim o gydberthynas, nid oes dim i'r meddwl aros arno, nid oes dim i afaelyd yn a dal sylw hedegog yr ieuainc; wedi silliadu colofn gyfan o eiriau, ni bydd un drychfeddwl newydd wedi ei gael, dim ond gwybodaeth pa fodd y mae y cyfryw lythyrenau i sefyll yn y cyfryw eiriau: ond brawddeg yn gyflawn ynddi ei hun a gynnwys rywbeth teilwng o'i gofio, ac ar yr un pryd dysg y gelfyddyd o silliadu. Y mae yn y dull hwn addasrwydd i ddangos perthynas ac ystyr geiriau, i gyfoethogi y cof heb ei orlwytho, ac i effeithio y galon a'r gydwybod â'r addysg moesol a chrefyddol gwerthfawrocaf.

2. Mae yn waith cymhwys i'r Sabboth, yr hwn a all fod yn gysylltiedig âg argraffiad y gwirionedd ar y meddwl. Adrodda yr athraw un o'r brawddegau byrion, o'r rhai y mae yr ysgrythyr mor llawn; a bydd y plant oll yn sylwi. Rhaid iddynt ail adrodd y geiriau iddynt eu hunain, a'u cofio; rhaid iddynt fod yn barod i adrodd y gair sydd yn dygwydd iddynt yn eu tro a chael clywed y frawddeg oll drachefn a thrachefn. Tybiwn mai y geiriau a roddir iddynt ydyw, 'Cofia,' &c.—Ar ol i'r plant silliadu y frawddeg oll, gofyna yr athraw 'Beth yw ystyr y gair *cofia?*' Etyb y cyntaf, 'Sylwi;' yr ail, 'Peidio anghofio;' y trydydd, 'Meddwl am beth;' y pedwerydd, 'Cofio ein gwers;' y pummed, 'Caru meddwl am rywun,' &c. &c. Gofyna yr athraw i bob un yn y dosbarth, a gwna yr un modd â'r geiriau oll yn y frawddeg, gan fynu eglurhad gan bob un o'r plant. Cefnoged bob amser atebion, hyd yn nod pe na byddent yn gwbl briodol; am mai ei ddyben mawr ydyw cael gan y plant FEDDWL neu FARNU DROSTYNT EU HUNAIN. Pan y bydd geiriau y frawddeg oll yn hollol ddëallus, gofyna iddynt y cyfryw ofyniadau a'r rhai hyn:—Pwy sydd i'w gofio?—Pa fodd y mae i'w gofio?—Paham y mae i'w gofio?—Pa bryd yr ydym i gofio ein Creawdwr?—Pa resymau a ellwch roi i mi dros gofio eich Creawdwr yn awr yn nyddiau eich ieuenctyd? Gan fod Duw yn gorchymyn ni ei gofio ef, a ydyw ddim yn bechod i ni ei anghofio ef? A ddarfu i neb erioed ddechreu meddwl am Dduw yn rhy ieuanc? Fy mhlant anwyl, edrychwch eich bod yn cadw y gorchymyn hwn; onide condemnia eich geiriau eich hunain chwi. Silliadwch y gair 'cofia' drachefn; a bydded i'r Arglwydd ei sicrhau yn eich calonau trwy ei Ysbryd Glan.

3. Y mae silliadu brawddegol yn waith tra hawdd a hyfryd i'r plant. Y mae yn parhaus dynu eu sylw—y mae meddwl pob un ar waith, ac nid oes neb yn ddiawydd a diofal. Mae yr amledd o fân eiriau yn tueddu i wneyd y gwaith yn ddifyrus. Ni pherthyn iddo ddim o ddiflasrwydd yr hen ddull o silliadu. Pe dygwyddai i rywun ddangos diofalwch, noda yr athraw ef i gymeryd y gair nesaf; a cheir sylw y dosbarth oll yn y modd hwn. Silliadu, yr hyn oedd gynt y rhan ddiflasaf o ymarferiad y dosbarth, sydd yn awr y mwyaf hyfryd a defnyddiol."—"*Hyfforddwr.*" Tudal. 18—21.

Yr ydym yn ystyried hefyd ei sylwadau ar ddysgu darllen yn deilwng o sylw, ac am hyny gosodwn hwy ger bron:—

"Os bydd y dosbarth yn ddifrifol a diesgeulus, darllen pawb ei adnod a wna y tro; ond os bydd y dosbarth, neu rai ynddo, yn dueddol i fod yn ddiofal ac esgeulus, y mae dull gwahanol yn anghenrheidiol. Arfer rhai ydyw darllen o ddiweddnod i ddiweddnod: ond y mae darllen o attalnod i attalnod yn rhagori yn fy nhyb i. Wrth wneyd felly, rhaid i bob un yn y dosbarth gadw ei olwg ar y lle a ddarllenir, neu ynte golli ei le, a myned o dan gywilydd. Nac aroser wrth y neb a gollo ei le darllen, ac na fyneged neb y lle iddo ef; eithr cymered y nesaf ei le ef, fel y bo iddo ofalu yn well yr ail dro. Os metha neb seinio gair yn gywir, hybed ei athraw ef; ac os metha yr ail waith, gwnaed iddo ei silliadu, a chynnorthwyed ef yn hyn, os bydd raid, fel y dysgo ranu gair yn briodol. Ond gocheled rhag dyweyd y gair iddo ef,[1] na goddef i neb arall i wneyd hyny, yr hyn sydd arferiad ry gyffredin mewn rhai ysgolion, er mawr niwed i'r darllenydd methedig; canys wrth lefaru gair ar ol arall, yn lle gorfod ei wneyd o'r llythyrenau, nid dysgu darllen y mae, ond dynwared, fel careg ateb, yr hwn a lefara o'i flaen. Adwaenom rai yn meddu galluoedd da i ddysgu darllen, yn methu a dysgu, o ddiffyg cael amser i ymboeni i wneyd gair o'r llythyrenau fel arwyddion priodol y gwahanol seiniau.

Y sylw a wneir yn fynych ydyw, nad oes ond ychydig o ddarllenwyr da. Y mae darllen yn syml ac yn naturiol gyda bywyd a chroewder yn gaffaeliad mor uchel ac anaml, fel nad oes nemawr wedi ei gyrhaeddyd. Y darllenwyr goreu ydynt y rhai hyny a astudiasant eu celfyddyd, fel nad ydych yn canfod ddarfod iddynt ei hastudio oll. Yr ydych yn dëall mor drwyadl, ac yn teimlo mor effeithiol, rym yr hyn a ddywedant, fel nad ydych ddim unwaith yn meddwl pa fodd y maent yn ei ddywedyd. Y mae darllen dwyfol wirionedd yn rhan bwysig neillduol o addoliad crefyddol, ac yn gofyn mwy o fedrusrwydd i'w gyflawni yn addas nag a dybia y cyffredinolrwydd. Gosod allan yr ystyr, fel y dëallo y gwrandawwr, megys y bwriadodd yr awdur iddo gael ei ddeall, sydd yn ofynol. Y mae dëall yn drwyadl yr hyn a ddarllener, gan hyny, yn anhebgorol; canys oni ddëall y darllenydd yr ystyr yn gyflawn, ni ddichon ei ddarllen yn ddëalladwy i eraill. Y mae yr Ysgol Sabbothol yn un o'r manau mwyaf manteisiol i ddysgu darllen yn ddëalladwy. Yma gall y naill gynnorthwyo y llall i ddëall yr ystyr. Lle byddo anhawsder i hyny, da fyddai i bob un yn y dosbarth ddarllen yr un ymadrodd, a gwneyd sylwadau er eglurhad. Os byddant yn anghydweled, dygant eu rhesymau mewn modd hynaws, gan ochelyd cyndyn ddadleu, a phob peth a fyddo â thuedd ynddo i fagu teimladau angharedig a dygasog. Y mae bod cymaint ag un gair heb ei ddëall yn gwneyd y frawddeg oll yn dywyll. Dylem gan hyny fod yn ofalus i wybod ystyr pob gair cynnwysedig yn yr Ysgrythyrau. Y mae bod yn ofalus yn hyn mor anghenrheidiol yn y dosbarthiadau iselaf ag ydyw yn y rhai uchaf; ac yn wir yno y mae yr arferiad o wneyd yr hyn yr edrych y llygaid arno yn hollol ddëalladwy i'r meddwl i gael ei fagu. Y niwed o osod o flaen plant gysylltiadau diystyr o lythyrenau, megys ab, eb, ib, ob, &c., ynghyda'r rhelyw o'r tylwyth gwirionffol yma, ydyw ffurfio ymarferiad o ddadgysylltu yr olwg â sain geiriau oddiwrth synwyr. Glyn yr arferiad yma yn y meddwl amser maith wedi i ddyddiau mebyd fyned ymaith. Os mynwch, gan hyny, ddarllen brawddeg yn dda, darllenwch hi fel y byddo y gwrandawwr yn ei dëall ac yn ei theimlo. Cofiwch mai yr un dull o leisio a phwysleisio ag a arferwn wrth ymddyddan, ydynt sylfeini hyawdledd. Dylid dysgu rhai i ddarllen megys y llefarant. Byddwn yn fynych yn clywed rhai ieuainc yn darlunio, gyda rhwyddineb a bywiogrwydd hyfrydol ddygwyddiadau, ped adroddent hwynt yn yr un geiriau drwy ddarlleniad, a fyddent i'w clywed yn eithaf anhyfryd a diflas. Bydd pawb wrth ymddyddan yn lleisio yn briodol, ac yn pwysleisio yn gywir, am eu bod yn deall yr hyn a ddywedant."

Gan fod llyfrau Mr. Davies mor rad, ni byddai yn deg ynom ddyfynu nemawr yn ychwaneg, yn enwedig pan y mae y gŵr da yn talu am eu

[1] Tybied yr wyf mai afreidiol dywedyd mai rhëol i ddarllenwyr ac nid i rai yn dechreu dysgu eu llyfrau ydyw, y rhai y mae yn rhaid seinio pob gair iddynt yn gyntaf.—*T.D.*

hargraffu o'i logell ei hun, ac yn rhoddi holl gynnyrch eu gwerthiant i Gymdeithas Genadol Llundain.

Un o brydweddau hyfrydaf ei gynlluniau, yn ol ein barn ni, ydyw yr ysbryd llafurus a feithrinant. Llafur ac ymroddiad ydynt bob peth gydag ef: ni fyn i'w enaid ddyfod i gyfrinach segurwyr. Yr ydym yn mynych ofni fod yr Ysgol Sabbothol wedi tueddu un dosbarth pwysig, sef rhieni plant, i esgeuluso eu dyledswyddau yn ormodol. Ni ddaeth, ac ni ddaw yr amser pan y gall penau teuluoedd roddi heibio egwyddori eu plant. Mae y cylch y troant ynddo mor bwysig, a'r gwaith o egwyddori plant mor anghenrheidiol, fel nas gallant fod yn anffyddlawn heb achosi y canlyniadau mwyaf gofidus. Telir sylw neillduol i hyn gan Mr. Davies, yn ei anerchiad rhagorol at rieni a phenau teuluoedd, a gwasgir yr un ddyledswydd mewn modd difrifol ac effeithiol yn y "Ddarlith ar yr Enaid." Nis gallwn ymattal rhag gosod ger bron ein darllenwyr y darnau canlynol, gan hyderu y bydd eu difrifoldeb serchus, a'r geiriau gwirionedd a sobrwydd a gynnwysant yn ddigon o esgusawd am eu meithder:—

"*Yn bedwerydd.* Nid diffyg cyfarwyddiadau a gorchymynion pendant i iawn ddefnyddio y moddion dwyfol, a'r cyfleusderau gwerthfawr, ydyw yr achos fod eneidiau heb wybodaeth. Y mae yn yr ysgrythyr gyflawnder o orchymynion a chyfarwyddiadau i'r ddyledswydd bwysfawr o addysgu: 'Hyfforddia blentyn yn mhen ei ffordd:' *Diar.* xxii. 6; 'A chwithau, dadau, na yrwch eich plant i ddigio; ond maethwch hwynt yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd:' *Eph.* vi. 4. Yn *Deut.* vi. 6, 7, y mae nid yn unig orchymyn, ond hefyd gyfarwyddiadau pendant pa fodd, a pha amserau, i ymwneyd â'r moddion dwyfol yn nghyflawniad y ddyledswydd fawr o hysbysu geiriau 'r Arglwydd i'n plant: 'A bydded y geiriau hyn, yr wyf yn eu gorchymyn i ti heddyw, yn dy galon, a hysbysa hwynt i'th blant, a chrybwyll am danynt pan eisteddych yn dy dŷ, a phan gerddych ar y ffordd, a phan orweddych i lawr, a phan gyfodych i fynu.' Yn flaenaf, bydded y geiriau hyn yn dy galon dy hun—llanw dy gôf, dy ddëall, dy serch, â geiriau'r Arglwydd —gwna dy enaid dy hun yn drysorfa lawn o ddwyfol wirionedd, yna tŷn allan fronau dwyfol yr ysgrythyrau i faethu enaid dy blentyn, fel y tynwyd allan fron y fam i faethu ei gorff ef. 'Hysbysa hwynt i'th blant.' Gwna yn ddëalladwy, dyna ydyw hysbysu, eu rhoddi yn nëall a chalon dy blentyn. Ystyr y gair 'hysbysa,' yn yr iaith wreiddiol, meddant, ydyw *hoga;* yn gosod allan y modd dwys, dyfal, ac effeithiol, y mynai yr Arglwydd i rïeni ac eraill gymhwyso ei wirionedd ef at ddëalltwriaeth a chydwybodau plant. Bod mor fedrus, mor ofalus, ac mor ddyfal yn maethu yr enaid, ag yn maethu y corff; ni bydd diffyg medr i faethu y corff, gofalir gwneyd y rhan hyny o ddyledswydd y rhieni yn addas: bydd mamau yn ddigon dawnus i fwydo eu babanod—bydd yr ymborth yn gymhwys, a'r cymhwysiad o hono yn addas—ni roddant fwyd cryf i faban, ac ni roddant ormodedd ar unwaith; ac os na dderbynia yr ymborth y cynnyg cyntaf, ni ddywed y fam, Y mae yn ei wrthod, boed hyny iddo ef, ni chynnygiaf ef iddo ond hyny. O na! gŵyr y llygrai, ac y trengai felly—dilyna ei enau bach â'r llwy a'r ymborth yn ddi-ildio, nes ei ddiwallu. Trefnodd yr Arglwydd ddidwyll laeth y fron, a defnyddiau ymborth addas i faethu y corff; trefnodd hefyd ddidwyll laeth y gair i faethu yr enaid. Wel, medd rhyw chwaer dduwiol, Byddaf fi yn ceisio cymhwyso rhyw gyfran o'r ymadroddion bywiol at feddyliau fy mhlant beunydd, ond heb gael lle i feddwl eu bod yn fy nëall i. Fy anwyl chwiorydd, a dderbyniwch chwi gynghor caredig o enau hynafgwr? Arferwch yr un callineb wrth gymhwyso yr ymborth ysbrydol i faethu eneidiau eich plant, ag a wnewch wrth faethu eu cyrff â'r ymborth naturiol—cyfran fechan ar y tro o'r gwirionedd hawddaf i'w ddëall, a'i gynnyg drachefn a thrachefn, gan amrywio y dull o'i hysbysu, a'i egluro, nes cael boddlonrwydd eu bod yn ei ddëall. Dengys yr adnod a goffâwyd o Deuteronomium yn gyffelybiaethol, yr anhebgorol anghenrheidrwydd am fanylrwydd a dwysswasgiad effeithiol o'r gwirionedd at y meddwl a'r gydwybod: 'Hoga hwynt i'th blant.' Nid gadael yr erfyn a'r maen ar wahan, un yma ac un acw, y byddis wrth hogi, ac nid eu dwyn ynghyd a'u gadael felly, ond cymhwyso y naill at y llall, ac wedi rhwbio un tu i'r erfyn, troi y llall, a'i rwbio heb roi fynu oni atebo 'r dyben yn effeithiol, a chael prawf o hyny. 'Hoga hwynt i'th blant.' Dal i rwbio y pethau hyn ar galon dy blentyn nes codi y min a'r awch llymaf yn erbyn ei holl chwantau.

Y mae yr adnodau a goffâwyd o Deuteronomium, heblaw gorchymyn y ddyledswydd a'r modd i'w chyflawni, yn penodi yr adegau i hyny: 'Gan grybwyll am danynt,' neu ymddyddan arnynt, 'pan eisteddych yn dy dŷ, pan gerddych ar y ffordd; pan orweddych i lawr, a phan gyfodych i fynu.' Eisteddir yn y tŷ yn arferol bedair gwaith y dydd i gael lluniaeth, heblaw ar achlysuron eraill; dyna bedwar o gyfleusderau i hysbysu geiriau 'r Arglwydd i'r plant, a orchymynir yn yr adnod i'w cadw bob dydd yn y flwyddyn. Y mae hysbysu dwyfol wirionedd bedair gwaith y dydd i ymgeleddu enaid plentyn, yn ddigon dyfal, yn ddïau. Nac ydyw, medd yr Arglwydd. Pa bryd hefyd? 'Pan gerddych ar y ffordd.' Tybiwn i hyny ddygwydd yn ddyddiol; dyna bump o ymddyddanion sanctaidd rhwng rhïeni a'u plant bob dydd, y mae hyny yn ddigon. Nac ydyw. Pa bryd hefyd? 'Pan orweddych i lawr.' Wrth roi dy blant i orphwys yn yr hwyr, cofia eu heneidiau i ymgeleddu y rhei'ny; na âd enaid dy blentyn yn ddiymgeledd, pe gorfyddai y corff fyned i orphwys ar ei gythlwng. Dyna chwe' gwaith y dydd y gorchymyn yr Arglwydd i ti hysbysu ei eiriau ef i dy blant. Y mae chwech o ymddyddanion duwiol bob dydd, yn mhob teulu, yn gyflawnder digonol o foddion maethu eneidiau ein plant. Nac ydyw, medd yr Arglwydd Dduw. Y mae un yn rhagor yn cael ei benodi yn yr adnod dan sylw. Pa bryd yw hyny? 'Pan gyfodych i fynu.' Y ddyledswydd gyntaf bob boreu tuag at dy blentyn ydyw, porthi ei enaid ef: gofala am ymgeleddu hwnw beth bynag a esgeulusech. Dyna saith waith y dydd y gorchymyn Duw i rïeni hysbysu ei eiriau ef i'w plant. Saith waith y dydd dyddiau 'r wythnos? Ië, a pha sawl gwaith y dydd Sabboth? Cerddir ar y ffordd amryw weithiau ar y Sabboth wrth fyned i, a dychwelyd o foddion gras; gwna hyny wyth neu ddeg o gyfleusderau i hysbysu geiriau 'r Arglwydd i'n plant ar y Sabboth: wyth ar y Sabboth, a saith bob dydd o'r wythnos, a deuddeg-a-deugain o wythnosau, yn chwe'-chant-ar-hugain o ymddyddanion duwiol i'w cynnal mewn blwyddyn yn mhob teulu.

Y mae y cyfleusderau a nodwyd i hysbysu y gwirionedd dwyfol i'n plant yn addas, onide ni fuasai yr Arglwydd mor bendant yn gorchymyn eu defnyddio; ydynt, ac ni fedrasai y Doethineb Dwyfol drefnu cyfleusderau mwy addas i rïeni a phenau teuluoedd i hyfforddi plant yn mhen eu ffordd, ac i faethu eu heneidiau yn ei addysg a'i athrawiaeth ddwyfol. Na ddyweded neb na fedr gael hamdden i ymddyddan yn dduwiol â'i blant: yr ydym yn cael hamdden i eistedd yn y ty i gael lluniaeth—nid fel eilunod mudion yr eisteddwn o amgylch y bwrdd; fe fydd yno ymddyddan o ryw fath bob amser; ac oni fydd y fam yn ymddyddan ddim â'i phlant wrth eu hymgeleddu, eu gwisgo, eu porthi, &c. Pe na fuasai gan rieni y cyfleusderau a nodwyd, ni fuasai yr Arglwydd yn gorchymyn eu defnyddio. Nid fel mudaniaid y rhodia rhieni a'u plant ynghyd ar y ffordd, ond o wir hyfrydwch yr hoffa rhieni ymddyddan â'u plant; a'r rhai bychain sychedig am wybodaeth yn derbyn eu hymadroddion fel gwirionedd pwysfawr. A fedrasai ein Tad nefol drefnu cyfleusderau mwy manteisiol na'r rhai a enwyd, i ddyferu ei ymadroddion bywiol i feddyliau tyner eich plant.

*Y pummed* gosodiad ydyw, Mai nid diffyg tueddfryd mewn plentyn i ddysgu ydyw yr achos fod eneidiau heb wybodaeth. Cymaint ydyw syched plentyn am wybodaeth, fel mai nid mewn cael ganddo sylwi, ond mewn cael ganddo beidio sylwi, ar bethau a ddygwydd o fewn cylch ei ganfyddiaeth, y mae yr anhawsder. Cawn brawf pan y mynom o'r ffaith, fod bryd calon plentyn i wybod y pethau a ddygwyddant o'i amgylch, fel na cheir ganddo, heb orfodaeth, dynu ei sylw oddiar rywbeth newydd iddo a wneir yn ei wydd ef.

*Yn olaf,* Nid diffyg yr annogaethau cryfaf i gyflawniad teilwng o'r ddyledswydd bwysfawr o hysbysu geiriau yr Arglwydd, ydyw yr achos fod eneidiau heb wybodaeth, ond ESGEULUSDRA Y RHAI A OSODODD DUW I'W CHYFLAWNI."

"Oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, eglur yw na ellir tadogi anwybodaeth yr enaid ar Dduw. Gwnaeth ef ei ran: arlwyodd iddo anchwiliadwy oludoedd o ras a thrugaredd —trosglwyddodd yr enaid yn mlaenaf ac yn benaf i ofal y rhai mwyaf eu rhwymau a'u manteision i'w ymgeleddu ef—cynnysgaethodd hwynt â phob moddion hyfforddiant, ac â phob cyfarwyddiadau i iawn gyflawniad o'r ddyledswydd bwysfawr—penododd y dull, y modd, a'r adegau i ymarfer ei foddion dwyfol, a deil allan yr annogaethau cryfaf i ddyfalwch a ffyddlondeb yn nghyflawniad y rhan bwysicaf hon o oruchwyliaeth y rhiant dynol. Rhodd Duw brawf diymwad o fodolaeth yr enaid, o'i werthfawredd, ei berygl, ac o'r ewyllys da dwyfol iddo ef yn ei arlwy a'i ymddygiad tuag ato ef, fel na fedd neb sail i ammheu dim o'r pethau hyn; ond, a ydyw ymddygiad y rhai a osododd Duw i ofalu am yr enaid anmhrisiadwy yn deilwng o'r ymddiriedaeth a'r esiampl dwyfol? A ydyw rhieni a phenau-teuluoedd, y mae yr holl eneidiau dynol yn mlaenaf ac yn benaf o dan eu gofal, yn ymddwyn tuag atynt fel y gorchymyna Duw iddynt? A ydynt yn trysori geiriau Duw yn eu calonau, ac yn eu hysbysu i'w plant bob amser yr eisteddont yn y ty

—bob amser y cerddont ar y ffordd—bob amser y gorweddont i lawr—bob amser y cyfodont i fynu? Ai eneidiau yw prif wrthddrychau eu gofalon—a ydyw y corff ddim yn cael y flaenoriaeth—oni ofalir mwy am y corff nag am yr enaid, a hyny gan rieni yn credu (meddant hwy) bodolaeth, gwerth, a pherygl eneidiau; ïe, oni ddangosa rhai proffeswyr duwioldeb fwy o anfoddlonrwydd o herwydd esgeuluso yr anifel direswm nag o herwydd esgeuluso ymgeleddu eneidiau eu plant? Ië, meddaf, oni ofala llawer mam dyner-galon, llawer mam grefyddol, fwy, nid yn unig am gorff y plentyn, ond hefyd am y peth distadlaf ar ei helw, nac am ymgeledd gair Duw i enaid ei phlentyn!!! Ni oddefa un fam rinweddol fod gwall ymgeledd ar gorff ei phlentyn; ni allai edrych arno yn marw o eisieu bara beunyddiol. Ystyriai pawb dad neu fam a oddefai i blentyn newynu, a chanddynt ymborth i'w roddi iddo ef, yn warthrudd crëadigaeth Duw. Ond O! pa nifer o dadau a mamau yn proffesu gwybod gwerth a melusdra gair Duw i'w heneidiau eu hunain, â'r cyflawnder dwyfol o'r bara bywiol yn eu meddiant, a'r cyfleusderau a nodwyd i dori yn ehelaeth o hono i fagu ac i feithrin eneidiau eu plant, a'u llwyr attaliodd oddiwrthynt, er cydfyw â hwynt yspaid deuddeg neu bymtheg o flyneddoedd! Dyma greulondeb na fu ei gyffelyb ymhlith holl fwystfilod yr anialwch, o ddechreu amser hyd heddyw—ni attaliant hwy un ymgeledd anghenrheidiol oddiwrth eu rhai bach. O'r holl fodau a grëodd Duw ar wyneb y ddaear, yr enaid dynol a esgeulusir ac a niweidir fwyaf, a hyny gan y rhai a osododd Duw i'w ymgeleddu. Geilw Duw ni oll i'r farn, a'r rhan bwysicaf o'n cyfrif yn ddiau fydd achosion eneidiau, a gwae fydd i ni os esgeuluswn gyflawni y rhan bwysicaf hon o'n dyledswydd yn ol cyfarwyddyd a gorchymyn Duw. Y mae yn mhob corff dynol byw enaid, mwy ei werth na'r bydysawd, a gollir byth oni iawn ddefnyddir y moddion dwyfol i'w achub ef. Dylai pawb edrych eu bod yn ngafael â'r moddion dwyfol; edrychwn na byddo gwaed eneidiau wrth ein dwylaw; edrychwn na byddo ein cydwybodau yn oddaith o euogrwydd pan gyfarfyddom yn y farn â'r eneidiau a roddes Duw i'n gofal i'w hyfforddi a'u maethu yn ei wirionedd. O dilynwn y siampl ddwyfol o roi y flaenoriaeth i'r enaid, ac o wneyd mwy erddo ef nag unpeth arall a ymddiriedodd Duw i'n gofal ymgeleddol. Gocheled neb euog o esgeuluso trysori geiriau yr Arglwydd yn eu calonau, a'u hysbysu i'w plant, ddychymygu y derbyn yr Arglwydd yr esgus o anfedrusrwydd yn lle cyflawniad teilwng o'r ddyledswydd, pan mai eu hesgeulusdra yw yr achos o'u hanfedrusrwydd. Deuent yn ddioed i'r Ysgol Sabbothol, lle addas a chyfleus i bawb ddysgu ymdrin â dwyfol wirionedd yn y modd mwyaf manteisiol er lles a chysur iddynt eu hunain ac eraill, am amser a thragywyddoldeb."[1]

Nis gallwn ddysgwyl gweled yr Ysgol Sabbothol yn blodeuo hyd nes y daw rhieni i ddëall ac i gyflawni eu dyledswyddau. Rhy fynych o lawer y dinystrir ymdrechiadau cydwybodol yr athraw llafurus drwy ymddygiadau anystyriol y rhieni. Wedi iddo ef ddyfal hau yr had da ar ddydd Duw, deuant hwy, fel y gelyn ddyn, i hau efrau dros yr wythnos ganlynol. Annhrefn teuluaidd—ymadroddion halogedig—yr arferiad annuwiol o yru plant allan i chwareu yn lle eu haddysgu—ac esgeulusdod o grefydd ymarferol ydynt y cenadon drwy y rhai y cipia y diafol y gair ymaith. Yr ydym lawer gwaith wedi arswydo wrth wrandaw ar yr addysg a roddid i blant gan rieni crefyddol. Trwm iawn ydyw boreuddysgu crëaduriaid rhesymol ac anfarwol mewn twyll ac anwiredd; a thrymach fyth, mai eu rhieni eu hunain, y rhai a broffesant grefydd yr Arglwydd Iesu Grist, ydynt eu hathrawon. Gelwir arnom gan amgylchiadau neillduol y dyddiau hyn i dalu sylw nodedig a dyfal i'r genedl ieuanc. Cynllunir eu dinystr gan laweroedd—mae yr oes yn ymsymud ar ol addysg; ond yn anffodus, y mae addysg llawer o ieuenctyd Prydain yn eu dysgu i "fwyta pechod fel bara, ac yfed anwiredd fel dwfr." Y mae arnom eisieu holwyddori yn y teulu—holwyddori yn yr ysgol, a holwyddori y plant wrthynt eu hunain. Mawr ydyw ein rhwymau i fod yn ffyddlawn i wasgu at eu meddyliau ieuainc hyfrydwch a diogelwch crefydd Mab Duw, ac o ddangos ei rhagoroldeb yn ein bywydau ein hunain. Meddyliem yr atebid llawer o'r amcanion daionus hyn, wrth osod gwahanol gynlluniau Mr

[1] "Darlith ar yr Enaid:" tudal, 17—20, 23, 24.

Davies mewn gweithrediad. Os bydd y rhieni yn llafurus i gyflawni eu dyledswyddau eu hunain, diau y bydd yn yr Ysgol Sabbothol athrawon cymhwys iddynt ymddiried eu plant i'w gofal; a thrwy ymdrech rhieni ac athrawon, gellir dysgwyl am weled cenedl yn ofni Duw, ac yn cilio oddiwrth ddrygioni yn llanw ein gwlad.

Yr ysgol athrawon sydd ran bwysig o gynllun Mr. Davies. Mae llawer o athrawon, yn enwedig athrawon Cymru, dan anfanteision neillduol i iawn gyflawni eu dyledswyddau. Nid yw eu haddysg boreuol wedi bod ond cyfyng, ac nid yw eu llyfrgelloedd yn helaeth. Anhawdd gweled golwg fwy dyddorawl a difyrus—fwy llawn o obaith am ddyddiau gwell i ddyfod—nag ysgol o athrawon, oll yn addysgu eu gilydd am bethau mawrion Duw, mewn trefn i ddarparu bwyd iachus i'w dosbarthiadau ar y Sabboth dyfodol. Yno gwneir gwybodaeth y naill yn eiddo i'r llall, ac y caiff y bychan ei wybodaeth ei hyfforddi yn yr hyn sydd anghenrheidiol er iawn gyfranu gair y gwirionedd. Gesyd hyn yr holl athrawon i raddau ar dir cyfartal, gan fod gwybodaeth un yn dyfod yn wybodaeth i bawb, a gwybodaeth yr holl athrawon yn cael ei throsglwyddo yn barhaus i'r holl ysgol.

Barnwn hefyd y bydd y cynllun o ffurfio undebau o ysgolion, er annog eu gilydd i gariad a gweithredoedd da, yn fuddiol. Nid yw Mr. Davies yn cymeradwyo undebau mawrion, ond rhai bychain, yn cynnwys ychydig ysgolion. Ymddengys hon yn drefn ragorol i ddwyn diwygiadau a rhagoriaethau un ysgol i ymarferiad mewn eraill. Bydd yr ymwelwyr yn gweled pob ysgol, ac yn hysbysu yr athrawon mewn cyfeillach fèr ar y diwedd am yr hyn a farnant yn feius neu ganmoladwy, yn y lle y byddont ynddo ac mewn lleoedd eraill.

Hyderwn y bydd i'r ychydig grybwyllion blaenorol ennill sylw adnewyddol ar lyfrau Mr. Davies, ac y cawn glywed yn fuan am dderbyniad helaeth i'w gynlluniau yn mysg pob plaid o'n derbynwyr. Yr ydym wedi gwneyd prawf ein hunain ar lawer o'r hyn a gymeradwya, ac nid ydym ond cyflawni ein dyledswydd at Dduw a dyn drwy daer gymhell eraill i wneyd yr un modd. Wrth reswm, y mae amryw o'i grybwylliadau yn hysbys yn Lloegr, ond ni wyddom am ddim yn yr iaith Gymraeg mor gryno a phwrpasol. Gallwn ganmawl Mr. Davies fel Cymro medrus a defnyddiol, ac y mae ei weithiau wedi eu gwisgo mewn Cymraeg ddestlús, rymus, a phur. Dymunem iddo hir oes: ac ni ewyllysiem iddo fwy o anrhydedd a dedwyddwch yn y byd hwn, na gweled Ysgolion Sabbothol, a phenau teuluoedd ein gwlad, wedi yfed yn helaeth o'i ysbryd, ac yn mawrhau ei waith a'i lafurus gariad, drwy ei ymarferyd. Gallem yna ddywedyd wrtho, "Dy wobr mawr iawn" yw; a gallai yntau ddywedyd, "Yr awr hon, Arglwydd, y gollyngi dy was mewn tangnefedd, canys fy llygaid a welsant dy iachawdwriaeth."

# BUTLER AR GREFYDD NATURIOL A DADGUDDIEDIG.

[*The Analogy of Religion, Natural and Revealed, to the Constitution and Course of Nature.* By JOSEPH BUTLER, LL.D. late Lord Bishop of Durham.]

PE dywedem yn ngeiriau Syr J. Mackintosh, mai y llyfr—enw yr hwn a ddodasom uwch ben yr erthygl hon—yw y gwaith mwyaf gwreiddiol a dwfn mewn unrhyw iaith, ar athroniaeth crefydd, efallai nad ystyriai rhai o'n darllenwyr ein bod yn rhoddi canmoliaeth iddo, eithr yn hytrach ein bod yn dyfod â rheswm cryf yn erbyn ei argymhell ar sylw ein cydwladwyr. I feddyliau y cyfryw, y mae gwrthdarawiad anghymmodlawn rhwng crefydd ac athroniaeth, ac y mae pob ymdrech i'w huno trwy ddangos cydgordiad eu hegwyddorion yn ymdrech i ddifeddiannu crefydd o'r hyn sydd ynddi yn debyg i Dduw, a'r hyn sydd yn ei galluogi i roi bywyd i'r byd. Ofnant —ac y mae eu hofnau i'w parchu—os dygir rhywbeth dan yr enw philosophi i grefydd, fod hyny yn cynnwys alltudiad pob peth sydd yn ei gwerthfawrogi i'w teimlad hwy o grefydd; nas gall y naill flaguro ond ar fedd y llall; ac os ydym am gadw "Crist, a hwnw wedi ei groeshoelio," i fod yn ganolbwynt, yn haul, yn ffynnonell goleuni, a gwres, a bywyd i holl athrawiaethau yr efengyl, yn gystal ag i brofiad, rhinweddau, a dyledswyddau y cristion, fod yn rhaid i ni godi ein llef fel udgorn yn erbyn pob ymdrech i gysylltu crefydd ac athroniaeth. Mae y teimlad hwn yn tarddu yn fynych oddiar gariad at Grist; ond ar yr un pryd, y mae ynddo fwy o wres nag o oleuni, a mwy o addfedrwydd i roddi parch i Fab Duw, nag sydd o ddoethineb i ddewis y llwybr goreu i roddi y parch hwnw.

Mae syniadau a theimladau o'r fath a nodwyd yn tarddu oddiar anwybodaeth o'r hyn a feddylir wrth athroniaeth yn y cysylltiad dan sylw, ac o analln i wahaniaethu rhwng egwyddorion cywir a chyfeiliornus, os gwisgir hwynt yn yr un geiriau. Nid ydyw fod yr apostol yn gwneyd "philosophi a gwag dwyll" yn wrthddrych gwaharddiad, o herwydd ei wrthwynebiad i burdeb yr efengyl, yn un rheswm i ymddwyn yn gyffelyb tuag at philosophi pan na byddo yn wag dwyll ei hunan, nac yn gysylltiedig â gwag dwyll, mwy nag oedd ei waith yn llefaru wrth yr Atheniaid yn erbyn y duwiau "o gerfiad celfyddyd a dychymyg dyn" yn rheswm paham na ddylasai fynegi iddynt am "y Duw a wnaeth y byd, a phob peth sydd ynddo—Arglwydd nef a daear."

Yr oedd philosophi dyddiau yr apostol yn gynnwysedig mewn rhoddi addoliad i dduwies rheswm, a'r addoliad hwnw yn gofyn gwneyd aberthiad llwyr o bob ffaith, pob egwyddor, a phob athrawiaeth nad ymostyngai iddi hi. Yr oedd "y Groegwr yn ceisio doethineb;" ac nid oedd dim yn ddoethineb ganddo ef ond a allai ei feddwl cul rhagfarnllyd ef ei amgylchu. Gosodai ei hun i fynu ar orseddfainc ei ragfarnau, a pha athrawiaeth bynag na chydnabyddai anffaeledigrwydd y barnwr, dedfrydid hono i fod yn wrthddrych gwawd, ac i ddwyn nôd "ffolineb" yn ei thalcen. Fel yr ymddygai awdurdodau daearol tuag at y Duw-ddyn, gan wneuthur eu

hunain yn farnwyr ei deyrnas, ei hawliau, a'i lywodraeth; ac am na fedrent amgyffred y naill na'r llall, eu gwneuthur yn gyhuddiadau yn ei erbyn, ac o'u herwydd ei roddi i farwolaeth; felly y gwnaeth doethineb y byd hwn â'i athrawiaethau; gan na fedrai eu hamgyffred, condemniai hwynt. Y ddoethineb hon oedd y ffolineb a fynai gael ei harddel a'i chydnabod yn philosophi yn nyddiau Paul: hon a fynai eistedd mewn barn ar gymhwysder Crist croeshoeliedig i fyd euog, ac ar resymoldeb y drefn a osododd y diniwed yn lle y troseddwr, y cyfiawn yn lle yr anghyfiawn, er mwyn cyhoeddi y troseddwr yn rhydd a'r anghyfiawn yn gyfiawn. Mae llawer eto a ddarostyngant drefniadau y nefoedd i fesurau y ddaear, a gymerant ffyrdd y creadur yn safon ffyrdd y Creawdwr, a meddyliau dyn yn rheol meddyliau Duw; ac yn malchder eu hanwybodaeth a'u bychandra, a alwant hyn yn athroniaeth. Ond nid hyn ydyw athroniaeth Butler. Ac o bob llyfr dynol, nid oes un wedi ei gyfaddasu yn well o ran ei ysbryd, ei gyfeiriad, a'i ymresymiadau, i ddangos afresymoldeb, ac i geryddu balchder y fath athroniaeth.

Nis gwyddom pa un i'w ryfeddu fwyaf, ai grym a ffyrfder ei ymresymiadau, ai ynte gwylder ei ysbryd. Ond anhawdd, os nad anmhosibl, ydyw i'r meddwl gael cystal gwersi mewn rhesymeg, ac ar yr un pryd i'r rheswm gael y fath ddysgyblaeth mewn gostyngeiddrwydd. Dyn wedi *meistroli* Butler, nid wedi ymfoddloni ar ei ddarllen unwaith neu ddwy, sydd wedi cael digon o dâl am ei lafur, yn y golygiadau newydd a boddhaol a gafodd ar drefniadau Duw, a'r goleuni a adlewyrchant ar eu gilydd. Ond y mae y ddysgyblaeth a ennillir i'r meddwl, a'r cymedroldeb iachusol a gwylaidd a ennillir i'r ysbryd, yn dangos mai nid hyn yw y cwbl, os yn wir, nid hyn yw y lleiaf, fel y mae ffrwyth un tymmor yn llai ei werth na'r goeden sydd yn rhoddi ffrwyth am flyneddau, ac agoriad trysorgell werthfawr yn fwy ei werth na dim un trysor o'i mewn, am ei fod yn agoriad i'r cwbl.

Gan mai ein hamcan ydyw rhoddi i'n darllenwyr fras olwg ar gynnwysiad y llyfr rhyfeddol hwn, ni a ddechreuwn drwy esbonio ei enw, yr hyn a gynnwys egluro natur yr ymresymiad sydd ynddo. Nis gwyddom am well gair yn y Gymraeg am *Analogy* na'r gair *cyfatebiaeth;* ac felly gellir cyfieithu enw y llyfr yn Gymraeg, "Cyfatebiaeth Crefydd Naturiol a Dadguddiedig i Gyfansoddiad a Threfn Natur."

Mae enw y llyfr yn dangos i ni mai ei amcan ydyw cyferbynu crefydd a chyfansoddiad natur, eu dal i fynu wyneb yn wyneb er mwyn gweled y cyffelybrwydd neu y cyfatebiaeth sydd rhyngddynt, a hyny mewn trefn i ddangos fod y cyfatebiaeth hwnw mor amlwg, ac yn rhedeg trwy gynnifer o bethau, fel nas gallwn ochelyd tynu yr un casgliad oddiwrth y ddau mewn perthynas i'w hawdur, eu hegwyddorion, a'r gwrthddadleuon yn eu herbyn. Yn lle gwneyd ein tybiau ein hunain yn rheol llywodraeth Duw, a beio ar ei gwahanol drefniadau am nad ydynt yn cydsefyll â'r hyn a dybiwn ni oreu, a threulio ein hamser i wneyd bydoedd dychymygol, yn y rhai ni chaiff na phechod na thrueni hanfodi; yr hyn nid yw amgen, yn ei ganlyniadau eithaf, na gwneyd yn anmhosibl i Dduw lywodraethu ar egwyddorion moesol, trwy osod dedwyddwch ei greaduriaid i ymddibynu ar eu hufudd-dod—yn lle hyn, mae Butler yn ymofyn, pa fodd y mae profiad yn ein dysgu y llywodraethir creaduriaid rhesymol yn awr, ac yn dosbarthu hyn yn ddeddfau cyffredinol, fel y cesglir deddfau cyffredinol natur o ffeithiau unigol yn y byd anianyddol, a hyny

er mwyn cymharu trefn adnabyddus natur â'r hyn y dywedir ydyw ei threfn foesol—y deddfau hyny o eiddo rhagluniaeth y gwyddom ein bod danynt, a'r rhai hyny y'n dysgir yn y Bibl ein bod danynt, a'r rhai a ddylent lywodraethu ein hofnau a'n gobeithion gyda golwg ar y byd a ddaw. Mae Butler yn cymeryd yn ganiatäol fod Duw, gan ymfoddloni ar enwi mewn brawddeg, y gwahanol ddulliau o ymresymu sydd yn profi y gwirionedd sylfaenol hwn; ac felly nid yn erbyn Atheistiaeth y cyfeirir ei ymresymiadau, ond yn erbyn y rhai, er addef Llywodraethwr nefoedd a daear, a wadant rwymedigaethau crefydd, a dwyfoldeb y llyfr sydd yn proffesu bod yn ddadguddiad o'i ewyllys.

Y dull a gymerir i brofi y gwirioneddau hyn ydyw, trwy gymeryd yr hyn a addefir—sef fod Duw yn awdur natur—yn ddadl dros wirionedd yr hyn a wedir, trwy ddangos fod y fath debygolrwydd neu gyfatebiad rhwng y pethau a addefir ac a wedir, fel y mae yn rhaid, i fod yn gyson, dderbyn y cwbl neu wadu y cwbl. Nis gall dyn addef fod y llywodraeth ar y byd y'n hysbysir ni am dani gan brofiad a rheswm o Dduw, ac ar yr un pryd wadu fod y dadguddiad sydd yn y Bibl o Dduw. Mae y ddau mor debyg, fel y gellir eu holrhain i'r un rheolau cyffredinol ac i'r un egwyddorion yn y meddwl dwyfol; fel os oes rhyw wrthddadleuon yn ddigonol i brofi nad yw y Bibl o Dduw, mae yr un gwrthddadleuon yn gwrthbrofi dwyfoldeb trefniadau cyffredin rhagluniaeth. Ond os addefir fod yr olaf o Dduw, er y gwrthddadleuon yn eu herbyn, nis gellir, yn gyson, wadu fod y blaenaf, gan nad oes ond yr un gwrthddadleuon yn erbyn hwnw. Nid oes lle canol rhwng yr Atheistiaeth wrthunaf, a chrediniaeth yn nwyfoldeb y Bibl. Nid yw Butler yn gosod iddo ei hun y gwaith o amddiffyn natur, ond yn ei chymeryd hi fel sylfaen i godi amddiffyniad arni i grefydd. Nid profi, ond amddiffyn, ydyw ei brif orchwyl. Cymhwysir yr ymresymiad yma at bob gwrthddadl o bwys yn erbyn profion crefydd, ac yn erbyn ei hathrawiaethau; ac maent i gyd yn diflanu yn llwyr a hollol yn ei bresennoldeb; o'r braidd y goddef natur yr ymresymiad i ni ddyweyd, fel y tywyllwch o flaen yr haul, o herwydd nacäol yn hytrach na chadarnhäol ydyw yr ymresymiad oddiwrth gyfatebiaeth.

Cyn myned ymlaen i ddangos cymhwysiad yr ymresymiad at wrthddadleuon neillduol, ni a wnawn ychydig sylwadau eto ar werth cyfatebiaeth, fel dadl neu reswm dros beth.

Efallai, er mwyn rhai, nad afreidiol ydyw dyweyd, mai nid ffordd o ymresymu a ddyfeisiodd Butler na neb arall, er mwyn amddiffyn crefydd ydyw; ond ei fod yn gymhwysiadwy at weithredoedd y Creawdwr, ac at helyntion dynion yn gyffredinol, a'i fod yn ddull arferedig er pan mae dynion wedi dysgu meddwl ac ymresymu oll. Ac er mai Butler oedd y cyntaf a'i defnyddiodd fel cryman i dori i lawr yn ddiwahaniaeth bob gwrthddadl a godai yn erbyn rhwymedigaethau crefydd naturiol, yn gystal ag yn erbyn darpariadau goruwchnaturiol, a rhwymedigaeth pellach, efengyl Crist; eto y mae efe ei hun yn ein cyfeirio at frawddeg yn ngwaith Origen, un o ysgrifenwyr boreuol Cristionogaeth, sydd yn cynnwys ei gymhwysiad at grefydd, ac yn ffurfio testun, o ba un y mae yr "*Analogy*" yn agoriad neu esboniad.

Nid yw y dull o ymresymu oddiwrth gyffelybiaeth yn gwahaniaethu nemawr oddiwrth y dull o ymresymu oddiwrth brofiad. Mae ein holl ddysgwyliadau am yr amser dyfodol yn gorphwys ar, ac yn cael eu llywodr-

aethu gan, ein profiad o'r amser a aeth heibio. Ni a wyddom, os teflir haiarn i'r afon y sudda, os teflir darn o bren y nofia; yr unig reswm sydd genym i ddysgwyl yr effeithiau hyn ydyw mai fel hyn y mae profiad cyffredinol wedi gweled. Os sylwir mewn lliaws o anghreifftiau fod rhyw gyffyr neu ddiod yn niweidio iechyd dyn, yr ydym yn casglu y gwna yr un modd mewn amser dyfodol. Ymresymu oddiwrth brofiad ydyw hyn. Ond os cesglir oddiwrth ei effeithiau niweidiol ar ddyn yr effeithia yr un modd ar y crëadur direswm, yr ydym yn ymresymu oddiwrth gyfatebiaeth. Mae ymresymiad oddiwrth brofiad yn dyweyd y bydd i'r *un* achosion gynnyrchu yr *un* effeithiau; ond mae ymresymiad oddiwrth gyfatebiad yn dyweyd y bydd i achosion *tebyg* cynnyrchu effeithiau *tebyg*. Felly yr un ymresymiad o ran rhyw ag sydd yn sicrhau i ni y cwyd yr haul yfory ydyw yr ymresymiad oddiwrth gyfatebiaeth: ac mae graddau ei rym yn ymddibynu ar y tebygolrwydd sydd rhwng y peth yr ymresymir oddiwrtho â'r peth yr ymresymir ato. Ar ol darganfyddiad cylchrediad y gwaed mewn un corff dynol, ystyriai pawb fod hyny yn rheswm digonol oddiwrth brofiad i gredu ei fod yn rhedeg trwy gylch tebyg yn nghorff pob dyn. Ac wrth ystyried y tebygolrwydd sydd rhwng cyrff dynion a chyrff anifeiliaid direswm, yn nghyfansoddiad a dybenion eu gwahanol aelodau a pheiriannau, ac yn enwedig pan ystyrier y tebygolrwydd sydd yn y gwaed ei hun, ac yn y llestri sydd yn ei drosglwyddo, ac hefyd yn nghyfansoddiad a gweithrediad y galon—ymddengys fod cylchrediad y gwaed yn nghorff dyn yn fath o reswm oddiwrth brofiad, a defnyddio y gair mewn ystyr ëang, fod y gwaed yn rhedeg trwy gorff anifeiliaid direswm. Eto mae yn amlwg fod yr ymresymiad yn wanach yn y cymhwysiad olaf nag yn yr un blaenorol. Ond pe casglem oddiwrth gylchrediad y gwaed mewn dyn, gylchrediad y nôdd mewn llysiau, byddai y casgliad yn wanach fyth, a hyny yn gyfartal i fwyhad yr annhebygolrwydd rhwng dyn a llysieuyn yn y peth y cymherir hwynt. Gwelir oddiwrth yr anghreifftiau hyn, fod yr ymresymiad yr un o ran ei natur, ond ei fod yn gwanhau fel y mae yr annhebygolrwydd yn mwyhau. Yn y cymhwysiad cyntaf, gelwir ef yn ymresymiad oddiwrth brofiad, yn yr olaf yn ymresymiad oddiwrth gyfatebiaeth, ac yn yr ail y naill neu y llall yn ol ein tuedd i fod yn fanwl neu beidio yn nosbarthiad ein rhesymiad.

Wrth ysgrifenu y sylwadau hyn, nid ydym heb ammheu na buasai yn well gan ein darllenwyr i ni fyned ymlaen i roddi crynodeb o'r "*Analogy*," heb ymdroi cymaint gyda yr hyn sydd yn ymddangos yn ddibwys, a'r hyn hefyd sydd yn perthyn yn briodol i resymeg. I hyn yr ydym yn ateb fod deall natur yr ymresymiad yn hanfodol i ddeall y cwbl. A chan nad ydyw yr erthygl hon i fod ond rhagarweiniol, gwell ydyw dyweyd cymaint ag sydd anghenrheidiol arno yn y lle hwn.

Fe ymddengys gan hyny, nad ydyw cyfatebiaeth yn brawf digonol i osod peth tuhwnt i ddadl. Ac yn wir, prin y teilynga yr enw *prawf*, ond mewn ystyr nacäol, trwy symud ymaith wrthddadleuon; a hyn a wna mewn modd effeithiol a buddugoliaethus. Nis gallwn ddadleu gwirionedd anwadadwy unrhyw osodiad trwyddo; y cwbl a wna ydyw dangos ei fod yn debygol. Er cael cyfatebiaeth o'i blaid, nis gallwn ymffrostio ei fod yn brofedig, ond ni a allwn ymgysuro ei fod yn brofadwy, ac nad yw yr holl wrthddadleuon a ddygir yn ei erbyn yn ddigonol i'w wrthbrofi—er nas gallwn ddyweyd yn groew am dano ei fod yn wir, ni a allwn ddyweyd

y dichon fod yn wir o ran dim sydd ynddynt hwy i brofi y gwrthwyneb. Nis gall brofi fod chwiorydd ein planed ni wedi eu poblogi â bywyd, ac wedi eu gwisgo â gwyrddlesni: ond pe haerai rhywun mai dychymyg disail ydyw y fath dybiaeth, y mae cyfatebiaeth yn barod i gyfeirio at y tebygolrwydd sydd rhyngddynt, a thrwy hyny ddangos fod mwy o hyder anwybodus nag o wybodaeth wylaidd yn yr haeriad a wada fod Iau a Gwener, yn eu cylchdeithiau trwy yr ëangder, wedi eu llwytho â bywyd a dedwyddwch mewn cymaint o amrywiaeth a chyflawnder, a thrwy raddawg mor ëang, os nad ëangach na'n daear ni.

Nid yw cyfatebiaeth yn proffesu egluro na chyfiawnhau gweithredoedd y Crëawdwr yn eu dyfnder, eu dirgelwch, a'u cyfanrwydd, ar dir annibynol—mae iddo waith mwy gwylaidd a chydweddol â byrdra cyrhaeddiadau dyn—ond y mae yn egluro a chyfiawnhau pob *rhan*, trwy ddangos ei fod yn adlewyrchu delw y cwbl—fod y naill beth ar gyfer y llall—fod argraff yr un priodoliaethau arnynt oll, a'r un egwyddorion yn rhedeg trwyddynt oll. Yn nwylaw Butler, y mae cyfatebiaeth yn tori i lawr yn ddidrugaredd y gwrthddadleuon yn erbyn crefydd, ac felly yn rhoddi mantais i'w phrofion neillduol ei hun—gwyrthiau, prophwydoliaethau, ei chydweddiad â natur Duw, a'i chyfaddasrwydd i natur dyn—i gael eu dylanwad uniongyrchol. Y mae yn symud ymaith bob ysbwrial a daflwyd gan ammheuwyr ac anffyddwyr o gwmpas sylfeini crefydd, er mwyn i bob llygad diragfarn weled eu bod yn gorwedd ar greigiau oesol. Nis gall cyfatebiaeth symud ymaith y dirgelwch, a'r hyn a eilw rhai yr anghyfiawnder, sydd mewn bod llawer yn dyoddef o herwydd anwiredd un; ond y mae yn dangos nad yw gwrthddadleuon yn erbyn yr athrawiaeth hon yn meddu un grym i wrthbrofi dwyfoldeb y llyfr sydd yn ei chynnwys, heb ar yr un tir wrthbrofi trefniadau rhagluniaeth, sydd yn peri fod plant y meddw a'r afradlawn yn dyoddef y tlodi a'r trueni sydd yn deilliaw oddiwrth ymddygiadau eu rhieni. Nis gall neb gyfaddef fod Duw rhagluniaeth yn gyfiawn, a gwadu fod Duw y Bibl felly hefyd. Mae egwyddor machniaeth yn rhedeg trwy y naill a'r llall gyda gwahanol eglurder a hynodrwydd; ac felly nis gall fod yn wrthddadl yn erbyn y naill heb fod hefyd yn erbyn y llall: ac os addefir ei gyfiawnder yn y naill, mae cysondeb yn galw am ei addefiad yn y llall. Os haera neb fod y fath gysylltiad rhwng enaid a chorff, fel y mae marwolaeth yr olaf yn cynnwys difodiad neu ddinystr y blaenaf, ac nas gall y preswylydd byw hanfodi wedi y tyner ei dŷ o glai i lawr—y mae cyfatebiaeth yn dangos fod y corff yn myned trwy gyfnewidiadau mawr cyn angeu, a'i fod yn newid ei sylweddau cyfansoddol amryw weithiau mewn triugain mlynedd, heb fod hyny yn effeithio dim ar yr enaid; ac o ganlyniad, y *dichon* oroesi y cyfnewidiadau mawr a derfyna ei yrfa ddaearol. Nid yw yn profi y *gwna*—er fod Butler yn lled dueddu i wthio yr ymresymiad mor bell, a thrwy hyny osod ei hun yn agored i wrthddadleuon, na buasai dan lywodraeth ei gymedroldeb arferol—ond fod hyny yn debygol o ran dim sydd yn ei erbyn, ac felly fod y ffordd yn glir i ddwyn ymlaen brofion moesol ac ysgrythyrol—yr unig brofion a all roddi sicrwydd a thawelwch i fynwes mewn pryder i wybod a ydyw angeu yn ollyngiad i fyd lle y bydd bywyd yn barhâd o'r bywyd a ddechreuir yma, ond ar ammodau uwchlaw cyfnewidioldeb a byrdra amser, ac hefyd yn rhydd, i ryw fesur, oddiwrth lyffetheiriau a chyfyngder lle—ai ynte gwawd ydyw ar y teimladau hyny sydd wedi codi dyn gymaint

uwchlaw crëaduriaid direswm, ag i fedru ofni a gobeithio am fyd arall, trwy eu diffodd mewn tywyllwch tragywyddol.

Yr ydym wedi dangos nad ydyw ymresymiad oddiwrth gyfatebiaeth yn cynnwys prawf argyhoeddiadol a hollol, ac nad ydyw yn myned ddim pellach na dangos fod y peth y mae cyfatebiaeth o'i blaid yn debygol. Nid oes perygl, dybygem, i neb o'n darllenwyr, ar ol yr hyn a ddywedasom, gasglu mai ar debygolrwydd yn unig y mae crefydd a'i hathrawiaethau yn gorphwys. Mae rhesymau yn amrywio yn eu natur a'u pwysau; ac mae mor anghenrheidiol i ni sylwi ar eu pwysau ag ar eu nifer. Y mae rhai rhesymau yn hollol benderfynol; y maent yn meddu awdurdod deddfau anghyfnewidiol i rwymo crediniaeth dyn. Y mae eraill, er eu bod yn meddu grym i ennill y meddwl, ac i gynnyrchu argyhoeddiad mewn gwahanol amgylchiadau, eto, oddiwrth eu natur yn llai eu grym; ac nid ydynt i bwyso arnynt gymaint a'r rhai blaenaf. Os bydd yr ymholiad mewn perthynas i ryw ffaith, y mae gwahanol ystyriaethau neu resymau a'n galluoga i ffurfio barn yn ei chylch. Ond yr unig brofion penderfynol a godant naill ai oddiar dystiolaeth ein cyd-ddynion, ymwybyddiaeth, neu dystiolaeth ein synwyrau corfforol; a lle y mae y rhai hyn yn sicr ac anwadadwy, y mae yn rhaid i gasgliadau oddiwrth yr hyn a gymerir i fynu fel egwyddorion cyffredinol, oddiwrth gyfatebiaeth, oddiwrth ymgyfarfyddiad hynod mewn amgylchiadau, neu oddiwrth anhawsderau neillduol, ymostwng i egwyddorion uwch—yr egwyddorion hyny y mae y Creawdwr wedi eu trefnu i fod yn benderfynol yn ein natur. Pe meddyliem am ddyn cyn gweled dwfr yn gydnabyddus â phriodoliaethau y ddau awyr sydd yn ei gyfansoddi: oddiwrth ei wybodaeth am y priodoliaethau hyny, fe ffurfiai ryw farn am ansoddau y corff cyfansawdd, dwfr, a ddeilliai oddiwrth eu hundeb; fe dybiai y byddai yn y dwfr briodoliaethau yr awyrau a'i gwna i fynu; ond wedi gwneyd y prawf, a gweled fod y dwfr yn meddu, nid y priodoliaethau a ddysgwyliasai efe, ond rhai hollol wahanol iddynt, ofer fyddai iddo wadu tystiolaeth ei synwyrau, neu dystiolaeth ei gyd-ddyn, am fod y dwfr wedi troi allan yn wahanol i'w ddysgwyliad, ac nas gall ddyweyd pa fodd y bu. Mae yn rhaid i'w gasgliadau blaenorol ef ymostwng i dystiolaeth dda. Nis gall ymresymiadau cyffredinol, pa mor gryf bynag yr ymddangosant, dycio yn erbyn yr hyn a brofir yn ffaith. Nid oes eisieu prawf o wirionedd a chyfiawnder yr hyn sydd wedi ei ddadguddio. Yn erbyn y rhesymau a elwir yn brofion tufewnol crefydd, sef purdeb a rhagoroldeb ei hathrawiaethau a'i gorchymynion, gellir yn deg ddyfod â gwrthddadleuon oddiwrth ei hathrawiaethau a'i gorchymynion; ond nid yw gwrthddadleuon o'r natur yma o un pwys yn erbyn y profion penderfynol ei bod yn gyfundraeth wedi ei dadguddio o'r nefoedd. Y mae natur y fath brofion yn uwch na natur y fath wrthddadleuon, o gymaint a'n bod yn well barnwyr o brofion ffeithiau sydd yn gorphwys ar brofiad a thystiolaeth, nag ydym o'r hyn sydd ynddo ei hun yn gywir neu anghywir, priodol neu anmhriodol. Gall y cristion brofi gwirionedd athrawiaeth trwy ddyweyd ei bod wedi ei dadguddio; ond nis gall yr anffyddiwr brofi nad yw wedi ei dadguddio trwy ddyweyd ei fod ef yn tybied nad yw yn wir, o herwydd y mae y profion trwy ba un y profir y ffaith, o natur neu ryw uwch na'r ymresymiad trwy ba un y profir y dyb. Gan hyny, os gosodir hawliau Cristionogaeth ar y profion uniongyrchol o'i bod yn ddadguddiad, nid oes dim ond profion mor uniongyrchol nad yw felly, a dycia yn ei herbyn. A

chan fod genym, dros ei bod yn ddadguddiad, brofion o'r natur uchaf, sef synwyrau corfforol a thystiolaeth, nid oes ond profiad a thystiolaeth a all eu gwrthbwyso. Y mae hyn i sylwi arno yn neillduol, fod gwirionedd ac awdurdod Cristionogaeth yn ymddibynu ar fod rhyw ffeithiau neu ddygwyddiadau wedi cymeryd lle.

Os profir fod y ffeithiau, sef bywyd, marwolaeth, ac adgyfodiad Iesu Grist, wedi cymeryd lle fel eu desgrifir yn y Testament Newydd, y mae y grefydd a sylfeinir arnynt yn anwrthwynebadwy. Mae y ffeithiau a ffurfiant sylfaen crefydd Crist, er eu bod mewn llawer golygiad ar wahân oddiwrth holl ffeithiau y byd, yn cyttuno â ffeithiau eraill yn hyn, sef eu bod yn apelio am eu gwirionedd at synwyrau y corff. Cyfeirir hwynt at y llygaid, y clyw, a'r teimlad, y galluoedd a fwriadodd y Creawdwr i fod yn farnwyr eithaf ac uchaf mewn achosion o'r fath. Personau oedd yn fyw, ac yn bresennol, ni allasent gamgymeryd pa un a gymerasant le ai peidio. Yr oedd yr argyhoeddiad o'r natur uchaf, ac yn hollol benderfynol ac anwrthwynebadwy. Ni ddylid anghofio mai nid dadgan eu barn, ond eu gwybodaeth, y mae yr apostolion; nid y pethau a allasent gamgymeryd yn eu cylch, ond yr hyn a glywsant â'u clustiau ac a welsant â'u llygaid, yr hyn a edrychasant arno, ac a deimlasant â'u dwylaw am Air y Bywyd. Nid ar eu barn, ond ar eu geirwiredd, yr ydym yn pwyso. Fel yr oedd ganddynt hwy y prawf uchaf a allasent gael o ffaith a ddygwyddodd yn eu hamser hwy, felly y mae genym ninnau y prawf uchaf y mae yn bosibl i ni gael o ffaith a gymerodd le mewn oesoedd blaenorol. Eu prawf hwy oedd profiad tystiolaeth eu synwyrau corfforol, a'n prawf ninnau ydyw tystiolaeth ysgrifenedig—tystiolaeth sydd mor benderfynol o blaid y Testament Newydd, fel nad ydym ond yn defnyddio yr iaith fwyaf gymedrol ac agosaf at wirionedd y peth ag sydd bosibl, a iaith ni phetrusa neb sydd yn meddu y cymhwysderau anghenrheidiol i farnu, a ammheua am fynyd ei chywirdeb—fod genym dystiolaethau tuhwnt i gymhariaeth yn fwy lliosog ac yn fwy anammheuadwy nag sydd dros yr un o ysgrifenwyr y Groegiaid a'r Rhufeiniaid. Mae rhoi cred yn ngwirionedd a gonestrwydd ysgrifenwyr goreu yr hynafiaid, Xenophon, Cicero, neu Tacitus, a choleddu yr ammheuaeth lleiaf am gywirdeb Paul a Ioan, mor groes i gysondeb ag fyddai dyweyd fod y lleuad yn oleuach na'r haul yn groes i ffaith.

Dywedasom gymaint a hyn am natur prawf uniongyrchol a hanesyddol o ddwyfoldeb Cristionogaeth, ac am natur y gwrthddadleuon yn ei herbyn, rhag i neb o'n darllenwyr wneyd camgasgliadau oddiwrth yr hyn a ddywedasom am natur cyfatebiaeth, a meddwl gan mai prawf tebygol yn unig ydyw cyfatebiaeth, nad oes genym ddim ond tebygolrwydd yn sylfaen ein crediniaeth ynddi. Mae y prawf y cyfeiriwyd ato yn uwch ei natur, fel y sylwyd, na'r gwrthddadleuon; o herwydd ni ddygir ac ni ddygwyd gan wrthwynebwyr cyntaf Cristionogaeth—megys Celsus a Porphyry, y rhai oeddynt yn meddu gwell mantais nac anffyddwyr y canrifau diweddaf hyn, ac nid oeddynt yn fyr o ewyllys—wrthddadleuon o'r un natur a'r profion, sef gwrthddadleuon wedi eu sylfaenu ar brofiad a thystiolaeth; ac o ganlyniad, pe na byddai genym atebion i'w gwrthddadleuon, ni byddai hyny yn un rheswm i ni beidio credu y ffeithiau y mae genym brofion oddiwrth brofiad a thystiolaeth drostynt, oni osodwn gymaint o bwys ar *dybiaeth* ag ar *brofiad*—ar *ymresymiadau dibrawf*, ag ar *dystiolaeth sicr*, yr hyn ni wna neb a fyn gael ei gyfrif yn gall. Ond ni a allwn fyned ymhellach—nid yn

unig pe na byddai genym atebion i'r fath wrthddadleuon, ni fyddent o un grym yn erbyn dadguddiad wedi ei brofi yn y dull a nodasom, ond ar y tir a sefir arno gan anffyddwyr yn gyffredin, sef crediniaeth yn mod Duw a'i lywodraeth naturiol ar y byd, a gwadiad o wirionedd y Bibl, a hawliau crefydd—y mae cyfatebiaeth yn rhoddi ateb buddygoliaethus iddynt oll. Ac er nad oes gan anffyddiwr dir mor uchel i sefyll arno wrth wneyd ymosodiad ag sydd gan y cristion wrth wneyd amddiffyniad, eto y mae cyfatebiaeth yn ei ddifeddiannu o'r tir isel hwn trwy ei dori yn llwyr odditan ei draed. Pe gadewid iddo y safle a ddewisodd ei hun, ni allai byth saethu mor uchel ag i beryglu sylfeini crefydd, mwy nag y gall awyren ymgodi mor uchel a'r lleuad: ond mae cyfatebiaeth mor ddidrugaredd, fel na chaiff godi ei fagnel ar y safle hwnw ond ar yr ammod iddo yn gyntaf ei saethu ei hun. Gwneyd priddfeini heb wellt, ar y goreu, sydd gan anffyddwyr yn eu hymosodiadau yn erbyn Cristionogaeth; ond mae cyfatebiaeth yn gosod arnynt ammodau caletach na'r eiddo Pharaoh, sef eu gwneyd heb glai.

Doethineb fyddai i bawb sydd yn medru ymddwyn neu deimlo nad ydyw o bwys mawr pa un a gydnabyddant hawliau crefydd neu beidio—pa un a gymerant arnynt ei rhwymedigaethau, ai ni wnant—pa un yr ymddygant tuag ati fel tuag at un o lawer o ddyfeisiau ymenydd dyn i gyfarfod hygoeledd, i dwyllo anwybodaeth, neu i gadw teimladau y werin dan lywodraeth eu huchafiaid—pa un a ddilynant y duedd ddiweddar o barchu crefydd ar yr un tir ag y parchant wroniaeth, barddoniaeth, personoliad elfenau natur mewn rhyw gyfundraeth o chwedlau crefyddol (*mythology*), neu unrhyw amlygiad o deimlad dwfn, difrifol, ac annibynol, mewn pa wedd bynag—ystyried mai *ffeithiau* wedi eu profi mewn dull na phrofwyd dim ffeithiau, pa bynag, er dechreu y byd, yn fwy boddhâol a diammheuol i'r rhai oedd yn byw yn yr amser a gymerasant le—nac mor foddhâol, o fewn llawer o raddau, i oesoedd dilynol—ydyw sylfeini y grefydd yr ymddygant yn y modd uchod tuag ati; a'u bod yn ffeithiau sydd yn gosod pob un a glywant am danynt dan y cyfrifoldeb pwysicaf, am fod ffafr yr Hwn a benderfyna eu tynged tragywyddol yn ymddibynu ar grediniaeth galonog ac ymarferol ynddynt.

Er fod genym y fath gyflawnder o brofion o bob graddau, o'r uchaf hyd yr isaf, dros wirionedd crefydd, eto y mae graddau is yn ddigonol i gyfiawnhau ei derbyniad, ac i gondemnio ei gwrthodiad. Mor bell oddiwrth gael ein gadael ar brin ddigon o reswm dros y gobaith sydd genym, yr ydym wedi cael mwy na digon i ddangos y rhesymoldeb a'r ddoethineb o'i chofleidio, a'r afresymoldeb a'r gwallgofrwydd o'i gwrthod. Yr ydym wedi dangos ein bod yn meddu y profion sicraf y mae yn bosibl i ni gael o ffeithiau ein crefydd: ond yn marn synwyr cyffredin a chydwybod heb ei serio, y mae llai na hyn yn ddigonol i ddangos mai ein doethineb uchaf ydyw ymostwng i'w dylanwad, a sugno ein cysur o honynt yn awr, ac adeiladu arnynt ein gobaith am ddedwyddwch mewn byd ar ol hwn. Nid ydym yn ammheu cywirdeb casgliadau celfyddyd, na doethineb llawer o drefniadau ymarferol bywyd; er fod y blaenaf yn fynych gyda'u holl ymffrost, a'r olaf bron bob amser, yn ymddibynu ar brawf nad yw yn codi yn uwch na thebygolrwydd. Nid oedd gan Newton ddim uwch na chyfatebiaeth yn sylfaen i gymhwyso deddfau dysgyrchiant, sydd yn llywodraethu disgyniad sylweddau tua 'r ddaear, at ysgogiadau y cyrff wybrenol. Nid efe oedd y cyntaf a ddarganfyddodd y deddfau hyny fel y maent mewn gweithrediad

ar wyneb ein planed ni; ond ei athrylith ef a ganfyddodd gyntaf y cyfatebiaeth rhwng disgyniad careg a chylchdröadau bydoedd; ac ar y sail hono y cymhwysodd ddeddfau y naill at y llall. Mae holl egwyddorion sylfaenol y gwahanol wyddorion sydd yn gwneyd i fynu athroniaeth naturiol yn ymddibynu ar ddull o ymresymu (*induction*), yn mha un y mae mwy yn cael ei gymeryd yn ganiatâol nag sydd i'w ganfod yn y ffeithiau unigol oddiwrth ba rai y cesglir hwynt: gwelir peth, ond fe gesglir mwy. Os gofynir ar ba sail y gwneir y casgliad yn ëangach na'r ffaith; yr ateb ydyw, am fod hyny yn anghenrheidiol i'w esbonio. Fel wrth ddarllen, nid oes dim o flaen y llygaid ond du a gwyn, lluniau a lliwiau; ond y mae y meddwl yn eu llenwi â meddyliau ac â theimladau, ymresymiadau a dychymyg. Nid yw y llythyrenau yn ddim o honynt eu hunain; nid ydynt yn cynnwys un gwirionedd, nac yn cyfleu un drychfeddwl ond i feddwl a all roi peth ynddynt cyn cymeryd dim o honynt; ond nid ar sail ymresymiadau fel yr eiddo Euclid y gwneir hyn, ond ar sail tebygolrwydd. Ac nid yw holl gasgliadau y gelfyddyd sydd yn ymffrostio mwyaf yn anffaeledigrwydd ei hymresymiadau, celfyddyd rhif a mesur, yn deilliaw oddiwrth ymresymiad uniongyrchol a digwmpasog, ond yn hytrach oddiwrth agoshâd cynnyddol ar bob ochr i'r gwirionedd, neu trwy gymeryd yn ganiatâol fod peth meidrol yn cynnwys anfeidroldeb o ranau; ac mae ei holl gasgliadau yn ddarostyngedig i ffaeledigrwydd cynneddfau dyn.

Ond yn nhrafferthion, ymdrechiadau, a rhedegfa bywyd, tebygolrwydd ydyw y colyn ar ba un y mae y cwbl yn troi. Tebygolrwydd ydyw arweinydd bywyd, medd Butler. Mae y tebygolrwydd gwanaf yn meddu rhyw gymaint o ddylanwad; ac er nad yw ond bychan ynddo ei hun, eto os mynychir ef y mae yn dwyn y sicrwydd mwyaf. Wrth sylwi ar lanw a thrai y môr un diwrnod, y mae dysgwyliad gwanaidd yn y meddwl y gwelir yr un cyfnewidiadau y diwrnod canlynol; ond y mae eu gweled ddydd ar ol dydd am gynnifer o flyneddau ac oesoedd wedi magu y sicrwydd mwyaf y gwelir yr un peth yfory. Nid oes neb yn ammheu na chwyd yr haul yfory, ac y gwelir ef, os gwelir ef hefyd, yn grwn ac nid yn ysgwâr. Nid oes dim yn erbyn tybied y bydd rhew yn Nghymru yn mis Ionawr; mae yn debygol y bydd ryw ddiwrnod yn y mis; ond mae agos y sicrwydd uchaf y bydd rywbryd yn y gauaf. Yr un modd yn achosion cyffredin bywyd, os gwelwn rywbeth yn cymeryd lle yn rhëolaidd, yr ydym yn casglu y bydd i bethau eraill tebyg iddo, neu yn dwyn cyfatebiaeth iddo, gymeryd lle hefyd. Y dull hwn o ymresymu sydd yn llywodraethu ein holl achosion tymmorol. Mae dynion yn barnu ac yn gweithredu yn ol yr hyn sydd yn debygol, ac nid ydynt yn meddwl gofyn am brawf pellach. Mae rhëol eu gobeithion a'u hofnau, eu dysgwyliadau am lwyddiant mewn unrhyw ymdrech, eu dysgwyliadau mewn perthynas i ymddygiadau eu cyd-ddynion mewn unrhyw amgylchiadau penodol, a'u barn mewn perthynas i'r egwyddorion sydd yn eu llywodraethu yn eu hymddygiadau—mae hyn oll yn ymddibynu ar ymresymiad oddiwrth gyfatebiaeth, hyny yw, ar eu bod wedi sylwi o'r blaen ar y fath bethau ynddynt eu hunain, neu mewn eraill. Mae dynion, yn mhethau y fuchedd hon, yn gweithredu yn fynych ar brawf llai na'r hyn a elwir yn debygol. Ystyrid unrhyw ddyn yn wallgof na wnai felly mewn llawer o amgylchiadau. Mae dynion nid yn unig yn gwneyd darpariadau ar gyfer yr hyn a wyddant yn sicr a ddygwydd, ond ar gyfer yr hyn a all ddygwydd—ymgymerant â rhyw anturiaeth pan bydd y tebygolrwydd yn eu herbyn.

Y mae yn ddiffyg gwirioneddol mewn cymeriad i beidio ymostwng mewn ymarferiad i'r gradd lleiaf o debygolrwydd wedi y canfydder ef. Doethineb a dyledswydd dyn ydyw gweithredu yn ol cyfarwyddyd y prawf iselaf. Nid aros nes cael cynnygiad na byddo dim yn ei erbyn, onidê ni wnai ddim byth; ond gweithredu, er bod llawer yn erbyn yr amcan a gymerir i fynu, neu yn erbyn y dull y bwriedir ei gyrhaedd, os bydd mwy o'u plaid, er yn y gradd lleiaf.

Yn ol yr egwyddorion sydd yn llywodraethu dynion gyda'u masnach a'u hymdriniaeth bydol, pe na byddai genym ddim ond cyfatebiaeth i ddangos tebygolrwydd y gwirioneddau mawr a gynnwysir mewn crefydd, pa wrthddadleuon bynag a fyddai yn erbyn—pe na byddai genym ond y gradd lleiaf o debygolrwydd o'u plaid yn fwy na'r annhebygolrwydd yn eu herbyn, byddai dyn dan rwymau yn ngwyneb doethineb y byd hwn, ac hefyd yn ngwyneb deddf Duw, i'w credu a rhoi ufudd-dod iddynt.

---

# GALILEO.

GANWYD Galileo yn Pisa yn yr Ital, Chwefror 15eg, 1564. Yr ydoedd yn byw mewn dyddiau ag yr oedd chwyldroad cyffredinol yn cymeryd lle mewn athroniaeth a duwinyddiaeth—pan yr ydoedd holl Ewrop yn dechreu ymysgwyd oddiwrth ofergoelion a gwag-ddychymygion y canoloesoedd, a meddyliau dynion mewn math o ymweithiad yn tori dros yr hen derfynau a osodwyd gan y tadau, ac yn diystyru yr hen awdurdodau; aml un yn beiddio gwrthwynebu yr athrawiaethau a goleddid, fel yn anffaeledig, hyd yma, ac a amddiffynid yn y modd cryfaf gan awdurdodau y byd a'r eglwys. O'r pryd hwn allan, fe gollodd athroniaeth Aristotl ei pharch a'i dylanwad, a buan y dygwyd oddiamgylch lwyr ddymchweliad hen eilun yr athronwyr. Rhoddodd ysgrifeniadau Gilbert yn Lloegr, Kepler yn yr Almaen, ac eiddo Galileo yn yr Ital, ryw gychwyniad a chyfeiriad newydd i athroniaeth yn Ewrop; a'r effaith a gafodd y rhai hyn a ddilynwyd yn fuan gan ysgrifeniadau Bacon, Descartes, a Newton.

Yr ydoedd Galileo yn disgyn o deulu urddasol, o'r hwn yr ydoedd llawer gwedi bod yn gweinyddu mewn swyddau uchel yn Florence, ond yr ydoedd gwedi suddo ac adfeilio yn fawr y pryd hwn. Ac felly, ni chafodd Galileo y manteision goreu a allasai cyfoeth roddi; ond bu raid iddo chwareu ei ran i gyrhaedd ei enwogrwydd yn ngwyneb llawer o anfanteision, o herwydd tlodi ei deulu. Ond yr ydoedd ei dad, Vincenzo Galilei, yn ddyn o ddysg ac athrylith lled gyflawn—yn medru prisio dysgeidiaeth uchel, er ei fod yn amddifad o foddion helaeth i'w rhoddi i'w fab, yr hyn yn ddiammhau a fu yn llawer o fantais i Galileo pan yn ieuanc. Yr ydoedd yn feddiannol ar wybodaeth helaeth mewn gwyddonddysg, ac yn lled gydnabyddus âg egwyddorion cerddoriaeth, ar ba gangen hefyd yr ysgrifenodd amryw draethodau tra chyfrifol. Yr unig un o honynt ag sydd yn adnabyddus yn bresennol, ydyw ei "Ymddyddanion ar Gerddoriaeth hen a diweddar;" yn mha waith y ceir prawf, nid yn unig o gydnabyddiaeth

berffaith â'r pwnc tan sylw ynddynt, ond hefyd o feddwl grymus pan yn ymwneyd â phynciau eraill, â pha rai y cyfarfyddai yn achlysurol yn nghorff y gwaith. Yn y rhagdraethawd i'r "Ymddyddanion," ceir anghraifft, mae yn debygol, o'r syniadau a dderbyniodd Galileo oddiwrth ei dad, pan yn ieuanc; a'r hyn a fu yn foddion i roddi y cyfeiriad hwnw i'w feddwl iraidd, yr hyn a'i hynododd gymaint yn ol llaw fel athronydd. "Ymddengys i mi," meddai un o'r siaradwyr yn yr ymddyddan, "fod y rhai hyny a ymddibynant yn hollol ar bwysigrwydd awdurdod, wrth brofi unrhyw haeriad, heb ddwyn yr un rheswm drosto, yn ymddwyn yn dra gwrthun. Dewiswn i, yn y gwrthwyneb, gael rhyddid i'ch holi a'ch ateb chwi heb un math o weniaith, fel y gweddai i rai fyddo yn ddiffuant mewn ymchwiliad am y gwirionedd." Nid ydoedd syniad o'r fath yna ond un ymhlith mil y dyddiau hyny; a phwy a all ddyweyd pa faint o effaith a allasai syniadau o'r fath mewn tad gael o ddylanwad ar feddwl ei blentyn? Ond ni chafodd Vincenzo ond prin fyw i weled ei ddelfryd ef o'r athronydd gwedi ei wirio yn mherson ei fab. Bu ef farw yn 1591, gan adael ei deulu, wrth a ellir ei gasglu, mewn cyflwr isel, ac i ymddibynu yn benaf ar Galileo am eu cynnorthwy.

Dangosodd Galileo arwyddion amlwg o feddwl grymus a gweithgar pan yn ieuanc iawn; hynododd ei hun fel meddiannydd athrylith gref yn ei febyd, mewn dyfeisio a gwneuthur teganau cywrain, a mân gynlluniau peiriannau, gan gyflenwi ei ddiffyg o wybodaeth yn eu gwneuthuriad yn aml o adnoddau ei ddychymyg ei hun. Byddai yn ennill ewyllys da a pharch cyffredinol ei gymdeithion plentynaidd, trwy y parodrwydd â phâ un y byddai yn eu gwasanaethu a'u difyru â chyrchion ei athrylith. Cawn hanes am bethau cyffelyb yn Newton, ei olynydd enwog. Y ddau feddwl ag oeddynt mor debyg i'w gilydd yn y bywull, nid rhyfedd iddynt ymdebygoli cymaint yn eu haddfedrwydd. Nid oedd ei dad yn feddiannol ar foddion i ddarpar iddo fanteision addysg costfawr, ond yr ydoedd Galileo yn feddiannol ar feddwl a thuedd ymroddgar, yr hyn a gyflenwodd y diffyg o fanteision gwell; a chyrhaeddodd yn fuan fesur arferol o wybodaeth awdurol a llëenyddiaeth gyffredinol, a hyny yn ngwyneb llawer o anfanteision. Byddai yn treulio ei oriau rhyddion i ymddifyru mewn cerddoriaeth a darlunyddiaeth, yn mha rai yr ydoedd yn fedrus.

Pan yn ddwy-ar-bymtheg oed, gan fod ei dad yn dyfod yn fwy ymwybodol beunydd o ragoriaeth ei alluoedd, penderfynodd, a hyny ar draul llawer o hunanymwadiad, roddi iddo addysg athrofaol. Yn 1581, anfonodd ef i Athrofa Pisa, ei dref enedigol, gan fwriadu ar y pryd ei ddwyn i fynu i'r alwedigaeth feddygol. Ac o'r dydd cyntaf y cymerodd ei le yno, daeth yn wrthddrych sylw a sôn cyffredinol, a hyny trwy yr anmharodrwydd a ddangosai i dderbyn fel gwirionedd haeriadau Aristotl, athroniaeth yr hwn a ddysgid yn mhob athrofa y pryd hwnw; a daeth yn fuan yn wrthddrych casineb yr athrawon trwy ei hyfdra i draethu ei feddwl ei hun, ac i wrthwynebu yr egwyddorion a dderbynid yn gyffredinol. Dywedir i'w chwaeth at wyddonddysg gael ei hamlygu gyntaf, trwy iddo un diwrnod, yn achlysurol, glywed yr Abad Ricci yn rhoddi gwers ynddi i'w ddysgyblion. A phan y daeth Ricci yn adnabyddus o amgylchiadau Galileo a'i gynnydd blaenorol, a thrwy ei fod yn gyfaill i'w dad, efe a'i derbyniodd ef i'w ddosbarth, gan roddi iddo bob cynnorthwy a chefnogaeth i fyned ymlaen yn ei lafur. Yr ydoedd ei dad wedi cydsynio iddo i gael derbyn

addysg yn ysgrifeniadau Euclid, er nad ydoedd yn dwyn unrhyw berthynas uniongyrchol â'r alwedigaeth a fwriadai efe iddo; ond cafodd achos yn fuan i edifarhau; yr ydoedd yr efrydiaeth newydd hon yn cydweddu mor dda â thueddfryd Galileo, a'i feddwl gwedi ei lyncu i fynu yn gymaint ganddi, fel yr ofnodd ei dad, ac nid heb achos, y byddai iddo esgeuluso yn ormodol ei efrydiaeth feddygol.

Yr ydoedd yn rhy hwyr erbyn hyn; yr oedd meddwl ei fab wedi derbyn argraff oddiwrth yr efrydiaeth hono nad oedd modd ei dileu. Yn awr yr ydoedd gweithiau Hippocrates a Galen yn cael gorphwys yn llonydd ar y bwrdd o flaen y meddyg ieuanc, yn dra disylw; nid oeddynt o nemawr wasanaeth, amgen na chuddio o olwg ei dad y gweithiau gwyddonawl ar ba rai yr ydoedd ei lafur a'i amser gan mwyaf yn cael eu treulio. Ar ol aml ymgais aflwyddiannus o eiddo ei dad i'w alw yn ol at yr hyn a fwriadai yn alwedigaeth ei fywyd iddo, gadawodd iddo i ddilyn tueddiadau yr athrylith a feddiannai. Yn gymaint a bod ei dad yn analluog i ddwyn ei draul yn yr athrofa, bu raid iddo ei gadael cyn derbyn ei raddau.

Un o'i ddarganfyddiadau cyntaf mewn galltofyddiaeth (*mechanism*) a gafodd allan yn ystod ei efrydiaeth yn Athrofa Pisa. Tynwyd ei sylw un diwrnod, tra yn yr eglwys, gan dafliadau lamp ag oedd yn crogi yno; a sylwai fod ei thafliadau wrth ysgwyd, pa un bynag ai bychain ai mawrion fyddent, eu bod yn ymddangos yn gyfartal yn eu hamser; hyny yw, yr un faint o amser a gymerai i gyflawni y tafliad mawr a'r bychan. Ymdrechodd i ddwyn hyn i brawf teg cyn gadael yr eglwys, trwy gymharu tafliadau y lamp â churiad ei waed ei hun; a chan fod ei feddwl yn benaf ar ei alwedigaeth fwriadol, sef meddyg, pan ddygwyddodd hyn, gwedi boddhau ei hun am reoleidd-dra amser y tafliadau, trwy ail ac amrywiol brawfiadau, meddyliodd y gallesid gwrthdroi y prawf—y gallesid gwneyd offeryn ar yr un egwyddor i fesur curiadau y gwaed, a phrofi ei amrywiaeth o ddydd i ddydd. Dygodd hyn i berffeithrwydd yn uniongyrchol trwy wneuthur offeryn i'r perwyl hwnw; a'r ddyfais a brisid yn fawr gan feddygon yr oes hono. Dyma y darganfyddiad cyntaf o'r pendyl, a thyma yr unig wasanaeth i ba un y gwnaed y cyntaf o honynt: yn ddiweddarach na hyn cymhwyswyd ef gan Galileo at yr awrlais.

Tra yn efrydu Archimedes ar ddyfrbwysiant, cyfansoddodd draethawd ar y glorian ddyfrbwysol. Hwn ydoedd ei gyfansoddiad cyntaf, a chafodd ddylanwad pwysig ac uniongyrchol ar ei amgylchiadau; oblegid cafodd ei godi trwyddo i sylw rhai o'r rhai mwyaf dysgedig a mwyaf eu dylanwad yn yr Ital; a'r canlyniad fu iddo gael ei ddewis i ddarlithfa gwyddonddysg yn Mhrifysgol Pisa, yn 1589, pan yn bump-ar-hugain oed. Yma hynododd ei hun yn fuan trwy ei hyfdra a'i fedrusrwydd yn gwrthwynebu athrawiaethau gallofyddol (*dynamical*) Aristotl, yn gymaint a bod y rhan fwyaf o honynt yn amddifaid o gymaint a rhith o brawf i'w cadarnhau. Er nad efe oedd y cyntaf a feiddiodd daflu ammheuaeth ar yr athroniaeth hono, efe oedd y cyntaf a wnaeth ddim yn effeithiol i'w dadymchwel. Athronyddion papyr y galwai ef y rhan fwyaf o athronyddion y dyddiau hyny. Mewn llythyr at Kepler, dywedai, "Mae y fath hyn o athronyddion yn tybio fod athroniaeth i'w hefrydu yr un modd ag *Æneid* neu *Odyssey*, ac mai trwy gymhariad testunau y mae gwir ddarlleniad natur i'w gael allan!" Yr ydoedd ei ddull ef o athrylithio yn dra gwahanol; byddai yn dwyn pob haeriad a thyb o tan brawf gweithredol. Gwnaeth gyfres faith o'r cyfryw

brawfiadau i gael allan pa un ai gwirionedd ai twyll ydoedd gosodiadau ac egwyddorion Aristotl; ac mor fuan ag y llwyddai i gael allan ffalsedd unrhyw un o honynt, cyhoeddai hwynt felly o'i gader ddarlithiol, a hyny gyda'r fath zel a llwyddiant hefyd, fel y cyffrodd genfigen a chas ei gydathrawon tuag ato.

Mawr ydoedd y gwrthwynebiad a gafodd wrth gadarnhau ei egwyddorion galltofyddol; mynent gredu eu llyfrau o flaen eu synwyrau, a hyny mewn pethau mor eglur ag amser syrthiad dau gorff o wahanol bwysau i'r ddaear. Yr ydoedd Aristotl gwedi haeru, pe byddai i ddau bwysau gwahanol o'r un defnydd gael eu gollwng i syrthio o'r un uchder, y byddai i'r trymaf gyrhaedd y llawr yn gynt na'r ysgafnaf, a hyny yn ol cyfartalrwydd eu pwysau. Yr ydoedd yn hawdd gwneyd prawf o hyn, ac fe apeliodd Galileo oddiwrth awdurdod Aristotl at awdurdod ei synwyrau ei hun; a dywedai ef y cyrhaeddent y llawr yr un amser, oddieithr rhyw ychydig iawn, yr hyn a briodolai i wrthwynebiad anghyfartal yr awyr i'r naill yn fwy na'r llall, yn ol gwahaniaeth eu maintioli. Ni fynai dysgyblion Aristotl wrandaw arno; ond gwawdient a dirmygent y fath dybiaeth. Gwnaeth brawf o hyny eilwaith ac eilwaith yn eu gŵydd oddiar dŵr gogwyddol Pisa: ond tra y byddai sŵn disgyniad cydamserol y ddau bwysau yn adsain yn eu clustiau, parhaent i ddyweyd a haeru y cyrhaeddai corff o ddeg pwys y llawr mewn un rhan o ddeg yr amser ag y gwnai corff o un pwys, a hyny am eu bod yn gallu dyfynu y bennod a'r adnod lle yr ydoedd Aristotl yn dyweyd felly.

Nid hir y bu drwgdybiaeth a chasineb ei gydathrawon ac eraill heb wneuthur ei sefyllfa yn anghysurus yn Pisa. Yn 1592, cafodd ei ddewis a'i benodi gan awdurdodau Venice i'r gader wyddonawl yn Padua; ac yn ol arferiad yr amserau hyny o benu athrawon am nifer o flyneddau ar unwaith, cafodd yntau ei benu am yspaid chwe' blynedd. Tua'r amser hyn, yr ydoedd ei ysgrifeniadau yn dechreu dilyn y naill y llall yn dra chyflym; ond yr ydoedd mor ddiofal am ei enwogrwydd ei hun, fel yr aeth llawer o honynt, gwedi hir dreiglo o law i law ymhlith ei fyfyrwyr mewn ysgrifen, i ddwylaw dynion digon diegwyddor i'w cyhoeddi yn eu henwau eu hunain, ac i gyhoeddi ymhoniad Galileo iddynt fel eu hawdur yn haeriad digywilydd ac anonest. Rhoddodd hyn lawer o drafferth iddo i amddiffyn ei hawl a'i gymeriad ger bron y byd; yn yr hyn y cafodd ei gynnorthwyo gan ei gyfeillion, y rhai a'i carent ac a'i parchent mor fawr, fel ag i gyduno i'w amddiffyn. Yn ystod ei benodiad cyntaf yn Padua, darganfyddodd welliant yn y gwresfesurydd. Cafodd ei benu ddwywaith drachefn i'r un gader yn Padua, sef yn 1599 a 1606, gyda chyfodiad yn ei gyflog bob tro; prawf amlwg o'i gyfrifoldeb, hyd yn nod yn flaenorol i'w ddarganfyddiadau seryddol, y rhai a anfarwolodd ei enw. Yr ydoedd ei boblogrwydd fel athraw gwedi dyfod mor fawr erbyn hyn, fel nad oedd yr un ystafell yn ddigon ëang i gynnwys ei wrandawwyr; ac y gorfu iddo rai gweithiau fyned allan i'r maes agored i draddodi ei ddarlithoedd. Yn ystod ei ddewisiad diweddaf a nodwyd i'w swydd yn Padua, cafodd wahoddiad taer i ddychwelyd i'w hen sefyllfa yn Pisa. Yn amser gŵyliau yr athrofa, byddai yn arferol o fyned i Florence, i roddi addysg wyddonawl i deulu Ferdinand; ac yr ydoedd yn dra gofidus gan Cosmo, yr hwn ydoedd y pryd hwn yn olynwr ei dad fel Duc Tuscany, fod Athrofa Pisa gwedi ei hamddifadu o ddyn o'r fath athrylith a Galileo, pan yn naturiol y dylasai

fod yn cael ei hadduro ganddo. Bu hyn yn achlysur o lythyr oddiwrtho at Cosmo, yn mha un yr enwa restr faith iawn o lyfrau ag ydoedd ar droed, ac mewn bwriad ganddo i'w hysgrifenu. Yr oeddynt i gynnwys traethodau ar agos i bob peth mewn athroniaeth naturiol a gwyddoniaeth. Ond y mae yn ammheüus pa un a fuont i gyd yn bodoli yn rhywle y tu allan i'w fenydd ef ei hun ai peidio. Mae yn wir i lawer o'r rhai a enwir ganddo yn y rhestr hono gael eu cyhoeddi; ac ymddengys hefyd i lawer o'i ysgrifeniadau, ar ol ei farwolaeth, gael naill ai eu dyfetha rhag ofn y chwil-lys, neu eu cuddio, a thrwy hyny eu colli.

Nid ydys yn hollol benderfynol pa bryd y daeth Galileo yn goleddwr y gyfundraeth seryddol newydd, sef cyfundraeth Copernicus (gwel "Traethodydd:" *rhif.* xi.). Y mae sail i gredu ei fod gwedi ei mabwysiadu yn ystod ei chwe' blynedd cyntaf yn Padua; ac mewn llythyr o'i eiddo oddiyno at ei gyfaill Kepler, yn 1597, y mae yn hollol amlwg yn ol ei eiriau ef ei hun, ei fod gwedi ei choleddu er ys amryw flyneddau yn flaenorol i ddyddiad y llythyr hwn, ond nad ydoedd yn meiddio ei chyhoeddi i'r byd.

Yn y flwyddyn 1609, cafodd allan ei ddarganfyddiad mawr—yr yspienddrych; mewn cysylltiad â pha un yn benaf y mae ei enw yn adnabyddus i'r rhan fwyaf o lawer; fel pe hwn fyddai ei unig ddarganfyddiad teilwng o sylw. Mae yn weddus sylwi fod ei glod fel sylfaenydd athroniaeth brawfiadol yn cael ei daflu o'r neilldu i raddau gormodol gan ddysglaerdeb ei ddarganfyddiadau seryddol. Tra mae rhai yn diraddio ei holl ddarganfyddiadau eraill wrth geisio dyrchafu hon; eto, y mae eraill yn diraddio hon yn ormodol, wrth ddyrchafu a mawrhau ei ymchwiliadau a'i ddarganfyddiadau eraill. Mae llawer o ymgais hefyd gwedi bod i geisio ei amddifadu o'r enwogrwydd a berthyn i'w enw mewn cysylltiad â'r darganfyddiad o'r offeryn hwn, cyn a chwedi ei farwolaeth. Nid anweddus, gan hyny, fyddai crybwyll yma yr amgylchiadau a'i harweiniodd i'r darganfyddiad hwn—y rhai a fernir yn fwyaf tebyg o fod yn wirionedd. Yn y flwyddyn hon ymwelodd Galileo â Venice; ac mewn rhyw ymddyddan tra yr ydoedd yno, clybu fod un Isellmyn, o'r enw Jansens, gwedi gwneuthur offeryn, trwy ba un y gallesid canfod gwrthddrychau pell, gwedi eu mwyhau a'u gwneuthur yn fwy eglur, fel pe byddent yn cael eu dwyn yn nes at yr edrychydd; ac wedi ei gyflwyno i'r Tywysog Maurice. Yr ydoedd rhai yn credu, a rhai yn anghredu yr hanes hwn. Ac yn ol ei dystiolaeth ef ei hun, y son cyffredinol yma, am wirionedd pa un y cafodd sicrwydd eilwaith trwy lythyrau o Paris, oedd yr holl wybodaeth a gafodd ar y pwnc. Ar ei ddyfodiad adref i Padua, ymroddodd yn uniongyrchol i ddyfalu ac ymchwilio trwy ba foddion y gallesid cynnyrchu y fath effaith; yr ydoedd ei feddwl gwedi ei gymeryd i fynu mor llwyr gan y manteision a weinyddai y cyfryw offeryn i wyddoneg, os oedd ei fodolaeth yn ddichonadwy. Tasgodd ei athrylith i'w ddyfeisio, ac yr ydoedd mor hyddysg yn ansoddau cynddrychau (*lenses*), fel nad hir y bu cyn darganfod egwyddor cyfansoddiad yr yspïenddrych, a bod yn alluog i wneuthur un iddo ei hun. Yn un pen i bibell blwm gosododd ddrych, gwastad o un tu, a chrymaidd o'r tu arall, ac yn y pen arall iddi gosododd ddrych ceuol o'r naill du, a gwastad o'r tu arall. Yna, gosododd ei lygaid wrth y drych ceuol, a gwelai wrthddrychau trwyddo yn fawrion, ac yn agos iawn ato—yr oeddynt yn ymddangos dri o weithiau yn agosach, a naw o weithiau yn fwy na chydâ'r llygaid noeth. Gwnaeth un eilwaith, i ddangos gwrth-

ddrychau yn fwy na thriugain cymaint; ac heb arbed llafur na thraul, aeth ymlaen nes iddo o'r diwedd wneyd un a ddangosai bethau agos i fil o weithiau yn fwy, a deg-ar-hugain o weithiau yn agosach nag yr ymddangosent i'r llygad noeth. Pe b'ai hyny yn lleihau yr anrhydedd cysylltiedig â darganfyddiad yr yspïenddrych—a diammhau ei fod mewn rhyw ystyr i raddau helaeth, er mai i ddamwain y gellir priodoli llawer o ddarganfyddiadau pwysig—yn ddamweiniol hollol y cafodd Jansens allan ei yspïenddrych; eto y mae hyn yn ychwanegu yn fawr at anrhydedd Galileo mai nid yn ddamweiniol y cafodd ef y darganfyddiad o hono, ond trwy ei gydnabyddiaeth helaeth âg ansoddau ac egwyddorion pethau, a'i fedrusrwydd i'w cymhwyso at ei ddybenion amcanedig.

Rhoddwn i lawr yma mor nesed ag y gallwn, yn ngeiriau Galileo ei hun, ddull yr ymresymiad, trwy ba un y cafodd allan y dirgelwch. "Ymresymais," meddai, "yn y dull canlynol—Mae trefniant yr offeryn yn gynnwysedig naill ai o un drych neu ragor—mae un yn annigonol, gan y rhaid iddo fod naill ai crymaidd, ceuol, neu wastad; nid ydyw yr olaf yn cynnyrchu unrhyw gyfnewidiad teimladwy mewn gwrthddrychau: mae y ceuol yn eu lleihau; mae yn wir fod y crymaidd yn eu mwyhau, ond y mae yn eu gwneuthur yn annhrefnus ac aneglur; o ganlyniad, y mae un drych yn annigonol i gynnyrchu yr effaith a ddymunir. Wrth fyned rhagof i ystyried dau wydr, a dal yn fy sylw na chynnyrchai yr un gwastad yr un cyfnewidiad, penderfynais nas gallasai yr offeryn fod yn gyfansoddedig o wydr gwastad gyda yr un o'r ddau eraill. Yna, ymroddais i wneuthur prawfiadau ar gysylltiad y ddau fath eraill; ac fel hyn cyrhaeddais y peth yr oeddwn yn ymofyn am dano."

Mor fuan ag y gorphenodd ef, dychwelodd i Venice, a mawr ydoedd y cyffro a barodd yno; am yspaid mwy na mis, yr ydoedd ei holl amser yn cael ei dreulio i ddangos yr offeryn i foneddigion a gwŷr penaf y dref, pa rai oeddynt yn tyru ato i foddhau eu hunain am wirionedd y pethau rhyfedd y clywsent am danynt. Dywedir iddo un diwrnod fyned i ben tŵr St. Marc yno, i'r dyben o gael llonyddwch iddo ei hun gydag ef. Ond fel yr ydoedd mwyaf yr anffawd, canfyddwyd ef gan ryw segurwyr yn yr heol: ymgasglodd tyrfa o honynt o'i amgylch yn fuan, a meddiannasant ei offeryn trwy orthrech; a chan ei estyn o'r naill i'r llall, cadwasant Galileo yno amryw oriau, nes i bawb o honynt gael boddio eu cywreinrwydd trwy edrych trwyddo, ac yna cafodd ddychwelyd adref i'w lety. Ac wrth eu clywed yn ymholi yn eu plith eu hunain, pa le yr ydoedd yn lletya, meddyliodd mai gwell oedd iddo achub y cyfleusdra cyntaf i adael Venice, a myned i le mwy tawel i ddwyn ymlaen ei ddarsylliadau gydag ef; yr hyn a wnaeth boreu dranoeth. Cyflwynodd un yn anrheg i'r senedd yn y dref hono, pryd y cydnabyddwyd y rhodd, ac y rhoddwyd iddo y fraint o fod yn athraw yn Padua dros ei oes, gan ddyblu ei gyflog.

Mae yn ddiammhau fod ganddo ragfwriad pa ddefnydd i wneyd o hono pan yn ei ddyfeisio; canys nid cynt y gorphenodd ef nag y defnyddiodd ef i syllu ar y ser. Am yr anrhydedd o fod y cyntaf i'w gyfeirio at y ser, mae Galileo heb yr un cydymgeisiwr. Dilynwyd y gwneuthuriad o hono yn uniongyrchol â lliaws mawr o ddarganfyddiadau seryddol ganddo. Dangosodd trwyddo, er mawr syndod i ddynion, fydoedd newyddion, nad oedd cymaint a dychymyg am eu bodolaeth wedi meddiannu meddwl neb o'r blaen. Y gwrthddrych cyntaf a dynodd ei sylw oedd y lleuad; a

chanfu fod ei gwyneb yn llawn o fynyddoedd a dyffrynoedd—yn anwastad, fel gwyneb y ddaear hon. Ar y 7fed o Ionawr, 1608, canfu o amgylch y blaned Jupiter dair o ser dysglaer, yn gorwedd mewn llinell gyfochrog â llinell y diffygion, dwy i'r dwyrain, ac un i'r gorllewin. Ni feddyliodd nad ser cyffredin oeddynt; ond dranoeth, wrth droi ei yspïenddrych tua'r un blaned, fe'i synwyd wrth ganfod y tair seren i'r gorllewin erbyn hyn. Priodolai hyny ar y pryd i symudiad y blaned yn unig. Ar y 10fed o'r un mis, ni welai ond dwy o honynt, a'r rhai hyn i'r dwyrain i Jupiter, yr hyn na fedrai ei gysoni, a phriodoli y cyfnewidiad i symudiad y blaned, ac felly fe'i gorfodwyd i briodoli y cyfnewidiadau hyn i symudiadau y ser eu hunain. A thranoeth i hyn, trwy wneuthur yr un prawf, cafodd ei lwyr ddarbwyllo ei fod gwedi darganfod tair o leuadau yn amgylchu Jupiter, yn yr un modd ag y mae ein lleuad ni yn amgylchu y ddaear; ac yn mhen dau ddydd neu dri ymhellach, darganfyddodd y bedwaredd lleuad iddi.

Yn y flwyddyn ganlynol, 1609, dychwelodd yn ei ol, ar ddymuniad Cosmo, Duc Tuscany, i'w dalaeth enedigol; a sefydlodd yn Florence fel gwyddonydd i'r duc, ac i roddi darlithoedd i dywysogion dyeithr, y rhai a ddeuent yno ar ymweliad. Parhâodd i ddal y swydd hon am y gweddill o'i oes, gan fwynhau ffafr a nodded Cosmo, a'i olynydd Ferdinand II., y rhai a ymddygasant tuag ato yn y modd parchusaf; a defnyddiasant eu dylanwad hyd y gallent yn llŷs Rhufain, i'w amddiffyn yn yr erledigaethau a gyfodwyd yn ei erbyn gan yr eglwyswyr a phleidwyr yr hen athroniaeth. Yn y sefyllfa hon yr ydoedd yn cael mwy o hamdden i ddwyn ymlaen ei efrydiaeth a'i ddarsylliadau.

Yn ei ddarsylliadau, cyfeiriodd ei yspïenddrych eilwaith at Venus, a chafodd fod hono yn meddu cyfnewidiadau yn ei gwyneb fel y lleuad—weithiau yn gron, ac weithiau yn fylchog. Gosododd y darganfyddiad hwn y dyb o fod y planedau yn amgylchu yr haul tuhwnt i bob dadl, a symudodd yr anhawsdra ag oedd gwedi cyfarfod Copernicus ei hun yn ei amddiffyniad i'w gyfundraeth; canys, fel y crybwyllwyd yn y rhifyn y cyfeiriwyd ato uchod yn y "Traethodydd," yr ydoedd ef yn addef i'w wrthwynebwyr, os oedd ei gyfundraeth ef yn gywir, fod yn rhaid o angenrheidrwydd fod y ddwy blaned agosaf i'r haul yn meddu cyfnewidiadau fel ein lleuad ni. Canfyddodd ysmotiau ar wyneb yr haul, a chafodd allan oddiwrth y rhai hyny ei fod yn rhoddi tro ar ei echel mewn yspaid ychydig llai na mis. Tynodd modrwyau Sadwrn hefyd ei sylw; ond yn gamsyniol, meddyliodd mai planed driphlyg ydoedd. Canfyddodd yn y llwybr llaethog nifer mawr o ser bychain, nas gellir eu canfod â'r llygad noeth; ac wrth weled nad ydoedd y ser sefydlog mwyaf yn cael eu mwyhau gan yr yspïenddrych, ond yn ymddangos yn bwyntiau bychain trwyddo, casglodd mai yr achos o hyn ydoedd eu pellder anfesurol, yr hyn ydoedd o angenrheidrwydd yn hollol gyson â chyfundraeth Copernicus. Yr ydoedd ei holl ddarganfyddiadau yn dwyn rhesymau newyddion o blaid yr un gyfundraeth; a'r rhai hyny yn gyfryw ag y gellid meddwl, mai prin y meiddiai y mwyaf rhagfarnllyd wrthod eu cydsyniad iddynt.

Yr ydoedd y darganfyddiadau hyn o'r pwys mwyaf mewn seryddiaeth, a thrwy hyny yn tueddu i attaflu yr anrhydedd mwyaf ar Galileo fel seryddwr ac athronydd; o herwydd y goleuni a roddasant ar wir drefniant y greadigaeth. Tra nad oeddid yn gwybod yn amgen nad y ddaear oedd

yr unig blaned â lleuad iddi, fel llawforwyn i'w gwasanaethu, yr ydoedd yn naturiol iawn iddi gael ei hystyried fel arglwyddes y planedau i gyd, ac fel yr unig fyd a gyfanneddid gan fywyd yn eu plith; ac felly yn deilwng o'r flaenoriaeth o fod yn ganolbwynt y greadigaeth. Yr ydoedd y pethau yna yn rhesymau cryfion o blaid yr hen drefniant. Ond pan y canfyddwyd pedair o leuadau yn amgylchu planed llawer mwy mewn maintioli na'r ddaear, fe yspeiliwyd y byd o'r rhesymau yna. Cafwyd seiliau cedyrn i gredu fod y planedau eraill yn cael eu preswylio gan fywyd a theimlad, os nad gan reswm hefyd. Darganfyddiad lleuadau Jupiter ydoedd un o orchestion cyntaf yr yspïenddrych—un o'r pethau cyntaf a agorodd lygaid dynion am ëangder creadigaeth Duw, ac amledd digyfrif ei greaduriaid; ac a ddysgodd iddynt y wers gyntaf am fychander y dalaeth hono o'i ymherodraeth fawr, lle y mae dyn yn trigiannu. Nid hir y buwyd cyn i ddiffygion (*eclipses*) lleuadau Jupiter ddyfod yn wrthddrych sylw neillduol; oblegid canfyddwyd yn lled fuan, a hyny gan Galileo ei hun, y gwasanaeth a weinyddent i benderfynu hydred lleoedd pellenig ar wyneb y ddaear, ac felly i wybod pellder y naill le oddiwrth y llall, heb y drafferth o fesur gwyneb y ddaear rhyngddynt. Gwneid hyn trwy ddal sylw ar amserau eu diflaniad, a'u hailymddangosiad mewn gwahanol leoedd, a chyfrif pellder y naill le oddiwrth y llall wrth y gwahaniaeth yn amserau y diffygion. Hwn, y mae yn debyg, oedd y cam cyntaf a roddwyd i ddwyn darganfyddiadau ymhlith y ser i fod o wasanaeth ymarferol i amgylchiadau bywyd ar y ddaear. Yn lle gwag freuddwydion ser-ddewiniaeth, dygodd hyn y ser mewn rhyw ystyr i feddu dylanwad ar amgylchiadau a thyngedfen teyrnasoedd y byd yma mewn gwirionedd.

Er fod clod Galileo erbyn hyn gwedi myned ar led, a'i enw yn adnabyddus trwy holl Ewrop i gyd, eto pan gyhoeddodd y darganfyddiadau hyn yn 1610, cyffrôdd llawer o'r rhai a gyfrifid yn ben athronyddion yr oes, i'w wrthwynebu; rhai trwy ddrwgliwio ei gymeriad, fel y gwneir yn gyffredin lle y bydd rhagfarn a chenfigen yn llywodraethu; eraill trwy wrthddadleu gwirionedd yr hyn a gyhoeddai, gan ddwyn fel rhesymau y dychymygion mwyaf ynfyd a ffol; ac eraill, gan ddefnyddio dull mwy ystelffaidd o wrthwynebiad iddo, a foddhâent eu hunain ar haeriad noeth yn unig, nad oedd, ac nad allai y fath bethau fod yn wirionedd—ni fynent edrych trwy ei yspïenddrych, rhag ofn iddynt gael eu darbwyllo i gredu. Ond yn raddol, cawsant ei bod hi yn anhawdd iddynt barhau yn eu hanghrediniaeth, pa un bynag ai gwirioneddol ai ffugiol ydoedd, a chymerasant lwybr arall o dynu enw Galileo i lawr, a dyrchafu eu henwau eu hunain; —dechreuasant hòni hawl i'r darganfyddiadau fel eu heiddo eu hunain; a chyhoeddent hyny i'r byd yn y modd mwyaf digywilydd. Ac i'r dyben o daflu dirmyg ar ddarganfyddiadau Galileo, a gosod hynodrwydd ar yr hyn a haerent iddynt eu hunain, gwahaniaethent gymaint oddiwrtho, fel yr ydoedd rhai o honynt yn rhoddi pump o leuadau i'r blaned Jupiter, rhai naw, ac eraill ddeuddeg. Yr ydoedd Kepler yn eithriad neillduol oddiwrth yr athronyddion yn gyffredinol yn ei ymddygiad tuag at Galileo.

Ni bu ei wrthwynebwyr yn hir fel yna yn cyfarth iddo, un yma, a'r llall acw, nes iddynt ymgysylltu yn un fintai yn ei erbyn, fel eu gelyn cyffredinol. Yr ydoedd yr holl athrawon, a goleddent ac a ddysgent yr hen dybiau am ddeddfau a threfniant y greadigaeth, yn canfod, er eu gofid, yr athroniaeth ar ba un yr ydoedd eu hanrhydedd hwy yn gorphwys yn

cael ei dadsylfaenu trwy ysgrifeniadau Galileo—gobaith eu hanrhydedd, os nad gobaith eu helw hefyd, yn cael ei ddwyn ymaith, a hwythau yn cael eu darostwng i sefyllfa dysgyblion drachefn, yr hyn beth nad oedd yn hawdd ganddynt gymmodi âg ef. Ac mewn cysylltiad â'r rhai hyn, yr ydoedd dylanwad cryfach fyth y Jesuitiaid a'r rhith dduwinyddion; oblegid yr oeddynt yn canfod, mae yn debyg, yn null hyf Galileo yn cyhoeddi ac yn amddiffyn ei dybiau, yr un ysbryd ag oedd yn Luther a'i ganlynwyr cyn hyn. Yr ydoedd eu cynddaredd yn ei erbyn yn myned yn boethach bob dydd hefyd, o gymaint a'u bod yn gweled Galileo yn llwyddo i gael llawer o ddysgyblion o'i amgylch, a'r rhai hyny gwedi eu meddiannu â'r un ysbryd ag ef ei hun, ac amryw o honynt yn ymgeiswyr am y gader mewn llawer o'r athrofâau enwocaf yn yr Ital.

Yn 1613, anfonodd Galileo lythyr at yr Abad Castelli, hen ddysgybl iddo, yn mha un y ceisiodd ddangos fod cymaint o anhawsder i gymmodi trefniant seryddol Ptolemy, a dull y Bibl o ymadroddi am seryddiaeth, â'r eiddo Copernicus; a chan nad amcan yr ysgrythyrau oedd dysgu seryddiaeth, y defnyddid ymadroddion ynddo ag oeddynt yn gydunol â'r gredin-iaeth gyffredin, heb unrhyw olwg ar wir drefniant y grëadigaeth. Anfonodd lythyr at berson arall o awdurdod a dylanwad, ar yr un pwnc. Prif reswm yr eglwyswyr dros eu gwrthwynebiad iddo, ydoedd ei fod yn dal ac yn cyhoeddi tybiau ag oeddynt yn groes i'r Bibl, ac o ganlyniad ei fod yn heretic. Ar y pwnc yna mae yntau yn ymresymu yn y llythyrau a nodwyd gydag arafwch a challineb, fel y gwnai yn ei holl ysgrifeniadau. A thebygol yw na buasai yn ymaflyd o gwbl yn y pwnc hwn i'w amddiffyn ei hun, oni buasai iddo gael ei gymhell i hyny, trwy iddo gael ymosod arno yn y modd mwyaf anweddaidd, a hyny o'r areithfa, gan un Gacini, mynach, yr hwn a feiddiai gellwair gyda geiriau y Bibl, a'u gwyrdroi yn ol ei fympwy ei hun, mewn trefn i gael ymosod ar Galileo a'i ganlynwyr mewn modd mwy personol. Ei destun ar y pryd ydoedd, "Chwi wŷr o Galilea, paham y sefwch yn edrych tua'r nef?" *Actau* i. 11.

Erbyn hyn yr ydoedd yr Eglwys Babaidd yn dechreu cyffroi ac ymysgwyd, wrth weled gwirionedd, mewn pa wisg bynag yr ydoedd, yn meiddio rhoddi ei draed mor hyf ar ei thiriogaeth hi. Yr ydoedd pob dyfalwch yn cael ei arfer gan swyddogion y chwil-lys sanctaidd, i gasglu tystiolaethau yn erbyn Galileo. Ac yn y cyfamser, gan ei fod yntau yn ofni y byddai i'w athrawiaeth gael ei chondemnio gan y llŷs hwnw, aeth i Rufain, gan feddwl ei hamddiffyn yn y modd mwyaf cyfiawn a theg. Ond mor fuan ag yr ymddangosodd yno, cymerwyd ef i fynu, a dygwyd ef ger bron y llŷs, o dan y cyhuddiad o'i fod yn dal ac yn cyhoeddi fel gwirionedd yr athrawiaeth gyfeiliornus o fod yr haul yn sefydlog yn nghanol y grëadigaeth, a bod y ddaear yn troi yn ddyddiol—fod ganddo ddysgyblion, i ba rai yr ydoedd yn dysgu yr un athrawiaeth—ei fod yn cynnal gohebiaeth ar yr un pwnc gydag amryw o wyddonwyr yr Almaen—a'i fod yn gwyrdroi y rhanau hyny o'r ysgrythyr a ddygid yn ei erbyn. Y canlyniad fu penderfynu gan gynnulleidfa o brif-swyddogion yr eglwys, y byddai yn rhaid iddo ymwadu â'r pethau cyfeiliornus hyn; na wnai na'u dysgu, eu hamddiffyn, na'u cyhoeddi rhagllaw; ac os na wrandawai ar hyn, ac ufuddhau, y bwrid ef i garchar. Ar ei addewid o ufudd-dod, cafodd ei ollwng yn rhydd y tro hwn.

Yn ganlynol i hyn, cymerodd yr un llŷs yr athrawiaeth ei hun o tan sylw,

a chyhoeddwyd hi yn gyfeiliornus ac yn wrthwyneb i'r ysgrythyrau sanctaidd. Ac fel na byddai i'r heresi ledanu ymhellach, condemniwyd gwaith Copernicus, ac amryw weithiau eraill ag ydoedd yn dysgu yr un athrawiaeth; ac yn eu plith yr ydoedd llythyrau Galileo, y rhai a nodwyd o'r blaen. Gwedi ymdrechu dros ryw yspaid o amser yn Rhufain, i attal y canlyniadau hyn, a chael gwrandawiad yn y cyfamser gan y pab ei hun hefyd, ynghyd âg addewidion teg o amddiffyniad i'w berson, dychwelodd i Florence, i erlyn ei efrydiaeth gyda'r un ymroddgarwch a chynt. Nid oedd ond gwedi ei wahardd i ddysgu a chyhoeddi ei ddaliadau; nid oedd gwedi eu gwadu na'u galw yn ol. Ond yr ydoedd mor argyhoeddiadol ei hun o wirionedd yr athrawiaeth ddedfrydol, a'i gariad yn gymaint at wirionedd, fel ag yr ydoedd yn ei ystyried yn sarhâd ac yn gam arno i gael ei attal rhag ei dysgu a'i chyhoeddi. A chyn pen chwe' blynedd o'r amser hyn, dechreuodd gyfansoddi ei ymddyddanion ar y ddwy gyfundraeth seryddol—yr eiddo Ptolemy a Copernicus—a'r amcan mewn golwg ynddynt ydoedd cadarnhau ei ddaliadau ei hun; ond ymgadwodd oddiwrth bob amddiffyniad agored o honynt. Gorphenodd hwynt yn 1630, a chawsant eu cyhoeddi yn 1632, a hyny trwy drwydded oddiwrth rai o swyddogion yr eglwys yn Rhufain a Florence. Y siaradwyr yn yr ymddyddanion ydynt Simplicio, amddiffynydd egwyddorion Ptolemy ac Aristotl; Salviatus, cynnrychiolydd yr awdur ei hun; a Sagredo, un gwedi ei hanner ennill i'r un farn a Salviatus. Nid yw yn debygol ei fod yn tybied y byddai llŷs Rhufain mor gibddall, na welent wir dueddiad y llyfr; ond y byddai iddynt dderbyn ei waith yn dysgu ei ddaliadau yn y dull hwn, yn hytrach nag mewn dull hollol noeth ac agored, fel arwydd digonol o'i ymostyngiad i'w hawdurdod. Os hyn ydoedd ei amcan a'i ddysgwyliad, cafodd ei siomi yn fawr. Cymerwyd y peth tan sylw yn fuan gan y chwil-lŷs, a gwysiwyd yntau i Rufain eilwaith i gael ei holi yn bersonol. Yr oeddynt gwedi chwilio a chael ei waith yn droseddiad uniongyrchol o'r gorchymyn ag oedd ei awdur gwedi ei gael ganddynt yn ei ymddangosiad ger eu bron yn flaenorol i hyn. Yr oedd Galileo tua deg-a-thriugain oed yn bresennol; ond ofer oedd ymesgusodi er hyny: yr ydoedd yn rhaid ei gael i Rufain; ac yno yr aeth. Ond trwy ddylanwad ei noddwr, Duc Tuscany, cafodd ymddwyn tuag ato gyda thynerwch na arferid yn gyffredid gan y llŷs hwnw. Gwedi gyrhaedd Rhufain, cafodd aros yn mhalas goruchwyliwr Florence, o'r pryd cyntaf yr aeth yno hyd oni phenderfynwyd ac y cyhoeddwyd ei ddedfryd, oddieithr rhyw ychydig iawn o ddyddiau. Mehefin 21ain, 1633, cafodd ei ddedfrydu i regu, a gwadu ar ei lŵ, yn mhresennoldeb y llŷs, yr athrawiaeth ag y treuliodd ei fywyd i'w phrofi a'i chadarnhau; i gael ei fwrw i garchar tra y gwelent hwy yn oreu, ac i adrodd unwaith bob wythnos, am dair blynedd, y saith Salm benyd. Fel hyn, o ragfarn, cenfigen, a chreulondeb, fe orfodwyd, trwy ofn, yr hen athronydd, bron ar fin ei fedd, â'i law ar air Duw, i addef crediniaeth, y pryd hwnw a chynt, yn holl ddaliadau yr Eglwys Babaidd; i addef fel twyll y gwirioneddau ag y treuliodd ei fywyd hyd hyny mewn ymchwil am danynt: a hyn oll yn groes i'w gydwybod ei hun. Trueni, onidê, oedd ei orfodi i regu a gwadu y gwirioneddau anghyfnewidiol hyny, ag yr oedd Rhagluniaeth gwedi ei nodi ef i fod eu sefydlwr cyntaf yn y byd. Er iddo addef mewn geiriau, a hyny ar ei lŵ, nad ydoedd y ddaear yn troi, dywedir iddo, mor fuan ag y cyfododd oddiar ei liniau, daraw ei droed wrth y llawr, a

sibrwd yn nghlust un o'i gyfeillion ag oedd gerllaw iddo,—"Mae hi yn symud er hyny."

Gofalwyd am wneyd ei ddedfryd a'i wadiad yn hysbys yn mhob cwr, a gorchymynwyd i'r athrawon ei darllen yn yr athrofâau yn mhob lle. Yr ydoedd goruchafiaeth amddiffynwyr a dysgyblion yr hen athroniaeth mor berffaith yn yr amgylchiad hwn, fel ag yr oeddynt yn peri dychryn tuhwnt i derfynau yr Ital. Bu agos i Descartes yn Ffrainc, yn ol ei gyfaddefiad ef ei hun, benderfynu llosgi ei holl ysgrifeniadau. Yr ydoedd gan Galileo a'i gymdeithion hyny o gysur er y cwbl—pa beth bynag ydoedd awdurdod y llŷs hwnw arno ef ei hun, fod y gwirioneddau a gondemniwyd yn sicr o gael eu sefydlu a'u cadarnhau gan ffeithiau nad oedd gan yr un llŷs awdurdod arnynt. Gallasai ef ddyweyd fel y dywedodd Pascal wrth y Jesuitiaid wedi hyny: "Yn ofer y ceisiasoch chwi farn Rhufain yn erbyn Galileo, gan gondemnio y dybiaeth o symudiad y ddaear. Sicr yw, ni phrawf hyny byth mai gorphwys y mae hi; ac os oes genym ni ddarsylliadau cywir yn profi ei bod yn troi oddiamgylch, nis gall holl ddynolryw ynghyd ei chadw rhag troi, na'u hunain rhag troi gyda hi." Ymddengys mai nid y gwirioneddau a ddelid ganddo oedd achos a gwrthddrych penaf cynddaredd ei erlidwyr, ond ei ysbryd hŷf ef yn eu dysgu a'u cyhoeddi. Yr ydoedd yn rhy debyg yn ei hyfdra a'i wroldeb i'r diwygwyr Protestanaidd, y rhai yr oeddynt gwedi cael cymaint o drafferth gyda hwynt yn flaenorol i hyn.

Ceisia rhai liniaru, os nad cyfiawnhau, i raddau helaeth, ymddygiad yr Eglwys Babaidd at Galileo; a rhoddi y bai, braidd yn gwbl, wrth ei ddrws ef, gan ei gyhuddo o drahausder a hyfder anweddus yn nghyhoeddiad ei dybiau; diystyrwch o awdurdod yr eglwys, a rhyfyg gormodol, trwy anturio i esbonio yr ysgrythyrau yn ei hunanamddiffyniad, a thrwy hyny, fathru ar hawliau neillduol yr eglwys; ac o ganlyniad, nad oedd gan yr eglwys ddim lle i gilio rhag cymeryd gafael ynddo, a defnyddio ei hawdurdod tuag ato. Pa beth bynag am ei hawl ef i ymyraeth â'r ysgrythyrau, meddyliem fod ganddo lawn gwell hawl, yn ngwyneb pob rheswm, i ymyraeth â hwy, yn ei ddull parchus ef o wneyd, er nad oedd ond gŵr llëyg, nad oedd gan lawer o urddaswyr yr eglwys yn eu dull anmharchus ac ynfyd hwy o ddefnyddio yr ysgrythyr, fel yr anghraifft a nodwyd yn barod, gan eu gwyrdroi i ddiraddio Galileo a'i ganlynwyr. Nis medrwn gydymdeimlo âg amryw ag sydd gwedi cymeryd mewn llaw ysgrifenu ar Galileo, yn eu parch i awdurdod llysoedd eglwysig ar farnau a chydwybodau dynion.

Gadawsom Galileo gwedi ei gondemnio i'w fwrw i garchar y llŷs eglwysig yn Rhufain: ond ni chafodd fod yno ond ychydig ddyddiau. Trwy ddylanwad rhyw wŷr urddasol yno, fe lwyddwyd gydâ'r pab i fyrhau amser ei garchariad, a lliniaru ei lymder. Cafodd ei fudo i balas goruchwyliwr Florence, a chyn hir cafodd ei anfon i Sienna, lle yr arosodd rai misoedd, gan gael ei gyfyngu i neillduedd hollol, ac yna cafodd ganiatâd i ddychwelyd i'w dŷ ei hun, yn agos i Florence. Ond yno, fel yn Sienna, yr ydoedd yn cael ei gyfyngu o fewn terfynau ei dŷ ei hun yn hollol, a'i wahardd yn y modd manylaf i dderbyn neb o'i gyfeillion. Bu fyw naw mlynedd gwedi ei garchariad, ac yma y treuliodd y gweddill o honynt. Yn mhrydnawn ei fywyd, yr ydoedd yn cael ei amgylchu â chystuddiau: yr ydoedd ei iechyd gwedi anmharu yn fawr erbyn hyn; ac yn y flwyddyn ganlynol i'w ddychweliad adref, bu farw ei ferch hynaf, un ag oedd yn hoff iawn

ganddo, a'r un ag oedd gwedi dangos mwyaf o gydymdeimlad âg ef yn ei dywydd hyd yma. Yn yr unigrwydd a'r anghysuron hyn, treuliodd ei amser heibio gan wneuthur darsylliadau seryddol, a dilyn ei efrydiaeth mewn athroniaeth naturiol. Yna y cyfansoddodd ei "Ymddyddanion ar Ddeddfau Symudiad." Mewn chwanegiad at ei gystuddiau blaenorol, yn 1636, collodd wasanaeth ei lygad deheu, ac yn y flwyddyn ganlynol dechreuodd y llall ballu, ac yn lled fuan aeth yn hollol ddall. Colled fawr ydoedd iddo ef, yn anad neb, golli ei olwg. "Mae y llygad godidocaf a wnaeth natur erioed," meddai Castelli, "gwedi ei golli; llygad ag ydoedd gwedi ei freinio yn y fath fodd, a'i gyfansoddi â'r fath ansoddau, fel y gellid dyweyd mewn gwirionedd ei fod wedi gweled mwy na'r holl lygaid a fu o'i flaen, ac wedi agor llygaid pawb a ddeuant ar ei ol." "O!" meddai ef ei hun, mewn llythyr, "Mae eich anwyl gyfaill Galileo gwedi dyfod yn hollol ac anfeddyginiaethol ddall; fel ag y mae y nefoedd yma, y ddaear yma, a'r grëadigaeth yma, yr hon trwy ddarganfyddiadau rhyfeddol a ëangais i gan' mil o weithiau y tuhwnt i grediniaeth yr oesoedd a fu, mae hi i mi o hyn allan gwedi crebachu i'r cyfwng cûl a lenwir genyf fi fy hun ynddi;—felly y rhynga bodd gan Dduw; am hyny caiff ryngu fy modd innau hefyd." O'r pryd hwn allan, cafodd fwynhau mwy o ryddid, a chaniatëid iddo dderbyn a mwynhau ei gyfeillion, ynghyda llawer o enwogion o wledydd eraill, y rhai yn awyddus a ddeuent i ymweled âg ef. Ymhlith eraill o enwogion yr oes hono, ymwelodd Milton, y bardd Seisoneg âg ef; a mynych, yn ei lyfr rhagorol, "Coll Gwynfa," y cyfeiria ato, ac at ei ddarganfyddiadau. Er ei fod cyn diwedd ei oes gwedi colli ei olwg a'i glyw agos yn hollol, meddiannodd alluoedd ei feddwl hyd ei ddiwedd; ac yr ydoedd ei ddysgybl a'i gyfaill, yr enwog Torricelli, ganddo yn trefnu ac yn ysgrifenu ei ddeddfau galltofyddiaeth, pan yr ymaflodd ei afiechyd diweddaf ynddo. Bu farw, Ionawr 8fed, 1642, yn 78 oed. Yr ydoedd hon yr un flwyddyn ag y ganwyd Newton. Pan ag yr ydoedd un lamp yn diffodd yn nheml athroniaeth, dacw arall yn cael ei goleuo. Caniatâwyd iddo gael ei gladdu o fewn daear gysegredig, er iddo farw yn garcharor y llŷs eglwysig. Gwrthododd y pab ganiatâd i gyfodi cofadail iddo yn Eglwys Santa Cruz, yn Florence, at yr hyn yr oeddid gwedi tanysgrifio yn helaeth. Y mae cofadail ysplenydd yn awr yn sefyll ar ei fedd.

Ei ysgrifeniadau diweddaf oeddynt ei "Ymddyddanion ar Ddeddfau Galltofyddiaeth." Mae y bummed a'r chweched gwedi eu gadael yn anorphen ganddo. Fel ysgrifenydd, yr ydoedd yn cael ei ystyried yn rhagori bron yn ddi-eithriad ar yr holl ysgrifenwyr Italaidd, yn mhurdeb a thlysni ei iaith; ac addefir fod y rhai hyny a'i hefelychasant yn ei ddull yn gwneuthur i fynu ddosbarth neillduol ymhlith ysgrifenwyr awdurol diweddaf yr Ital. Yr ydoedd yn meddu dawn anghymharol i wrthddadleu ac ymresymu, o'r hyn y mae ei "Ymddyddanion" yn gyflawn o anghreifftiau. Yr ydoedd yn teimlo, a hyny i'r byw, hyd y diwedd, y sarhâd ag ydoedd wedi ei dderbyn oddiwrth y llŷs eglwysig; a defnyddiai yr iaith fwyaf gwawdlyd a dirmygus am ei erlidwyr yn ei ysgrifeniadau diweddaf. Mae ei gymeriad personol gwedi bod yn destun molawd cyffredinol; yr ydoedd yn ddyn o agwedd siriol, ac ysbryd mwynaidd a chyfeillgar; hynod am ei haelfrydedd a'i gymwynasgarwch.

Am ei gymeriad fel athronydd, gadawn ef ar arganmoliaeth Syr David Brewster iddo:—"Mae cymeriad gwyddonawl Galileo, a'i ddull o chwilio

allan y gwirionedd, yn teilyngu ein mawrygiad uchaf. Mae nifer a chelfyddgarwch ei ddyfeisiau, y darganfyddiadau ardderchog a wnaeth ymhlith y ser, dyfnder a phrydferthwch ei ymchwiliadau mewn galltofyddiaeth, wedi ennill iddo fawrhad pob oes ddyfodol, ac wedi ei osod yn nesaf i Newton yn rhestr athrylith wreiddiol a chelfyddgar. Cafodd ei ddyrchafu i'r graddiad uchel yma, trwy ei ddull *inductive* o athrylithio, yr hwn a ddefnyddiai yn ei holl ymchwiliadau. O dan arweiniad diogel darsylliad a phrawf, aeth rhagddo at ddeddfau cyffredinol; a phe na buasai Bacon erioed gwedi byw, buasai efrydydd natur yn cael yn ysgrifeniadau Galileo, nid yn unig egwyddorion yr athroniaeth *inductive*, ond hefyd eu cymhwysiad ymarferol at ddyfais a darganfyddiad."

---

## ADDYSG YN NGHYMRU.

[*Reports of the Commissioners of Inquiry into the state of Education in Wales.*]

Difyr yw darllen y desgrifiadau camsyniol a roddir weithiau gan ysgrifenwyr tramor o gyflwr y deyrnas hon, nid yn unig gan ymwelwyr o wledydd pellenig, megys India neu Persia, ond yn nghyfansoddiadau dynion dysgedig ar gyfandir Ewrop, a'r rhai hyny wedi treulio llawer o amser yn Lloegr i ddeall arferion y genedl. Dywed rhai o honynt mai un o'r sefydliadau mwyaf anrhydeddus yn ein plith yw yr ymladdfêydd a welir yn fynych mewn gwahanol ranau o Loegr; eu bod yn cael eu dwyn ymlaen ar gost y llywodraeth; a bod Syr Peel (fel y galwant ef) o un ochr, a Lord Palmerston o'r ochr arall, yn arfer rhoddi eu presennoldeb yn y cyfryw leoedd i gefnogi yr ymladdwyr. Ond yr hyn sydd yn eu dyrysu yn hollol, yw y dull y mae trigolion y wlad hon yn treulio y Sabboth. Ni fedrant ddirnad pa fodd y mae yn ddichonadwy i neb fyw heb weithio neu chwareu ar ddydd yr Arglwydd. Dyma rai o'r camsyniadau chwithig y mae dynion call yn syrthio iddynt wrth geisio darlunio pobl o iaith a nodwedd wahanol i'r eiddynt hwy eu hunain. Nid rhyfedd, gan hyny, os cyfarfyddwn â rhai pethau lled newydd a dyeithr yn adroddiadau yr ymchwilwyr a fuont yn ddiweddar dros y llywodraeth yn edrych i ansawdd addysgiant yn Nghymru. Nid ydym yn dyweyd hyn i'w beio, ond yn hytrach i'w hesgusodi. Yr oeddynt wedi ymgymeryd â gorchwyl a fuasai yn gofyn oes o ragbarotöad, mewn dygn efrydiaeth o iaith ac arferion y Cymry, eu barnau a'u rhagfarnau, eu manteision a'u hanfanteision, ac uwchlaw y cwbl, eu teimladau a'u hymdrechiadau crefyddol. Afresymol gan hyny oedd dysgwyl dealltwriaeth cywir am ansawdd ein gwlad mewn tri mis neu bedwar oddiwrth ddynion oedd ychydig cyn hyny mor anwybodus o honom a neb o drigolion y blaned newydd Neptune. Nid oedd ganddynt ond gwneyd y goreu o'r gwaethaf; a'r rhyfeddod mwyaf yw, eu bod ar y cyfan wedi gwneyd cystal.

Y mae y rhan fwyaf o'r Cymry darllengar wedi deall erbyn hyn, ond odid, nad yw y darluniad a roddir o honom yn yr Adroddiadau dan sylw mor brydferth ag y byddai dymunol: ac nid ydym yn petruso dadgan ein barn fod yr adroddwyr yn anfwriadol wedi gwneyd cam â ni fel cenedl. Er hyny nid oes un dyn cydwybodol a ddichon haeru fod yr holl gyhuddiadau yn ddisail. Y mae ynddynt beth gwirionedd; a dylem ninnau ei ystyried yn ddifrifol, a meddwl am ddiwygio. Poenus ydyw gweled ysbiwyr wedi dyfod i chwilio a chwalu ein gwendidau a'n gwaeleddau; a mwy poenus yw eu gweled yn dadlenu y cyfan o flaen llygaid yr estroniaid; ond mwy poenus drachefn yw gorfod teimlo nad ydynt yn ein difrio heb achos. Ond caffed y gwir ei le, beth bynag fyddo y canlyniad. Os oes yma beth anwiredd, fel yr ydym yn credu fod, dynoether ef yn ddiarbed; ond na fydded i'r cyffro a'r cynhwrf wrth geisio dynoethi yr anwiredd beri i ni anghofio y gofyniad, A oes yma ddim gwirionedd? Na fyddwn fel trigolion Ai, yn amser Josua, yn esgeuluso ein tai ein hunain, wrth fyned allan yn erbyn y gelynion. Gwell bob amser yw ymwroli yn erbyn y drwg, na cheisio ei guddio neu ei bellhau. Ofnwn fod mwy o anwybodaeth ac anfoesoldeb yn Nghymru nag y mae llawer o ddynion da yn ei ddychymygu. Gall dyn fod flyneddau yn Llundain yn cerdded ei heolydd llydain a theg, heb wybod ond ychydig am y tlodi alaethus sydd o'i mewn, er fod yno filoedd mewn ffeuau budron o fewn ychydig latheni ar bob llaw iddo yn y cyflwr mwyaf gresynus. Yn yr un modd, nid ydym heb radd o ofn fod crefyddwyr Cymru yn y dyddiau hyn yn cyfyngu eu hunain yn ormodol i'r prif ystrydoedd. Y maent yn dilyn ymarferiadau a chyflawniadau crefyddol yn eu plith eu hunain, ac yn ymfoddloni ar hyny; yn lle tòri allan ar y dde a'r aswy i chwilio am y trueiniaid nad oes neb yn tosturio wrth eu heneidiau. Hyderwn y bydd y sylw presennol ar agwedd ein gwlad yn foddion i'n deffro a'n diwygio yn hyn; ac yna, er fod gweinyddiad y cerydd yn anghysurus i'n teimladau, eto bydd yr effeithiau daionus a gynnyrchir trwyddo yn peri i ni gofio am dano mewn amser dyfodol gyda llawenydd.

Y mae cryn ddadleu y dyddiau hyn o barth y gofyniad, Pa un a ddylai y llywodraeth ymyryd âg addysg y wlad ai peidio. Beth bynag yw y gwahaniaeth barn ar y pwnc hwn, y mae dyledswydd pob plaid o grefyddwyr yn amlwg, sef ymdrechu mwy nag erioed i amaethu meddyliau y werin. Oni wnawn ni, y mae ein llywodraethwyr yn rhwym o gymeryd y gorchwyl i'w dwylaw eu hunain. Yn anialdiroedd America, ar dywydd sych, bydd tân yn ymgymeryd weithiau yn y gwelltglas crin, o herwydd esgeulusdra rhyw deithiwr difeddwl, ac yn myned rhagddo gyda'r fath gyflymdra, fel mai ofer i neb a fyddo ar ei ffordd yw cynnyg dianc rhagddo trwy nerth a buander traed. Yr unig foddion o waredigaeth yn y cyfryw amgylchiad yw rhoddi tân yn ddioed yn y glaswellt, i'w losgi ymaith cyn i'r tân cyntaf gyrhaedd y lle. Ar yr un egwyddor y mae yn rhaid i ninnau weithredu. Os ydym yn ofni i'r llywodraeth gaethiwo ein rhyddid yn y mater hwn, gofalwn na fo iddi ddim gwaith: codwn o'i blaen i ddifodi anwybodaeth ac anfoesoldeb oddiar wyneb y dywysogaeth. Gofidus yw genym weled Ymneillduwyr yn gwrthwynebu eu gilydd, yn lle ymuno yn yr amcan mawr hwn. Mewn un misolyn yn ddiweddar, yr oedd y golygydd, yn nghanol yr awgrymiadau mwyaf adgas at bleidiau eraill, yn ceisio profi nad oedd neb wedi gwneyd dim yn werth son am dano o blaid

yr egwyddor wirfoddol ond efe a'i gyfeillion. Ond byddai yn burion i'r hen frawd hwn gofio fod yn ddichonadwy i ni bleidio yr egwyddor wirfoddol mewn crefydd, nid trwy siarad yn unig, ond trwy ei chario i weithrediad. Ac felly yn mhwnc yr addysgiant, y mae yn bryd i ni gredu a theimlo fod yn rhaid gwneyd heblaw dyweyd.

Ond er ein bod yn gorfod addef fod llawer o wir yn yr Adroddiadau hyn, ac yn teimlo y dylem ymdrechu i godi ein cenedl yn uwch mewn gwybodaeth a moesoldeb, eto, fel y crybwyllasom yn barod, yr ydym ymhell oddiwrth feddwl eu bod yn rhoddi golygiad cywir ar agwedd Cymru a nodwedd ei thrigolion. Wrth ddarllen amryw ranau o honynt, braidd na thueddid ni i ddyweyd, fel y ferch hono yn mynwent Clynnog, yr hon y sonir am dani yn yr erthygl ar gamgyhuddiadau yn ein rhifyn am Ebrill diweddaf, "Celwydd seintyn yn dy feintyn." Ond dealler nad ydym mewn un modd yn tybied fod y boneddigion a gyfansoddasant y llyfrau hyn yn euog o ddwyn camdystiolaethau gwirfoddol. Y mae yn eglur eu bod hwy yn awyddus i gael allan y gwirionedd: ac oni b'ai eu bod yn ddynion cydwybodol, yn barnu drostynt eu hunain, yn lle gwrandaw ar bob coegddyn a fu yn ceisio eu hyfforddi pan oeddynt yn Nghymru, buasai eu desgrifiad o honom yn llawer anferthach nag ydyw. Mewn rhai pethau y maent wedi rhoddi llawn cymaint o ganmoliaeth i ni ag a haeddem—os nid mwy; ac yn ddilys, un o'r argraffiadau a adawodd y darlleniad ar ein meddwl ni, yw, fod y tri wedi ymddwyn yn weddol anmhleidgar. Er hyny, nis gallwn gau allan y grediniaeth eu bod, yn ddiarwybod iddynt eu hunain, wedi cael eu harwain i'n desgrifio ar y cyfan yn îs nag ydym. Y gwaith a ymddiriedwyd iddynt gan y llywodraeth oedd chwilio i'r diffyg o addysgiant yn Nghymru, ac yr oedd hyn yn eu tueddu yn naturiol i edrych ar ein gwaeleddau yn hytrach na'n rhagoriaethau. Hawdd iawn hefyd oedd iddynt hwy a'u cynnorthwywyr fyned i eithafoedd oddiar deimlad y dylent gyflawni eu gwaith yn fanwl a dihoced. Fel hyn, y maent yn ofalus i nodi allan y beiau yn mhob ysgol, ac i gofrestru yr holl gam-atebiadau; ond ymddengys fod hyn wedi tynu eu sylw yn ormodol oddiwrth bob peth arall. Gwyddom am rai ysgolion, lle yr oedd amryw o'r bechgyn yn ateb pob gofyniad rhag blaen; ond nid oes gair o son am hyny yn yr Adroddiad. Y mae genym hefyd anghreifftiau yn profi eu bod ar rai achlysuron wedi cael allan feiau lle nad oeddynt. Mewn un man, canfuasant bapyr argraffedig ar y muriau, yn hysbysu fod yr *Horrorable* Thomas Coltman yn dyfod yno—yn lle *Honorable*: a rhoddir hyn i lawr i ddangos anwybodaeth y trigolion; pan mewn gwirionedd nad oedd yn dangos dim ond diffyg gofal yn yr argraffydd: a phe buasent yn sylwi yn fanylach ar odre y papyryn, buasent yn gweled mai nid yn y dref hono yr oedd wedi ei argraffu. Yr un mor resymol fyddai i ninnau ddyweyd nad ydynt hwythau yn medru sillebu Saesoneg; oblegid yn y llinell nesaf ond un at y gair *Horrorable*, yr hwn sydd wedi peri cymaint o ddychryn iddynt, y mae y gair cyffredin *afford* wedi ei argraffu yn *offord*. Ac yn yr un Adroddiad gallem gael anghraifft arall sydd yn llawer tebycach i arddangosiad o anwybodaeth. Yn agos i'w ddiwedd, y mae Mr. John James, un o gynnorthwywyr y *commissioner*, yn rhoddi rhestr o enwau y llyfrau Cymreig; ac yn eu plith y mae "Gardd o Gerddi," o waith Thomas Edwards o'r Nant. Yn awr, fe ŵyr y rhan fwyaf o blant yr Ysgolion Brytanaidd mai y gair Seisoneg am *cerddi* ydyw *songs*, ac mai y cyfieithiad cywir o'r enw

"Gardd o Gerddi" yw *Garden of Songs.* Ond pa fodd, dybygwch chwi, ddarllenwyr, y mae Mr. John James yn ei gyfieithu? Fel hyn, "*Garden of Gardens.*" Ar y cyntaf, meddyliasom nad oedd Mr. John James yn gwybod y gwahaniaeth rhwng *Gardd o Gerddi* a *Gardd o Erddi*; a theimlasom ninnau beth blys i ddwyn y cyhuddiad o anwybodaeth yn ei erbyn yntau. Ond erbyn i ni gymeryd pwyll, gwelsom ei fod, mewn rhanau eraill o'r Adroddiad, yn ysgrifenu Saesoneg yn gywir ac yn ddestlus. Y mae yn ddiammhau genym, gan hyny, mai mewn ebargofiad y gwnaeth efe y camsyniad. Tebyg nad oedd y llyfr o'i flaen ar y pryd, ac iddo mewn gormod brys gymeryd yn ganiatâol mai ei enw oedd *Gardd y Gerddi.* Y mae camgymeriadau o'r fath yn dygwydd weithiau i'r goreu, ac annhegwch i'r eithaf fyddai eu priodoli i anwybodaeth. Ni fuasem yn aros cymaint gyda'r un ffaith hon, ond yn unig i ddangos mor hawdd yw pigo beiau, os rhoddwn ein bryd ar hyny; ac nad yw pob peth yn brawf o anwybodaeth ag sydd yn ymddangos felly ar y cyntaf. Y diffyg o gadw hyn mewn cof yw un o'r cwynion sydd genym yn erbyn y *commissioners* a'u cynorthwywyr.

Gyda golwg ar foesoldeb ein gwlad, y mae y darluniad a roddir yn yr Adroddiadau hyn yn dywyll a phruddaidd dros ben. Ond yn y mater hwn, nid oes genym un bai i'w roddi wrth ddrws yr adroddwyr. Y maent hwy yn llawer tynerach a chynnilach na degau o'r Cymry eu hunain. Os gwir yw rhai o'r tystiolaethau a dderbyniasant, yr ydym yn waeth na *barbariaid;* nid oes y fath beth a diweirdeb na gonestrwydd yn ein plith, nac un syniad am danynt; nid yw ein crefydd yn effeithio dim ar ein hymarweddiad; ac nid yw Cymru drwyddi oll ond pentwr o lygredigaeth. Y mae yn ddirgelwch i ni pa hyfrydwch y mae neb yn gael mewn camddarlunio eu gwlad a'u cenedl. Yr ydym yn addef fod llawer o arferion gwarthus yn ffynu yn Nghymru; ond y gwarth mwyaf o bob gwarth sydd yn perthyn iddi yw y gwarth o fagu y fath ddynion a hyn. Bu cynhwrf dirfawr yn Lloegr am flynyddau o herwydd i O'Connell ddyweyd nad oedd gwragedd y Saeson yn ddiwair; ond llawer mwy annaturiol ac annyoddefol yw y cyhuddiad yn erbyn merched Cymru oddiwrth ddynion parchedig yn ein plith ni ein hunain—dynion yn anadlu awyr Cymru, yn llefaru iaith Cymru, ac yn byw ar lafur y trigolion annedwydd y maent hwy mor greulawn yn eu gwarthruddo.

Dyma anghraifft o Sir Fon:—

*Dyfyniad o Lythyr y Parch. J. W. Trevor, Periglor Llanbeulan, Môn, a Chaplan i Arglwydd Esgob Bangor, ar gynnydd Bastarddiaeth yn Môn, fel canlyniad addysg ddiffygiol.*

"Y mae yn anhawdd, yn gystal ag yn ofidus, desgrifio mewn ymadroddion priodol sefyllfa waradwyddus y bobl gyffredin yn Nghymru, gyda golwg ar gydgyfeillach y ddau ryw; ond y mae o bwys i'r gwirionedd gael ei wybod. Yr wyf yn credu fod cyfartalrwydd plant anghyfreithlawn i'r boblogaeth yn fwy yn Môn (gyda dim ond un eithriad, a hono yn Nghymru) nag eiddo unrhyw sir arall yn y deyrnas. Y mae y ffaith hon yn ddigon i brofi iselder moesol ein pobl gyffredin. Ond rhaid i mi dynu eich sylw yn fwy neillduol at rai adroddiadau ar y mater hwn, y rhai a ddangosant i chwi ar unwaith yr hyn y dymunwyf ei wneyd yn hysbys, sef fod egwyddorion moesol pobl Cymru yn hollol lygredig ac anfad yn y pwnc hwn; fod yn anmhosibl i unrhyw attalfëydd na chosbedigaethau o eiddo y gyfraith wella, nac hyd yn nod leihau y drwg, hyd nes y dysgir hwy, trwy y

defnyddiad o addysg well, a gwareiddiad mwy cyffredinol, i edrych ar eu harferion presennol, gyda theimlad o gywilydd a gweddeidd-dra. Yr wyf yn awr yn gosod o'r neilldu yr ystyriaeth o bob egwyddor uwch—oblegid nid yw y cyfryw i gael edrych arnynt yn bresennol. Tra y parhâ y gwahanol rywiau i gyd-ymgymysgu fel anifeiliaid, ofer yw dysgwyl y gellid eu hattal gan grefydd na chydwybod.

Yr wyf yn haeru gyda sicrwydd, fel ffaith anwadadwy, nad yw anniweirdeb yn cael ei ystyried fel drwg, nac hyd yn nod braidd fel gwendid, gan y bobl gyffredin yn Nghymru. Y mae yn cael ei ystyried fel mater o anghenrheidrwydd—fel y llwybr arferedig rheolaidd i'r ystâd briodasol. Y mae yn cael ei addef, ei amddiffyn, ac hyd yn nod chwerthin am ei ben, gan y naill ryw yn gystal a'r llall, heb betrusder na chywilydd, nac un ymgais i'w gelu. A pha beth, os, fel y mae yn dygwydd yn fynych, y bydd i'r dyn brofi yn anffyddlawn, ac i briodas beidio cymeryd lle, ac eto i blentyn gael ei eni? Yna y mae y gorchwyl o dyngu y plentyn yn dyfod ymlaen, a chydag ef, fel y mae y gyfraith yn awr yn gofyn, yr holl ddynoethiad aflan o'r anlladrwydd a'i blaenorodd.

Yn awr, mi a adroddaf rai ffeithiau fel y daethant o dan fy sylw i fel heddynad, a chwi a gofiwch eu bod yn cael eu gwrandaw gan y cyhoedd o bob oedran a rhyw:—

Geneth ieuanc a ddygwyd ymlaen i gymeryd ei llw ei bod hi yn eistedd wrth y tân, tra yr oedd ei mam weddw yn y gwely gyda'i charwr yn yr un ystafell; a hyn a wnaeth ar amryw achlysuron.

Yr oedd un arall yn cymeryd ei llw ei bod yn sefyll yn ymyl, ar ganol dydd goleu, ac yn yr awyr agored, tra y cyflawnid y weithred a wnaeth ei chyfeilles yn fam bastarddyn.

Fod dyn mewn gwely gyda dwy ddynes, nos ar ol nos, am fisoedd ynghyd, a chymerodd un o'r merched ei llw i'r ffaith ofynedig.

Daeth rhieni, neu ynte un o honynt, ymlaen i brofi tadogaeth plentyn ordderch eu merch—hwynthwy eu hunain yn fynych yn dystion o'r weithred.

Gallwn liosogi y cyfryw anghreifftiau i brofi yr hollol ddiffyg o weddeidd-dra naturiol cyffredin a chywilydd yn mysg y bobl.

Cafodd y dystiolaeth uchod ei rhoddi (ac felly y rhoddir hi bob amser, heb ond ychydig eithriadau) heb y gronyn lleiaf o anewyllysgarwch na gwyleidd-dra, a chyda'r fath wammalrwydd ac eofndra ag oedd yn profi fod y personau yn hollol galed, ac wedi eu hamddifadu o bob teimlad o gywilydd.

Pan y gwnaethum ymgais wrth Fwrdd yr Undeb i berswadio y *guardians* i adeiladu *workhouse* (nid oes yr un yn Môn), a phan y defnyddiais fel rheswm dros hyny, y byddai iddo attal cynnydd bastarddiaeth, yr hyn sydd yn draul ddirfawr ar ein trethi, yn gystal ag yn warth i'n cyfundeb, hwy a wnaethant wawd o'r syniad ei fod yn unrhyw waradwydd, a hwy a haerasant fod arfer Cymru yn cyfiawnhau yr ymddygiad. Mewn gair, y mae y *guardians*, y rhai ydynt agos i gyd yn ffermwyr gwledig, mor gynnefin â'r pechod hwn, ac wedi cyfranogi mor hir ynddo, fel ag y maent yn analluog o unrhyw deimlad priodol ar yr achos. Y maent hyd yn nod yn cefnogi yr arferiad; y maent yn cyflogi eu gwasanaethyddion, gan gyttuno i'r ammod, iddynt gael rhyddid i ollwng i mewn i'r dyben hwn, ar amserau penodol, neu ynte, efallai, pa bryd bynag yr ewyllysiont. Y mae bechgyn a genethod tai amaethwyr yn cael eu dwyn i fynu o'u mabandod, a'r arferion ffiaidd hyn o flaen eu llygaid a'u clustiau yn barhaus, nes y maent o anghenrheidrwydd, ar y demtasiwn gyntaf, yn syrthio i'r un llwybr eu hunain. Mewn gair, y mae meddyliau ein pobl gyffredin yn y mater hwn, hyd yn nod yn fwy nag yn yr un arall a nodais, wedi myned yn drwyadl ac yn gyffredinol lygredig ac anifeilaidd.

I gyfarfod â'r drwg dychrynllyd hwn, y mae y drefn bresennol o addysg yn Nghymru yn hollol ddinerth. Nis gallaf lai na barnu y gwnai cynllun cyffredinol o ysgolion plwyfol, wedi ei ffurfio a'i sefydlu gan y llywodraeth, lwyddo, o dan drefniadau priodol, i gynnyrchu newidiad er gwell. Yr wyf yn gwybod yn dda fod pob cynllun o'r fath yn cynnwys llawer o anhawsderau, ac y cyfarfyddai

efallai â gwrthwynebiad cadarn. Y mae yn rhaid i lwyddiant llawer o bleidiau gwrthwynebol, a hawliau ymgystadleuawl, gael eu hystyried au pwyso, ac wedi y cwbl y mae yn debygol nas gellid hyd yn nod wneyd ymgais at liaws o bethau ag y dymunem eu cyflawni; er hyny, yr wyf fi yn meddwl y dylai y llywodraeth ymyraeth yn y mater, a'n gorfodi i wneyd ein dyledswydd tuag at ein brodyr tlodion—tuag at y rhai hyny ag yr ydym trwy eu llafur yn byw, a thrwy eu drygau, y rhai sydd yn cael eu meithrin gan ein hesgeulusdra ni, yr ydym ni yn gystal a hwythau yn cael ein drygu a'n gwarthruddo. Y mae y trigolion yn mhob plwyf yn cael eu trethu i borthi y tlodion—paham na wneid hyny yn gystal i'w haddysgu hefyd?

Ydwyf, Syr, eich tra ffyddlawn wasanaethydd,

J. W. TREVOR,

"*At H. Vaughan Johnson, Ysw.*" Periglor Llanbeulan, Môn."

Bobl Môn! a yw y dystiolaeth hon yn wir? Os ydyw, nid ydych yn deilwng o gael eich galw yn ddynion, chwaethach Cristionogion. Ai dyma y wlad lle y bu Christmas Evans a John Elias yn llafurio am gynnifer o flyneddau. Ond gwyddom nad yw yn wir: nis gall fod yn wir. A dylech chwithau alw ar y Trevor hwn i brofi ei gyhuddiad, neu gyfaddef ei fod wedi dwyn camdystiolaeth. Ond gadewch i ni weled pa beth y mae efe ei hun yn ei wneyd at ddiwygio y bobl ddrygionus y mae yn byw yn eu plith. Yn ol ei dystiolaeth ef ei hun, y mae ganddo ddigon o le i weithio. A ydyw yn gwneyd rhywbeth heblaw llafurio i argyhoeddi ei blwyfolion o'r ddyledswydd bwysig o dalu degwm ar y pytatws? Wel, erbyn troi at hanes y plwyfydd sydd yn perthyn iddo ef, yr ydym yn cael nad oes ynddynt oll yr un ysgol. Fel y canlyn y dywed yr Adroddiad:—

"LLECHYLCHED. Yr oedd unwaith Ysgol Eglwysig yn y plwyf hwn. Mae yr adeilad yn aros; ond y mae wedi ei gau i fynu am y saith mis diweddaf. Cefais ef wedi ei gloi, a'r ffenestri wedi eu byrddio. Gallai gynnwys 105 o blant. Y byrddau a'r meinciau nid oeddynt ond ychydig, ond mewn cyflwr da. Y cwbl oedd yn eisieu oedd ysgolfeistr ac ysgolëigion.

Llechylched sydd un o'r pentrefydd mwyaf ar y ffordd fawr o Bangor i Gaergybi. Amgylchynir ef gan bump o blwyfydd. Yn yr holl ddosbarth hwn o'r wlad, yn cynnwys poblogaeth o 2,563, ni chefais ond un ysgol i'r tlodion, ac yr oedd hono o'r fath iselaf, ac yn ddiddefnydd fel moddion addysg. (Llandrygarn.)

Y mae pobl y pentref yn cwyno eu bod mewn anghen mawr am ysgol; nas gwyddant beth i'w wneyd â'u plant, y rhai a adewir i grwydro oddiamgylch y ffordd mewn rhifedi mawr, yn segur, neu yn gwneyd drygioni.

Y plwyfydd sydd yn cyfansoddi y dosbarth rhag-grybwylledig, yw y rhai hyn:—

| | Poblogaeth yn 1841. |
|---|---|
| Llechylched, | 618 |
| Llanfihangel, | 200 |
| Llanfaelog, | 786 |
| Llanbeulan, | 314 |
| Ceirchiog, | 160 |
| Llandrygarn, | 485 |
| Cyfan, | 2,563 |

Y Parch. J. W. Trevor (y person), a roddodd yr hysbysiad a ganlyn am Llechylched:—

'Cefais yn y plwyf hwn ysgoldy wedi ei adeiladu yn 1827, trwy gynnorthwy oddiwrth y Gymdeithas Genedlaethol, gyda thraul o 70*p*. Yr oedd yma ysgolfeistr ar y gyflog o 9*p.*; ac yr oedd y tanysgrifiadau yn cyrhaedd i'r un swm. Nid oedd rhifedi y plant ond anfynych uwchlaw 30. Afreolaidd iawn oeddynt yn dyfod ynghyd; ac nid oedd eu cynnydd mewn un modd yn foddlonawl. Wedi hyny, cefais amryw ysgolfeistri

eraill, y rhai nid oeddynt nemawr addasach; er eu bod yn cael cyflogau mwy, ond nid digon: eto y canlyniad gyda golwg ar y plant oedd o hyd yr un. Nid oes modd eu gorfodi i ddyfod i'r ysgol yn rheolaidd. Y rhieni a anfonant eu plant, neu a'u cadwant gartref, yn hollol fel yr ewyllysiont. Os cosbir hwy am fod yn absennol, y rhieni a'u symudant oddiyno yn gwbl, ac a ddangosant eu gwg trwy gam-drin yr ysgolfeistr. Mewn gair, nis gellir cadw i fynu un ddysgyblaeth geryddol."

Dylid cymharu yr hysbysiad hwn (medd y *commissioner*) â'r adroddiad am Ysgol Llanrhuddlad, plwyf heb fod ddeng milltir o ffordd, yn yr hon y dysgir ac y dysgyblir y plant yn dda, a lle nad oes 6 allan o 135 o blant yn absennol mewn un wythnos, er fod 100 o honynt yn byw fwy na milltir a hanner oddiwrth yr ysgol. Y mae pobl Mon a Gogledd Cymru yn gyffredinol yn sicr o anfon eu plant i ysgol a ddysgir gan ysgolfeistr da, ac yn ol trefn dda."

Felly yr oll a wnaeth Mr. Trevor oedd gollwng yr ysgol i lawr, yr hon oedd yno o'r blaen, er fod yr ysgoldy wedi ei godi trwy gynnorthwy oddiwrth y Gymdeithas Genedlaethol. Meddyliem fod hyn yn ddigon am y Parch. J. W. Trevor. Y mae y *commissioner* mewn ychydig eiriau wedi penderfynu ei achos ef. Ond nid ydym eto wedi dybenu â'r ymholiad mewn perthynas i foesoldeb y Cymry. A ydynt, fel y dywedir eu bod, yn îs mewn anniweirdeb na chenedloedd eraill? Yr oll sydd arnom eisieu yw cael y gwir i'r goleu. Os ydynt, rhaid i ni ddyoddef y gwarth, er mor boenus: ond os nad ydynt, y mae yn iawn i ni dreiglo y gwarth yn ol ar ein cyhuddwyr. A thrwy ffawd dda, y mae y gofyniad wedi ei ateb yn barod, ac am byth, gan y Parch. E. Jones, Tredegar. Y mae yr ateb hwnw wedi ei argraffu eisoes yn Gymraeg; ond dylai ymddangos yn ein holl gyhoeddiadau cyfnodol, a'i gadw gan bawb wrth law i roddi taw ar ein cablwyr. Drwg genym nas gallwn gael lle i ychwaneg o hono na'r dyfyniad a ganlyn.

"Yn fy llythyr cyntaf, mi a ymrwymais i chwilio pa un a oedd y siroedd a'r ardaloedd, yn y rhai yr oedd y rhifedi mwyaf o enedigaethau bastarddaidd, yn rhai oedd yn myned fwyaf i'r Eglwys, ac mewn rhai manau yn fwy Seis'nigaidd nag eraill. Yr wyf yn awr yn barod i gyflawni fy addewid, ac yr wyf yn credu y gwna y canlyniad frawychu hyd yn nod Ordovicis ei hun. Y mae yn debygol na feddyliodd efe erioed y gellid gwybod cyfartalwch y genedigaethau bastarddaidd, a llawer llai y breuddwydiodd efe y buasai Ymneillduwr Cymreig yn ei gyfarfod ar ei dir ei hun, a phrofi gyda ei resymiad ef ei hun fod achos moesoldeb yn fwy dyledus i'r iaith Gymraeg, ac Ymneillduaeth Cymreig, nac i'r Saeson ac Eglwys Loegr. Ond mewn gwirionedd, felly y mae; ac wedi iddo ef hau y gwynt, rhaid iddo foddloni i fedi y corwynt. Yn y daflen ganlynol, yr hon a gasglwyd o chwechfed gyfrif blyneddol y Cofrestrydd, y mae yr ardaloedd yn y rhai y mae mwyaf o fastarddiaeth, yn cael eu rhoddi yn gyntaf, ac y mae y llinellau cyferbyniol yn dangos yn gyntaf yr holl enedigaethau; yn ail, rhifedi y genedigaethau anghyfreithlawn; yn drydydd, cyfartaledd y genedigaethau anghyfreithlawn, wrth y cant, i enedigaethau cyfreithlawn:—

| 1842.—Ardaloedd (*Districts*). | Yr holl enedigaethau. | Y genedigaethau anghyfreithlawn. | Cyfar. wrth y cant. |
|---|---|---|---|
| Presteign, Knighton, Rhaiadr—*swydd Faesyfed*, | 896 | 130 | 14.5 |
| Drefnewydd, Trefaldwyn—*swydd Drefaldwyn*, | 1245 | 128 | 10.3 |
| Hwlffordd—*swydd Benfro*, | 1153 | 112 | 9.7 |
| Tregaron, Llanbedr, Castellnewydd Emlyn—*swydd Aberteifi*, | 1076 | 101 | 9.4 |
| Wrexham—*swydd Dinbych*, | 1117 | 102 | 9.1 |
| Narberth, Penfro—*swydd Benfro*, | 1365 | 122 | 8.9 |
| Caerfyrddin, | 1146 | 98 | 8.6 |
| Llanfyllin, Machynlleth—*swydd Drefaldwyn*, | 829 | 66 | 8.0 |

| 1842.—Ardaloedd (*Districts*). | Yr holl enedigaethau. | Y genedigaethau anghyfreithlawn. | Cyfartalwch y cant. |
|---|---|---|---|
| Swydd Fon, | 1032 | 80 | 7.8 |
| Llanelli, Llandilo fawr, Llandovery—*Caerfyrddin*, | 1732 | 131 | 7.6 |
| Dolgelley, Corwen, Bala, Festiniog—*Meirionydd*, | 1336 | 102 | 7.6 |
| Pwllheli, Caernarfon—*swydd Gaernarfon*, | 1584 | 121 | 7.6 |
| Llanrwst, Llanelwy, Rhuthyn—*swydd Ddinbych*, | 1246 | 87 | 7.0 |
| Mynwy, Chepstow—*swydd Fynwy*, | 1132 | 71 | 6.3 |
| Bangor, Conwy—*swydd Gaernarfon*, | 1114 | 69 | 6.2 |
| Aberteifi, Aberaeron—*swydd Aberteifi*, | 1103 | 64 | 5.6 |
| Caerdydd, Pen-y-bont, Neath—*swydd Forganwg*, | 2600 | 141 | 5.4 |
| Builth, Brycheiniog, Crughywel, Hay—*Frycheiniog*, | 1786 | 91 | 5.1 |
| Aberystwyth—*swydd Aberteifi*, | 685 | 34 | 5.0 |
| Merthyr Tydfil—*swydd Forganwg*, | 2141 | 101 | 4.7 |
| Treffynon—*swydd Fflint*, | 1190 | 52 | 4.4 |
| Abergafenni, Pontypool—*swydd Fynwy*, | 2754 | 118 | 4.3 |
| Abertawe—*swydd Forganwg*, | 1123 | 45 | 4.0 |
| Newport—*swydd Fynwy*, | 1024 | 38 | 3.7 |

Nid rhaid i Ordovicis a'i gyfeillion Eglwysig ymbalfalu yn y tywyllwch ynghylch y genedigaethau anghyfreithlawn yn Nghymru. Y mae y ffeithiau a'r rhifnodau yn cael eu gosod o'u blaenau. Fe welir mai yr unig ardal Gymreig, yn yr hon y mae y cyfartalwch yn bur fawr drwyddi, ydyw, yr hon syddlyn cynnwys Tregaron, Llanbedr, a Chastell-newydd Emlyn; eithr gan fod athrofa Eglwys Loegr o fewn ei therfynau, nid wyf yn dysgwyl cael fy ngwawdio yn llym ar gyfrif ei Chymraeg, na'i Hymneillduaeth. Y mae yn rhaid i'r sefydliad hwnw, o angenrheidrwydd, daenu llawer o ddylanwad iachusol dros arferion a moesoldeb y bobl. Y mae y Drefnewydd a Threfaldwyn i radd fawr yn rhyddion oddiwrth y Gymraeg, ac nid ydynt yn cael eu haflonyddu yn fawr iawn gan ymneillduaeth. Y mae yr un nodiad yn gyfaddas hefyd i Wrexham, yr hon ardal sydd yn cynnwys rhan fawr o swydd Fflint. Gall Ordovicis ein hysbysu, os gwel yn dda, am yr ardaloedd sydd yn myned yn fwyaf i'r Eglwys, ac yna gellir dangos gwerth Ymneillduaeth yn eglur, mewn cymhariaeth i Eglwys Loegr. Yr wyf fi yn foddlawn i oddef y canlyniad: ond y mae yn ammheüus genyf a gaiff fy ngwrthwynebwr ei foddloni yn gyfartal.

Os yr iaith Gymraeg, ac Ymneillduaeth Cymreig, ydyw dwy ffynnonell fawr bastarddiaeth ac anfoesoldeb Cymru, byddai yn rhesymol tybied nad yw y ffrydiau aflan i'w cael lle nad yw y ffynnonau yn bodoli. Onc y mae yn beth rhyfedd dyweyd fod bastarddiaeth i'w ganfod yn Lloegr, a merched heblaw merched Cymru yn anniwair ac annheimladwy o rinwedd menywaidd. Y mae anniweirdeb yn bodoli tuhwnt i Glawdd Offa, a hyny i radd fawr iawn. Yn ol trefn pethau, nid yw bastarddiaeth Lloegr yn cael ei achosi gan unrhyw genadon ellyllaidd, wedi eu hanfon gan Ymneillduaeth Cymreig a'r iaith Gymraeg: ac am Ymneillduaeth Seisoneg, y mae Ordovicis ei hun wedi rhoddi iddo air da: a chan ei fod wedi ei gymeradwyo gan elyn, y mae yn sicr o fod yn dda. Er nad yw Ymneillduaeth Cymreig na'r iaith Gymraeg yn Lloegr, eto y mae yno fastarddiaeth: a gallwn ddyweyd ychwaneg, sef, fod nifer y genedigaethau anghyfreithlawn yn llawer mwy, mewn rhai parthau o Loegr, nag yn Nghymru. Y mae Lloegr yn cael ei rhanu i un-ar-ddeg o raniadau yn y cofrestriad. Y mae Cymru a swydd Fynwy yn un rhaniad. Yn yr amrywiol ddosbarthiadau y mae y cyfartalrwydd yn sefyll fel y canlyn:—

| | | |
|---|---|---|
| Y rhan ogledd-orllewinol | 8.8 | y cant |
| ———— ddwyreiniol | 7.9 | — |
| Y canoldir gogleddol, | 7.7 | — |
| Y rhan gogleddol, | 7.4 | — |
| Caerefrog, | 7.2 | — |
| Y rhan orllewinol, | 6.8 | — |
| Cymru, | 6.8 | — |
| Y canoldir deheuol, | 6.7 | — |
| Y rhan dde-ddwyreiniol, | 6.4 | — |
| ———— orllewinol, | 5.7 | — |
| Y brifddinas | 3,2 | — |

Nid wyf yn ewyllysio iselhau enwogrwydd Lloegr. Yr wyf yn gwybod fod y cyfryw gymhariaethau yn ddigon anhawdd i'w dyoddef. Ond gan eu bod yn cael eu dwyn ymlaen, y mae yn rhaid i ni beidio eu gwrthod. Gellir gweled oddiwrth y daflen uchod fod pump allan o un-ar-ddeg o'r dosbarthiadau yn waeth na Chymru, un yn gyfartal; tra nad oes ond pedwar yn well. Yn awr, yn lle difrio eu cydwladyddesau, fel y rhai mwyaf anniwair ac anfoesol yn y byd, oni fyddai yn well gwaith i'n hathrodwyr offeiriadol edrych ar y siamplau hyn a'u cyffelyb. 'O gywilydd, Pa le y mae dy wrid?' A ydyw i'w ganfod ar rudd Ordovicis? Dylai y byd llydan ryfeddu os nad yw.

Yn rhifyn Awst o gyhoeddiad Cymreig Eglwys Loegr, yr wyf yn canfod erthygl, mewn amddiffyniad i Ordovicis, yn erbyn rhai sylwadau o eiddo fy nghyfaill parchedig Mr. Rees, Llanelli. Cyfansoddiad y golygydd yw yr erthygl; ac y mae yn adrodd, 'Fod sefyllfa moesoldeb mor isel yn mysg yr Ymneillduwyr, fel y cywilyddiai llawer o genedloedd paganaidd fod yn eu cyflwr. Pa genedl dan y nefoedd sydd mor anniwair a chenedl y Cymry?' Gan fod yr haeriad enllibus ac anwireddus wedi ei adrodd drosodd a throsodd lawer gwaith, gyda gradd neillduol o ddrygnaws afaelgar a thrahaus, y mae yn dda fod genym allu i'w attal o hyn allan. Nid oes dim ond puteindra agored ac arferol y brifddinas a threfydd mawrion Lloegr yn cadw eu cyfartaledd mor isel. Ond fel y mae, nid ydyw ond un rhan-nifer (*fraction*) yn îs na Chymru: y rhif sydd yn perthyn i bob un o honynt ydyw 6.8 a 6.7. Gan gymeryd hyn i gyfrifiad, ni a anturiwn sicrhau i gyhoeddwr yr 'Haul,' a'i noddwyr offeiriadol, nad rhaid iddynt ond yn unig groesi yr Hafren, i gael gweled cenedl mwy anniwair na'r Cymry; ac os yw dynoethiad o sefyllfa cenedloedd mewn perthynas i anniweirdeb yn rhoddi hyfrydwch iddynt, ni a awn ymlaen i roddi iddynt gynnorthwy pellach, fel rhagllaw y gallont adael eu rhagrith yn yr anghof sydd yn gweddu iddo, yn lle ei ddwyn i attegu achos adfeiliedig. Bydded iddynt edrych ar Loegr, ac ar wledydd y Cyfandir, a dysgu o hyn allan ac am byth i dewi am anwybodaeth y Cymry, os nad ydynt yn meddwl dangos eu hunain fel yr anghreifftiau cywiraf o'r anwybodaeth hwnw o fewn cylch y dywysogaeth. Y mae yn rhaid i ni gredu mwyach fod y dyn a ddichon daenu haeriadau Ordovicis, a golygydd yr 'Haul,' yn amddifad o allu moesol i gydnabod y gwirionedd.

Y daflen ganlynol a ddengys gyfartalwch genedigaethau anghyfreithlawn yn Lloegr, ac yn rhai o'r gwledydd cyfandirawl:—

| | | |
|---|---|---|
| Sardinia, | 2.091 | y cant. |
| Sweden, | 6.562 | — |
| Norway, | 6.678 | — |
| Lloegr, | 6.721 | — |
| Belgium, | 6.772 | — |
| Ffrainc, | 7.114 | — |
| Prwssia, | 7.122 | — |
| Denmark, | 9.351 | — |
| Hanover, | 9.876 | — |
| Austria, | 11.380 | — |
| Wurtenburg, | 11.740 | — |
| Saxony, | 14.997 | — |
| Bavaria, | 20.598 | — |

Ond os oes eisieu prawf mwy penderfynol, dymunwn genad i'w gyflwyno. Yn yr un adroddiad, yr ydym yn cael y cyfrifon a ganlyn, y rhai a ddangosant gyfartalwch y genedigaethau anghyfreithlawn i bob can' mil o fenywaid. Y canolrif yn Lloegr yw 422. Y mae Cymru 19 o dan y canolrif hwnw, yr hyn sydd yn profi i eglurdeb fod anniweirdeb yn ffynu i raddau mwy yn Lloegr:—

| | | |
|---|---|---|
| Gogledd orllewinol, | 609 | i bob can' mil. |
| Canoldir gogleddol, | 494 | —— |
| Caerefrog, | 484 | —— |
| Gogleddol, | 481 | —— |
| Dwyreiniol, | 477 | —— |

| | | |
|---|---|---|
| Canoldir deheuol, - - | - 436 i bob can' mil. | |
| Gorllewinol, - - | - 432 | —— |
| Cymreig, - - | - 403 | —— |
| De-ddwyreiniol, - - | - 369 | —— |
| De-orllewinol, - - | - 329 | —— |
| Y brifddinas, - - | - 190 | —— |

Hyderaf fod y sylwadau blaenorol yn ddigon i brofi fod y cyhuddiadau hyn yn ddisail. Gosod allan holl ferched Cymru fel pentwr o buteiniaid, nis gall wneyd niwed i neb yn y diwedd ond y rhai a wnant y cyfryw haeriadau. Gweled offeiriaid yn ymddwyn fel hyn, a hyny gyda phleser amlwg, sydd yn wirioneddol alarus. Y mae dynoliaeth yn ffieiddio yr olygfa ar weinidog gwirionedd Duw, ac un a gymer arno fod yn olynwr yr apostolion, yn gwneyd ei hun yn genad twyll ac yn apostol enllib."

Dywedwn unwaith eto, oblegid rhaid dywcyd yr un peth lawer o weithiau cyn y dealla rhai pobl, nad ydym mewn un modd am gelu y gwirionedd. Ac nid ydym ychwaith am gelu fod cyflwr Cymru, mewn cysylltiad â'r mater hwn, yn wir druenus. Nid yw felly mewn cymhariaeth i wledydd eraill; ond y mae felly wrth ystyried ei manteision, ynghyd â'i rhagoriaeth mewn gwybodaeth grefyddol. Nid oes un gwladgarwr nad yw yn teimlo oblegid hyn, yn gymaint ag oddiwrth yr anwireddau a draethir gan ein gelynion; ac y mae yn gweddu i ni ystyried y mater yn ddifrifol a chwilio yn fanwl i'r achosion. Y mae rhai yn medru dyfod i ben â'r gorchwyl yn bur hawdd. Yn ol eu tyb hwy, Ymneillduaeth yw gwreiddyn y cwbl. Yn yr Adroddiad am sir Aberteifi, cawn y dystiolaeth a ganlyn oddiwrth y Parch. L. H. Davies, Troed-yr-aur, yn y sir hono.

"Y maent yn fynych yn cyfarfod mewn ysgolion nos yn y tai i barotoi y pwnc, ac y mae hyn yn tueddu at anfoesoldeb rhwng y bobl ieuainc o'r ddau ryw, y rhai yn fynych a dreuliant y nos ar ol hyny gyda'u gilydd mewn taflodydd. Mor gyffredin yw y diffyg o ddiweirdeb ymhlith y benywaid, fel, er i mi addaw dychwelyd y tâl am briodi i bob pâr na enid eu plentyn cyntaf am naw mis ar ol y briodas, nid oedd ond un yn meddu hawl iddo mewn chwe' mlynedd. Yr oedd y rhan fwyaf o honynt yn feichiog. Dywedir mai peth cyffredin yw iddynt droseddu y seithfed gorchymyn ar yr ammod o briodi os beichioga y ferch."

Dyma yr achos wedi ei benderfynu, yn ol barn y Parch. L. H. Davies. Dim ond difodi y "pwncau," a'r cyfarfodydd y nos, dyna yr oes euraidd wedi gwawrio. Ond amlwg yw, mai nid yn erbyn cyfarfodydd y nos y mae y gwrthwynebiad; oblegid y mae llawer o'r offeiriaid yn cynnal cyfarfodydd cyffelyb. Yn Llanbedr, dywedai Dr. Llewelyn, yr hwn feddyliem sydd fwy gŵr na Lewis Henry Davies, ei fod yn myned i sefydlu ysgol nos i'r tlodion. Y gwirionedd yw, mai yn y capeli, a phob peth cysylltiedig â hwynt, y mae y drwg. Caiff y meibion a'r merched ieuainc gyfarfod mor fynych ag y mynont, ond iddynt beidio gwneuthur hyny mewn capeli a thai Ymneillduol. Cânt gadw "nosweithiau llawen," i ddiota a chanu maswedd, a dawnsio, &c., heb un perygl i'r gwŷr rhinweddol hyn eu haflonyddu; ond os awn i geisio eu tynu oddiwrth y cyfryw arferion halogedig trwy godi cyfarfodydd crefyddol yn eu lle, yr ydym yn rhoddi achlysur, meddant hwy, i bob anfoesoldeb. Cyfarfodydd y nos a welodd Ymneillduwyr Cymru o'r dechreuad, pan nad oedd ond yr Eglwys Sefydledig yn teyrnasu yn ein tir; a'r holl wahaniaeth yw, eu bod yn cael eu treulio yn awr i ddysgu y bobl i ofni Duw a chilio oddiwrth ddrygioni, yn lle i feithrin oferedd a llygredigaeth. "Tydi sydd yn llwydo y dwfr," meddai y blaidd wrth yr oen, gan ysgyrnygu hyny o fonau dannedd

oedd ganddo wedi eu gadael. "Pa fodd y gall hyny fod, barchedig syr," meddai yr oen yn wylaidd, "Onid oddiwrthych chwi y mae y ffrwd yn rhedeg ataf fi?" Felly y dywedwn ninnau, O'r hen amser gynt, pan nad oedd son am Ymneillduaeth yn ein gwlad, o'r hen amser dedwydd, paradwysaidd hwnw, y mae yr arferiad o gadw cyfarfodydd y nos wedi rhedeg i lawr i'n dyddiau ni. Nid ydym yn dadleu drostynt. I'r gwrthwyneb, byddai yn well genym fod llai o honynt. Os nad yw crefydd yn werth i ni adael ein gorchwylion ganol dydd er ei mwyn, nid yw yn werth ei phroffesu o gwbl: ac nid oes ammheuaeth nad yw treulio llawer o nosweithiau bob wythnos mewn cyfarfodydd cyhoeddus yn tueddu i rwystro crefydd deuluaidd. Hyfryd fyddai gweled ein cydwladwyr yn rhoddi dwy awr bob nos i hyfforddi eu plant, ac i ddarllen llyfrau buddiol: ond hyd yn hyn, mae llawer o honynt, ysywaeth, heb ddysgu treulio eu hamser yn ddedwydd ac adeiladol yn eu cartrefi; ac o ganlyniad, nid oes genym ond dewis un o ddau beth, un ai eu gadael i chwilio am ddifyrwch mewn cyfarfodydd llygredig, neu ymdrechu i'w hennill oddiwrthynt trwy godi cyfarfodydd gwell yn eu lle. Hyderwn fod yr anghenrheidrwydd am danynt yn lleihau, mewn un ystyr o leiaf, o gymaint ag y mae ysbryd darllen yn cynnyddu, a dirwest yn ennill tir. Ond yma eto, y mae genym un gofyniad i'w osod ger bron y boneddigion hyny sydd yn beio cymaint ar y cyfarfodydd nosawl. A wnewch chwi ganiatâu i ni gyfarfod yn y dydd? A gaiff eich gweision a'ch morwynion ryddid i gysegru dwy awr bob wythnos, ganol dydd goleu, i addoli Arglwydd pawb oll, ac i gael eu hegwyddori yn fanylach yn yr hyn a glywsant ar y Sabboth? A ydynt yn cael dyfod yn awr, pan fyddom yn ymgynnull liw dydd? Yr ydych yn cwyno yn fawr oblegid fod y bobl ieuainc yn dyfod at eu gilydd wedi nos. Drwg genym ninnau fod anghenrheidrwydd am hyny. Yr ydym yn gwneyd a allom, ac nid gormod ydyw dyweyd ein bod yn gwneyd mwy na neb arall, i daenu llyfrau rhad ymhlith y bobl, gan obeithio y bydd hyny yn foddion i'w dysgu i werthfawrogi eu cartrefi. Pe caem hwynt i'r agwedd hon, gallem hebgor ein cyfarfodydd nosawl, a dyfod at ein gilydd yn *unig* yn y dydd. Ond goddefwch i ni ofyn i chwithau, foneddigesau a boneddigion oll, a ganiatêwch chwi y rhyddid hwn i'r rhai sydd dan eich hawdurdod? Nid ydym yn gofyn llawer. Gan nas gallwn ddysgwyl i chwi gydymdeimlo yn hollol â'n syniadau crefyddol, byddwn yn berffaith foddlawn os cânt ddyfod unwaith bob wythnos, i gadw y meddwl am fyd arall rhag myned o'u cof, ac i'w dysgu i ymddwyn yn gywir ac uniawn yn y sefyllfa a osodwyd iddynt yn y byd hwn. Beth meddech chwi am y cynnygiad? Yr ydym yn aros am eich atebiad. Ac nes y rhoddoch ryw atebiad dealladwy ac ymarferol, doethineb i chwi fyddai peidio siarad llawer am gyfarfodydd y nos.

Y mae genym un gofyniad arall, i'r hwn nid ydym yn dysgwyl atebiad, oblegid gwyddom yn dda ei fod yn anatebadwy. Os Ymneillduaeth yw yr achos o anniweirdeb y Cymry, pa fodd y mae sir Faesyfed yn fwy truenus yn yr ystyr yma nag un sir yn yr holl dywysogaeth? Digrif a dyddorawl fyddai gweled rhywun yn cynnyg ateb y gofyniad hwn. Dyma i chwi waith, gyfeillion dysgedig, nad oes neb o honoch yn alluog i ddyfod trwyddo. "Mae graddau yn nysg Rhydychain," meddai Thomas Edwards o'r Nant, "na ddichon pawb mo'u dwyn." Ond ni fedr Rhydychain a Chaergrawnt ynghyd ddim dyfod i ben â'r gorchwyl hwn. Addawsom un

gyfrol o'r "Traethodydd" ryw dro o'r blaen am atebiad i ryw ofyniad, ac ni chawsom hyd heddyw ond un ymgeisydd; ond anturiwn addaw tair cyfrol o'r "Traethodydd"—a pha le y ceir cyfrolau i'w cysdadlu â hwynt —i bwy bynag a fedro ddangos yn foddlonawl pa fodd y mae Ymneillduaeth yn achosi anniweirdeb yn Nghymru, pan y mae sir Faesyfed yn llawer is yn y bai hwnw, er ei bod hyd yma bron yn berffaith rydd oddiwrth ddylanwad yr Ymneillduwyr. Er mwyn i chwi gael pob mantais i ddëall y gofyniad—oblegid hysbys ydyw nad yw pawb o honoch chwithau yn hynod o gyflym—ni a gymerwn fenthyg cyffelybiaeth i'w ddangos mewn modd mor eglur ag y mae yn ddichonadwy. Yr oedd tyddynwr unwaith, wrth weled nad oedd yr hen ddull o drin ei dir yn ateb dyben, wedi penderfynu cymeryd ffordd arall ato, trwy ei sychu yn dda, ac aredig yn ddyfnach, a chario llwythi lawer o galch iddo, yr hwn oedd yn y wlad hono ar y pryd yn beth hollol newydd. Yr effaith oedd iddo gael cynnyrch rhagorol, cymaint ddwy waith o wair, cymaint dair gwaith o haidd, a chymaint bedair gwaith o wenith. Ond rywfodd, er ei ofid, yr oedd yno gryn lawer o chwyn yn tyfu ar ol yr holl driniaeth. Ac ar ryw ddiwrnod, dyma ei gymydog yn dyfod heibio, ac wedi taflu golwg ar rai o feusydd y tyddynwr diniwed, dyma ef yn brysio at y meistr tir, ac er mwyn drygu gwrthddrych ei genfigen, yr hwn oedd yn trigo yn ddiofal yn ei ymyl, y mae yn haeru fod y dull newydd yn andwyo y tir, ac yn enwedig fod y calch yn llanw yr holl dyddyn â chwyn. Ond erbyn edrych, yr oedd llawer mwy o chwyn ar dir arall gerllaw iddo, yr hwn a drinid yn ol yr hen ddull sefydledig. Yn awr, y gofyniad yw, Pa fodd yr oedd y calch yn euog o gynnyrchu yr holl ddrwg, pan y mae efrau a phob sothach niweidiol yn fwy toreithiog o lawer ar y tyddyn arall, yr hwn sydd hyd yma bron yn hollol dan yr *hen* gyfundrefn amaethyddol. Dyma y gofyniad—i ba le y mae i ni droi am atebiad? Cymaint a hyn am y cyhuddiad, fod Ymneilduaeth Cymreig yn achosi anniweirdeb. Tybygem ei fod erbyn hyn yn ddigon marw. Nid oes ynddo nac ysgogiad na chwythad. A thrwy yr awdurdod sydd yn perthyn i'n swydd, fel golygwyr y "Traethodydd," yr ydym yn galw ar y Parchedigion J. W. Trevor ac L. H. Davies i symud yr hen ysgerbwd ffiaidd yn ddioed oddiar brif-ffordd y frenines, yn lle ei fod yno yn peri anghysur i ddeiliaid ffyddlawn ei mawrhydi. Gadawn iddynt eill dau ei flingo os mynant, a gwneyd y defnydd a welant yn dda o'i groen. Hwyrach y barnant mai gwell fyddai ei lenwi âg eisin, a'i anfon i'r *British Museum*. Ond am roddi bywyd ynddo mwyach, yr un peth fyddai iddynt geisio adfywio un o anghenfilod afluniaidd y cynoesoedd, y rhai a gloddir i'r golwg gan ddynion ymofyngar y dyddiau presennol. Am hwn, nid oes dim i'w ddywedyd yn dragywydd mwy, ond iddo fod unwaith yn ceisio ymsymud yn amrosgo mewn rhyw gwr o'r greadigaeth yn y bedwaredd-ganrif-ar-bymtheg; ac nid yw yn debyg y bydd neb yn teimlo awydd i chwilio yn fanylach i'w hanes.

Cyn gadael y mater hwn, y mae cyfiawnder yn ein rhwymo i ychwanegu, nad oes ond rhifedi bychan, mewn cymhariaeth, wedi bod yn euog o geisio camarwain y Saeson mewn perthynas i gyflwr y Cymry, a'r achosion o'u hanfoesoldeb. Ymddengys, hyd y gellir barnu oddiwrth yr Adroddiadau hyn, fod y rhan fwyaf o'r offeiriaid a'r boneddigion wedi rhoddi atebion digon teg i'r gofyniadau a gyfeiriwyd atynt. Ni fuasai yn iawn iddynt ein desgrifio yn well nag ydym. A chyda golwg ar yr achosion, nis gallwn

lai na chyttuno â'r rhai hyny a briodolant yr anniweirdeb sydd yn ein gwlad, mewn rhan, i'r diffyg o wahanol ystafelloedd yn mhreswylfëydd y tlodion, ac hyd yn nod y tyddynwyr. Dylai perchenogion y tai edrych at hyn. Wrth eu drws hwy, i fesur mawr, y mae y bai yn gorwedd. Ond y prif achos, ac un sydd yn ddigon, wrth ei ystyried, i beri i ni synu na b'ai bastarddiaid Cymru yn llawer amlach, yw yr hen arferiad warthus sydd yn ffynu yn mysg ein pobl ieuainc o ddwyn ymlaen eu cyfeillach rag-briodasol ar amser ac mewn lleoedd anweddus. Dyma yr ysmotyn duaf ar gymeriad ein cenedl, yr hwn sydd yn ei gwneyd yn ddiareb yn mhlith cenedloedd y ddaear. Dowch allan, offeiriaid a boneddigion Cymru, yn erbyn y bai hwn, ac ni a ymunwn â chwi o ewyllys calon. Ac y mae yn dda genym dystiolaethu fod yr Ymneillduwyr eisoes wedi gwneyd llawer. Y maent wedi pregethu yn ei erbyn, wedi ysgrifenu yn ei erbyn, wedi troi holl rym eu dysgyblaeth eglwysig yn ei erbyn, ac wedi codi cymdeithas benodol yn ei erbyn. Ond mewn undeb y mae nerth. A ymunwch chwi â ni? Yn lle taflu y bai ar ein gilydd, a gawn ni gydweithredu o hyn allan i wrthwynebu y Philistiad dienwaededig hwn? Pe ymunai mawrion ein gwlad, a phob plaid grefyddol, yn un gymdeithas yn ei erbyn, byddai lle i obeithio y gwelid ef yn fuan wedi ei orchfygu.

Nid ydym yn barnu fod achos i ni ofyn maddeuant am aros cyhyd gyda'r pwnc hwn, gan fod moesoldeb ein gwlad ac anrhydedd ein crefydd yn gysylltiedig âg ef mewn modd arbenig; a'i fod hefyd yn hoff destun gan y rhai hyny a ewyllysiant ein drwgliwio. Ond awn ymlaen bellach i roddi rhai dyfyniadau lled helaeth o'r Adroddiadau. Cyhoeddwyd hwynt mewn tair o gyfrolau unplyg mawrion. Rhoddir hanes siroedd Caerfyrddin, Morganwg, a Phenfro, gan Mr. Lingen; siroedd Brycheiniog, Aberteifi, Maesyfed, a Mynwy, gan Mr. Symons; a'r oll o Ogledd Cymru, gan Mr. Johnson. Yn nechreu pob cyflyfr, rhydd yr awdur olygiad ar agwedd y siroedd lle y bu yn ymweled. Neu yn hytrach, hyn ydyw yr Adroddiad; ac yna rhoddir hanes manwl am bob ysgol, mewn ffordd o attodiad. Ymddengys mai un o'r nodweddau a dynodd eu sylw yn fwyaf oedd yr Ysgol Sabbothol, a diammhau yr hoffai ein darllenwyr wybod pa beth a ddywedant ar y pen hwn. Yr hyn a ganlyn yw tystiolaeth Mr. Lingen:—

"Fel hyn y mae cylch cymdeithasol y Cymro yn hollol wahaniad oddiwrth bob dylanwad oddieithr yr hyn a ymgyfyd ymhlith ei gydradd. Y mae yn cilio yn eiddigeddus oddiwrth gynnal unrhyw gymundeb â dosbarthiadau uwch a gwahanol iddo ei hun. Boddlona ei uchafion, gan mwyaf, yn unig i fod yn anwybodus o'i hanfodiad yn ei holl gysylltiadau moesol. Gadewir ef i fyw mewn isfyd o'r eiddo ei hun: ac y mae gyrfa cymdeithas yn myned yn hollol uwch ei ben, fel na chlywir am dano, oddieithr pan y bydd i ymddangosiad dyeithr ac anarferol o Ddiwygiad, neu Rebecca, neu ymdoriad Siartaidd, alw sylw ar natur cymdeithas a allai gynnyrchu unrhyw beth mor wrthwyneb i bob peth a brofasom mewn lleoedd eraill.

Gan ei fod wedi ei dori oddiwrth, neu ei gyfyngu i oruchwyliaeth gorfforol yn, y byd ymarferol, y mae ei alluoedd meddyliol, cybelled ag y maent heb gael eu gorchfygu gan galedfyd bywyd gwledig, neu anghymedroldeb bywyd gweithfaol, wedi cael eu hymarfer hyd yma braidd yn hollol at dduwinyddiaeth. Yn y cyfeiriad yma hefyd oddiwrth achosion, y rhai sydd allan o'm terfynau i'w nodi yn neillduol, y mae wedi ymsymud o dan yr un dynged wahaniaethol, ac y mae ei addoliad fel ei fywyd yn wahanol i'r eiddo y dosbarthiadau sydd uwchlaw iddo. Ac nid yw wedi methu mewn canlyniadau teimladwy yn ei derfynau dewisedig o ymdrech annibynol. Y mae wedi adeiladu tai, ac yn cynnal gweinidogaeth ei addoliad dros wyneb yr holl wlad i raddau cyfaddas i'w anghen. Nid oes genyf fi ryddid i sylwi ond ar un rhan o'r gyfundraeth

hon, sef yr Ysgolion Sabbothol, yr hyn a wnaf ar unwaith gyda rhyw faint o fanylrwydd, fel y maent yn gosod allan yr arddangosiad mwyaf neillduol o ddëall cynhenid, ac ymdrechiadau y cyffredin o bobl, yn hollol ddigynnorthwy, i addysgu eu gilydd yn ol eu cynllun eu hunain. Y mae yr ysgolion hyn wedi bod yr unig, ac y maent yn bod y prif a'r mwyaf cydnaws, ganolbwynt addysg. Trwyddynt hwy y mae y rhan ieuangaf o'r rhai sydd mewn oedran o'r dosbarthiadau llafurol yn Nghymru yn gyffredinol yn gallu darllen, neu y maent yn dysgu darllen yr ysgrythyrau yn iaith eu mam. Bernir fod y bummed ran o'r holl boblogaeth yn ddeiliaid o'r ysgolion, a hanner y nifer hwn yn alluog i ddarllen yr ysgrythyrau.

Nid yw y cynllun o'r cyfryw Ysgolion Sabbothol yn ddim ychwaneg na hyn. Cyferfydd cynnulleidfa yn y capel. Y mae yn ethol y rhai y mae yn eu hystyried ei haelodau mwyaf teilwng, dëallus, a chrefyddol, i weithredu fel athrawon i'r lleill, ac un neu ychwaneg i arolygu y cyfan. Ffurfir dosbarthiadau Biblau, dosbarthiadau Testamentau, a dosbarthiadau o'r cyfryw na allant ddarllen. Cyfarfyddant unwaith bob Sabboth: yn gyffredinol o ddau hyd bedwar y prydnawn, weithiau yn y boreu hefyd. Dechreuir yr ysgol trwy weddi gan yr arolygwr, neu un o'r athrawon; yna cenir; wedi hyny y dilyn y gyfran o addysg: bydd dosbarthiadau y Biblau a'r Testamentau yn darllen ac yn eglurhau yr ysgrythyrau, a'r lleill yn dysgu darllen; terfynir yr ysgol yn yr un dull ag y dechreuodd. Sefydlir ysgolion cyffelyb mewn lleoedd eraill gan ranau o'r un gynnulleidfa, pan y bydd pellder y ffordd, neu anghyfleusderau cyffelyb yn peri ei bod yn anhawdd ymgyfarfod yn y capel. Gelwir y rhai hyn yn gangenau. Y mae y cyfansoddiad drwyddo oll yn werin-drefn—rhoddir swydd a rhyw fath o hawlfraint braidd i bob dyn ag sydd yn gymhwys ac yn foddlawn i gymeryd rhyw ran yn ei dygiad ymlaen, heb unrhyw olwg ar ei sefyllfa gymdeithasol y chwe' diwrnod eraill o'r wythnos. Dengys fy nghyfrif i 11,000 o athrawon gwirfoddol, y rhai y mae ynghylch saith yn cael eu haddysgu gan bob un. Pa beth bynag a all cywirdeb y cyfrif fod, yr wyf yn credu nad yw y cyfartalwch perthynasol hwn ymhell o fod yn gywir. Y mae sefyllfa athraw yn cael ei chwennychu, ac yn cael ei lliosogi yn gyfatebol. Nid anfynych yr edrychir arni gan yr ysgolorion uchaf yn yr ysgolion plwyfol fel y wobrwy flaenaf. Iddynt hwy y mae yn radd o ddyrchafiad tuag at fod yn bregethwr a gweinidog. Y mae cyffredinolrwydd yr ysgolion hyn, a rhifedi mawr y personau sydd yn perthyn iddynt, y rhai sydd yn cymeryd rhan yn eu llywodraethiad, wedi cynnefino y bobl â rhai o'r ymadroddion a'r trefniadau mwyaf arferedig mewn cyfansoddiad cydweithredol, megys cyfeisteddfod, ysgrifenydd, ac felly ymlaen.

Fel hyn y mae pob peth yn perthyn i'r cyfryw sefydliadau a ddichon eu cyfaddasu i chwaeth y bobl yn gyffredin. Y maent yn boddhau y duedd hono o fod mewn cymdeithas liosog ag sydd yn bywiocau y Cymry tuag at eu gilydd. Y maent yn gosod gobaith am swydd o flaen y rhai sydd ar bob achos arall yn ddeiliaid. Y pynciau sydd yn ffynu ynddynt ydynt y rhai a fyddont o ddyddordeb mwyaf cyffredinol; ymdrinir â hwy mewn rhan yn egwyddorol, mewn rhan yn ddadleuol, mewn rhan yn areithyddol, yr hyn a gymeradwyir fynychaf. Mewn gair, mae pob gwr, gwraig, a phlentyn, yn teimlo yn ddedwydd gartref ynddynt. Y mae y cyfan ymhlith cymydogion a chydradd. Pa anwybodaeth bynag a ddangosir yno, pa gamgymeriad bynag a wneir, pa dybiau dyeithr bynag a osodir ger bron, nid oes yno neb uwchlaw iddynt i wenu wrth weled eu hanwybodaeth. Arferion cyffredin a dreiddia drwy y cyfan. Y maent yn ddealladwy neu esgusodol y naill i'r llall. Gan hyny y mae i bob un ag sydd ganddo rywbeth i'w ddweyd gyflawn ryddid i'w adrodd. Pa beth bynag y gall y cyfryw Ysgolion Sabbothol fod fel lleoedd o addysg, y maent yn feusydd gwirioneddol o fywiogrwydd meddyliol. Y mae y llafurwr Cymreig yn ymddeffroi atynt. Y mae y Sabboth iddo ef yn fwy nag ymorphwysiad corfforol a dyhewyd. Dyma ydyw ei gyfleusdra goreu o'r holl wythnos i ymddangos yn ei gymeriad ei hun. Dengys ei syniad o hyn trwy wisg a olygir ganddo gyda theimlad bron mor Sabbothol a'r diwrnod ei hun. Nid wyf yn cofio i mi weled dyn mewn oed yn fratiog mewn un Ysgol Sabbothol drwy y dosbarthranau tlotaf. Ymddangosent i mi bob amser wedi ymwisgo yn well ar y Sabbothau na'r dosbarthiadau cyffelyb yn Lloegr.

Y meddylddrych cyntaf o Ysgol Sabbothol Gymreig (cymysg o addoliad, dadleuaeth, ac addysg elfenol, yr hyn a gyflawnir gan y gynnulleidfa iddi ei hun, heb unrhyw oruchwyliaeth arall heblaw yr eiddo ei hun) a ganfyddir o dan bob amrywiaeth o ymddangosiad, rhwng y ffurf fwyaf trefnus, a'r un fwyaf iselaidd.

Yn y ffurf iselaf o'r sefydliad, ni amcenir ond ychydig heblaw darllen, neu araf ddysgu darllen yr ysgrythyrau. Y mae pob dosbarth ar ei ben ei hun yn darllen y Bibl drwyddo o'r dechreu i'r diwedd. Nid oes yno holi nac eglurhau yn y rhan

fwyaf o'r dosbarthiadau; neu os bydd, y maent yn holion ynghylch geiriau, y rhai a gaf eu nodi eto. Heblaw hyn, y maent yn dysgu adrodd adnodau, pennodau, a phwncau. Gyda golwg ar yr adnodau, a'r pennodau, gwelwn y fath gyfrifon hynod a'r un ganlynol:—

Yn y flwyddyn ddiweddaf adroddwyd yn yr ysgol 105 o bennodau, yn cynnwys 1716 o adnodau o'r ysgrythyrau sanctaidd, ynghyda 7988 o adnodau.

| | Rhif yr ysgolorion. | Rhif yr adnodau a ddysgwyd. | Rhif y Salmau a ddysgwyd. | Rhif y pennodau a ddysgwyd. |
|---|---|---|---|---|
| [*Prif Gapel*] Soar, - - - | 75 | 1967 | 173 | 92 |
| [*Cangenau*] Tonnau, - - | 26 | 1109 | 80 | 21 |
| Melincythau, - | 66 | 1056 | 73 | 45 |
| Kimle, - - | 32 | 326 | 42 | 8 |
| Britton Ferry, - | 76 | 882 | 8 | 12 |
| Skewen, - - | 60 | 1745 | 12 | 35 |
| Bryncock, - - | 72 | 1196 | 35 | 45 |
| | 407 | 8281 | 423 | 258 |

Ar y pryd y cymerwyd y cyfrif hwn, cyflwynid gwobrwyon i Levi Lewis, bachgen yn gwasanaethu yn y porthladd, yr hwn oedd wedi dysgu ac adrodd 35 o Salmau; ac i David Hughes, bachgen i löwr, yr hwn a ddysgodd ac a adroddodd 26 o bennodau o'r Hen Destament yn y tri mis blaenorol.

Pwncau yw y lliosog o 'pwnc,' yr hyn sydd yn arwyddo pwnc o athrawiaeth, wedi ei argraffu yn holiad ac ateb, gyda chyfeiriadau ysgrythyrol. Y mae pob enwad, a braidd bob capel, yn meddu pwncau o'r eiddo ei hun, y rhai o dro i dro a gyhoeddir yn y dull rhataf y gellir. Ni ddysga pob dosbarth ond ei ran ei hun yn unig. Cyn gynted ag y dysgir ef allan yn dda, gwna yr ysgol fath o orymdaith orfoleddus i gapelau eraill, ac yn fynych i eglwysi, i adrodd yn gyhoeddus yr hyn y maent fel hyn wedi ei ddysgu allan. Y dull o'i adrodd yw ar fath o dôn, bob yn rhan, ac yn y diwedd ymuna pawb. Dysgwylir yn gyffredin iddynt fod yn alluog i ganu hymn neu ddwy ar yr un pryd.

Gellir gweled yn y cyfryw ysgolion bersonau mewn gwth o oedran wedi dysgu darllen ynddynt.

Gwraig 72 oed, a ddechreuodd ddysgu yr egwyddor yn 70, a darllenodd i mi dudalen o lyfr elfenol yn dra chywir.

Yn yr ysgol hon yr oedd tair o hen wragedd ymhlith yr ysgolorion, un uwchlaw 80 oed, yr hon yn yr oedran hwnw a ddysgodd ddarllen. Yr oedd yn awr yn ddall, ond yn dilyn y dosbarth i wrandaw, a gallai adrodd amryw Salmau.

Anfynych y cedwir cyfrif manwl o'r gwyddfodolion. Bydd yr ysgol weithiau yn peidio ar dymmor anfanteisiol a dyddiau byrion. Ar ei hail gychwyniad, dywedir iddi gael ei 'hadnewyddu.' Gwneir hyn yn y cyffredin trwy gyfarfod gweddio.

Y mae grym yr hen sefydliad wedi ei wisgo â dull diweddarach yn bur wahanol oddiwrth yr anghreifftiau blaenorol; y cyfryw ag yw Capel Mair, Capel Pen-y-groes, undeb Ysgol Sabbothol Narberth, ysgolion y Wesleyaid a'r Annibynwyr yn Milford, neu yr eiddo y Wesleyaid yn Bridgend a Chaerdydd. Y rhagoriaeth mwyaf nodedig yn yr ysgolion diweddaf hyn yw, fod yr holl ddosbarthiadau a all ddarllen yr ysgrythyrau yn unfryd yn cymeryd yr un rhan, a hwnw yn gyffredin yn bur fyr. Trwy y cynllun hwn, y mae y gweinidog (os bydd yn cymeryd rhan yn yr ysgol) yn gallu parotoi yr athrawon ymlaen llaw, neu yr athrawon yn eglurhau rhyw gyfran yn eu plith eu hunain, ac ar ddiwedd yr ysgol gellir yn unfrydol egwyddori y dosbarthiadau.

Y mae yr hyn a nodwyd fel achosion o boblogrwydd, a chyn belled a hyny, defnyddioldeb yr Ysgolion Sabbothol, yn perthynu i'r rhai mewn oedran yn hytrach nag i'r ieuenctyd. Mewn rhanau o'r wlad, lle y mae y rhan fwyaf o ddeiliaid yr Ysgol Sabbothol wedi tyfu i fynu, y mae addysg y dosbarthiadau ieuengaf yn wael ac afreolaidd. Gwir eu bod yn dysgu darllen mewn amser, ac fel y maent yn myned yn hynach, y maent yn gweithio eu hunain i ddull yr ysgol. Oddieithr, pa fodd bynag, fel darpariaeth i hyn, nid yw yr addysg a gyrhaeddir ar y cyfryw achlysuron o nemawr werth. Er mai yr Ysgolion Sabbothol yn rhy fynych yw yr unig foddion a osodir yn lle addysg ddyddiol, eto ni honir y gallant gyflawni y diffyg. Ar y pen hwn nis gall un prawf fod yn fwy cadarn na'r eiddo athrawon ac arolygwyr Ysgolion Sabbothol.

*Mr. John Davies.* 'Nid yw yr addysg a dderbynir mewn Ysgol Sabbothol ddim yn agos yn cyfateb i anghenion y tlodion.'

*Mr. Rhys Jones.* 'Y mae yr Ysgolion Sabbothol yn effeithio yn fawr mewn cyfranu addysg foesol a chrefyddol i'r bobl, ac nid oes ond ychydig o blant heb fod yn ddeiliaid o'r naill Ysgol Sabbothol neu y llall. Pa fodd bynag, nid yw yr addysg a allant gyrhaedd yma yn cyfateb i'w hanghenion; gan eu bod yn cael eu cyfyngu yn hollol at bynciau crefyddol, a'r gelfyddyd o ddarllen. Yr ydym yn cael cryn lawer o drafferth i beri cymaint a hyn o gynnydd mewn plentyn nad yw yn perthyn i'r un ysgol ddyddiol.'

*Mr. D. Thomas.* 'Y mae yr hyfforddiant a dderbynir mewn Ysgol Sabbothol yn hollol annigonol er addysgiad cyffredinol plant y tlodion.'

Y mae yr Ysgolion Sabbothol poblogaidd yn cael eu cynnal ar ychydig, neu heb ddim traul. Y mae braidd bob ysgolor mewn oedran yn meddu Bibl o'i eiddo ei hun. Y llyfrau elfenawl ydynt o'r fath mwyaf cyffredin. Prynir y rhai hyn trwy gydroddion. Y mae esboniadau yn gyffredin gan bersonau unigol. Mae yr addysg Rabbinaidd, neu yr athrawiaeth uchel, a gynnwysir ynddynt yn fynych yn cyfateb i chwaeth y cyffredin. 'Clywais y cyfrif mwyaf manwl yn cael ei roddi o'r fath ddefodau a bwrw allan o'r synagog, a chyfansoddiad y cynghorau Iuddewig; a chanfyddir trwy gyfeiriad at Adroddiadau fy nghynnorthwywr Mr. Morris, fod cydnabyddiaeth â ffurfiau yn cynnwys rhanau mwyaf dyrys duwinyddiaeth yn beth pur gyffredin yn eu mysg. Anfynych y defnyddir argraffleniau; eto dywedai y Parch. David Rees, Llanelli, wrthyf, ei fod ef yn credu fod deiliaid yr Ysgolion Sabbothol yn fwy cydnabyddus â daearyddiaeth Palestina nag â'r eiddo Cymru. Nid oes lyfrgelloedd yn perthyn ond i'r ysgolion sydd yn cael eu dwyn ymlaen oreu.

Gellir cyfrif am y dylanwad ag y mae iaith neillduol wedi ei gyrhaedd mewn rhoddi y cyfeiriad hynod hwn i addysg y cyffredin oddiwrth y daflen ganlynol (a gymerwyd allan o'r crynoad plwyfol), yn yr hwn y mae y ddau gantref cyntaf yn siarad yr iaith Gymraeg, ac yn gorwedd yn y rhan uchaf o sir Gaerfyrddin; y ddau olaf yn siarad yr iaith Seisoneg, ac yn gorwedd yn neheubarth sir Benfro :—

| Cantrefi. | Poblogaeth. | Rhif yr ysgolion dyddiol. | Rhif yr Ysgolion Sabbothol. | Rhif yr ysgolorion dyddiol. | Rhif yr ysgolorion Sabbothol. Cysyllt. a'r Eglwys. | Ymneillduol. | Y cyfan. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Cathinog, - | 11,067 | 12 | 37 | 502 | 356 | 2600 | 2956 |
| Perfedd, - | 7,460 | 10 | 28 | 445 | 278 | 2600 | 2878 |
| Castellmartin, | 4,607 | 12 | 11 | 479 | 407 | 93 | 500 |
| Narberth, - | 13,151 | 31 | 27 | 1274 | 961 | 1252 | 2213 |

Hynod a neillduol yw y cymeriad a ffurfiwyd trwy y duedd hon mewn meddyliau wedi eu gwahanu yn uniongyrchol neu yn anuniongyrchol, braidd oddiwrth holl gyfryngau gwybodaeth fydol. Gwelir gwresogrwydd barddonol ac ymroddgar teimladau crefyddol, dyfalwch gyda moddion crefyddol, dyddordeb zelog mewn gwybodaeth grefyddol, absennoldeb trosedd mewn cymhariaeth, ochr yn ochr â'r rhagfarnau neu y cyffröadau mwyaf direswm; hollol amddifadrwydd o drefn o feddwl a gweithredu, a (yr hyn sydd yn llawer gwaeth), diystyrwch cyffredinol o gymedroldeb, lle mae moddion gormodedd, o ddiweirdeb, geirwiredd, a gonestrwydd."

Yr hyn sydd yn ei synu yn fawr yw y ffaith fod y bobl gyffredin yn medru dwyn y gwaith ymlaen, heb neb o'u huchafiaid i edrych ar eu hol. Er mai i hyn y mae yn priodoli eu poblogrwydd, eto, eglur yw nad oes ganddo fawr o gred yn eu sefydlogrwydd a'u heffeithioldeb. Nid yw yn ymddangos ei fod erioed wedi deall y gall dynion gael eu llywodraethu gan unrhyw amcan uwch na hunan. Y mae y fath beth a dyn tlawd yn awyddu am wneyd lles, ac yn medru gwneyd lles, i'w gyd-ddynion, yn un o'r dirgeledigaethau nad yw efe eto wedi eu hamgyffred. Dyma lle mae llywodraethwyr gwladol, a'u gweision o bob gradd, o hyd yn cyfeiliorni. Nid oes ganddynt ddim ymddiried yn y bobl, nac un syniad am y fath beth ag egwyddor. Ni fedrant ddychymygu pa fodd y gall y ddaear ymgynnal yn y gwagle diderfyn heb fod ar gefn rhyw gawrfil anferthol: ac nid ydynt un amser yn alluog i estyn eu meddyliau yn ddigon pell i weled

fod yn rhaid, yn ol eu dull hwy o ymresymu, i'r cawrfil hwnw gael ei gynnal gan ryw gawrfil arall, ac felly yn ddiddiwedd. Sonia Mr. Lingen am ddynion, yn weision trwy yr wythnos, ac yn feistriaid ar y Sabboth. Oni ŵyr efe mai nid cyfoeth sydd yn gwneyd dyn yn wir barchus mewn cymdeithas fydol mwy nag yn yr Ysgol Sabbothol. Fel y dywed Burns:—

"*The rank is but the guinea stamp;*
*The man's the gold for all that.*"

Hir y parhâo y Cymry i barchu pob dyn yn ol ei haeddiant a'i deilyngdod gwirioneddol, ac nid yn ol ei fawredd amgylchiadol. Gwelir hefyd fod Mr. Lingen yn lled awgrymu nad yw yr holl ddysgeidiaeth grefyddol yn effeithio llawer ar ein moesau. Fel atebiad i hyn, yr ydym yn cyfeirio at holl foneddigion ein gwlad, ac yn gofyn iddynt yn ëofn, Pwy yw y rhai mwyaf bucheddol, mwyaf cyfiawn, mwyaf geirwir, yn eu gwahanol gymydogaethau? Onid rhai o athrawon ac aelodau yr Ysgolion Sabbothol? Ar yr un pryd, yr ydym yn barod i addef nad ydym yn llwyddo i wneyd trefn ar bawb ag sydd yn dyfod atom: ac nid yw yn annhebygol fod rhifedi mawr yn ein gwlad, o herwydd eu cynnefindra â moddion crefyddol, yn myned yn fwy caled, ac yn fwy hyf mewn annuwioldeb. Fel hyn y mae gair Duw yn dyweyd y byddai, ac fel hyn y bydd pa foddion bynag a arferir. Ond nid yw hyn yn eu cyfiawnhau hwy yn eu hanfoesoldeb, nac yn ein cyfiawnhau ninnau i beidio llafurio hyd y gallom i'w diwygio. Mae y ffaith a ddynodir yn niwedd y dyfyniad uchod—ac ofnwn y gellid cael anghreifftiau o galedwch cyffelyb mewn manau eraill —yn wirioneddol ddychrynllyd. Hwyrach ein bod yn ymfoddloni gormod yn yr Ysgolion Sabbothol i oleuo y dëall, heb amcanu at ddeffro y gydwybod. Y mae agwedd Cymru yn yr ystyr yma yn galw am ystyriaeth ddifrifol.

Trown bellach at Mr. Symons. Yr hyn a ganlyn yw ei dystiolaeth ef:—

"Mae tuedd gyffredinol yr Ysgolion Sabbothol yn wir fuddiol. Hwynthwy, mewn llawer o fanau, a fuont yr unig foddion i gyfranu yr ychydig gasgliad o wybodaeth ysgrythyrol sydd mewn bod; a chredwyf mai canlyniad addysg yr Ysgolion Sabbothol oedd tair rhan o bedair o'r atebion cywir a roddwyd i mi wrth brawf-holi yr ysgolion dyddiol. Cyfarfyddais â rhai Ysgolion Sabbothol rhagorol perthynol i'r Eglwys Wladol, lle y mae yr ysgrythyrau yn cael eu hegluro yn gystal a'u darllen; a Chatecism yr Eglwys—yn lle cael ei gyflwyno i feddwl y plentyn fel cyfres o eiriau i orlwytho y meddwl heb un cysylltiad â meddylddrychau—yn dyfod yn llythyren fywiol o athrawiaeth, ac yn ddeddflyfr ffrwythlawn o reolau moesol. Mae y cyfryw yn Aberystwyth, Llangenny, a St. Mary, Brycheiniog, lle y mae addysg yn cyrhaedd hyd at wasanaeth cyffredin ein Heglwys *(liturgy of our Church)*; ac y mae anghreifftiau eraill o addysg sylweddol yn cael ei chyfranu yn Ysgolion Sabbothol yr Eglwys; am yr hyn y rhoddir cofnodau cyflawn dan enwau y cyfryw blwyfydd; eithr yn yr holl amgylchiadau hyn y mae yr effaith yn cael ei gynnyrchu drwy arolygiaeth personol ac ymdrechion parhaus yr offeiriad ei hun, neu rhyw bersonau dysgedig, y rhai a ddysgant y plant eu hunain. Pan y mae y rhai hyn yn absennol y mae y cwbl yn suddo i hen gylch sathredig y gyfundraeth o ddysgu geiriau heb eu deall, a'r arfer beiriannyddol o ddarllen. Nid yw y plentyn yn edrych ar yr addysg yn ddim amgen nag atddodiad i galedwaith cylchynol dyddiau yr wythnos, ac y mae holl burdeb nodweddiad ac effaith ysbrydol yr Ysgol Sabbothol yn llwyr ar goll. A'r cyfryw ysywaeth yw y rhan fwyaf o honynt. Gyda golwg ar y drefn a ddilynir yn Ysgolion Sabbothol yr Eglwys, nid oes eisieu dywedyd ond ychydig: nid oes ynddi ddim neillduol. Hyn, yn fy marn ostyngedig i, yw eu prif ddiffygion. Y cylch cyffredin o ganu—darllen adnod ar ol adnod dros hir amser, a hyny yn gyffredin heb nac eglurhad, deongliad, na holiad o eiddo yr athraw—ac hefyd ailadroddiad *colect* a chatecism, yw swm yr addysg a weinyddir. Nid oes dim i ddihuno galluoedd, cyffroi dyddordeb, nawseiddio teimladau, a chyrhaedd calonau y plant. Yr wyf yn credu, nad oes odid yr un cynghor cyffredinol yn cael ei roddi yn un man yn Ysgolion Sabbothol yr Eglwys. Y mae arnynt eisieu bywyd. Y mae yr holl gyfundraeth yn ddiysbryd ac unffurf; ac yn gwthio y plant yn ol, yn lle eu denu ymlaen. Y mae yr Ysgolion

Sabbothol da sydd yn perthyn i'r Eglwys, lle y mae yr Eglwys yn fyw ac ymdrechgar, yn gwneyd daioni mawr; eithr gellir gwellhau hyd yn nod y rhai goreu o honynt mewn nerth, bywiogrwydd, a threfn.

Y mae Ysgolion Sabbothol yr Ymneillduwyr yn ddiau yn cyd-daro yn well âg amcanion addysg grefyddol na'r rhai hyny o eiddo yr Eglwys. Y mae iddynt eu diffygion o ymarferiad meddyliol ac ysbrydol, eithr y mae eu cyfundraeth yn tra ragori, lle y mae yn cael ei gweinyddu yn effeithiol. Y mae yr ysgolion hyn o nodweddiad hollol wahanol i'r eiddo Ysgolion Sabbothol yr Eglwys: ni fwriadwyd hwynt yn gymaint er hyfforddiad plant yn egwyddorion addysg grefyddol, eithr fel moddion cyffredin diwylliant ysbrydol y gynnulleidfa yn gyffredinol; o herwydd hyny y mae nifer liosog o rai mewn oed yn myned iddynt. Golygfa hyfryd yw edrych ar gapel wedi ei orlenwi â'r dosbeirth tlotaf; pob côr yn cynnwys o bump i ddeg o bersonau mewn oed, neu blant, meibion, neu ferched; ac yn mhob côr athraw, wedi ei ddewis o herwydd rhagoriaeth ei frwdfrydedd a'i wybodaeth, yn darllen gyda'r lleill, ac â'i holl egni, fynychaf, yn ymdrechu egluro yr ysgrythyrau i'w ddiadell fechan, y rhai yn mhob ysgol dda a hola efe hyd eithaf ei allu am ystyr rhanau dyrys. Pan ystyrir fod y miloedd sydd yn llenwi yr ysgolion hyn braidd yn ddyeithriaid; yn perthyn yn neillduol i'r dosbeirth gweithiol, a bod niferoedd yn mhob capel yn cysegru y rhan fwyaf o'u hunig ddydd gorphwys i'r swydd o ddysgu a diwyllio eu cymydogion is na hwynt eu hunain; a phan ystyriwyf mai y bobl weithyddol hyn yn unig, yn eu Hysgolion Sabbothol a'u capelau, a gadwasant grefydd yn fyw mewn llawer o fanau, ac a weiniasant yr unig foddion effeithiol i wneyd yr efengyl yn adnabyddus—rhaid i mi ddwyn fy nhystiolaeth ddiffuant i'r gwasanaeth a wnaeth y cynnulleidfaoedd gostyngedig hyn i'r wladwriaeth. Ac ar yr un pryd mae y diffygion yn yr ysgolion Ymneillduol yn dra amlwg. Y mae llawer rhy fychan o arfer meddwl mewn amryw o honynt; ac yn y cyfryw amgylchiadau y mae yr ysgolion yn dirywio i ddim amgen na sefydliad i ddysgu darllen a chanu. Y mae y diffyg hwn bob amser yn gyfartal i'r graddau mwy neu lai o allu a fyddo gan yr athraw. Nid yn y gyfundraeth y mae y drwg; y mae i raddau mawr yn perthyn i ddiffyg gwybodaeth addas yn yr athrawon—a hyn yn neillduol yw yr achos gyda'r athrawesau—ac y mae i raddau helaeth hefyd yn perthyn i esgeulusdra cymhariaethol y gweinidogion Ymneillduol, y rhai ni chyfarfyddais â hwynt ynddynt ond anfynych; a'r rhai, fel y gellid meddwl, a fyddent addasaf i gyfarwyddo a chynhyrfu yr athrawon ymlaen. Mae y swydd yn cael ei gadael yn hollol yn y rhan fwyaf o achosion i'r arolygwr, yr hwn nid yw bob amser yn ei chyflawni yn effeithiol, yn neillduol mewn ymweled yn bersonol â phob dosbarth, ac yn y cynghorion y dylid eu rhoddi bob amser ar ddiwedd yr ysgol. Y mae y drefn ardderchog hon o gadw y sylw yn fywiog, a rhoddi addysg trwy ymadroddi, yn cael ei harfer yn anmherffaith yn y rhan fwyaf o Ysgolion Sabbothol yr Ymneillduwyr, a braidd yn hollol allan o arferiad, hyd eithaf fy ngwybodaeth i, yn Ysgolion Sabbothol yr Eglwys.

Mewn rhai o ysgolion yr Ymneillduwyr mae yr holi yn arwain i ddadleuaeth, a'r ddadleuaeth yn aml i ymchwiliad anfuddiol i ryw bynciau tywyll, ac amrywiaeth barn, yr hyn a duedda ond ychydig i gynnydd Cristionogol. Mi a glywais yn yr ysgolion hyn ymofyniadau yn cael eu dwyn ymlaen i egluro hyd yn nod ddirgeledigaethau a berthynent i amseroedd pan oedd Adda eto heb ei greu. Y mae tueddrwydd yn y Cymry i ymchwiliad cyfriniol a darddansoddol, yn enwedig yn swydd Ceredigion. Yr wyf yn barnu fod prif athrawiaethau a gorchymynion moesol yr efengyl yn cael eu dysgu yn rhy anaml yn yr Ysgolion Sabbothol. Maent yn fwy tueddol i ymsuddo i gwestiynau dansoddol a difudd ynghylch rhyw ddygwyddiadau bychain, yn gystal ag athrawiaethau dadleuol; er enghraifft—Pwy oedd yr angel a ymddangosodd i Balaam?—nag i egluro a chymhell dyledswyddau moesol, neu i esbonio y dammegion. Y mae y pethau hanfodol er iachawdwriaeth yn gyffredin yn cael eu dysgu yn well, ond nid bob amser gyda y symledd dyladwy.

Y mae y gyfundrefn yn rhyfedd. Yn yr ysgolion goreu, nid oes dim yn cael ei wneyd ag sydd yn peri blinder—ond pob peth i gadw y sylw yn effro, ac i adfywio yr ysgol: a dim yn cael ei ddygn barhau yn rhy hir. Y mae amrywiaeth barhaus o waith i'r meddwl yn gymysgedig â chanu hymnau. Y mae cerddoriaeth leisiol yn cael ei dysgu a'i harfer yn rhagorol yn rhai o'r ysgolion hyn. Dymunwyf yn neillduol gyfeirio eich harglwyddiaethau at adroddiadau Ysgolion Sabbothol Aberystwyth am lawer desgrifiad o nodweddiad pwysig y gyfundrefn a ddilynir. Un o'i phrif ragoriaethau yw hyfforddiad yr athrawon yn flaenorol. Mae yn anmhosibl i un beidio cael ei daro pan yn ymweled âg Ysgolion Sabbothol yr Ymneillduwyr, gyda dymuniad i ganfod ychydig mwy o'r un sylw, cydymdeimlad, a phoen, yn cael ei ddangos gan y dosbarth dysgedig a chyfoethog at y rhai hyny sydd islaw iddynt ag sydd yn cael ei ddangos gan y dosbarth goreu o lafurwyr, at eu cymydogion sydd yn dlotach na hwynt. Mae i'w ofni yn fawr fod mwy o Samaritaniaid ymhlith y tlodion nag ymhlith y cyfoethogion yn y siroedd hyn; a bod sylw Mr. Phillips, gwr boneddig yn sir Faesyfed, o ewyllys da, ac o eiddo helaeth, yn eithaf gwir, 'Hyd oni chymero y tirfeddiannwyr a'r offeiriaid fwy o sylw o'r tyddynwyr a'r gweithwyr, ychydig o ddaioni sefydlog a ellir ei ddysgwyl.'

Nis gallaf orphen y sylwadau hyn ar yr Ysgolion Sabbothol heb draethu fy anghymeradwyaeth o'r arferiad sydd yn gyffredin yn ysgolion yr Eglwys a'r Ymneillduwyr yr un fel; sef caniatau i blant ieuainc ddysgu darllen ynddynt. Mae hyn yn ddiammhau yn

wyrdroad ar ddyben ac ysbryd y sefydliad. Gwelais yn aml bersonau, pan yn y swydd o ddysgu plant bychain i sillebu ac i acenu geiriau bychain, nid yn unig yn treulio eu hamser yn y drafferth o ddysgu y wyddor, ond hefyd yn aflonyddu yr ysgolêigion eraill. Mae yr ysgolion sydd yn cael eu dwyn ymlaen yn yr agwedd hon yn peidio a bod mwyach yn athrofeydd o wybodaeth grefyddol, ac yn dyfod yn ysgolion wythnosol o'r fath iselaf. Mae yn gam dyweyd nad oes addysg gyffredin yn cael ei chyfranu yn yr Ysgolion Sabbothol Cymreig; dyma addysg gyffredin, a'r fwyaf difudd, a lleiaf ysbrydol yn ei natur.

Yr wyf wedi beiddio llefaru yn rhydd am y diffygion a welais yn yr Ysgolion Sabbothol, o herwydd yr wyf yn llwyr argyhoeddedig o'r dirfawr les maent yn alluog i'w gyflawni, ac yr ydwyf yn credu y geill dynoethiad caredig o'r hyn a ymddengys yn fyr ynddynt fod o les."

Y mae Mr. Symons, tuhwnt i bob dadl, yn deall natur a dybenion yr Ysgol Sabbothol yn llawer gwell na Mr. Lingen; ac nid oes ynom y duedd leiaf i ymryson âg ef o barth y beiau a ddynodir ganddo yn y dyfyniad uchod. Y mae tuedd yn y Cymry at ymchwiliadau dansoddol-dduwinyddol: ac y maent yn bencampwyr yn y cyfryw ymchwiliadau, fel y cafodd rhai o'r *commissioners* weled mewn rhai manau er eu dirfawr synedigaeth. Tra y cadwont y duedd hon o fewn terfynau priodol, ac i weithredu ar bynciau teilwng, ni ddylid eu hanghefnogi. Ond gwelsom rai yn rhy hoff o gwestiynau anorphen, a chwestiynau nad oeddynt o un pwys yn y byd, pe gallesid eu hateb. Nid ydym yn cofio i ni glywed neb erioed yn dadleu, fel y dywed Mr. Symons, ynghylch enw yr angel a ymddangosodd i Balaam. Mae y "*Daily News*" wedi gwella tipyn ar yr ystori hon, ac yn dyweyd mai testun y ddadl oedd enw yr angel a ddysgodd asyn Balaam i lefaru. Darllenasom fod rhai o dduwinyddion y canol-oesoedd wedi llafurio llawer i benderfynu pa sawl angel a fedrai sefyll ar unwaith ar flaen nodwydd. Nid ydym yn deall fod y Cymry eto wedi myned mor gywreinddoeth a hyn. Ond nid yw wiw gwadu fod rhai yn anfuddioli yr Ysgol Sabbothol mewn amryw fanau gyda holiadau gweigion, o herwydd nad oes ganddynt archwaeth at wirioneddau mwyaf pwysig y dadguddiad dwyfol. Y mae hefyd yn deilwng o ystyriaeth, a yw yr addysgiadau mor ymarferol ag y dylent fod. Ni ddylid esgeuluso athrawiaeth; ond cofier fod pob cangen o athrawiaeth, fel y gosodir hi i lawr yn y Bibl, yn dwyn perthynas agos âg ymarferiad, "fel y byddai dyn Duw yn berffaith, wedi ei berffeithio i bob gweithred dda." Braidd na chyttunem ymhellach i ryw raddau â Mr. Symons ynghylch yr anmhriodoldeb o ddysgu plant i sillebu, &c. yn yr Ysgol Sabbothol. Nid oes dim ond anghenrheidrwydd anhebgorol yn ein cyfiawnhau i ddysgu y gelfyddyd o sillebu a darllen ar y Sabboth. Er hyny, lle nad oes ysgol ddyddiol, neu lle y mae cymaint ag un plentyn yn methu myned iddi, neu lle nad yw yr iaith Gymraeg yn cael ei dysgu ynddi, y mae y gwaith hwn yn ymddangos i ni yn anhebgorol. Nis gall ychwaith edrych yn ddiystyrllyd ar ychydig o bobl dlodion yn dyfod at eu gilydd i ddarllen y Bibl, pe na byddai un yn alluog i roddi nemawr o gymhorth iddynt mewn ffordd o esboniad. Diau y dylent yn mhob modd ymgyrhaedd at ddeall yr hyn a ddarllenont. Ond y mae darllen y Bibl ynddo ei hun yn rhan arbenig o addoliad: a phe na byddai dim ond hyn yn yr Ysgol Sabbothol, dyledswydd pawb fyddai ei phleidio.

Nid yw Mr. Johnson wedi rhoddi cymaint o hanes yr Ysgol Sabbothol a'i gydlafurwyr: ond er fod ei dystiolaeth yn fêr, y mae yn lled gywir a chynnwysfawr.

"Y mae natur a dyben yr Ysgol Sabbothol Gymreig yn hawdd eu canfod. Yn yr ysgolion wythnosol y mae pawb yn proffesu dysgu Saesoneg; yn yr Ysgolion Sabbothol, yn gyffredin, y mae pawb yn dysgu Cymraeg. Y dyben a ddymunir gan y tlodion oddiwrth y

blaenaf yw gwybodaeth dymmorol; y dyben i'r hwn y cysegrant eu holl sylw yn yr Ysgol Sabbothol yw crefydd, hyd yn nod mor bell ag i gau allan bob efrydiaeth arall.

Y mae y dull o ddwyn yr ysgolion hyn ymlaen yn lled debyg, i ba enwad bynag y perthynant. Dechreuir hwynt fel gwasanaeth crefyddol, trwy ddarllen pennod o'r Bibl, canu hymnau, a gweddio. Yna gwahanir y dosbeirth mewn corau, pob côr yn cynnwys o 5 i 10 o ysgolêigion, ynghyda'u hathraw. Bydd y rhai hyn ar waith am yn agos i awr yn darllen y Bibl yn Gymraeg, adrodd rhanau allan, ac ateb gofyniadau a roddir gan yr athraw. Ar ol hyn, holir yr holl ysgol ar unwaith o ryw holwyddoreg athrawiaethol perthynol i'r enwad crefyddol, â'r hwn y mae yr ysgol hono yn dwyn cysylltiad; atebir yr holiadau gan y rhan hynaf neu ieuangaf o'r aelodau gyda'u gilydd, yn ol fel yr anerchir hwynt gan yr arolygwr, yr hwn a eglura neu a gadarnha yr holwyddoreg trwy ychwanegiadau difyfyr. Terfynir yr ysgol fel y dechreuodd, trwy weddi. Y mae sefyllfa a chyrhaeddiadau isel y personau a sefydlasant, ac y ddygant ymlaen yr Ysgolion Sabbothol Cymreig yn mwyhau gwerth yr ymdrech gwirfoddol yma o blaid addysgiant: a pha mor anmherffaith bynag yw yr effeithiau, y mae yn annichonadwy i ni beidio rhyfeddu at liosowgrwydd yr ysgolion a sefydlwyd ganddynt; rhifedi, bywiogrwydd, a dyhewyd yr athrawon, rheoleidd-dra a threfnusrwydd y gwaith, a'r effeithiau parhaus ac amlwg a gynnyrchwyd ganddynt ar gymdeithas."

Mewn man arall, dywed Mr. Johnson fod y diffyg o Ysgolion Sabbothol i'w weled yn amlwg wrth nesu at ororau y Saeson yn anfoesoldeb y trigolion. Ar y cyfan, ni raid cwyno oblegid y desgrifiad a roddir yn y dyfyniadau hyn. Cymerer y tri Adroddiad gyda'u gilydd, a cheir ynddynt dystiolaeth gadarn a boddlonawl o blaid effeithioldeb yr Ysgolion Sabbothol. Ond drwg genym sylwi fod yr olygfa yn newid pan eir at yr ysgolion dyddiol: ac y mae yn rhaid i ni ychwanegu nad ydym yn ystyried eu bod wedi gwneyd *cymaint* o gam â ni yn yr achos hwn ag y mae rhai yn feddwl. Hwyrach y gallent mewn rhai manau liniaru ychydig ar yr hanes, a rhoddi mwy o ganmoliaeth mewn manau eraill, heb droseddu rheolau cyfiawnder. Ond ar yr un pryd, y mae yn rhaid addef nad ydym eto ond dechreu gydag addysgiant cyffredinol; a gobeithiwn y cymer y Cymry wers effeithiol oddiwrth yr ymweliad hwn, i'w gwneyd yn llawer mwy egniol. Yr hyn a'n synodd ni yn fwyaf oedd canfod cynnifer o blant yr ysgolion dyddiol mor anwybodus mewn hanesiaeth ysgrythyrol, hyd yn nod pan eu holid yn yr iaith Gymraeg. Ond cofiasom fod nifer mawr o blant eto heb fod yn perthyn i'r Ysgol Sabbothol: ac o'r rhai sydd, y mae llawer yn dianc ymhlith y lleill wrth ateb ar y Sabboth, heb ddeall ac heb ddysgu dim. Gosodwn yma ran o Adroddiad Mr. Johnson am yr ysgolion dyddiol, er mwyn dangos yr anwybodaeth sydd eto yn ein gwlad, ac hefyd er mwyn y sylwadau buddiol o'i eiddo ef ei hun ar y dull o ddysgu. Gadewir allan enwau y lleoedd, gan y parem ofid i rywrai wrth eu cyhoeddi.

"Dengys y dyfyniadau canlynol pa fath yw cymhwysderau athrawon i roddi addysg yn y prif gangenau o wybodaeth gyffredinol—megys gramadeg, hanesyddiaeth, daearyddiaeth, &c.

Yn ysgol ———, mewn Gramadeg Seisoneg, yr oedd dosbarth o 5 yn alluog i adrodd allan ranau, ond nid oeddynt yn proffesu deall cymhwysiad rheolau, nac ystyr darnodiadau (*definitions*). Pe gofynid iddynt, 'Pa beth yw bannod?' Hwy a atebent yn ngeiriau y llyfr, 'Bannod yw, &c., megys y dyn, y goeden, y ceffyl;' ond yr oeddynt yn analluog i wahaniaethu rhwng y fannod a'r sylweddair, neu i ddyweyd pa un a oedd *dyn, coeden,* a *cheffyl*, yn fannodau, ai nad oeddynt. Yr oedd y meistr yn proffesu dysgu y rheolau iddynt yn gyntaf, a'r cymhwysiad wedi hyny.

Mewn ysgol yn ———, yr oedd y meistr amser yn ol yn was amaethwr, ond y mae wedi dilyn ei alwedigaeth bresennol am saith mlynedd, heb fod wedi derbyn unrhyw hyfforddiad (*training*). Er ei fod yn deall Saesoneg yn weddol, y mae yn siarad gydag acen Gymreig gref, ac yn dra anramadegol. Yr oedd yn son am blant wedi cael eu '*sended*' i'w ysgol. Y mae ei ddull o ddysgu gramadeg yn un anghyffredin. Y mae efe yn darllen y llyfr, ac y mae y plant yn adrodd ar ei ol, fel pe buasent yn adrodd ar ol y gweinidog yn yr eglwys. Yr oedd yn resynus ei glywed yn cam-gynanu bron bob gair a ddywedai, a'r plant yn ei ddilyn yn fanwl. Yr oedd yn galw *noun* yn '*noon*.'

Yn yr Ysgol Rad yn ———: yr oedd yma ysgolêigion, y rhai oeddynt wedi darllen 76 tudalen o hanes Lloegr, yn cynnwys braslun o'r hanes hyd deyrnasiad Harri VI. Wrth

eu holl, canfyddais nad oeddynt, yn llythyrenol, yn gwybod dim am y mater; a phan y gofynais i'r meistr y rheswm, efe a ddywedodd, ei fod ef yn meddwl y buasai yn well iddo adael iddynt ddarllen y llyfr '*onest over, and then catechise them upon it.*' Trwy y moddion hyn goddefid hwynt i aros mewn perffaith anwybodaeth am gynnwysiad y llyfr hyd nes y gorphenent ei ddarllen.

Afreidiol yw lliosogi anghreifftiau o analluogrwydd yr athrawon presennol i gyfranu addysg yn y pynciau hyn. Y mae eu gwybodaeth yn dra chyfyngedig o'r iaith Saesoneg, ynghyd â'r ffaith fod yr holl lyfrau a ddefnyddir yn bresennol i ddysgu gramadeg, daearyddiaeth, a hanesyddiaeth, wedi cael eu hysgrifenu yn y Saesoneg yn unig, yn profi fod y cyfryw addysgiad yn anmhosibl. Hyd yn nod pe byddai yr athrawon yn alluog i ddeall y llyfrau a ddefnyddiant, ac i ddyfod i feddiant o wybodaeth a meistrolaeth eang ar y pwnc, fel ag i'w galluogi i egluro yr anhawsderau a raid gyfodi yn meddyliau plant, mewn dull cyfaddas i'w galluoedd, byddai rhwystr pellach yn ymddangos, o herwydd rhagfarn rhieni Cymru yn erbyn defnyddio eu hiaith eu hunain, hyd yn nod fel cyfrwng eglurhad. 'Yn yr ysgolion dyddiol,' meddant, 'y mae arnom ni eisieu i'n plant gael dysgu Saesoneg iddynt yn unig: pa les a geir oddiwrth ddysgu Cymraeg i ni? Yr ydym yn deall Cymraeg eisoes.' Yn wir, yr unig un o gangenau uchaf gwybodaeth gyffredinol, a ddysgir mewn nifer go fawr o ysgolion, yw gramadeg. Ymddengys oddiwrth daflen flaenorol, fod tua 'r drydedd ran o'r ysgolion presennol yn rhoddi addysg mewn gramadeg, ac, heblaw dau eithriad, mewn gramadeg Saesoneg yn unig.

Yn y rhan fwyaf o amgylchiadau, ni ddysgir gramadeg fel gwyddor, neu fel pwnc i gael ei gyfeirio at y deall, ond fel gweithrediad y côf yn unig, fel ag i ddyfod yn bwnc o gywreinrwydd pur, yn yr un modd ag ysgrifenu a darllen. Y mae yr athraw yn gwneyd i'r plant drysori i'w côf ddalen ar ol dalen o '*Murray's Grammar*,' neu o ryw draethawd rhatach yn y gwahanol lyfrau sillebu a brynir gan y rhieni. Y darnodiadau a'r egluriadau a geir yn y llyfrau hyn, y rhai a fyddent yn anhawdd i ysgolâig Seisoneg, ydynt yn anamgyffredadwy i blant Cymreig; ac y mae 'r athraw, hyd yn nod er iddo fod yn alluog i esbonio, yn esgeuluso gwneyd hyny. Ni eglurir yr un ran o'r pwnc âg esiamplau adnabyddus cyfaddas i alluoedd plant; ac yn ymddyddan yr athraw, y mae rhëolau cystrawen a gramadeg yn cael eu tori yn llawer mynychach nag y maent yn cael eu cadw. Gellid lliosogi anghreifftiau o ysgolion yn mha rai yr oedd yr athraw, tra yn perffeithio ei blant yn rhëolau ac athrawiaeth gramadeg, ei hunan yn tori pob rhëol mewn siarad ac ysgrifen.

Mewn perthynas i ddaearyddiaeth, nid oes, yn y mwyafrif o'r ysgolion, ddim i arwyddo fod yr athrawon yn gwybod fod y fath gangen o ddysg yn bod. Y mae gan rai *fap* o Palestine, oddiwrth yr hwn y maent yn proffesu rhoddi addysg mewn daearyddiaeth ysgrythyrol, ond nid oes gan yr ysgolêigion yr un ddirnadaeth am sefyllfa Gwlad Canaan yn ei pherthynas âg unrhyw wlad arall yn y byd, ac nis gallant wahaniaethu gogledd oddiwrth ddeheu ar y *map*. Yn yr ychydig ysgolion ag sydd yn cynnwys y llyfrau a'r *mapiau* anghenrheidiol, y mae daearyddiaeth, fel gramadeg, yn cael ei ddysgu fel ymarferiad i'r côf, ac nid fel moddion i ëangu meddyliau na helaethu gwybodaeth y plant. Gellir clywed dosbarthiadau cyfain yn adrodd gydag un llais yr egluriadau o hydred a lledred, llinellau y cyhydedd, *circumference*, ac *oblate spheroids*, mewn ymadroddion, y rhai, efallai, a fuasent yn ddëalladwy i ysgolâig Seisoneg, ond i blentyn Cymreig yr oeddynt mor ddiystyr a'r enwau celfyddydol hyny eu hunain. Y mae hyd yn nod yr egluriadau cydnabyddus a gynnwysir yn y traethodau diweddar a diwygiedig ar ddaearyddiaeth yn cael eu dysgu allan, a thrwy hyny yn cael eu dyosg o'u hystyr. Ond ymddengys nad yw wedi dyfod i feddwl yr athrawon, nac hyd yn nod ymwelwyr a noddwyr ysgolion, fod eisieu i'r egluriadau Seisoneg gael eu hegluro i blant Cymreig, ac i'r agoriadau mwyaf cydnabyddus gael eu hagor. Yn yr ysgolion goreu, gwelais, yn achlysurol, radd nodedig o fedrusrwydd mewn nodi allan lëoedd ar y *map*, celfyddyd ag y mae cyflymder naturiol y plant Cymreig yn eu galluogi i'w chyrhaeddyd, trwy nad yw yn cynnwys gwybodaeth o unrhyw iaith arall heblaw yr eiddynt eu hunain. Ond ar y goreu, nid yw eu cywreinrwydd o ddefnydd ond fel moddion i ddyben; a thra yr edrychir arno wrtho ei hun, y mae mor ddifudd a medrusrwydd llyfrgellydd (*librarian*), yr hwn sydd yn gwybod lle pob llyfr yn y llyfrgell, ond yn hollol anwybodus am gynnwysiad pob un o honynt. Gall y plant hyn nodi allan amryw lëoedd, ond y maent heb un ddirnadaeth am eu trigolion, neu eu cynnyrch, am hinsawdd neillduol neu agwedd y gwahanol wledydd, neu am eu perthynas y naill i'r llall.

Ar y cyfan, hyd yn nod yn yr ysgolion goreu yn Ngogledd Cymru, y mae yr iawn ddull o addysgu daearyddiaeth yn cael ei droi o chwith: y mae daearyddiaeth cartref yn cael ei esgeuluso. Y mae plant ag sydd yn berffaith mewn darnodiadau, ac a allant nodi allan ynysoedd, cul-foroedd, mynyddoedd, a phenrhynoedd, ar y wyneb arall i'r ddaear, yn tybio nad oes y fath olygfëydd yn bod yn Ngogledd Cymru; er hyny, nid oes ond ychydig o wledydd yn hyfforddio i athraw doeth y fath fanteision i addysgu. Oddiar ben mynydd yn Nghymru, gyda phob amrywiaeth o olygfëydd o'i flaen, efe a allai ddysgu mwy ar un diwrnod gŵyl nag sydd hyd yn hyn wedi ei ddysgu yn yr un ysgol, trwy egluro yr anhawsder hwnw ag sydd bob amser yn dyrysu meddwl plant—y cysylltiad rhwng ymddangosiad gwirioneddol y ddaear a'r darluniad a roddir o honi gan ddaearyddwyr yn unfrydol.

Yn yr anghreifftiau uchod, canfyddir anwybodaeth yr athrawon: pa beth

gan hyny, a ellir ei ddysgwyl oddiwrth yr ysgolêigion? Fel profion ar y pen hwn, cymerer yr ychydig ffeithiau a ganlyn o'r un adroddiad.

"1. Ysgolêigion yn y dosbarth cyntaf a ddywedent fod 18 efengyl, fod Bartholomeus wedi ysgrifenu un, a Simon wedi ysgrifenu un arall; mai mab Dafydd oedd Moses. Mewn dosbarth is, dywedent fod Jerusalem yn y nefoedd, ac mai Paul a ysgrifenodd yr efengyl yn ol St. Matthew; credai un arall ei fod wedi ei ysgrifenu gan Iesu Grist. Y bachgen hynaf mewn dosbarth lliosog a ddywedai fod Joseph yn fab Abraham. Bachgen oddeutu 10 oed a ddywedai mai Iesu Grist oedd Gwaredwr dynion; ond pan ofynwyd iddo, 'Oddiwrth ba beth y mae efe yn eu gwaredu?' atebodd, 'Oddiwrth Dduw.'

2. Bachgen oddeutu 13 oed a dybiai mai Judas Iscariot oedd y mwyaf hynod o holl feibion Jacob. Yr oedd hyn yn y dosbarth cyntaf, ac ni chywirwyd ef gan y lleill. Yn yr ail ddosbarth yr oedd 6 o fechgyn, oddeutu 9 oed, yn darllen y Testament Newydd: nid oeddynt yn gwybod dim. Pan ofynwyd, 'Pwy roddodd Iesu Grist i farwolaeth?' atebent, 'Cain.'

3. Tystiolaethai un, a chyttunai y lleill i gyd, fod yr Hafren yn codi yn Mor y Canoldir.....Dywedent i Iesu Grist gael ei fradychu gan Pontius Pilat. A phan ofynwyd pwy oedd Mam Iesu Grist; atebent, 'Methuselah.'

4. Dywedai un fod Ioan Fedyddiwr yn Fab Duw, ac un arall mai Adda a'i deulu a aethant i'r arch.

5. Nid oedd ond 5 allan o ddosbarth lliosog yn gwybod dim am yr ysgrythyr. Dywedai un fod gan Adda *bedwar* mab, sef Cain, Abel, Isaac, a Jacob. Meddyliai un arall nad oedd gan Adda ond tri mab, sef Sem, Cam, a Japheth.

6. Gofynais i 6 o fechgyn, rhwng 10 a 13 oed, pa le y bu Crist farw? Atebodd dau, 'Yn Eden.' Dywedodd un arall, 'Yn Bethlehem.' Yr oeddwn yn eu holi hwynt yn Gymraeg, gan nad oedd un o honynt yn alluog i siarad gair o Saesoneg.

7. Rhai yn y dosbarth cyntaf a ddywedent mai Moses oedd gwr y Forwyn Fair, ac mai yn Ngardd Eden y ganwyd Iesu Grist.

8. Nid allai neb ddyweyd pa sawl gorchymyn sydd; nac o bwy y ganwyd Iesu Grist? nac enw yr un o'i ddysgyblion. Nid oedd un yn eu mysg a allai ddyweyd beth oedd enw Brenines Lloegr.

9. Dywedwyd wrthyf gan un ysgolâig mai Iesu Grist oedd mam Ioan Fedyddiwr; dywedai un arall fod Judea yn Bethlehem: ac yr oedd yr holl ddosbarth cyntaf yn cyttuno mai Ioan Fedyddiwr a ysgrifenodd yr efengyl yn ol Ioan. Holais hwynt yn Gymraeg a Saesoneg.

10. Rhai a ddywedent wrthyf fod Samuel yn fab i Iesu Grist, mai Mair Magdalen oedd mam ein Iachawdwr, ac mai Mair y Forwyn oedd ei wraig.

11. Gofynais, 'Pa sawl gorchymyn sydd?' a phan na chefais ateb, gofynais iddynt ddyweyd yn Gymraeg beth oedd ystyr y gair gorchymyn; ac atebasant, 'Ioan Fedyddiwr.'"

Derbyniwyd yr atebion hyn mewn rhai o'r siroedd a gyfrifir yn fwyaf gwybodus yn Nghymru. Ac os cafwyd y plant yn yr ysgolion dyddiol mor anghyfarwydd yn hanesiaeth y Bibl, naturiol yw casglu eu bod ymhellach ar ol mewn gwybodaethau tymmorol. Hyn a ystyria yr ymwelwyr yn un o'n diffygion penaf, a braidd na led-arwyddant ei fod yn achos o bob diffyg arall. Nid yw yr Ysgolion Sabbothol yn effeithio cymaint ag a fyddai dymunol ar ymarweddiad yr aelodau; oblegid nid oes ynddi ddim ond crefydd: ac nid yw ein holl lyfrau a'n cyhoeddiadau cyfnodol yn werth dim, am nad ydynt yn cyfyngu eu hunain at lywod-ddysg, a changenau eraill o wybodaeth dymmorol. Rhydd Mr. Johnson ddyfyniad o lythyr, yn yr hwn yr addefir fod y "Traethodydd" yn rhagori ar ddim a fu o'i flaen; ond cwynir ei fod hefyd yn gorfod ymostwng i foddio ei ddarllenwyr, trwy roddi traethodau crefyddol yn achlysurol. Dymunem hysbysu i'r ysgrifenydd, pwy bynag ydyw, ein bod yn gwneyd hyn o ddewisiad; ac mai llawenydd yw genym weled nad yw y Cymry yn rhoddi pris ar un llyfr heb fod ynddo ryw duedd grefyddol. Ni fu Lloegr erioed yn uwch nag yn yr oes Buritanaidd, pan yr oedd crefydd wedi myned yn fwy na

dim arall yn ngolwg y wlad, ac yn llanw ei holl lyfrau. Ac un o arwyddion mwyaf gobeithiol yr oes hon yw, fod mwy o sylw nag oedd ychydig flyneddau yn ol yn cael ei dalu i destunau crefyddol yn nghyhoeddiadau penaf y Saeson. Yn lle ceisio ennill y Cymry i'r peth oedd y Saeson, dylem lawenhau wrth weled y Saeson yn dyfod ar ol y Cymry. Afreidiol i ni hysbysu nad ydym yn erbyn gwybodaethau tymmorol; ond dymunem iddynt gael eu hefrydu, fel ein dysgir yn hanes Syr Isaac Newton a Cuvier, yn ysbryd y grefydd Gristionogol. Dylai crefydd gael yr un lle mewn addysgiant, ag sydd yn perthyn iddi yn yr ymarweddiad. Dylai fod yn egwyddor lywodraethol, yn ganolbwynt yr holl gyfundrefn. Y mae llawer o dwyll ar y pen hwn yn y dyddiau presennol. Tybir mai dysgu y plant yn dda yw llanw eu penau â phentwr o ffeithiau, heb un ymdrech i gyrhaedd y galon. Os ceir hwy i fedru swnio y geiriau *oxygen* a *hydrogen*, a lliaws o'r cyffelyb, ac i adrodd rhes o enwau breninoedd Lloegr, bernir eu bod yn wybodus rhyfeddol. Ond heb son dim am grefydd, byddai un ystori dda, neu chwedl ddifyr, i ddysgu y plant i ddyweyd y gwir, neu i fod yn gymwynasgar i'w gilydd, yn well na'r cwbl. Neu, pe rhoddai *Lady* Guest argraffiad rhad o'r "Mabinogion," mewn iaith fwy dealladwy, atebai well dyben na hanner y llyfrau coeg-ddysgedig a arferir mewn llawer o ysgolion. Y mae gormod o duedd yn addysg y dyddiau hyn, sef yr addysg a gymeradwyir yn yr Adroddiadau dan sylw, i wneyd y plant yn beiriannau rhifyddol; ac yn y diwedd ni ddeuant mor alluog yn y gorchwyl a pheiriant Babbage. Y mae gwybodaeth am ffeithiau o'r fath a nodwyd yn burion yn ei lle, ac y mae yn werth i bob dyn lafurio am ei meddu; ond y drwg ydyw ei bod yn cael ei chodi i le pethau uwch. Gosodir hi allan fel y feddyginiaeth anffaeledig rhag pob afiechyd moesol; a chyfrifir y Cymry, o herwydd eu hamddifadrwydd o honi, yn hanner barbariaid. Yn awr, nid ydym yn credu fod y Cymry yn îs na Lloegr hyd yn nod ar y tir hwn. Cymharer gweithwyr gwledig Lloegr â'r un dosbarth yn Nghymru, a cheir y fantol yn troi yn fuan o du y Cymro. Ond caniatâer am y tro nad yw ein cydwladwyr yn gwybod llawer am ystyr y geiriau *oxygen* a *hydrogen*; a ydynt oblegid hyny yn anwybodus? Attolwg, a oedd Socrates yn anwybodus? A oedd Aristotl a Plato yn anwybodus, y rhai y treulir cymaint o amser, ac nid yn afreidiol, yn y prifysgolion, i ddarllen eu hysgrifeniadau? Y mae bechgyn deg oed yn ein dyddiau ni yn medru adrodd ffeithiau mewn seryddiaeth a fferylliaeth na chlywsant hwy erioed son am danynt; ond yr un peth fyddai eu cymharu â hwynt mewn gwybodaeth, ag a fyddai cymharu aderyn y tô â'r eryr. Rhaid penderfynu, gan hyny, nad yw yr addysg a bleidir yn yr Adroddiadau hyn yn elfenau anhebgorol mewn gwybodaeth; llawer llai y gallant fod yn foddion digonol i gynnyrchu moesoldeb a chrefydd. Os mynech wybod beth yw gwybodaeth, darllenwch Lyfr y Diarebion: ceir yno wybodaeth y doethaf o ddynion, a hono dan ddwyfol gyfarwyddyd, ac yn tueddu i effeithio yn ddaionus ar y galon a'r fuchedd.

Gan fod yr ymwelwyr, neu ddirprwywyr (pa air a gawn am danynt yn Gymraeg?) yn gosod cymaint o bwys ar ddysgeidiaeth fydol, nid rhyfedd eu bod yn bur ddig wrth ein hen iaith odidog. Er eu bod yn gorfod addef fod y rhanau Cymreig yn rhagori ar y gororau Seis'nigaidd, ac mai y Saeson (sylwed holl gyfeisteddfodau yr Ysgolion Brytanaidd ar hyn) yw yr ysgolfeistriaid salaf yn Nghymru, eto nis gallant gredu nad yw yr iaith Gym-

raeg ar ffordd pob diwygiad. Gan mai Mr. Lingen yw y blaenaf yn y rhes, gadawn iddo ef lefaru dros y lleill.

"Canfyddais fod pawb o'r un farn am yr anfanteision ag sydd yn gysylltiedig âg anwybodaeth o'r Saesoneg. Y maent mor amlwg, ac mor gyffredin yn cael eu haddef, fel nad oes eisieu manylu. Eto, os pleidia budd y Saesoneg, gogwydda serch at y Gymraeg. Edrychir ar y naill fel cyfaill newydd i'w feddu er mwyn elw, y llall fel hen gyfaill i'w feithrin er ei fwyn ei hun, ac yn enwedig i beidio ei adael yn ei nychdod. Y mae yn debygol nas gallech weled neb rhieni mewn ardaloedd hollol Gymreig, o ba ddosbarth bynag y byddont, nad ewyllysient ddysgu eu plant mewn ysgol Seisonig: eto y mae pob golygiad neillduol o fywyd cymdeithasol i'r hwn y'u genir ef—pregethu—cyfarfodydd gweddïo—Ysgolion Sabbothol—cymdeithasau—gwahoddiadau—claddedigaethau—y cylchgrawn enwadol (ei unig wasg)—y mae y rhai hyn oll yn ymddangos iddo yn Gymraeg fel yr unig gyfrwng i'w dwyn ymlaen, mewn rhan, fe ddichon, o anghenrheidrwydd, ond mewn rhyw raddau, o ddewisiad. 'Y mae yn rhëol gan y Cymreigyddion na siaredir yn eu cyfarfodydd ddim Saesoneg.' (Tystiolaeth y Parch. D. A. Williams). Gwir fod amgylchiadau y byd yn dangos yn fwyfwy yr anghenrheidrwydd sydd ar y Cymro am Saesoneg; ond pa un bynag ai heb allu siarad dim Saesoneg y mae, neu ynte ei siarad yn anmherffaith, y mae yn teimlo yn gyffelyb annyoddefol ei hollol anallu i'w siarad, neu ei ymdrech yn wyneb ei anmherffeithrwydd. Y mae ei deimladau yn gyffröus; ei ddychymyg yn fywiog; ei ddrychfeddyliau (ar y pynciau y mae yn eu deall) yn dilyn y naill y llall yn gyflym. Y mae yn meddu meistrolaeth ar ei iaith ei hun yn llawer helaethach nag y mae y Sais o'r un sefyllfa yn ei feddu ar yr eiddo ef. Y mae hyawdledd (*h. y.* i weddïo 'yn ddoniol' fel ei gelwir), mor gyffredinol yn ei ddosbarth ef, fel y mae bod yn amddifad o hono yn fath o waradwydd. Gan hyny, wrth siarad Saesoneg y mae yn rhaid iddo ar unwaith adael o'r neilldu ddawn neillduol yn yr hon y mae yn ymfalchïo, i ymddangos dan ffurf o anallu ag sydd yn dramgwydd mwyaf iddo. Mor bell gan hyny ag y mae yn gallu dwyn ymlaen orchwylion ei fywyd, y mae yn ymwrthod â'r Saesoneg fel baich annyoddefol. Fel hyn y mae fod yr iaith Gymraeg yn cadw ei thir, a'r awyrgylch foesol, yr hwn, o dan ei chysgod, sydd yn amgylchu y boblogaeth, yn ymddangos mor bell a hyn yn ammodau cydberthynol, fel y mae pob ymdrech i ddefnyddio y gyntaf i drosglwyddo meddyliau eraill heblaw y rhai sydd yn gyson â'r olaf yn ymddangos yn ofer."

Clywsom am un yn gofyn yn ddifrifol i'r diweddar Mr. Richards, o Dregaron, pa beth oedd ystyr y tair torth yn y ddammeg hono sydd yn son am ddyn yn myned at ei gyfaill liw nos, ac yn llwyddo o herwydd ei daerni. Ar ol i Mr. Richards roddi yr ystyr lythyrenol, a dangos yr addysg naturiol oedd yn y ddammeg, "Ië, ïe," ebe y gwr, "y mae hyna yn burion, ond yr wyf fi yn credu fod y tair torth yn arwyddo rhywbeth pellach." "O, tebyg iawn," atebai Mr. Richards; "ond chwi wyddoch nad wyf fi yn un sydd yn gweled ymhell." Nid ydym yn cofio pa fodd yr oedd y gwr ei hun yn esbonio: ond y mae yn eglur am Mr. Lingen, ei fod ef yn un o'r rhai sydd yn gweled ymhell. Y mae wedi cael allan mai yr achos o ragfarn y Cymry yn erbyn y Saesoneg yw eu hanallu i weddio yn ddoniol yn yr iaith hono. Pa fodd bynag am hyny, gwyddom am rai yn siarad ac yn ysgrifenu o blaid y Saesoneg, er na fedrant weddio yn ddoniol mewn un iaith. Nid yw y ddau arall wedi bod mor ffodus ag ef i ddarganfod yr achos o ymlyniad y Cymry wrth eu hiaith; ond y maent er hyny yn llawn mor benderfynol dros ei difodi oddiar wyneb y ddaear; a gofidus yw meddwl eu bod yn cael eu cadarnhau yn y farn hon gan dystiolaethau i'r un perwyl oddiwrth amryw a gyfrifant eu hunain yn Gymry. O'r ochr arall, deallwn fod Esgob Tyddewi, un o'r ysgolëigion penaf yn Ewrop, i'r hwn y mae genym barch diledryw, yn sefyll yn gadarn o blaid yr hen Omeraeg. Dyma wahaniaeth—Esgob Thirlwall, yn erbyn mân-guradiaid a hanner-boneddigion Cymru. Ni phetruswn ddyweyd ei fod ef ei hun yn fil addasach i roddi barn ar y mater hwn na'r lleill i gyd gyda'u gilydd.

Y prif reswm a ddygir ymlaen yn erbyn yr iaith Gymraeg, yw yr anfantais a achlysurir ganddi mewn llysoedd gwladol. Ond dymunem ofyn, Onid mwy cyfiawn a mwy hawdd fyddai gwneyd y barnwyr yn y llysoedd hyn yn Gymry, na cheisio gwneyd yr holl Gymry yn Saeson? Dywedir am ryw athronydd, ei fod unwaith yn myfyrio wrth y tân yn ei ystafell, ac wedi ei lyncu i fynu gan y pwnc oedd yn destun ei fyfyrdod ar y pryd i'r fath raddau, fel yr oedd y tân wedi hanner ei rostio cyn iddo deimlo oddiwrtho. Ond pan ddechreuodd ddyfod ato ei hun, galwodd ar y gwas i ddyfod yno i symud y tân yn ol. "Y mae hyny yn anhawdd iawn, syr," ebe y gwas; "onid gwell fyddai symud ychydig ar y gader?" Felly y dywedwn ninnau—Yn lle tynu i lawr hen furiau cedyrn Cymru, onid gwell fyddai symud y gader gyfreithiol, a dwyn ymlaen holl achosion ein llysoedd gwladol yn yr iaith Gymraeg? Llafuriwch am hyn, gydwladwyr hoff; anfonwch ddeisebion taer a dibaid i'r senedd, ac na orphwyswch nes cyrhaedd eich amcan.

---

# NODIADAU AR LYFRAU.

*Esboniad y* Parch. James Hughes. Evans, Treffynnon.

Y mae llawer o feio ar y Cymry y dyddiau hyn yn mhob ffordd. Ymhlith y cyhuddiadau lliosog a ddygir yn ein herbyn, dywedir nad ydym yn rhoddi derbyniad dyladwy i lyfrau da. Cyn cyhoeddi y ddedfryd arnom yn yr achos hwn, y mae eisieu ystyried yn gyntaf pa lyfrau sydd yn dda. Tybia ambell Gymro ei fod wedi ei alw i ddysgu pawb, ac am na fydd neb yn barnu felly heblaw efe ei hun, penderfyna yn y fan mai eu hanwybodaeth yw yr achos; a rhydd hwy i fynu am byth i ymbalfalu yn eu tywyllwch. Pe buasai yn meddu y mymryn lleiaf o deimlad gwladgarol, yn lle sôri fel hyn, buâsai yn ymdrechu er pob rhwystrau i symud ein hanwybodaeth. Ond y gwirionedd ydyw mai o'i du ef y mae yr anwybodaeth. Dowch a llyfrau da allan, ac yr ydym yn ddigon parod i'w derbyn. Fel prawf o hyn, dyma "Esboniad y Parch. James Hughes" wedi cyrhaedd eisoes i'r ail argraffiad. Yr ydym yn teimlo gradd o euogrwydd am nad yw hanes y dyn doniol hwn wedi ymddangos cyn hyn yn y "Traethodydd." Ond caiff ddyfod rywbryd; ac yn y cyfamser, cymhellwn ein darllenwyr, nid yn unig i brynu yr "Esboniad" iddynt eu hunain, ond hefyd i'w daenu yn mysg eu cydnabod.

*Anianyddiaeth y Sefyllfa Ddyfodol.* Gan Thomas Dick, LL.D. Cyfieithedig gan R. Parry. Argraffwyd a chyhoeddwyd gan Griffith Jones, Bala.

Mewn un adolygiad a welsom ar y "Traethodydd," dywedid nad oeddym yn ddigon diduedd; ac mai yr unig ddynion mawr yn ein cyfrif ni oedd Chalmers a Dick. Y mae yn anhawdd boddio rhai pobl. Yr oeddym wedi sylwi llawer mwy ar Paley, Arnold, Coleridge, Vicar Pritchard, ac eraill a berthynent i Eglwys Loegr, nag ar un o'r ddau uchod. Ac am Dr. Dick, nid ydym yn cofio fod ei enw wedi ymddangos unwaith yn y "Traethodydd" hyd y fynyd hon. Dywed yr adolygydd dan sylw hefyd, fod Chalmers a Dick yn ddynion mawr, ond fod eraill mor fawr a hwythau. Ond y gwirionedd ydyw, nad ydym ni yn cyfrif Dick mewn un modd yn ddyn mawr. Mor bell oddiwrth ei roddi ef yn un o ddau ar y fainc uchaf, nid ydym yn ei ystyried yn deilwng i fod ar y fainc hono o gwbl. Tueddir ni i wneyd y crybwylliad yma, oblegid fod llawer yn tybied, os byddant wedi darllen ysgrifeniadau yr awdur hwn, nad oes dim ychwaneg i'w wybod.

Er hyny, yr ydym yn ystyried "Anianyddiaeth y Sefyllfa Ddyfodol" yn werth ei gyfieithu; ac yn un o'r llyfrau goreu a allesid gael i ddosbarth helaeth o ieuenctyd Cymru. Er nad yw yr awdur i'w gysdadlu â Butler, neu Paley, neu Chalmers; eto ystyriwn ef yn fwy addas nag un o honynt i'w roddi yn nwylaw y cyffredin. Y mae yn llawer haws i'w ddëall; ac y mae ganddo ddawn i osod allan ffeithiau yn y modd mwyaf dyddorawl. Yr oedd mawr anghen am lyfr o'r fath, a hyderwn y gwna lawer o les. Dylid ymdrechu ei roddi yn nwylaw pob dyn ieuanc.

Afreidiol yw sylwi fod Mr. Parry yn gyfieithydd medrus. Y mae Cymru dan rwymau iddo ef a'r cyhoeddwr.

---

DINBYCH, ARGRAFFWYD GAN THOMAS GEE.

# Y TRAETHODYDD.

## ATHRONIAETH Y MEDDWL.

[*An Historical and Critical View of the Speculative Philosophy of Europe in the Nineteenth Century.* By J. D. MORELL.
*Golwg Hanesyddol a Beirniadol o Athroniaeth y Bedwaredd-ganrif-ar-bymtheg.* Gan J. D. MORELL.]

Y MAE y llyfr, cyfenwad pa un a roddir uchod, yn waith pur nodedig, wedi tynu llawer o sylw, ac wedi ennill llawer o glod ymhlith llëenyddion Lloegr. Y mae yn trin rhan o wybodaeth o bwys diammheuol, ond un hynod o ddyrys ac anhawdd ei dëongli, mewn modd dealladwy i feddyliau y cyffredin. Ymddengys i ni fod Mr. Morell wedi bod yn llwyddiannus i raddau anarferol yn ei ymdrechiadau i roddi golygfa glir a chyson ar y testun mawr a helaeth ag y mae wedi gymeryd mewn llaw. "Anaml y darllenasom awdur," meddai Dr. Chalmers, yn yr erthygl ddiweddaf, mae yn debyg, a ysgrifenodd cyn ei farwolaeth, "ag a fedrai gyflëu ei syniadau mewn dull mor oleu; a'r rhai hyny, nid yn ysgafn ac arwynebol, ond yn sylweddol a dwfn, fel yr athroniaeth ag y mae yn ymdrin â hi."

Gan fod arwyddion pur amlwg fod athroniaeth y meddwl, ar ol ei hir esgeuluso yn y wlad hon, yn debyg o gael ei dwyn i sylw adnewyddol, a'i thrin ar egwyddorion gwahanol iawn i'r rhai a fu mewn rhwysg hyd yn hyn, y mae arnom chwant amcanu cymeryd mantais ar waith Mr. Morell, i geisio arwain ein cydwladwyr, yn enwedig y dynion ieuainc sydd yn darllen y "Traethodydd," i gael cipolwg ar y maes helaeth ac ardderchog a agorir o'n blaen yn y cyfrolau campus hyn.

Efallai y byddai yn hoff gan ein darllenwyr gael ychydig o wybodaeth ymlaen llaw mewn perthynas i'r ysgrifenydd. Gŵr lled ieuanc ydyw Mr. Morell, wedi ei ddwyn i fynu i'r weinidogaeth ymhlith yr Annibynwyr, yn Athrofa Homerton. Mae yn nai i'r Parch. Thomas Morell, oedd yn athraw duwinyddol yn Athrofa Coward o flaen ein hybarch gydwladwr, Dr. Jenkyn. Bu am rai blyneddau yn weinidog ar eglwys Annibynol yn Gosport, Hampshire; ond nid yw tuedd athronyddol ei feddwl yn ei gymhwyso, ni a dybygem, i fod yn llwyddiannus iawn fel pregethwr i'r werin. Drwg genym glywed ei fod yn ddiweddar wedi derbyn y swydd o ymwelydd (*inspector*) ysgolion o dan y llywodraeth.

Yn y rhagymadrodd i'r gwaith hwn, rhydd yr awdur hanes bŷr a dyddorawl o'r cylch ar hyd pa un yr arweiniwyd ei feddwl wrth olrhain ei ymofynion i'r astudiaeth uchel hon. Dechreuodd trwy ddarllen traethawd enwog Locke "*On the Human Understanding.*" Bu hyn yn foddion i

agor iddo faes ëang a mawreddus, ond heb ei arwain i unrhyw benderfyniad, yn mha un y gallai orphwys gyda boddlonrwydd sefydlog a therfynol. Oddiyno, aeth ymlaen at waith Dr. Thomas Brown; ac am ychydig amser, cafodd ei ddenu a'i gaethiwo yn hollol, gan ddull ysplenydd a swyniarus yr ysgrifenydd ardderchog hwn. Yn y cyfamser, symudodd o Lundain i Brifathrofa Glasgow, lle y galwyd ei sylw yn fanylach at gyfundraeth Reid, yn mha un y canfu fod llawer mwy o ddyfnder ac ysbrydolrwydd nag yn ngolygiadau Dr. Brown. Rhoddodd hyn gyfeiriad newydd i'w fyfyrdodau, ac amcanodd cael peth adnabyddiaeth o gyfundraeth feddyliol Kant, trwy ddarllen y llyfr nodedig hwnw o'i eiddo, a elwir "*Critick of Pure Reason.*" Ni fu yn llwyddiannus iawn yn ei ymdrechiadau i feistroli egwyddorion dyrys y gwr hwn, nes iddo fyned i'r Almaen, lle y cafodd y fantais o wrandaw ar Brandis a Fichte yn esbonio yr athroniaeth Allmaeneg yn eu darlithiau athrofaol: ond yr oedd eu daliadau hwy, a'u holl ddull o athronyddu, mor gwbl wahanol i'r hyn oedd yn gyffredin yn Scotland a Lloegr, fel yr ymddangosai yn hollol anobeithiol iddo fedru cymmodi, nac hyd yn nod gymharu, cynnyrch meddyliol y ddwy wlad â'u gilydd. Yn y petrusder hwn, taflodd ei olwg tua Ffrainc, o ba le yr oedd wedi clywed son eisoes am yr Athroniaeth Ddewisyddol (*Ecclectic Philosophy*), amcan pa un yw dethol o bob cyfundraeth yr egwyddorion gwreiddiol a gynnwys, i'r dyben o'u cymharu a'u cysylltu â'u gilydd, yn un corff cyfan, a chyflawn o wirionedd. Ymdeithiodd gan hyny yn nesaf i'r wlad hono, lle y bu am gryn amser yn astudio yn fanwl ysgrifeniadau a darlithiau Cousin ac eraill, ag ydynt yn dal ac yn dysgu y golygiadau hyn. Ac yn eu trefn athronyddol hwy, ni a dybygem, y mae meddwl bywiog a threiddgar Mr. Morell wedi gorphwys ac ymlonyddu, o leiaf hyd yn hyn. Gellir canfod, oddiwrth y braslun hwn o'i hanes fel myfyriwr, mor drwyadl y mae wedi ymbarotoi a chyfaddasu ei hun at y gorchwyl a gymerodd mewn llaw fel hanesydd athroniaeth y bedwaredd-ganrif-ar-bymtheg.

Yr ydym yn teimlo mai nid gwaith hawdd fydd cyfleu trwy gyfrwng yr iaith Gymraeg olwg eglur o'r materion y trinir am danynt yn y traethawd meistrolgar hwn. Rhaid defnyddio geiriau ac ymadroddion trwstan ac anghynnefin; nid am ein bod yn ymhyfrydu yn y cyfryw, oblegid gwell genym bob amser gadw os bydd hyny yn bosibl at iaith sathredig y wlad. Ond gan nad oes eiriau priodol mewn ymarferiad, y mae yn fantais hynod i ni fod cyfansoddiad a phriod-ddull yr iaith Gymraeg yn goddef i ni ffurfio geiriau newyddion o'i defnyddiau cyntefig ei hun. Ymdrechwn wneuthur mor ychydig o hyn ag a fyddo ddichonadwy. Ond nid ydym yn foddlawn gadael ein cydwladwyr yn Nghymru mewn hollol anwybodaeth o'r egwyddorion a'r golygiadau sydd yn bresennol yn cynhyrfu y meddyliau cadarnaf trwy holl Ewrop, ac yn debyg, cyn bo hir, o ddwyn effeithiau helaeth a grymus ar bob dosbarth o wirionedd, moesol a duwinyddol.

Y mae Mr. Morell yn dosbarthu y gwahanol olygiadau perthynol i athronyddiaeth y meddwl, ag sydd mewn rhwysg yn y dyddiau hyn, o dan bum cyfundraeth, y rhai a enwa:—

SYNWYROLIAETH, *Sensationalism.*
AMGYFFREDYDDIAETH, *Idealism.*
AMMHEUYDDIAETH, *Scepticism.*
DIRGELYDDIAETH, *Mysticism.*
DEWISYDDIAETH, *Ecclecticism.*

Nid ydym yn dychymygu fod y geiriau hyn yn trosglwyddo unrhyw amgyffred eglur iawn i'n darllenwyr ar y cyntaf; ond byddai yn ddywenydd mawr genym pe byddai yn bosibl i ni gyfleu iddynt ryw grynodeb dealladwy o'r dull amlwg a champus trwy ba un y mae Mr. Morell yn dangos tarddiad pob un o'r cyfundraethau hyn o ryw elfen neu egwyddor wreiddiol yn nghyfansoddiad ein natur ysbrydol.

Yr amgyffrediad cyntaf a mwyaf naturiol sydd gan ddyn fel creadur yn meddu cydwybodoldeb yw ei fodolaeth ei hun. Y mae yn teimlo ar unwaith ei fod ef, ei hun, ei bersonoliaeth ef, yn rhywbeth gwahanol ac ysgaredig oddiwrth yr holl fyd allanol. Y mae ganddo lawer o alluoedd a theimladau o bob math, ond y maent i gyd yn perthyn i'r *Myfi*. Hwn yw 'r canolbwynt hanfodol yn mha un y maent yn ymlynu ac yn greddfu, ac sydd yn meddu grym ac awdurdod ar eu holl ysgogiadau. Ond nid yw 'r *Myfi* yn allu diammodol ac annherfynol. Yn y gwrthwyneb, y mae yn canfod yn fuan fod rhywbeth tuallan iddo, yn ei gyffinio a'i attal ar bob llaw. Ac fel hyn y mae yn cyfodi yn y meddwl yr amgyffrediad am rywbeth nad yw yn perthynu iddo ei hun—sydd yn wahanol ac yn aml iawn yn wrthwyneb i ewyllys y *Myfi*. A hwn yw 'r *Nid myfi*, sef yr holl fyd allanol—pob peth nad yw yn perthyn i'r *Myfi*.[1]

Y ddau hyn ydynt yn ddïau y ddau amgyffrediad gwreiddiol yn y meddwl dynol, sef ei *hunan* ar y naill law, yn meddu dëalltwriaeth a rhyddid, a'r byd anianyddol ar y llaw arall, yn meddu gallu gwrthdarawol iddo ei hunan. Ond nid ydym eto allan o oror y meidrol. Y mae y *Nid myfi*, neu 'r byd allanol, yn caethiwo ac yn terfynu 'r *Myfi*. Ond nid yw hwn hefyd, sef holl gyfundraeth natur, ond meidrol a therfynol, oblegid y mae genym ninnau allu, i raddau, i'w newid a'i wrthwynebu yntau. Y mae 'r *ddau* amgyffrediad hyn, gan hyny, yn dyfod o dan yr un dosbarth cyffredinol (*category*), sef y terfynol a'r perthynasol. Ond y mae gan ddyn allu hefyd i ffurfio amgyffred am ddull o fodolaeth ac sydd *annherfynol*. Fel esiampl—mewn cysylltiad â'r drychfeddwl am *amser* ac *achos*, ac *encyd* (*space*), ac eraill, cyfyd yn y meddwl y ddirnadaeth am rywbeth nas gall ei gyffinio a'i fesur—am Fod anfeidrol, o ba un y mae pob *achos* yn deilliaw—am dragywyddoldeb, sydd yn amgylchynu *amser*—am anfeidroldeb, sydd yn cynnwys *encyd*. Ac felly y ffurfir dosbarth arall o syniadau sylfaenol sydd yn greddfu yn meddwl dyn.

'Nawr y mae'r amrywiol gyfundraethau o athroniaeth y meddwl yn gwahaniaethu oddiwrth eu gilydd, yn ol fel y maent yn dal i fynu y naill neu y llall o'r syniadau gwreiddiol hyn fel y prif neu'r unig egwyddor o ba un y mae ein holl ddrychfeddyliau yn tarddu.

Y mae'r gyfundraeth flaenaf y soniasom am dani, sef Synwyroliaeth, wedi cyfodi trwy fod athronyddion yn cyfeirio a chaethiwo eu sylw yn benaf at yr ail o'r amgyffredion gwreiddiol a nodwyd, sef y "*Nid myfi*," neu'r byd allanol. Wrth olrhain hanes y gyfundraeth hon, mae Mr. Morell yn dangos, gyda chryn debygolrwydd, ei bod wedi tarddu o ran ei dech-

[1] Dymunem hysbysu i'n darllenwyr mai nid nyni, na Mr. Morell chwaith, sydd wedi dyfeisio'r ymadroddion hyn—*Myfi*, a *Nid myfi*. Y maent mewn ymarferiad cyffredinol, er ys cryn amser, ymhlith athronwyr Germany, a'u dysgyblion yn y wlad hon. Ond meddyliwn iddynt darddu ar y cyntaf o ysgrifeniadau yr enwog Descartes a'i ganlynwyr, y rhai a ddechreuasant son am y bersonoliaeth ddynol o dan y gair Lladin *ego*; a chwedi hyny mabwysiadwyd ef gan Fichte yn Germany o dan y ffurf *Ich*, a *Nicht ich*; hyny yw, *Me*, a *Not me*; neu i'w gyfieithu yn llythyrenol i'r Saesoneg, *I*, a *not I*.

reuad o philosophyddiaeth Bacon: nid yn uniongyrchol, mae'n wir, oblegid nid ysgrifenodd Bacon nemawr i ddim ar athroniaeth y meddwl, ond trwy y duedd gyffredinol a achosodd ei ddull newydd (*Novum Organum*) ef i sylwi ar, ac astudio natur, sef yr hyn sydd wrthddrych y synwyrau, fel prif foddion gwybodaeth i ddyn. Ond mae'n rhaid priodoli sylfaeniad pendant y gyfundraeth hon, yn ddiau, i'r enwog John Locke, yn y traethawd y cyfeiriwyd ato eisoes, "*Essay on the Human Understanding;*" am yr hwn dywed ein hawdur, "ei fod wedi dwyn mwy o effaith ar y wyddawr arddansoddawl (*metaphysical science*) na dim a ymddangosodd er oes Aristotl a Phlato." Efallai fod yn hysbys i rai o'n darllenwyr fod cryn ddadl wedi bod yn ddiweddar, i ba raddau y dylid tadogi y gyfundraeth hon ar Locke. Ymddengys i ni fod Mr. Morell, er ei fod yn gadarn wrthwynebydd i'w ddaliadau, wedi ymddwyn yn deg ac yn barchus tuag at y gwr mawr ac anrhydeddus hwn. Ond eto, y mae'n profi yn bur eglur i'n tyb ni (er nad yw Locke i'w gyfrif yn atebol am yr eithafion ag y mae rhai o'i ddysgyblion wedi crwydro iddynt) fod elfenau y gyfundraeth synwyryddol i'w cael yn ddigon amlwg yn ei draethawd ef.

Prif egwyddor Locke, wrth olrhain dechreuad ein gwybodaeth, ydyw, "fod yr holl ddefnyddiau, ar ba rai mae'r meddwl yn gweithredu, ac o ba rai mae'n ffurfio ei holl syniadau, yn deilliaw yn y lle blaenaf o sylwadaeth (*observation*) neu brofiad (*experience*)." "Ond," ebe fe, "y mae dwy ffynnonell o ba rai y derbyniwn wybodaeth brofiadol; sef yn gyntaf, synwyriaeth, hyny yw, yr argraffiadau ac ydym yn dderbyn o'r byd allanol trwy gyfrwng y synwyrau corfforol; ac yn ail, adfyfyriaeth (*reflection*), sef y meddwl yn sylwi ar ei weithrediadau ei hun." Ond y pwnc yw, a ydyw Locke yn caniatau fod gan y meddwl feddiant ar syniadau nad ydynt *ar y cyntaf*, ac o *ran eu helfenau*, wedi dyfod yn eiddo iddo o'r byd allanol, a thrwy gyfrwng y synwyrau? A thybygem fod *rhaid* ateb yn nacäol. Nid yw'r holl alluoedd ag y mae ef yn briodoli i'r meddwl, ond yn unig y meddwl yn trin mewn gwahanol ddulliau (trwy eu hadgofio, a'u cymharu, a'u cysylltu, a'u cysodi) y defnyddiau ag y mae wedi eu derbyn oddiallan. Ac nid yw adfyfyriaeth ddim ychwaneg na'r meddwl yn sylwi ar y gweithrediadau hyn o'i eiddo ei hun. Yn wir, mae'n ymddangos i ni fod Locke ei hun wedi penderfynu y cwestiwn hwn tuhwnt i bob dadl, mewn un frawddeg gynnwysfawr a geir mewn llythyr a ysgrifenodd at Leibnitz, mewn ffordd o eglurhad ar ei olygiadau, lle y dywed, "*Nihil est in intellectu quod non prius in sensu*"—Nid oes dim yn y meddwl na fu o'r blaen yn y synwyr. Ac felly, canfyddir yn dra amlwg yn ol dysgeidiaeth Locke fod ein holl amgyffrediadau i'w holrhain yn y pen draw i deimladau neu synwyrau y corff—a hyn yw synwyroliaeth.

Y mae Mr. Morell yn dilyn hanes y gyfundraeth hon o amser Locke hyd yn bresennol, ac yn dangos, trwy y dull ac y mae ei egwyddorion wedi ymagor ac ymaddfedu ymhellach ac yn berffeithiach yn nwylaw ei ganlynwyr, mor hanfodol yr oedd y duedd, o'r hyn lleiaf, at gyflawn synwyroliaeth yn ei drefniant athronyddol ef. Yr oedd Locke ei hun yn ŵr crefyddol a duwiol, a pharch cywir a dwfn yn ei galon at Gristionogaeth. Ond y mae yn drist i ni sylwi, mor fuan y cymerodd deistiaid yr oes ganlynol, megys Collins a Mandeville, fantais o'i gyfundraeth feddyliol ef i bleidio syniadau o anffyddiaeth, ag y buasai ei enaid ef yn eu ffieiddio a'u gwrthod gyda'r arswyd mwyaf. Ond prif ddysgybl uniongyrchol Locke

oedd Hartley. Meddyg oedd y gwr hwn o ran ei alwad, yr hyn mae'n debyg a'i tueddodd i ymholi yn fanylach pa fodd y mae'r meddwl yn derbyn ei argraffiadau o'r byd allanol trwy gyfrwng y corff. A'i esboniad ef oedd hyn, Fod y corff yn y lle blaenaf yn cyffwrdd â'r defnyddiau allanol hyn, a bod y cyffyrddiad hwn yn creu ysgogiadau bychain (*vibrations*) yn y gewynau, a bod yr ysgogiadau hyn yn ymestyn ar hyd y gewynau i'r ymenydd, ac yn gwneuthur argraffiadau ar ddefnydd madruddol yr ymenydd, ac felly yn cynhyrfu syniadau yn y meddwl. Er fod yn ddigon eglur nad yw'r athrawiaeth ddigrif hon yn ein dwyn un gronyn yn nes at ddëall y *modus operandi*, neu ddull gweithrediad y corff ar y meddwl, eto mae'n dangos fel yr oedd dysgyblion Locke yn tueddu fwy-fwy o hyd at ddefnydd-draeth (*materialism*), hyny yw, at anysbrydoli natur feddyliol dyn. Y nesaf yn yr olyniaeth hon oedd y Dr. Priestley, yr hwn a fabwysiadodd olygiadau Hartley, ac a'u dygodd ymlaen ymhellach fyth; gan ddal mai yr un peth yw synwyriaeth ac amgyffred (*sensation and thought*), a chan hyny, nad yw holl amgyffredion y meddwl ond yn unig effeithiau y cyfansoddiad corfforol, a gweithrediadau y gewynau ar sylwedd defnyddiol yr ymenydd. Yn Ffrainc bu dylanwad Locke yn fwy gresynus fyth; gan ein bod yn canfod fod ysgrifenwyr athronyddol y wlad hono, a gychwynasant â'r gyfundraeth synwyryddol, yn disgyn yn is, is, o hyd, nes cyrhaedd o'r diwedd, yn ngwaith erchyll y Baron D'Holbach, a elwir "*Systeme de la nature*," waelodion dyfnaf yr atheistiaeth mwyaf ofnadwy a chableddus. Ond dymunem sylwi yma drachefn nad ydyw Locke a'i egwyddorion yn atebol am y cyfeiliornadau adgas hyn.

Prif bleidwyr athrawiaeth feddyliol Locke yn Lloegr yn y dyddiau hyn ydynt y ddau Mill—James Mill, a John Stuart Mill; am y rhai nid oes genym amser i ddyweyd rhagor yn bresennol, na'u bod yn ysgrifenwyr galluog a chyfrifol, ac yn cadw gan mwyaf yn agosach at eu meistr na'r rhai y buom yn son am danynt ddiweddaf, ac felly yn gochel y canlyniadau erchyll i ba rai y crwydrasant hwy. Ond meddyliwn fod dydd yr athroniaeth synwyryddol wedi myned heibio am byth.

Y mae yn bryd i ni bellach droi at yr ail gyfundraeth y soniasom am dani, sef Amgyffredyddiaeth (*Idealism*). Priodola Mr. Morell sylfaeniad hon i Descartes. Ganwyd y gwr enwog hwn yn Touraine, yn 1596; yr hyn a ddengys ei fod mewn rhan yn gydoesydd â'r anfarwol Bacon. Ac fel y darfu'r blaenaf sefydlu seiliau athronyddiaeth anianyddol ar sylwadaeth ddyfal a manol o ffeithiau natur yn y byd allanol, felly dechreuodd Descartes astudiaeth y meddwl trwy gyfeirio ei olygon i mewn i sylwi ar ffeithiau cydwybodoldeb yn ei fynwes ei hun. "Wrth graffu," eb efe, "ar y lliaws o deimladau, argraffiadau, a syniadau, o bob math, sydd yn tramwy trwy'r meddwl, yr ydym yn canfod cyn bo hir fod rhai o honynt yn ammheüus, a rhai yn gwrthwynebu eu gilydd, fel y mae yn anmhosibl i neb gredu eu bod i gyd yn gywir. Ac nid oes genym brawf, ar y cyntaf, fod neb o honynt yn wir. Y gosodiad blaenaf gan hyny, o ba un y tardd gwir athroniaeth, yw *ammheu* pob peth. Ond y mae un peth nas gallwn ei ammheu, sef meddyliaeth (*thought*). Os cydnabyddaf unrhyw wirionedd, rhaid i mi wneuthur hyny trwy feddwl am dano. Os ar y llaw arall yr ydwyf yn ammheu unrhyw wirionedd neu haeriad, mae hyd yn nod y weithred o ammheu yn arwyddo ac yn profi gallu i feddwl. Ond y mae

yn amlwg fod rhyw ddeiliad (*subject*) i ba un y mae y gallu hwn i feddwl yn perthyn, yn mha un y mae yn greddfu, ac o ba un y mae yn tarddu. A hwn yw'r *Myfi.*" Dyma'r hyn a amcanai Descartes gyfleu yn y frawddeg nodedig sydd mor flaenllaw yn ei ysgrifeniadau, "*Cogito, ergo sum:*" Meddyliwyf, am hyny ydwyf. Gwel ein darllenwyr bellach, megys ag y mae athroniaeth Locke yn cychwyn trwy gyfeirio ei golwg at un o'r amgyffredion gwreiddiol y soniasom am danynt, sef y *Nid myfi*, neu'r byd allanol yn ei effeithiau ar y meddwl, felly fod athroniaeth Descartes yn dechreu trwy sylwi yn fwy neillduol ar y *Myfi*, neu bersonoliaeth gydwybodol y meddwl ei hun. Ar ol gosod sylfaen ei gyfundraeth fel hyn yn y meddwl dynol, y mae Descartes yn myned ymlaen i ymholi—Gan fod lliaws o syniadau (*ideas*) yn y meddwl hwn, pa fodd y mae i ni benderfynu geirwiredd y rhai hyn. Yr unig ateb a ellir roddi yw trwy apelio drachefn at ein cydwybodoldeb. Pa beth bynag y mae fy nghydwybodoldeb yn ddadguddio i mi fel yn wirioneddol, os bydd y dadguddiad hwn yn eglur ac yn benderfynol, rhaid i mi ei dderbyn. Ond wrth ymchwilio i'r argraffiadau neu'r dadguddiedigaethau cyntefig hyn, ymddengys un syniad yn sefyll allan yn y meddwl yn fwy amlwg a diammheüus na dim arall, sef y syniad am Fod perffaith ac anfeidrol. Ac fel hyn, yn ol daliadau Descartes, y mae prawf uniongyrchol o fodolaeth y Duwdod yn nghydwybodoldeb naturiol dyn. Y mae efe gan hyny yn mabwysiadu yr amgyffrediad gwreiddiol hwn fel egwyddor sylfaenol ei holl gyfundraeth, o ba un y mae prif neillduolrwydd ei olygiadau athronyddol ef a'i ddysgyblion yn tarddu. Ac yn awr, sylwed ein darllenwyr fod Descartes wedi uno ac ymgorffori â'r amgyffrediad elfenol, y "myfi," y trydydd o'r rhai y soniasom am danynt fel yn wreiddiol yn meddwl dyn, sef yr amgyffrediad am yr anfeidrol a'r annherfynol. A hwn yn ddiau, sef y syniad am Dduw, yw 'r egwyddor fawr sydd yn cynnwys, ac yn y diwedd yn llyncu pob peth arall ynddi ei hun yn nghyfundraeth Descartes. Ac fel y darfu canlynwyr Locke yru ei athroniaeth synwyryddol ef yn llawer pellach na'u meistr, nes crwydro o'r diwedd i ddefnydd-draeth bur (*pure materialism*), felly hefyd gwnaeth dysgyblion Descartes wthio ei ddaliadau yntau i'r eithafion pellaf yn y cyfeiriad gwrthwyneb. Cychwynodd Malebranche oddiar osodiad ei athraw, mewn perthynas i wreiddioldeb a goruchafiaeth y syniad am Dduw fel yr amgyffrediad hanfodol yn meddwl dyn; ac oddiyno aeth ymlaen i ddal mai Duw yw yr unig allu gweithredol yn yr holl greadigaeth, a bod holl ysgogiadau natur, anianyddol a meddyliol, yn cael eu dwyn ymlaen trwy ddylanwad uniongyrchol a digyfrwng Duw. Arweiniodd hyn ef yn ddigon naturiol i haeru, gan nad oes un gallu gweithredol, nac yn y meddwl nac yn y byd allanol, ac nas gallant gan hyny effeithio ar eu gilydd ond trwy gyfryngdod uniongyrchol Duw, fod meddwl dyn yn canfod pob peth yn Nuw.

Yr oedd symudiad oddiyma ymlaen at ddaliadau Spinoza yn eithaf naturiol; yr hwn a haerai nad oes dim mewn bod ond Duw, ac nad yw pob peth sydd mewn bod ond rhanau neu ddulliau o'i hanfod a'i briodoliaethau anfeidrol ef. Ac felly canfyddwn, mai megys ag y mae eithafion synwyroliaeth yn terfynu mewn atheistiaeth, fod eithafion amgyffredyddiaeth yn terfynu mewn oll-dduwiaeth (*pantheism*).

Ond y mae llawer ffurf o'r gyfundraeth amgyffredyddol wedi ymddangos. Rhydd Mr. Morell hanes golygiadau nifer o ysgrifenwyr pur hynod a

ymddangosasant yn Lloegr o flaen Locke, y rhai a gynhyrfwyd i ysgrifenu yn benaf gan philosophyddiaeth Hobbes. Duwinyddion, gan mwyaf, oedd y gwyr hyn, yn perthyn i Eglwys Loegr, ac yn meddu ar ddysgeidiaeth helaeth a thrwyadl, yn enwedig yn llëenyddiaeth yr iaith Groeg. Yr enwocaf o honynt oedd Cudworth, awdur y gwaith anfarwol a elwir, "*The Intellectual System.*" Heb fyned i mewn yn fanwl i olygiadau yr awdur enwog hwn yn bresennol, gellir nodi fod ei arbenigrwydd penaf yn gynnwysedig yn ei fod wedi rhag-ganfod i raddau pur nodedig rai o egwyddorion Kant, a'r athronyddion Allmaeneg. Dengys yn ddigon amlwg fod meddwl dyn yn meddiannu amgyffredion pur (*νοηματα*), y rhai nad yw ddichonadwy iddo eu derbyn o'r synwyrau corfforol. "Os sylwn," eb efe, "ar y ddirnadaeth sydd genym o'r amgyffredion hyn, sef y *νοηματα*, canfyddwn yn eglur nad ydynt yn rhith (*image*) neu adlewyrchiad o ddim gwrthddrychau allanol, ond pethau sydd yn y meddwl yn hanfodol; megys cyfiawnder, uniondeb, dyledswydd, dëalltwriaeth, ewyllys, côf, gwirionedd, ffalsedd, achos, effaith," &c.

Ond rhaid i ni bellach geisio ymgalonogi i droi at y rhan fwyaf dwfn a dyrys o lawer yn y testun sydd genym mewn llaw; a hyny yw, yr athroniaeth Allmaeneg. Ond na lwfrhêwch, gydwladwyr ieuainc, sydd wedi cyd-deithio â ni hyd yn hyn. Ond ymwrolwch, a gwregyswch lwynau eich meddwl, oblegid er fod y wlad sydd yn ymëangu o'n blaen yn ymddangos yn dywyll ac anial, y mae trysorau ardderchog i'w cael ynddi, os llwyddwn i'w goresgyn.

Amgyffredyddiaeth, o benaf, sydd wedi blaguro yn yr Almaen, oblegid y mae'r dull hwn o athronyddu yn cyd-daro yn eithaf âg athrylith glân, treiddgar, a dychymygol yr Allmaeniaid. Sylfaenydd yr athroniaeth Allmaeneg, yn ddiau, ydoedd Leibnitz, "yr hwn," medd Mr. Morell, "oedd feddiannol ar feddwl cawraidd, wedi ei ffurfio o ran ei gyfansoddiad i ymddyrchafu yn naturiol uwchlaw pawb eraill oddiamgylch iddo." Safodd Leibnitz yn y canol rhwng yr eithafion i ba rai yr oedd Locke a'i ddysgyblion wedi crwydro ar y naill law, a Descartes a'i ddysgyblion ar y llaw arall. Canfu hefyd fod eu camsyniadau hwy yn tarddu o ryw ddiffyg yn eu hegwyddorion *gwreiddiol*. Ac felly mewn gwrthwynebiad i'r blaenaf, daliai fod syniadau greddfol, neu wirioneddau anghenrheidiol yn perthyn i'r meddwl, nad ydynt wedi deilliaw hyd yn nod o ran eu defnyddiau o'r byd allanol, a thrwy gyfrwng y synwyrau. Mewn ateb i lythyr Locke, y cyfeiriasom ato eisoes, anfonodd y frawddeg Lladin a ddyfynwyd yn ol, wedi ei newid fel hyn, "*Nihil est in intellectu quod non prius in sensu, nisi intellectus ipse:*" *h. y.* Nid oes dim yn y meddwl na fu o'r blaen yn y synwyr, *oddigerth y meddwl ei hun.* Ar yr ochr arall, ymdrechai ddangos mewn gwrthwynebiad i Descartes a'i ganlynwyr, nad yw gallu gweithredol (*causability*) i'w gyfyngu yn unig i Dduw, ond ei fod yn perthyn fel priodoledd reddfol i bob sylwedd, megys ag y mae ymlediad (*extension*) i ddefnydd, a chydwybodoldeb i feddwl. Yr ydym yn teimlo mai ofer fyddai i ni amcanu yn bresennol esbonio yn gyflawn athrawiaeth Leibnitz mewn perthynas i'r gronynau (*monads*), yn y rhai, yn ol ei dyb ef, y mae y gallu gweithredol hwn yn greddfu—digon fydd i ni sylwi nad ydym i gyfrif y *monads* hyn fel rhanau defnyddiol (*material parts*), ac am hyny y mae yn eu priodoli hwynt i feddwl yn gystal ag i gorff. Ond gan fod hanfod meddwl a chorff yn hollol wahanol, nid oes gan y *monads* perthynol

i'r ddau, un gallu *naturiol* i weithredu ar eu gilydd. Pa fodd, gan hyny, y mae meddwl a chorff yn medru effeithio a dylanwadu y naill ar y llall? Wel, meddai Leibnitz, y mae hyn yn cymeryd lle trwy ewyllys Duw, yr hwn sydd wedi rhag-sefydlu cysondeb blaenorol (*pre-established harmony*) rhwng y ddau.

Dysgybl penaf Leibnitz oedd Wolf, am yr hwn nid oes anghenrheidrwydd helaethu; oblegid er i'w ysgrifeniadau ef roddi cryn gymhelliad i athronyddiaeth y meddwl yn yr Almaen, a chael cymeradwyaeth mawr yn mysg ei gydwladwyr un hanner can' mlynedd, ni wnaeth ef nemawr ond trefnu ac eglurhau cyfundraeth ei feistr, Leibnitz. Ond ar ei ol ef, cyfododd un, a ellir ei gyfrif, mae'n debyg, yn benaf o'r cawri yn y rhan hon o wybodaeth; daliadau pa un, er iddynt fod yn hir yn wrthddrychau gwawd, dirmyg, a phob math o elyniaeth, yn enwedig yn y wlad hon, sydd wedi ac yn gweithio chwyldröad dwfn a chyffredinol yn athroniaeth y meddwl trwy Ewrop ac America. Yr ydym yn cyfeirio at Immanuel Kant. Ac yn awr, dealled y darllenydd hynaws, mai cyfundraeth Kant yw 'r *pons asinorum*, neu bont yr asynod,[1] yn y wyddawr hon, ag sydd yn dadguddio yn anffaeledig pa un a oes genym ryw raddau o wir athrylith arddansoddawl. Y mae edrych ar y cyntaf i'w egwyddorion ef fel sefyll ar ben rhyw fryn yn nghanol niwl dudew, a syllu ar y dyffryn odditanodd. Gwaedda'r edrychwr yn groch, "Hawyr! nid oes yma ond y gaddug ddofn—ni welir un gwrthddrych yn eglur! Ymddengys pob peth yn gwibio fel drychiolaethau afluniaidd ac ansylweddol yn y gwagle tywyll!" Ond eto, trwy barhau i dremio yn astud ac yn amyneddgar, nes i'r llygaid ymgynnefino â'r olygfa, gwelir mai nid tryblith, ond crëadigaeth gadarn a threfnus sydd o'n blaen, lle yr ymdaena dolydd gwyrddleision, ac y tardd coedydd blagurog, ac y rhed ffrydiau tryloew; a lle hefyd y gall yr amaethydd diwyd a medrus gasglu cnwd toreithiog i lenwi yr enaid â lluniaeth ac â llawenydd. Rhaid cyfaddef, wrth gychwyn, fod geiryddiaeth Kant yn erchyll, ac wedi dychrynu llawer rhag agosau at ei ysgrifeniadau—geiriau mawrion, dyeithr, cymalog a chlogyrnaidd, yn ddigon ymron i hollti bochgern y sawl a ameano eu llefaru. Credwn hefyd fod llawer o honynt yn ddianghenrhaid, ac yn arogli yn bur gryf o goeg-ddysgeidiaeth. Ond eto y maent yn cynnwys, yn ol ein barn ni, ffrwyth llafur un o'r meddyliau craffaf a chadarnaf a fu erioed yn ymyraeth â dirgelion dyfnion cyfansoddiad natur ysbrydol dyn. Dywed Thomas Carlyle fel hyn am Kant, "Nid oes dim yn ein synu yn fwy na chlywed dynion yn cyhuddo Kant o fod yn dywyll ac aneglur. Os oes un peth yn hynodi mewn modd mwy pendant na'i gilydd ysgrifeniadau Kant, diau mai hyny yw, gloewder ei amgyffredion, a choethder a manylrwydd haiarnaidd ei ymresymiadau." Ond, gyda phob parch i Mr. Carlyle, beiddiwn ddywedyd, fod yn anmhosibl i neb gyfrif ei ysgrifeniadau yn glir a gloew, nes iddynt yn gyntaf ddysgu iaith newydd—nid yr Allmaeneg ond y Kantäeg, sef y briodiaith newydd a barbaraidd yn mha un y mae ef wedi dilladu ei egwyddorion.

Ond eto, amcanwn osod o flaen ein darllenwyr ryw fraslun anmherffaith o rai o brif ddaliadau y gŵr mawr ac enwog hwn. Y mae Kant, yn ei ymchwiliad i'r meddwl, yn cychwyn gyda'r gosodiad hwn:—y dylid dechreu,

[1] Rhoddir yr enw hwn i un o'r *theorems* yn y llyfr cyntaf o Euclid, oblegid fod yr asynod, sef pob hurtyn heb nemawr o rym meddyliol, yn gyffredin yn methu myned trwyddi.

nid fel yr ydys yn arfer, trwy graffu ar *wrthddrychau* 'r meddwl, pa un ai oddiallan neu oddifewn, ond trwy ddattod (*analyse*) cyfansoddiad elfenol y meddwl ei hun. I'r dyben hyn, y mae yn dosbarthu y meddwl i dair prif gynneddf; sef y gallu synwyryddol, y dëall, a'r rheswm; ac yna yn troi i chwilio i ansawdd pob un o'r rhai hyn.

I. Y gallu synwyryddol (*sensitive faculty*) yw y gallu sydd gan y meddwl i dderbyn argraffiadau trwy gyfrwng y synwyrau corfforol. Y mae Kant, (mewn gwrthwynebiad i Berkeley ac eraill) yn cymeryd yn ganiataol wirionedd (*reality*) yr argraffiadau hyn, fel peth ag sydd tuhwnt i brawf. Ond y pwnc mawr ganddo ef yw hyn, yn y darganfodion (*perceptions*) ag y mae'r meddwl yn dderbyn o'r byd allanol, pa faint sydd yn deilliaw o'r gwrthddrych a ganfyddir, a pha faint sydd yn perthyn i'r meddwl ei hun. Y mae yn ddigon amlwg nad yw 'r *oll* o'r syniadau a gynhyrfir yn y meddwl gan wrthddrychau allanol yn perthyn i'r gwrthddrychau eu hunain. Fel esiampl—mewn cysylltiad â phob peth a ganfyddir oddiallan, y mae'r meddwl yn dirnad am danynt, fel mewn amser a lle. Ond nid oddiallan y mae'n derbyn yr amgyffredion am amser a lle (*time and space*), oblegid gŵyr pawb nad oes un gwrthddrych sylweddol a genfydd y synwyrau yn cyfateb, neu yn debyg i amser a lle. Gan fod yr amgyffredion hyn, gan hyny, yn cyfodi yn y meddwl, pa bryd bynag y cenfydd unrhyw wrthddrych allanol, a chan nad ydynt yn perthyn fel priodoledd i'r gwrthddrych ei hun, *rhaid* eu bod yn hanfodi yn y meddwl yn naturiol ac yn wreiddiol. A'r rhai hyn sydd yn y meddwl eisoes, ac yn tarddu i fod o anghenrheidrwydd, pan y canfyddir unrhyw wrthddrych allanol, a eilw Kant, mewn ymadrodd nas medrwn ei gyfieithu, *esquitious a priori*. Ond sylwer nad yw y rhai hyn yn perthyn i'r gallu synwyryddol, gwasanaeth pa un yw yn unig ddwyn i mewn ymddangosiadau (*phenomena*) fel y defnyddiau elfenol ar ba rai y mae y meddwl i weithredu.

II. Ond y mae anghenrheidrwydd am gynneddf uwch na hon, i'r dyben o roddi ffurf a llun i'r defnyddiau a ddarperir gan y gallu synwyryddol. Y gynneddf hon ydyw 'r deall (*understanding*). 'Nawr mae Kant yn dal, fod rhyw gynnifer o *ffurfiau* neu syniadau cynnwynol yn greddfu o anghenrheidrwydd yn y dëall. Y mae yn dosbarthu y rhai hyn o dan bedwar pen, sef maintioli, ansawdd, perthynas, a dull o fod (*modelity*): *h. y.* yn dangos fod yr holl wrthddrychau adnabyddus i ddyn, *fel eu canfyddir gan y dëall*, yn meddiannu y priodoliaethau hyn, nid am eu bod *yn* y gwrthddrychau, ond o herwydd nas gall y dëall amgyffred am danynt, heb eu gwisgo yn uniongyrchol â'r cyfryw briodoliaethau. Ac felly gwelir mai y dëall sydd yn rhoddi eglurder, trefn, a ffurf i'r defnyddiau a dderbynir trwy gyfrwng y gallu synwyryddol.

III. Ond y mae eisieu cynneddf arall eto, uwch ei grym a'i hurddas fyth. Oblegid er fod y dëall yn dwyn defnyddiau 'r meddwl i drefn a llun, nis gall wneuthur dim yn ychwaneg—nis gall trwy gyffredinoli (*generalise*) y ffurfiau hyn alluogi y meddwl i ymddyrchafu i oror undeb perffaith (*absolute unity*). Gwasanaeth yw hwn sydd yn perthyn i'r rheswm pur (*pure reason*). Trwy offerynoldeb y gynneddf hon y mae y meddwl yn gallu ffurfio syniadau am yr anmherthynasol, y diammodol, a'r anfeidrol. Y mae tri dull trwy ba rai y mae y gynneddf hon yn gweithredu, y rhai nis gallwn aros i'w hesbonio'n fanylach ar hyn o amser. Trwy'r cyntaf, y mae yn ymgyrhaedd at yr amgyffred o'r enaid, fel undeb hanfodol yn neiliad (*subject*) y meddwl; trwy'r ail, at yr amgyffred o'r bydysawd, fel undeb a chyfanswm yr holl

ymddangosiadau (*phenomena*) allanol. A thrwy y trydydd y mae yn cyrhaedd, neu o'r hyn lleiaf yn ymdrechu cyrhaedd, amgyffred am berffeithrwydd hanfodol yn y Bod mawr anfeidrol ac annherfynol.

Rhaid i ni eto rybuddio ein darllenwyr rhag dychymygu ein bod yn gosod y crynodeb uchod o rai o brif ddaliadau Kant, fel darlun cyflawn o'r gyfundraeth. Nid ydyw ar y goreu ond rhyw arweiniad i mewn—rhyw cip olwg ar y cyntedd nesaf allan. Ond eto, gallwn anturio dyweyd fod golwg glir ar y tri pheth a nodir uchod, nid yn unig yn anhebgorol, ond yn hynod fanteisiol tuag at ddëall ei holl egwyddorion; oblegid y maent yn rhedeg fel gewynau trwy y cyfan o gorff ei athroniaeth. Prif ddysgyblion Kant yn yr Almaen ydynt Fichte a Schelling, ond y mae eu hysgrifeniadau hwy yn cynnwys dyfnderau nas beiddiwn arwain ein cydwladwyr iddynt yn bresennol, rhag iddynt hwy a ninnau golli golwg yn deg ar y làn, a thrwy hyny iddynt gael eu dychrynu i'r fath raddau fel nas anturiant ymddiried eu hunain i'n llywyddiaeth ni ragllaw.

Dëonglwr mawr yr athroniaeth Allmaeneg yn Lloegr yw Coleridge, am yr hwn y mae ein darllenwyr wedi clywed eisoes yn nhudalenau'r "Traethodydd," a rhai o honynt, gobeithiwn, erbyn hyn, yn ei dudalenau ef ei hun. Dyn mawr oedd Coleridge, o enaid galluog a threiddgar anarferol, o athrylith amryfath a goruchel; ac y mae wedi gwneuthur gwasanaeth anmhrisiadwy i'r gwirionedd trwy efengyleiddio yr athroniaeth newydd a'i gwneuthur yn ddarostyngedig i awdurdod y dadguddiad dwyfol. Gan hyny, gwasgarwn flodau ar ei fedd, a bydded ei goffadwriaeth yn berarogl yn ein plith am oesoedd. Ond rhaid cyfaddef hefyd, nad ydyw ei gyfundraeth athronyddol ef yn agos mor wreiddiol (*original*) ag y myn efe i ni gredu. Oblegid yr oedd Coleridge yn lleidr digydwybod; nid yn unig yn benthyca *egwyddorion* Kant a Schelling heb eu cydnabod, ond ambell waith yn cyfieithu yn llythyrenol dudalenau cyfain o'u gweithiau, ac yn eu cyhoeddi fel yr eiddo ei hun, heb un arwydd dyfyniad. Nid oedd hyn yn ganmoladwy yn Coleridge, mwy nag ydyw mewn ysgrifenwyr Cymreig sydd yn euog o'r un amryfusedd. Mae anonestrwydd llëenyddol mor feius ac adgas ag unrhyw anonestrwydd arall, neu yn hytrach, ar rai golygiadau, yn llawer mwy felly; oblegid nid oes dim mor gwbl yn eiddo i ddyn a chynnyrch ei feddwl, ac y mae ei ysbeilio o hwnw yn greulonach lladrad nag un arall, heblaw fod yr arfer yn cynnwys y baweidd-dra o geisio ymwthio ein hunain i barch ac enw ar gost llafur ac athrylith eraill.

Nid oedd anghenrheidrwydd nac esgus am i Coleridge wneuthur felly, oblegid yr oedd ganddo drysorau gwychaf a gwerthfawrocaf yn dylifo bron yn ddïysbydd o'i feddwl ardderchog ei hun. A phriodol i ni hysbysu hefyd, er iddo tuhwnt i bob ammheuaeth gymeryd *sylwedd* ei athrawiaethau athronyddol o'r awdwyr uchod, ei fod nid yn unig wedi eu gwneuthur yn eiddo iddo ei hun, trwy eu dëall a'u meistroli yn fwy trwyadl, efallai, nag un dyn yn Lloegr; ond ei fod hefyd wedi ychwanegu cryn lawer at eu daliadau hwy, yn enwedig, trwy roddi lle i *ffydd* fel gallu greddfol yn mhlith cynneddfau cynnwynol y meddwl, neu yn hytrach, trwy ddangos fel y mae y gallu hwn i'w uno a'i ymgorffori â'r hyn a alwai Kant y rheswm pur.

Wrth olrhain hanes yr athroniaeth hon, yn enwedig yn Lloegr, ni ddylem anghofio enw Thomas Carlyle, ysgrifeniadau pa un sydd yn dwyn mwy o effeithiau, mae'n debyg, ar feddwl y wlad yn y dyddiau hyn, nag

eiddo un dyn arall. Nid yw ddichonadwy rhoddi un adroddiad cyson a chyflawn o egwyddorion Mr. Carlyle, oblegid nid yw byth yn amcanu dysgu unrhyw gyfundraeth ffurfiol a threfnus o'i eiddo ei hun. Ond nis gellir darllen nemawr o dudalenau, yn un o'i gyfrolau, heb ganfod ei fod yn elyn didrugaredd i'r athroniaeth synwyryddol, a bod ei feddwl wedi ei drochi yn uchel-athrawiaethau philosophyddion yr Almaen.

Ac yn awr rhaid i ni derfynu. Nid ydym wedi hanner cwblhau ein gwaith; oblegid y mae tair cyfundraeth athronyddol eto ar ol. Ond dïau fod ein darllenwyr wedi cael digon ar y fath ddysgeidiaeth dywyll ar hyn o amser. Ac eto cymerwn genad i ddyweyd wrth derfynu, os bydd rhywrai yn barod i grochlefain uwch ben yr erthygl hon, mai ffregod annëalladwy ydyw i gyd, mai nid peth diogel, bob amser, yw gwawdio yr hyn nad ydym yn ei ddëall. Cred, anwyl frawd, ag wyt yn troi dy ffroen yn ddiystyrllyd tua'r nefoedd, y dichon fod gwirionedd pwysig mewn ymadroddion nas gallant dreiddio trwy dy benglog caled di. Gwell i ti gan hyny arafu, a sibrwd yn isel ac yn ostyngedig rhyngot ti a'r pared, yn ngeiriau pen bardd Lloegr—

"*Well, well, there are more things in heaven and earth*
*Than e'er were dreamt of in* my *philosophy.*"

---

## CYFNEWIDIADAU UGAIN MLYNEDD.

### LLYTHYR AT GYFAILL.

Anwyl Ioan,—Gwnaethost i mi addaw, pan gyda thi yn Liverpool, ysgrifenu atat yn awr ac eilwaith, i adrodd fy helyntion a'm teimladau yn fy ymweliad â'r hen wlad. Os gall hyn weinyddu rhywbeth at dy foddhad, peth bychan yw i mi ymgeisio at hyny, canys ni fedraf ddiolch hanner digon i ti am dy garedigrwydd tuag ataf ar fy nhiriad o'r America. Ac felly wele fi yn bresennol yn defnyddio y cyfle hwn i ddechreu cyflawni fy adduned.

Yr wyf er ys dros bythefnos bellach yn Ll—, y dref lle bûm yn brentis saith mlynedd, a lle yr arosais dair blynedd wedi dyfod yn rhydd. Mae adgofion mwyaf dyddorawl fy ieuenctid yn gysylltiedig â'r dref hon; a mynych mynych y bu fy meddwl hiraethlawn yn ehedeg yma o gyfandir pell America. Wedi bod ymaith am ugain mlynedd llawn, yr oeddwn yn nesâu at yr hen dref gyda theimlad cymysgedig o londer a phryder, o ddysgwyliad ac arswyd; awydd gweled fy hen gyfeillion a'm cydnabod, ac ofn rhag mai dyma yr ystori a glywn am y rhan fwyaf, "Ei le nid edwyn ddim o hono ef mwy!" Er pan yr ydwyf yma, mae fy meddwl wedi derbyn yr argraffiadau dwysaf o'r gwirioneddau cynnefin am gyfnewidioldeb y byd a marwoldeb dyn, ac am y gwerth o ymddiried yn y "Duw sy 'r un o hyd." Mae yma wyneb newydd ar bob peth; personau, teuluoedd, teiau, heolydd; a phrin y buaswn yn sicr fy mod wedi cyrhaedd yr iawn fan, oni buasai fod yr hen eglwys a'r clochdŷ mawr yn nghanol y dref, ac yn enwedig, yr hen graig ysgythrog sy'n ymddyrchafu uwch ei phen, a'r hen afon gam sy'n rhedeg heibio iddi, yn dystion o'r fath eirwiraf o'i hunan-

iaeth. Mae y rhês o dai bychain oedranus oedd yn meddiannu y rhan fwyaf o du gorllewinol yr-heol fawr, wedi cilio ymaith i roddi lle i drigfanau mawrion a masnachdai ëang ac ysplenydd. Mae llysdŷ newydd, marchnadfa newydd, a chapeli newyddion wedi gwneuthur eu hymddangosiad ar ol fy ymadawiad i; a thô newydd o bobl, ddyeithr i mi, sydd yn cyrchu iddynt. Y rhai yr oeddwn yn meddwl am danynt fel pobl led ieuainc, o herwydd y mae dydd eu priodas fel doe yn fy nghof—maent yn awr yn deidiau a neinoedd. Ac wrth synu uwchben henaint pobl eraill, yr wyf yn gorfod dyfod adref ataf fy hun, a chofio nad ydwyf ieuanc mwyach. A wyddost ti? cafodd ieuangeiddrwydd fy ysbryd ergyd o'r fath drymaf gan hen wreigan o'r cyfenw Siân Pen-y-bont; â'r hon yr oeddwn yn gydnabyddus iawn yn y dyddiau gynt. "Hawyr bach!" meddai hi wrthyf; "pwy fuasai yn meddwl wrth eich gweled gyda'r pen moel a'r gwyneb llwyd hen yna, mai chwi yw Robert ——, y bachgen bochgoch, bywiog, oedd yn *attendio* arnom yn *shop* —— ? *Dear me*, ddyn, yr ydych wedi *al'tro* yn fwyaf un a welais erioed."

Rhaid i mi addef mai fy mhrif orchwyl er pan gyrhaeddais yma, heblaw adrodd fy hanes fy hun wrth fy hen gyfeillion, yw eu holi hwynt, a gwrandaw arnynt yn dywedyd am gyfnewidiadau yr ugain mlynedd diweddaf yn Ll——, gyda golwg ar bersonau ac amgylchiadau. Ac y mae genyf erbyn hyn loned ffetanau o newyddion, y rhai sydd dra tharawiadol i mi, ac a allant, wrth eu hail-adrodd, gyfranu difyrwch, os nad addysg, i eraill. Ond paid ag ofni blinder mawr; nid wyf am dywallt y cwbl i ti ar unwaith; digon ar hyn o bryd fydd dy anrhegu â rhai dyrneidiau sy'n gorwedd ar y wyneb.

Yn amser fy arosiad i yn Ll——, yr oedd T. B. yn adnabyddus iawn gan y dref a'r wlad oddiamgylch, a da fuasai gan lawer pe cawsent wybod llai am dano. Yr oedd yn fath o oruchwyliwr i'r boneddwr oedd yn perchenogi y rhan fwyaf o deiau y dref, ac yr oedd yn dal amryw o swyddau plwyfol; ac ynddo ef yr oedd yr "*insolence of office*," y trahausder swydd, i'w ganfod mewn perffeithrwydd. Gyda 'r mawrion, nid oedd neb mor wasaidd a gwenieithgar ag ef; ond yn mysg y werin, yr oedd yn ymddangos yn dordyn, ffroenuchel, a meistrolgar dros ben. Ni chai y tlawd siarad o fewn dwy lath iddo, ac arferai y bygythion gerwinaf a'r llwon mwyaf dychrynllyd os anfoddhêid ef mewn unpeth. Ffromai yn ddirfawr os na elwid ef yn *Mr*. B.; ac efe a ddialai i'r eithaf, os medrai, ar bwy bynag a geisiai wrthwynebu ei draha. Yr oedd ei blant yn dilyn ei esiampl yn dra ffyddlawn; yr oeddynt yn nodedig am eu huchelfrydedd, eu rhwysg, a'u hannhiriondeb tuag at isafiaid. A'i brif amcan yntau, tybygid, oedd sylfaenu urddas i'w deulu, a'u gadael ar ei ol yn bobl fawr. Ond trôdd y rhôd, ac efe a syrthiodd i'r domen. Yr oedd wedi tynu yn ei ben y Duw sy'n "gwrthwynebu y beilchion," ac am hyny ni allodd lwyddo. Daliwyd ei fab henaf am ffug-ysgrifiaeth, ac o'r braidd y diangodd y gwr ieuanc rhag cael ei alltudio am ei oes; daeth ffeithiau anhyfryd allan mewn perthynas iddo yntau; cymerodd y boneddwr oedd yn ei noddi yr oruchwyliaeth oddiarno; mynwyd chwilio i'w gyfrifon plwyfol, ac nid oedd neb yn medru gweled eu huniondeb; aeth y mawrion i droi eu gwynebau oddiwrtho wrth ei basio ar yr heol; gallodd gwehilion y dref fyned yn ddigon hyf i'w hwtio; torwyd ei ysbryd uchel; a chafwyd ef ryw foreu yn gorff yn ei wely. Yr oedd pawb yn meddwl ei fod wedi myned trwy ryw fodd-

ion, yn "graig o arian," fel y dywedir; ond nid oes dim cadw ar arian drwg; wedi iddo drengu, nid oedd gan ei deulu ar ei ol ddim ond tlodi yn hylldremu arnynt. Wedi eu dwyn i fynu mewn gorwychedd a moethusrwydd, nid oeddynt, yn nydd eu darostyngiad, yn gallu troi eu dwylaw at ddim gorchwylion buddiol. Aethant ymaith at berthynasau pellenig; ond dywedir na roes y rhai hyny ond derbyniad oeraidd iddynt; a pha fodd y mae arnynt yn awr, nis gŵyr pobl Ll——. Dyna yr adroddiad syn a gefais wedi dyfod yma; ac y mae yn dwyn geiriau grymus y Salmydd i'm meddwl yn y modd bywiocaf: "Gwelais yr annuwiol yn gadarn, ac yn frigog fel y lawryf gwyrdd. Er hyny, efe a aeth ymaith, ac wele, nid oedd mwy o hono; a mi a'i ceisiais, ac nid oedd i'w gael."

Yr wyf yn canfod fod llawer o hen deuluoedd enwocaf y dref erbyn hyn wedi eu chwalu, neu eu darostwng i iselder; ac y mae y rhan fwyaf o honynt wedi cyfarfod â'r trychineb hwn trwy anghymedroldeb a gwastraff. Mae yma eraill wedi dyfod i fynu o ddechreuad bychan i gyfoeth ac anrhydedd. Yn mysg y rhai hyn y mae Morgan L— yn un o'r rhai mwyaf cyfrifol, ac y mae yn deilwng o'r bri a gyrhaeddodd. Yr wyf yn gydnabyddus âg ef o'm mabandod; cafodd ei eni a'i fagu mewn bwthyn bychan gerllaw tyddyn fy nhad. Nid oedd ond dwy flynedd hŷn na mi, a chydchwareuasom lawer yn ein blyneddau boreuaf. Os byddai arnaf eisieu rhyw declyn chwareu, dim ond myned at Morgan, ac efe a'i gwnai yn hylaw imi. Yr oedd yn wastad yn hynod amcanus gyda phob peth yr ymaflai ynddo. Rhwymwyd ef yn brentis plwyf; a dyoddefodd yn y dechreu lawer o sarhâd oddiwrth gydbrentisiaid a gweithwyr. Ond yr oedd calon derwen gan Morgan. Ymroes ati i ddysgu ei grefft, a buan y sylwodd ei feistr ar ei fedr a'i ddiwydrwydd. Daeth cyn hir i ennill cyflog; ac ni welwyd ef erioed yn gwario dimai yn ofer, nac yn gwastraffu ei gwerth. Ei gydweithwyr meddw a'i galwent yn gerlyn, ac a daflent bob difrïaeth arno; ond ni ofalai Morgan am hyny; nid oedd dim a barai iddo droi ymaith o'i ffordd ddiwyd a chynnil. Erbyn heddyw Morgan L— yw penaeth ei gelfyddyd yn y dref a'r ardaloedd. Ei hen feistr trwy ymyfed a syrthiodd i dlodi, ac y mae'r holl *fusiness* yn awr yn llaw Morgan. Efe a briododd wraig o deulu parchus a galluog, ac y mae wedi prynu iddo ei hun un o'r tai goreu, gyda'r gweithdai mwyaf cyfleus, yn yr holl dref. A gallaf chwanegu iddo ddangos yn ddigon eglur mai nid cybydd-dod oedd ei gynnildeb; oherwydd bu ac y mae yn gymwynasgar iawn i'w berthynasau tlodion, a gellir gweled ei enw fel tanysgrifiwr at bob achos da. Mae yn debyg genyf dy fod wrth ddarllen hyn yn cofio geiriau Solomon: "Llaw y diwyd a gyfoethoga."

Nid yw yr achos crefyddol, mewn cysylltiad â pha un yr oeddwn yn aelod eglwysig yn y lle hwn, heb gyfarfod â llawer o gyfnewidiadau. Ac yn gyntaf oll, mae yr hen gapel wedi ei ddïorseddu ac wedi darfod am dano, a chapel ëang, ardderchog yn teyrnasu yn ei le ef. Yr oedd yr hen gapel, yr hwn yn amser ei adeiladaeth a gyfrifid yn un o gapeli mwyaf Cymru, a'r hwn o ran cryfder a allasai sefyll am oesoedd eto—yr oedd hwn, meddir wrthyf, wedi myned yn rhy fychan ac anghyfleus. Ond ni wn i ddim a oedd gan *ffasiwn* law yn codi y castell hwn o gapel newydd ai peidio. Yr oedd capeli newyddion, mawrion a gwychion, wedi eu codi yn Ng—, a D—, a Th—, &c., a pham yr oedd raid iddynt hwy yn nhref Ll— fod ar ol yn yr yrfa o gysegr-adeiladaeth? Mae yn wir fod torf fawr

yn ymgynnull i'r capel presennol; mae yr eisteddlëoedd a'r meinciau yn gyffredin yn cael eu defnyddio oll; ond y mae pawb yn gallu eistedd yn bur gysurus. Yr hen gapel yn dŷn ar nos Sabbothau a welswn i, heb wagle i'w weled yn unlle; a'r bobl, yn enwedig ar y llawr, yn sefyll ac yn eistedd bob yn ail. Ac yr oedd rhywbeth, tybygwn i, yn bur gynhesol yn hyny mewn mwy nag un ystyr. A dyweyd y gwir, yr oeddwn y Sabboth cyntaf yn teimlo hiraeth nid bychan am yr hen addoldŷ; yr oedd iâs o dristyd yn myned trwy fy ysbryd, a dywedwn, "Wel, wel! dyma hen gyfaill eto wedi myned."

Mae yma gyfnewidiad mawr ar y canu cynnulleidfäol; a hyny, yn ol fy meddwl i, er gwaeth. Yn yr hen gapel, byddai y dyrfa, i fynu ac i lawr, yn cydganu yn soniarus; ac aml waith, wrth gyflawni y rhan hyfryd hon o'r gwasanaeth crefyddol, y meddyliais fod yma ryw arlun o'r canu nefol, am yr hwn y dywed Ioan, ei fod "fel llef dyfroedd lawer, ac fel llef taran fawr." Ond yn awr yn y newydd, mae yr holl ganu wedi myned yn etifeddiaeth rhyw nifer penodol mewn eisteddlëoedd penodol; y rhai hyn yn unig yw'r gweithredyddion, ac nid oes gan gorff y gynnulleidfa, gellid meddwl, ddim i wneyd ond beirniadu ar eu caniadaeth. Wrth eu gweled, yr oeddwn yn methu peidio meddwl am y canu a fyddai yn hen Eglwys Aber—, lle y byddwn weithiau yn myned pan yn fachgen gyda fy hen fodryb Susan, yr hon oedd lànyddes zelog. Byddai yno ryw hanner dwsin mewn crog-lofft, yn canu "mawl er gogoniant i Dduw," ac er pres i'w llogell; ac nid oedd neb ond y rhei'ny yn ceisio canu. Gelli fod yn sicr mai nid difyr genyf oedd gweled ailargraffiad o grog-lofft y canu yn eisteddlëoedd cantorion capel mawr Ll—. Hyfrydwch annhraethol i mi gannoedd o weithiau yn mherfedd-dir America, a fu ceisio swnio hen bennillion y "Grawnsypiau" ar yr hen dônau cysegredig, nefolaidd, a glywswn er pan yn fachgen. Ac un o'r drychfeddyliau cryfaf genyf am ddedwyddwch daearol, oedd cael myned unwaith eto i hen gapel Ll—, a chlywed yr hen bobl dduwiol yn canu yr hen bennillion ar yr hen dônau, megys,

"Arglwydd, ffoed cymylau mwy," &c.
"Am fod fy Iesu 'n fyw," &c.
"O d'weded pawb am rin y gwaed," &c.
"Wel, dyma 'r cariad sydd yn awr," &c.
"Trig yn Sïon, aros yno," &c.

Llawer tro wrth eu canu, yn enwedig ar ddiwedd sacrament, neu ar ddiwedd *society* ar nos Sabboth, y gwelais yr hen grefyddwyr wedi eu llanw hyd yr ymyl â chariad a mawl, a minnau yn laslanc yn eu canol, wedi cael trydanu fy holl natur, fel mai prin y gwyddwn pa un ai yn y corff ai allan o'r corff y byddwn. Ond wedi cael dyfod yn ol i Ll—, er fy chwithdod du, yr oedd yr hen gapel wedi ei ddadsylfaenu, yr hen bobl wedi meirw, a'r hen dônau wedi eu colli. Wrth wrandaw ar y canu presennol, er fod yr erddygan yn gywrain, a'r sain yn gerddgar, prin y gall fy nheimlad beidio gofyn, Ai addoli yw hyn? Fe allai mai rhagfarn, neu fath o Dorïaeth ynof ydyw, ond nid oes mo'r help; hwyrach y maddeuir eithafion Cymro alltud sydd â'i galon yn ymdoddi i fold yr hen amserau.

Yr hen flaenor, Dafydd R—, sydd wedi marw er ys pymtheng mlynedd. Yr oeddwn yn ei gyfrif ef yn un o'r cymeriadau parchusaf ar y ddaear. Yr oedd yn "hen ddysgybl;" er yn ieuanc cawsai gymhorth i harddu

athrawiaeth Duw ei Iachawdwr yn mhob peth. Yr oedd yn un o bererinion Llangeitho, ac felly yn grefyddwr o'r hen argraff; a chyda hyny, yr oedd yn gallu cerdded yn ystwyth gyda phob gwelliant y gelwid am dano gan yr amserau. Efe trwy lawer o rwystrau a sylfaenodd yr Ysgol Sabbothol yn nhref Ll—. Yr oedd yr hen frodyr a'r chwiorydd yn taeru mai nid rhydd oedd dysgu plant ar y Sabboth. Ond Dafydd R— a welodd werth yr ysgol, ac a safodd yn wrol o'i phlaid. Cafodd gan Mr. Charles ddyfod o'r Bala i Ll— i'w gynnorthwyo i ymresymu â'i gyfeillion; ac felly trwy fwyneidd-dra doethineb llwyddwyd i sefydlu yr ysgol. Nis gallaf byth anghofio cynghorion yr hen batriarch i mi ar y noson y'm derbyniwyd i gyflawn aelodaeth eglwysig. "Mae yn dda neillduol genyf," meddai efe, "weled y bachgen hwn yn dyfod ymlaen; y mae efe yn fab i Abraham. Bum yn cerdded gyda'i daid fwy nag unwaith i Langeitho. Ond fy machgen anwyl, ti elli eto, gydag eraill o blant y deyrnas, weled Abraham, ac Isaac, a Jacob, yn nheyrnas Dduw, a thithau wedi dy fwrw allan! Er mwyn dy fywyd, paid pwyso ar ddim ond ar Graig yr Oesoedd. Cloddia a dos yn ddwfn am sylfaen safadwy. 'Dangos yn y teulu lle yr wyt fod ofn Duw o flaen dy lygaid. Gâd i bobl ieuainc y dref ddëall mai gweddïwr wyt ti. Dywed, fy machgen, gyda Moses, 'Duw fy nhad, mi a'i dyrchafaf ef.'" Yr oeddwn yn methu ymattal rhag wylo llawer wrth glywed adroddiad am ei ddyddiau diweddaf a'i farwolaeth, ac yn enwedig ei hanes yn y gymdeithas eglwysig olaf y bu ynddi, yr hyn oedd bythefnos cyn ei farw. Yr oedd heb fod allan o'i dŷ er ys diwrnodau; ond y prydnawn hwnw yr oedd yn ymddangos wedi adfywio yn fawr, a mynodd fyned i gynnulliad yr eglwys. Yr oedd yn llawenydd mawr i bawb oedd yn bresennol gael gweled eu hen flaenor yn eu mysg unwaith eto; ond ocheneidient a galarent wrth weled yr angeu yn ei wedd, a chanfod oddiwrth bob arwyddion fod amser ei ymddattodiad yn ymyl. Ceisiodd sefyll i fynu; ond yr oedd yn rhy wan. Eisteddodd—edrychodd oddiamgylch yn ddifrifol—a dywedodd yn bwyllog gyda llais gwanaidd, "Dyma fi, anwyl frodyr a chwiorydd, wedi dyfod atoch am y tro olaf am byth. Daethum yma trwy ymdrech mawr i ffarwelio â chwi oll." A chyda hyn yr oedd pawb yn y lle yn tywallt dagrau yn hidl. Aeth yr hen sant ymlaen, ac a ddywedodd, "Ffarwel, ffarwel fy mrodyr; deliwch yr hyn sydd genych; a byddwch ffyddlawn hyd angeu. Diolchwch drosof am fy nal hyd yma, a gweddïwch am i mi gael fy nerthu ychydig eto yn ychwaneg, ac yna mi fyddaf wedi darfod rhyfela am byth. Yr wyf yn y gwasanaeth er ys oddeutu triugain mlynedd, ac mi gâf farw, yr wyf yn lled sicr heno, â'r lifrai am danaf. Mae Satan wedi dyweyd wrthyf lawer gwaith mai tywod oedd fy sail wedi fy holl grefydda; ond nid yw yn beiddio dyweyd hyny yn awr. Gallaf dystio yn ddifloesgni fod fy nhŷ ar y graig—ar y graig! Mae yr afon yn dechreu llifo o'm cwmpas, ond—'melus yn yr afon cael craig a'm deil i'r lân.' Frodyr, mae yn werth glynu yn wir. Chwi ddeuwch i fy wylnos, bawb a allo, mae yn debyg; wel cenwch y pennill, '*Mi wn fod fy Mhrynwr yn fyw*,' nes bo 'r heol yn adseinio." Ni allodd ddyweyd ychwaneg; yr oedd ei natur wedi diffygio, a wylofau yr eglwys yn boddi ei lais, ac yn gorchfygu ei deimladau. Cynnorthwywyd ef i fyned adref gan ddau gyfaill, ac ni ddaeth allan mwyach o'i dŷ yn fyw. Bendigedig yw dy goffadwriaeth, fy hen athraw! nid wyf yn dymuno mwy na bod yn ddilynwr i ti, megys yr oeddit tithau i Grist.

Mae yr olwg bresennol ar yr eglwys hon yn gwirio y geiriau hyny, "Llawer o'r rhai blaenaf a fyddant yn olaf, a'r rhai olaf yn mlaenaf." Mae rhai a gychwynasant ar yr yrfa grefyddol yn foreu, ac a welais yn rhedeg yn dda am dymmor, yn ymddangos yn bresennol fel wedi eu rhwystro yn fawr; un gan ysbryd y byd, arall gan angharìad a thramgwydd, ac arall gan ddiogi ysbrydol, fel nad ydynt yn un enw i grefydd, er fod enw crefydd hyd yma arnynt hwy. Mae rhai hefyd wedi tynu yn ol, ac ymgysylltu âg eilunod. Alaethus genyf weled G. M. yn ei henaint wedi myned mor galed fel ag i eistedd yn eisteddfa y gwatwarwyr. Yr oedd ef yn mlodau ei oes yn rhedeg i bob gormod rhysedd; ond cafodd droad hynod, yn ol pob ymddangosiad, yn amser y diwygiad crefyddol grymus tua'r flwyddyn 1818, ac ymunodd âg eglwys Dduw. Bu llawer tro digrif arno gyda'i grefydd; dywedai ei feddwl yn frac ar bob mater; nid oedd un ran o athrawiaeth yn rhy ddofn iddo ei thrin, nac un math o wasanaeth yn rhy bwysig iddo anturio arno; a byddai yn dueddol iawn i frolio ei weddïau, ei gateceisio, a gorchestion crefyddol eraill o'i eiddo. Ond cyfrifid hyn gan ei frodyr yn ffrwyth diffyg o hyfforddiad boreuol, ac yn brawf o dymher agored a diddichell; ac yr oedd ei zel yn cuddio lliaws o bechodau. O fewn y deng mlynedd diweddaf, aeth i ddaeru ynghylch y pwnc o lwyrymwrthod â diodydd meddwol; ymosodwyd arno gan rai, mae yn ymddangos, yn lled anfoesgar ac annoeth; a digiodd yntau, ac aeth i fynychu tafarndai fel math o hèr arnynt. Trinwyd ei achos yn y gymdeithas eglwysig; toddodd, ac addunedodd ddiwygio. Ond yr oedd y chwant, wrth gellwair âg ef, wedi myned yn rhy gryf iddo; aeth i orwedd i'w hen ymdreiglfa; diarddelwyd ef o dŷ yr Arglwydd; ac y mae ei ddiwedd yn waeth na'i ddechreuad. Mae ganddo wraig dduwiol yn wylo mewn dirgelfanau, ac yn debyg o ddisgyn i'r bedd mewn gofid o'i achos. Mae ef wedi myned mor bell, fel nad oes ond gwyrth o ras a all ei adferu. "Yr hwn sydd yn tybied ei fod yn sefyll, edryched na syrthio."

Ar gyfer hyn, mae yn syndod llawen genyf weled yr hen Morris F— yn un o breswylwyr Sïon. Pan yr oeddwn i o'r blaen yn Ll—, nid oedd neb, am a wn, yn coleddu y dyb wanaf y daethai ef byth i broffesu crefydd yr Iesu. Ni welid mohono un amser mewn na chapel nac eglwys; ac yr oedd wedi myned yn benllwyd mewn annuwioldeb. Ond llwyddodd hen gymydog iddo, trwy hir daerni, i'w gael i'r Ysgol Sabbothol; cafodd yr hen bechadur flas ar air Duw; daeth i wrandaw y pregethau; ac yn awr y mae, yn ol pob argoel, yn eistedd wrth draed yr Iesu. "Beth a wnaeth Duw!" Dyma groen yr Ethiop, a brychni y llewpard, wedi eu newid, a'r gareg wedi ei gwneyd yn gig. Mae yma hefyd ŵr ieuanc o deulu lled gyfoethog ond hollol anghrefyddol, yr hwn a achubwyd fel pentewyn o'r tân. Perswadiodd gyfaill iddo i ddyfod gydag ef i'r rhedegfa ceffylau yn M—; ar y rhedegfa syrthiodd ei gyfaill oddiar ei geffyl, ac a fu farw yn y fan. Effeithiodd hyn ar ei feddwl yn y modd dwysaf; bu am rai dyddiau ar fin gwallgofrwydd; a daeth felly i wrandaw yr efengyl. Bwriodd ei goelbren yn mysg pobl grefyddol, ac y mae yn un o'r rhai mwyaf gobeithiol sydd yma am ddefnyddioldeb Cristionogol. Cadwed Cadernid Israel ef yn ddigwymp, nes ei osod ger bron ei ogoniant Ef yn ddifeius mewn gorfoledd.

Yn nghanol yr amrywiol gyfnewidiadau, yr oedd yn dda genyf weled fod Mr. G. yn para yn weinidog yn Nghapel Heol —. Yr oedd ef wedi

ei sefydlu yno er ys pedair blynedd cyn i mi fyned ymaith, ac felly mae efe yn awr yn fugail ar y ddiadell hon er ys pedair-blynedd-ar-hugain. Llawer o wahanol amserau, yr wyf yn dëall, a aethant drosto ef a'i eglwys yn y cyfamser; ond mae ef yn dal i gynnyddu mewn parch yn y cylch y mae yn troi ynddo. Perchir ef gan ei eglwys ei hun, fel gweinidog ffyddlawn; gan enwadau eraill, fel cristion diragfarn; a chan y dref yn gyffredinol, fel tangnefeddwr a gŵr diargyhoedd. Ni bu ef erioed yn cael ei gyfrif yn bregethwr poblogaidd, ac hwyrach mai dyna un rheswm pa fodd y mae wedi gallu aros am faith flyneddau yn gymeradwy gan yr un gynnulleidfa. Yn dra mynych, mae yr hyn a elwir yn boblogrwydd yn debyg i hwyliau melin wynt, yn cael eu codi i'r cymylau y fynyd hon, ac yn myned i lawr at y ddaear y fynyd nesaf. Ond am Mr. G., ceir ef tua'r un man ar bob pryd. Mae yn bregethwr sylweddol, ac yn fugail doeth a gofalus; ac y mae arafwch yn llywyddu ei holl ysgogiadau. Drwg genyf ddëall, pa fodd bynag, er maint a ganmolir arno gan aelodau ei eglwys, fod rhai o honynt, os nad y rhan fwyaf, yn gadael iddo fyw ar eu canmoliaethau yn unig; a gallasai fod wedi newynu arnynt hwy. Er fod yr eglwys erbyn hyn yn lled lïosog, rhaid i'w hen weinidog gadw ysgol ddyddiol tuag at gyrhaedd anghenrheidiau bywyd iddo ei hun a'i deulu. Gresyn, gresyn!

Mae yr Eglwys Wladol yn gwneyd cryn ystŵr yn awr yn Ll—. Offeiriad diddrwg didda yw yr hen berson sydd yma; un o'r hen rywogaeth (*orthodox*): hen frawd o faint canolig, trwch sylweddol, gwddf bŷr, gwyneb crwn, edrychiad craff, cerddediad araf, a llais uchel. Ei egwyddor ef gyda golwg ar ei blwyfolion, ydoedd, "Taled pawb y degwm, a dyna bobpeth o'r goreu; a ddelo i'r eglwys deled, ac a beidio peidied." Ond y mae wedi myned yn rhy hen ac analluog i wasanaethu ei hun; a chafodd gurad ieuanc, yr hwn a ddaeth yma yn ddarn newydd pur o'r bathdŷ Puseyaidd. Mae hwn yn cynnal gwasanaeth, ac yn traddodi pregeth yn yr eglwys ar nos Sabbothau, a'r un modd ar noson ganol yr wythnos; ac yn arfer pob moddion er ennill proselytiaid iddi. Hyd y gallodd ef, mae wedi troi y plwyf i'r tu gwrthwyneb. Mae wedi ennill clust y boneddigion, ac yn enwedig y boneddigesau, ac yn eu perswadio i beidio rhoddi lle, na gwaith, na chwsmeriaeth, nac elusen, i neb sydd yn arfer myned i gapeli yr Ymneillduwyr. Mae yn ceisio hoelio yr eglwys wrth bob asdyllen. Mae ganddo Glwb Eglwys i'r merched, â pha un y mae y dawns-gyfarfod yn gysylltiedig—Clwb Dillad Eglwysyddol—Ysgol Rad Eglwysyddol—Eglwys-roddion ar Ddydd Gwyl Domos, ac felly ymlaen: ganddo ef, eglwys yw pob peth, a phobl yr eglwys yw pawb; nid adwaen y parchedig hwn ddim na neb arall. Nid wyf yn gweled bai arno am ymdrech dros ei eglwys; ond pam na cheisia wneyd hyny heb ddwyn arfau cnawdol i'r ymdrechfa? Paham na wnai ef gyfeirio ei resymau at y dëall a'r gydwybod, yn lle at y bol a'r cefn? Dylai gofio, "od ymdrech neb hefyd, na choronir ef onid ymdrech yn gyfreithlawn." Clywais fod amaethwr o'r plwyf yn ddiweddar mewn cydymddyddan â'r hen berson, pan yr aed i siarad am brysurwch ymyrgar y curad. "Chwi a wyddoch, John," meddai y person, "na ddarfu i mi erioed wneyd helynt yn fy mhlwyf. *Live and let live* oedd hi gyda mi. Nid wyf fi am ddyweyd dim drwg am y *Dissenters*, nac am i'r *Dissenters* ddyweyd dim drwg am danaf finnau. A gwell fyddai genyf i Mr. J. fod yr un fath a mi. Ond mae ef yn *plesio* y gwyr mawr, ac yn enwedig y boneddigion ieuainc; ac felly rhaid i mi

fod yn ddystaw wrtho. Ond ifanc ydyw ef eto, John; fe ddysg synwyr, gobeithio, erbyn y daw i'n hoedran ni. Yn sicr i chwi, ni ddychymygais i erioed y cawswn fyw i weled gwasanaeth a phregeth ar nos Sul yn yr eglwys fel yn y capeli; a chan fod Mr. J. fel yma yn rhedeg mor ffêst, fe rêd ei hun yn fuan, chwi gewch weled, allan o wynt." Ond nid yw yr hen beriglor gonest yn gwybod nemawr, nac yn gofalu am wybod, am rym "dirgelwch yr anwiredd" sydd yn gweithio mor gryf yn yr offeiriadaeth ieuainc. O'm rhan fy hun, nis gallaf lai na darogan drygau i hen wlad fy ngenedigaeth oddiwrth yr haid o wyr llëen sydd wedi eu trwytho yn egwyddorion gwaethaf Pabyddiaeth, os nad ydyw llawer o honynt yn perthyn i urdd y Jesuitiaid mewn gwirionedd. Mae athrawiaeth Traethodau Rhydychain wedi cyrhaedd yr America er ys blynyddoedd bellach, ac y mae y surdoes hwn wedi lefeinio darn mawr o glamp toes yr Eglwys Esgobyddol acw. Ond diolch! nid oes gan Buseyaid yr ochr arall i'r *Atlantic* lywodraeth wladol yn gydwëuedig â'u sefydliad eglwysig, na gwŷr mawr i allu eu dylanwadu yn erbyn y rhai na arferant ddyfod i'w heglwysydd. Ond yn Lloegr a Chymru, mae gan y teulu hyn lawer cyfleusdra i frathu yn gystal ag i ysgyrnygu; ac adroddwyd wrthyf am amryw bobl dda yn y gymydogaeth hon sydd yn ddyoddefwyr, o herwydd fod eu cydwybodau yn rhy anystwyth i gymeryd eu "cylcharwain â phob awel dysgeidiaeth."

Nid anmherthynasol fyddai i mi yma, efallai, ddisgyn oddiwrth y curad at y clochydd. Ac y mae hyn eto yn achos synedigaeth imi: gweled Edward P— wedi ymgymeryd â chlochyddiaeth y plwyf. Myfi a'i gadawswn ef yn gapelwr gwresog; ac nid oedd neb yn proffesu ymlyniad cywirach wrth holl osodiadau ei sect nag yr oedd ef, nac yn siarad mwy am y pwys o fod yn iach yn y ffydd, ac yn fanwl gyda'r ddysgyblaeth; ac yr oedd yn ymddangos yn sancteiddrwydd o'i goryn i'w sawdl. Byddai ei enaid yn blino beunydd o herwydd rhywbeth a welai o'i le mewn brawd neu chwaer grefyddol; a phrif bwnc ei weddïau a fyddai am i'r Arglwydd ddeffro Sïon o'i chysgadrwydd. Byddwn i y pryd hyny yn synu wrth weled Dafydd R—, yr hen flaenor a nodwyd, yn gwrandaw mor oer ar bethau y brawd Edward, ac yntau bob amser yn dangos cymaint o ddefosiwn. Meddyliodd Edward ei fod wedi cael ei alw i bregethu, ac aeth at yr hen flaenor, i ddymuno arno osod ei achos o flaen y *society* fel ymgeisydd am yr uchel swydd. "Na," meddai Dafydd R—, "gwell i ti aros i ystyried yr achos eto am un dwy flynedd o leiaf." "Yr wyf yn sicr," ebe Edward, "fod gweinidogaeth wedi cael ei rhoddi imi." "Ië," meddai yr hen flaenor, "yr wyt wedi cael gweinidogaeth y lapstwn; ond am weinidogaeth y pulpud, Ned, yr wyf yn sicr na roes hono gymaint a'i bys bach ar dy ben." Bu ei ysbryd yn friwedig am yspaid o herwydd y siomedigaeth hon, ond iachâodd drachefn; ac wedi marw Dafydd R—, barnodd yn gydwybodol am dano ei hun mai efe oedd y cymhwysaf i gael ei ddyrchafu i'r flaenoriaeth. Ond pan aed i ddewis blaenoriaid, nid oedd enw Edward ar y rhestr o gwbl, a rhoes hyny archoll anaele i'w feddwl. Aeth yn bigog iawn tuag at y blaenoriaid newyddion; nid oedd dim a wnaent wrth ei fodd; a cheisiodd, ond yn aflwyddiannus, godi ymblaid i'w herbyn. Yn y cyfamser, aeth hen glochydd y plwyf yn glaf, ac yn anobeithiol am wellâd; a daeth eglwyswr galluog, yr hwn oedd wedi gwybod trwy ryw foddion am oerfelgarwch ysbryd Edward tuag at ei frodyr, i

ymddyddan âg ef; ac i ddywedyd yr ystori yn fyr, ceisiodd a chafodd Edward le yn mhulpud y glochyddiaeth, bid a fyno; ac nid oes a wnelo â'r lapstwn mwy. Weithian y mae efe, yr hwn gynt oedd yn proffesu fod taflod ei enau yn dëall cam flas mewn athrawiaeth, ac a arferai ddywedyd yn enbyd yn erbyn cyfeiliornadau, yn gallu rhoddi Amen ar gyhoedd i bregethau y curad, yn mha rai y dodir arbenigrwydd i sacramentau yr eglwys a thraddodiadau y tadau, ac nid i Grist a'i aberth. Mae yn debyg ei fod erbyn hyn wedi cael cylla yr estrys, yr hwn a fwyty agos bob peth, yn wellt ac yn flew, yn gèryg ag yn haiarn.

Wele, fy nghyfaill Ioan, mae yn debyg fod dy amynedd ar ddiffygio; mi welaf fod fy llythyr wedi myned yn llawer meithach nag y bwriedais iddo fod wrth ddechreu ysgrifenu. Terfynaf ar hyn yma yn awr; a phan ddelo yr ysbrydiaeth arnaf, anfonaf atat epistol eto.

Yr eiddot yn serchog,

—— ——.

---

## Y LLONGDDRYLLIAD.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. THOMAS JONES, DINBYCH.

*(Heb fod o'r blaen yn argraffedig.)*

TRAMWYWN awr, tremiwn wedd
Arw hollawl y môr hyllwedd;
Cawn yno 'n ddifreg bregeth,
Mewn pwyll, o tremiwn y peth.
Duw ein Rhi sy'n gweini gwynt;
Sŵn garwaf sy'n ei gorwynt:
Yn wir e welir ei waith
Yn mawrdwrf y môr dirfaith.
Am arian ni cheir moriaw
Yn hwylus; mae 'n frochus fraw.
Dirfawr i'r gwyr yw 'r derfysg
A sŵn mawr sy yn eu mysg:
Erchyll y chwyth yr oerchwa,
Ni cheir dim ust i'r glust gla':
Croch yw bloedd, mawrfloedd y môr,
Digofus mae 'n dygyfor.
Llidiog yw 'r wyneb llydan,
Yn magu tarth fel mwg tân:
Ei ffrydiau cyffröedig
Eu naws, sy 'n dangaws eu dig:
Brochant a rhuant yr hawg
Fe'u gwelir yn fygylawg;[1]
A'u hymchwydd wna afrwyddwaith;
Pob un sydd fel mynydd maith.
O arw bryd! mae 'r môr ger bron
Yn foelydd, gelltydd gwylltion:
Dychryn, bob tipyn, a'i tôdd,
A llid yr ymddilladodd;
Anfad ei ferwad yw fo;
Annwyfus yw ei nofio:
Yn y llong, gan wall engir,[2]
Gwell i'w tyb yw gwall y tir:
Anhylon iawn eu helynt,
Chwithig wael, gan chwyth y gwynt:
Y llu bach gwael eu lle byd,
Ar sigl gerth, anferth ynfyd,
Agos fel nyth pïogen,
O fewn brig hirfain o bren;
A hyn uwch dyfn orddyfnion,
Fel annwfn dre, nid lle llon!

Mewn brad mawr godiad a gânt,
Oddiyno gwth i ddunant;
Ar ogwydd i ryw eigiawn,
Dyfyn erch i le dwfn iawn:
Yna hwyliad anhylaw,
Wael ystum, i'r drum oer draw!
Deifr-wenyg,[3] dewa' fryniau,
O chwith sy'n agor a chau:
Torllwyth y lli, gweilgi gwyllt,
Hwy dyrant yn haid orwyllt:
Lluchiant, ni thâl eu llochi,
Mwy na'r anwar gynddar gi.
O hylled, flynged[4] y floedd!
Ymwriaw gwynt a moroedd!
Llafar gorddyar[5] gawr ddig,
Gwrddawl elfenau gorddig!

[1]Bygythiol. [2]Erchyll. [3]Tònau y môr. [4]Môr wgus. [5]Rhüad trystfawr.

**Oer alaeth fydd o'r olwg,**
**A'r chwiban yn d'rogan drwg.**

O wth i wth aeth, weithian,
Eu llestr cry' yn wecry[1] wan:
Ei thefyll estyll ystwyth,
Geir o'u lle dan gûr y llwyth;
Y dŵr hallt a dyr holltau.
A'i boer hyll, wrth ddygn-barhau;
Dacw i gêst[2] y du gastell,
Llanw dig yw llonaid y gell.
A'i gwaelod, aur bwygilydd,
Mwyfwy holltawg, fylchawg fydd.
Er cryfed, er praffed pren,
Rhial-braff oedd yr hwylbren,
Gwyra 'n awr, gerwin arwydd!
Dan ei gur fel blagur blwydd,
Aeth heddyw 'n eitha' hyddellt[3]
Eu rhaffau fel darnau dellt;
A'i hwyliau braslin helaeth,
Bob rhan, ŷnt weithian yn waeth
Braidd drec, mor brudd y dryc-hin!
Na bâd blawdd[4] yn y byd blin,
Na llyw 'n iach nac unlle 'n wir
Yn gyfan iawn a gefir.
Tystiaw a wna 'r llong trosti;
Garw fu 'r llam! a gurfa 'r lli?
Rhwyllwyd,[5] anffurfiwyd ei phen;
Pib ysig yw pob asen.

Hwythau 'r gwyr mewn gwewyr gwyllt
Arynaig[6] go erwinwyllt,
Ni chwynant gan nych anwyd,
A chynt eu byw na'u chwant bwyd:
Maent ar eu gwaith, ffull-waith ffest
Yn ddewrion er blin ddirwest,
I geisiaw treiddiaw 'n gyson,
Trafael dwys! trwy fol y dôn.
Tan ochi gwnant dôn awchus,
Bloeddiant a brochant heb rus;
Da yw eu hawnt,[7] du eu hiaith;
Du erwin y dew araeth.
Rhai ynfyd a rhy anfwyn,
Heb dawl,[8] yn galw diawl i'w dwyn;
O rhyfedd! budredd y byd!
Synwn, ond nid oes enyd:
Am eu du-waith mi dawaf;
Am lon rin ymlaen yr âf.
Ys, egni rydd aml sugnwr,
Ei ludded yw i ladd dŵr;
Chwiliant, gwellant y gwallau
Yr hellaf freg, a'r rhwyll frau.
Gweithio 'n gerth o nerth a wnant;
Nid o ffug y diffygiant;
Piciant, neidiant, yn nodawl,
Ar hwff byr, o raff i bawl;
Ar eu hald i daclu 'r hwyl
A chau agen wych egwyl.
I'm barn i nid yw 'r bi bach,
A'i frys tuth, fawr ystwythach:
Segurbwyll neu dwyll nid oes;
Mae 'r enyd am yr einioes.

O'r diwedd mawr ddygnedd ddaw,
Ac awr laith i'w gorlwythaw.
Bydd gliniau, coesau, mewn cur,
Y dwylaw 'n fawr eu dolur;
A'r galon oer, e goelir,
A'r ddul gan eu helbul hir.
Ar y dilathr rhônt sathr syn,
Lam addwyr[9] fel y meddwyn:
Daeth anach i'w doethineb,
Dysg yn awr nid oes gan neb:
Ing didawl, gyfyngawl fodd,
Eu dyddan rym a doddodd.
Heddyw nid yw 'r gŵr hoywddawn,
Nemor gwell o'r ddiell[10] ddawn:
Aeth y weilgi, cyni certh,
Yn enfil gerwin anferth.
Beth yw 'r dyn, y bretyn brau,
Dinerth, o flaen ei donau?
E lyncai 'n hylaw wancus,
Flaidd, i'w bryd filoedd heb rus:
Diau pe ei gadewyd,
Ar lwnc fawr e lyncai fyd.

A dd'wedaf gry ymddadwrdd
Aml wr syn ar hyn o hwrdd?
"Och fi, rhag y gweilgi gwyllt,
A'r agwedd gynddeiriogwyllt!
Amrithiog mae 'n ymrythu
Aml safnawg bwll, aml dwll du!
Wythlawn yw 'r olwg aethlyd;
Byth na bo ei bath i'n byd.
Poenus iawn! pwy 'n ei synwyr
Nad ofnai frad lleiddiad llwyr?
Pwy ond trwch, dir-drwch didrefn,
Wr o'i go', âi ar ei gefn?
Mewn llawr helm yn lle ar hwn,
Yn bwysau, O na b'aswn!
Och ffael! im' adael mwydion,
A theth tir, a theithio tôn!
Och na chawn ochain chwaneg,
Ond byw'n hir ar y tir teg!
Mae yn wir, i dir o dôf,
Yr ing nid â i'r angof:
Ni thyn un fwyniaith ddoniawg,
Fi 'n hyfr-bwn ar hwn yr hawg
Ond O! fawrboen, du farw-bwnc,
Rwy'n ofni mai lli a'm llwnc!"
Llyma'r hwyl, llem yw'r helynt,
Mewn 'stormus anhwylus hynt:
Diattreg adeg ydyw
O arwa' boen i wyr byw.
T'wllodd eurbryd y byd bach,
E ballodd ei nawdd bellach
Gan ffrawdd[11] ni bydd nawdd yn ol,
Oni ddaw o Ne' ddwywol.

[1] Eiddil, gwagsaw. [2] Ageniad. [3] Brau. [4] Buan. [5] Tyllwyd. [6] Braw. [7] Awydd
[8] Seibiant. [9] Gogwyddol. [10] Cyflawn. [11] Terfysg.

Ond weithian, blin y dwthwn,
Trech na'u hoes yw'r trychni hwn!
Mwyfwy 'r braw, yn lluddiaw llwydd,
Mwy goflin y mag aflwydd,
Nes delo nos dawelach
I'w cnawd yn y beddrawd bach:
Honaid[1] a fydd trwy hyny
Llaw ddi frwysg y Llywydd fry.

Dacw hwy a'u gofwy gaeth
I'w dilyn a'i du alaeth;
Mae 'n olwg drom anwiwlwys,
Mae 'n adfyd, benyd o bwys.
Eu llef oer a'u llafurwaith,
I ladd gwae, ni lwydda 'u gwaith!
Drueiniaid, deiliaid dolur,
Dyfyn coll i'r dwfn a'u cur:
Ar nos hell, i draethell draw,
Y chwythir hwy dan chwithiaw.
Och mae breg—mae hellfreg hir!
Chwyl o fraw!—hi chwilfriwir!
Dychryndawd! eu ffawd a ffodd;
Eu llong a ymollyngodd!
Hwythau 'n awr a'u heitha' nerth,
Truan iawn, yn troi 'n annerth,
Dan bwys llid eu gofid gwyllt,
Gerwin, a'u dychryn gorwyllt;
Yn ddinawdd yn y ddu nos,
Ni ddeiryd am nawdd aros.
Bâd na chafn er byd ni chaid,
I forio awr o fawr-raid.

Awr dra-chwith! p'le 'r edrychant?
Beth, am lawr, yn awr a wnânt!
O'r ing dwys, a'r angeu du!
Ba gilwg sy 'n bygylu!
Ger eu llaw, yn fraw i fron,
Trwm-wgu mae trem eigion:
A marwolaeth mor welw-wedd
Yn hagr-lun, gwrthun ei gwedd;
Heb gêd o ymwared mwyn,
O dynfa 'r dynged anfwyn?
I rai 'nghyd â'u trymfyd trwch,
Dyddwys o annedwyddwch,
O fewn i ambell fynwes,
Bydd tân llym mewn grym a gwres;
Cydwybod mewn co' diball,
Yn dannod gŵyr-nod a gwall,
Yn edliw mewn hyawdledd,
Eu gwarth tôst yn gwrthod hedd,
Yn trin geiriau, deddfau Duw,
Eu mawr Ynad, mor annuw:
Bydd cryn rhag y dyfyn dig,
Y ffwrn a'i gwaeau ffyrnig,
Y ddalfa, wae ddieilfydd,
Yn fythol arswydol sydd.
Dyma boen! diammheu bu
Mal ufel i aml afu!
O fawr gyni difri' dwys!
Och, ganwaith uwch ei gynnwys!

Gofwy fal pwysig efyn,
Uwch plethiadau doniau dyn!
Tremiwn draw yn ddystaw ddoeth;
Na farnwn yn ofernoeth;
Dychwelwn, gwelwn eu gwae,
Dilynwn eu du lawn-wae.

Pa ddewin, pwy a ddyall,
Och wŷr! eu gwewyr a'u gwall?
Pa deimlad mewn pyd amlwg,
Pa riddfan a d'rogan drwg?
Pa flwng-gadr raiadr o rym
A dawdd eu nerth i'r dyddym?
Pa ofnau, curiau, cerydd,
Brwyn[2] a sen i'w bronau sydd?
Ba rwyg wna iddynt heb rus,
Lefain yn groch wylofus?
"O anwyl, anwyl einioes!
Wyd yn ddi ffawd, nawdd a ffoes!
Ior, tro'th fâr yn drugar drem
O tola[3] driniad hylem.
Trang os rhoi, trengi os rhaid—
Och y boen!—achub enaid!"

Yma yn y garwa' gur,
Tan ddulwyth tyn o ddolur,
Naid ond un am nawd nid oes,
A hono a â'u heinioes.
Ingaf fylch o'u hamgylch hwy,
Neidiant i'r lli ofnadwy!
Wynebant trwy wan obaith,
Ar ryferthwy mordwy maith;
Yn ddynion unwedd ddinerth
Gwnant brawf ar roi nawf o nerth.
Ond ef, y certh ryferthwy,
Ni ddyd fri i'w hegni hwy:
Hynidr[4] yw, honaid ei rym,
Nid eiriach wan a dirym:
Lli crwm-lwyth, gerllaw cromlech,
Y blwng ei draflwng a 'n drech:
Hyrddwynt a lluchynt y lli,
A'u baeddant nes eu boddi!
Terfynwyd, darfu einioes
Y llu gwael drem, trwy lem loes,
A thyrfau chwith daearfyd;
Cododd gwawl anfarwawl fyd,
Pur hedd neu ŵg yn parhau:
Och, O wŷr, nid da chwarau
A da gŵyn y dadganom
Ystyriaeth o'r driniaeth drom:—

Wele olwg! gul alaeth!
Wele ddyfnaf, ingaf aeth!
Wele 'r wae, loyw-ŵr ieuanc!
Wele waelder llonder llanc!
Wele gael ei waela' gus!
Wele eigion, wâl ygus!
Wele drom, ddudrom dded'ryd!
Wele farn! wyla, O fyd.
Wyla uwch ben dy waeledd,
Wyled byw uwch gwaelod bedd.

[1] Amlwg. [2] Pigiad, loes. [3] Dod heibio. [4] Dyrysawl:

# NEWTON.

*"Nature and nature's laws lay hid in night;*
*God said, Let Newton be, and all was light."*

POPE.

Ychydig yw y dynion hyny ag sydd wedi eu henwogi eu hunain fel olrheinwyr deddfau y greadigaeth. Maent fel goleuadau yn llewyrchu, y naill yma a'r llall acw, ar hyd y llwybr dyrys y mae celfyddyd wedi hwylio ei cherddediad arno i gyrhaedd ei sefyllfa presennol. Y werin gyffredin a welir ar y rhan fwyaf o'r ffordd yn rhodio wrth oleuni y lampau ysplenydd hyn. Y gwahaniaeth rhyngddynt sydd fawr. Dwyn gwirioneddau sylfaenol i'r golwg ag oeddynt yn guddiedig mewn tywyllwch oesol yw rhagorfraint yr ychydig; gwirio, ac egluro, a chymhwyso y gwirioneddau hyn yw gwaith y cyffredin. Dadguddio dirgeledigaethau natur y mae y naill —gwneuthur defnydd o hyny y mae y llall. Ac eto nid yn nghryfder galluoedd y meddwl, dybygid, y mae y gwahaniaeth gymaint, er fod gwahaniaeth yn hyn, canys y mae plant dynion o'r bron wedi bod yn dra thebyg i'w gilydd yn mhob oes; ond y mae doeth Ragluniaethwr y nef wedi trefnu amgylchiadau a chymhwysderau i gydgyfarfod mewn rhai o honynt, fel ag i'w codi uwchlaw eu cyfeillion, fel deonglwyr dirgelion ei waith. Y mae doethineb i'w weled yn hyn, canys ni wnai fod pawb yn Kepler, na Galileo, na Newton. Rhaid trin yr hen ddaear, rhaid dwyn ymlaen orchwylion masnachol a theuluol, rhaid trefnu cyfreithiau gwladwriaethol a'u rheoli. Nid oes gan y cyffredin, ac ni amcanwyd iddynt ychwaith, nac amser na thueddiad i ddringo yn ddystaw a dyfal fryn myfyrdod ac ymchwiliad, ac oddiyno i gael golwg teg ar wlad anian a meddwl; rhaid iddynt hwy fod yn foddlawn i dderbyn y darluniad gan y rhai hyny a fwynhaodd y fraint o'i gweled.

Mae yn anhawdd deall, ac yn anhaws gosod allan, pa beth yn benodol sydd yn cymeryd lle yn y meddwl ag sydd yn ei arwain at ddarganfyddiadau mor uchel ag eiddo y gwroniaid a enwyd, tra y mae y lliaws yn ymdroi yn y cylch cyffredin heb eu canfod na'u dychymygu:—ond gwyddom am yr effeithiau er hyny. Yn lle pentwr o gymysgedd, heb na rheol, na dyben, na threfn, wele, y naill ffaith yn syrthio i'w le priodol, a'r llall yn ei ddilyn o ganlyniad, ac arall ar ol hwnw, nes y mae'r cwbl yn ymffurfio yn gyfundraeth reolaidd a hardd; yn gweithredu o dan lywodraeth y deddfau cadarnaf, ac yn cydweithio er cyrhaeddyd y dybenion mwyaf pwysig. Rhyw gymysgedd fel hyn oedd y gyfundraeth heulog cyn amser Copernicus a Kepler; rhyw annhrefn direol oedd cylchdroadau y planedau cyn ymddangosiad Newton; rhyw annybendod didoraeth oedd defnyddiau fferylliaeth cyn i Davy a Faraday anturio i'w dadgysodi; a rhyw bentwr cruglwythog oedd creigiau ein daear cyn i Buckland a Forbes ddarllen deddfau eu ffurfiad. Deallwn, er hyny, mai nid ar unwaith y dygwyd y *chaos* afluniaidd hyn i drefn; ond yn raddol. Trwy lafur diflino, trwy ymchwiliad ar ol ymchwiliad, trwy siomedigaethau fil, trwy ddychymygion aneirif, trwy athrylithgarwch a diwydrwydd, yn hytrach na thrwy wyrth ac ysbrydoliaeth, yr

astudiwyd arddangosiadau anian, ac y deallwyd cynlluniau cyntefig ei hanfodiad.

Rhyw sylwadau o'r fath hyn sydd yn ymgynnyg i'n meddwl wrth droi yn ol at y darganfyddiadau sylfaenol i'r cynnydd rhyfeddol sydd wedi cymeryd lle yn mhob cangen o wybodaeth a chelfyddyd, trwy offerynoliaeth ond ychydig o'r llawer: ac yn neillduol ac yn flaenorol i'r cwbl, y gwrthddrych hynod y dodasom ei enw i lawr fel testun ein hysgrifen presennol, sef yr anfarwol Syr Isaac Newton;—un a gafodd ffafr gan Ragluniaeth i fod yn offeryn i chwalu ymaith y caddug niwlog o anwybodaeth a chyfeiliornad ag oedd wedi gorchuddio y byd er ys oesoedd, a dadguddio gwyneb siriol yr huan draw er ein lloni a'n cysuro.

Adgofir dywediadau a daliadau ac ymddygiadau dynion cyffredin yn fynych er ein haddysg a'n lleshad; pa faint mwy dyddorawl ynte a raid fod i ddilyn un ag sydd wedi rhagflaenu pawb eraill o ddigon trwy ei orchestwaith godidog, i sylwi arno yn ei nodweddiad personol, y moddion hefyd trwy ba rai y cyrhaeddodd ei arbenigrwydd goruchel, y dull y mae yn gosod ei gampusrwydd ar waith; ac edrych pa effeithiau y mae dysgleirdeb ei lwybr yn ei adael arno, a chyda pha fath syniadau y mae yn gorphen ei yrfa, ac yn gwynebu byd tragywyddol? Hyn gaiff fod ein gorchwyl yn y llinellau canlynol.

Ganwyd Newton mewn pentref a elwir Woolsthorpe, yn swydd Lincoln, ar ddydd Nadolig, 1642; blwyddyn gyfan ar ol marwolaeth Galileo. Er fod ei dad mewn amgylchiadau isel, eto yr oedd o waedoliaeth uchel; ond ni waeth son am hyn, canys y mae titlau ac uchelfonedd teuluaidd yn diflanu o'r golwg wrth ddysgleirdeb urddasol athrylith y mab. Bu ei dad farw cyn geni Isaac, ychydig fisoedd ar ol ei briodi. Ei fam ydoedd un Harriet Ayscough, merch James Ayscough, o Market Overton, swydd Rutland. Fe ddywedir fod y plentyn, pan y'i ganwyd ef, yn fychan iawn o gorffolaeth. Byddai Syr Isaac ei hun yn arfer adrodd, iddo glywed ei fam yn fynych yn dyweyd, ei fod mor fychan pan yn blentyn, fel y gallent ei ddodi mewn mesur *chwart*. Nid oedd neb, mewn gwirionedd, yn meddwl y byddai byw, ond yr oedd Rhagluniaeth wedi meddwl yn wahanol. Yr oedd y tŷ brau hwnw o glai wedi ei fwriadu i gynnwys ysbryd anfarwol, ag oedd, fel angel o'r byd tragywyddol, i ddarllen ac esbonio meddwl Duw yn nghyfrol y greadigaeth.

Pan tua deuddeng mlwydd oed, danfonwyd ef i'r ysgol i Grantham. Ar y cyntaf, yr oedd yn dra esgeulus o'i lyfr, ac ymhlith y plant isaf yn yr ysgol; ond ryw ddiwrnod, dygwyddodd i'r bachgen nesaf ato roddi ergyd iddo â'i droed, ac fel tâl am ei gâs, penderfynodd Isaac ymroddi at ei lyfr nes cael myned yn uwch nag ef yn yr ysgol; yr hyn a wnaeth: ac o hyny allan, parhaodd i lafurio nes gadael y cwbl o'i ol. Bu yr amgylchiad hwn fel hyn yn foddion i ffurfio yr arferiad o astudrwydd a dyfalwch ag oedd mor hynod ynddo tros ystod ei fywyd wedi hyny. Ymddengys fod gradd helaeth o ysbryd dyfeisgar ynddo pan yn ieuanc. Pan y byddai y plant eraill yn chwareu, yr oedd ei feddwl ef ynghyda rhyw beirianwaith cywreiniol, naill ai yn ceisio efelychu yr hyn a welsai, neu yn dyfeisio peth newydd o'i eiddo ei hun. At hyn yr oedd ganddo ei law-lif, ei fwyall, a'i forthwylion, y rhai a ddefnyddiai gyda medrusrwydd anghyffredin. Fel hyn gwnaeth felin wynt, ac awrlais (*clock*) i fyned wrth rym dwfr, a cherbyd i redeg trwy offerynoliaeth y person a eisteddai ynddo. Nid oedd yn

foddlawn i'r felin fyned wrth chwim y gwynt, a chan hyny gosododd lygoden ynddi, ac a ffurfiodd y peiriant yn y cyfryw fodd ag i beri i'r lygodenfelinydd ei throi o'i mewn! Dywedir ei fod yn hoff iawn o dynu lluniau pethau, ac hefyd ei fod yn ei ddifyru ei hun weithiau wrth ysgrifenu barddoniaeth. Ond tra yn ymdroi gyda y pethau hyn, nid oedd ei feddwl, fel y gallem ddysgwyl, yn ddisylw o ysgogiadau y cyrff wybrenol. Arferai nodi symudiadau yr haul ar barwydydd y tai, ac fel hyn trwy ei nodiadau ei hun, fel ffrwyth llafur rhai blyneddau, llwyddodd i ffurfio awr-fynag (*dial*), a fu yn ddefnyddiol i'r gymydogaeth yn hir wedi hyny.

Galwyd Newton o'r ysgol pan oedd eto ond pymtheng mlwydd oed; a chan y tybid y byddai yn ddefnyddiol i drin fferm, dodwyd ef at y gorchwyl hwnw; ond cafwyd allan yn fuan nad oedd Newton wedi ei lunio i brynu a gwerthu, a thrin y ddaear. Tra y byddai y gwas ag oedd gydag ef yn myned i'r farchnad, yn cyflawni ei negesau, byddai yntau yn troi i ryw ystafell fechan yn y dref, ac yno yr ymddifyrai gyda'i lyfrau nes dyfod o'r gwas yn ol, ac yna teithient gyda'u gilydd adref. Yn lle edrych ar ol y fferm, mynych y ceid Newton yn brysur yn arolygu olwyn ddwfr fechan, neu ryw beiriant arall o'i ddyfais, tra yr oedd y defaid yn crwydro, a'r gwartheg yn sathru yr ŷd. Gwelodd ei fam yn fuan nad oedd ei mab wedi ei fwriadu i fod yn ffermwr, a phenderfynodd roddi iddo bob manteision gwybodaeth a dysg. Danfonwyd ef yn ol i'r ysgol, ac oddi yno yn fuan, sef yn ei ddeunawfed flwyddyn, i Goleg y Drindod, Caergrawnt.

Nid oedd ei gyrhaeddiadau mewn gwybodaeth ond bychain mewn cymhariaeth pan y cymerodd Newton ei le fel aelod o'r brifysgol. Nid oedd wedi mwynhau nemawr o gyfarwyddyd, ac nid ymddengys fod un gwaith awdurol o enwogrwydd ar unrhyw gangen o wybodaeth wedi syrthio i'w ddwylaw. Caergrawnt ynte, i'w hanrhydedd y dywedir ef, oedd man genedigol ei athrylith hynodol. Trodd ei sylw yn fuan at rifyddiaeth a mesuriaeth. Yr oedd *Euclid* yn rhy eglur iddo i ymdroi dim yn ei gylch —camodd drosto ar unwaith, ac ymaflodd yn mhrawf-destunau dyryslyd "Mesuryddiaeth Descartes," nes eu meistroli. Hylwybrodd ei ffordd ymlaen, nes myned trwy holl gylch y rhif-gelfyddyd (*mathematics*), ac yna wedi ei gwmpasu, graddwyd ef yn y flwyddyn 1665.

Nid oedd Newton hyd yn hyn wedi gwneuthur un darganfyddiad o bwys. Ond yr oedd yr amser yn nesâu pryd yr oedd i daflu athrawiaethau oesoedd i'r llawr, a gosod i fynu adeilad ag sydd wedi sefyll pob ymosodiad ac ymgeisiad hyd heddyw. Y flwyddyn ganlynol oedd hono yn mha un yr oedd seren Newton i godi; blwyddyn fydd hono i'w chofio gan bob gwir efrydydd mewn oesoedd i ddyfod. Ymddengys i'w ddarganfyddiadau mawrion ddyfod i'r golwg tua'r un amser. Y cyntaf o honynt oedd gwahanol wrthdröedigaeth (*refrangibility*) pelydrau goleuni, yr hyn a benderfynwyd yn y flwyddyn 1666. Cafodd Newton gip-olwg ar yr athrawiaeth fawr o ddysgyrchiad cyffredinol tua'r un amser; ac yr oedd hefyd yn feddiannol ar y drefn gywrain hono o uwch-rifyddiaeth a elwid ganddo, "*The Method of Fluxions*," neu fel ei gelwir yn awr yn ol nodiad Leibnitz, "*The Differential Calculus*." Prif waith Newton ydyw ei "*Principia*," am yr hwn y cawn ni sylwi eto, ynghyda'i draethawd ar olygaeth (*optics*); ond yr oedd wedi gosod sylfeini y rhai hyn i lawr pan oedd eto ond pedwar-ar-hugain mlwydd oed! Mae ei athrylith yn hyn i gyd yn ymddangos megys pe b'ai yn perthyn i ryw wlad arall na'n byd ni, lle y

mae ei phreswylwyr yn meddu galluoedd i ehedeg, tra yr ŷm ni yn ymlusgo, heb eu cyfyngu gan y terfynau hyny ag y mae meddwl dyn wedi ei gaethiwo o'u mewn. Nid oedd un gangen o wybodaeth y trodd y dyn rhyfedd hwn ei feddwl ati, na dderbyniodd ryw luniad newydd oddiwrtho, ac na ddygwyd i raddau o berffeithrwydd na ddysgwyliasid am dano gan ei gynoeswyr. Mewn ychydig o flyneddau dystrywiasai waith oesoedd, a chodasai gof-adail iddo ei hun a saif tra y bo teml natur heb adfeilio. Alsawdd (*algebra*), mesuryddiaeth, galltofyddiaeth (*mechanics*), golygaeth (*optics*), amseryddiaeth, a seryddiaeth—derbyniasant oll ryw ychwanegiad a gwellhad. Yr oedd y "*Methods of Fluxions*" yn unig yn ddigon i'w anfarwoli. Buom yn synu cyn hyn wrth geisio olrhain ei lwybr dyrys ynddynt, uwch ben y medrusrwydd annhraethol a'r galluoedd gorardderchog a amlygir yn y ddyfais gywreiniol a'r rhifiadau cymhlethedig ag sydd yn gofyn am yr ymegnïad llwyraf o'r cynneddfau cryfaf i'w dëall, heb son am yr orchest o'u ffurfio ar y cyntaf. Ymddangosent yn ddiragrith i ni fel prif gampuswaith meddwl dyn: ymhellach, nid oedd yn bosibl i farwolion gyrhaedd. Oddiwrth feddwl wedi ei gyfansoddi fel hyn, pa beth na ellid ei ddysgwyl? Ni raid i ni grwydro yn hwy trwy fachdrofêydd dyryslyd dychymygion a thybiau; y mae anian yn ymddangos yn ei symlrwydd cyntefig.

Anhawdd fyddai rhoddi golygiad manwl mewn ysgrif fel hon o'i holl wahanol ymchwiliadau. Nodwn rai o honynt; ac yn mlaenaf, ei ddarganfyddiad hyfedr o gyfansoddiad goleuni. Yr oedd prif wyddonwyr y byd y pryd hyny yn cyfeirio eu galluoedd at y cwestiwn hwn. Yr oedd anwybodaeth nid bychan yn bod am natur ac achos lliwiau. Tybid bob amser fod goleuni o bob lliw yn cael ei wrthdroi, neu ei droi o'i lwybr yn gyfartal pan yn myned trwy wydryn crynog (*lens*), neu drïonglog (*prism*). *Gwyn* oedd yr hyn a daflai oleuni clir yr un cymaint i bob tu. *Du* oedd yr hyn na thaflai un gradd o oleuni allan, neu y gradd leiaf o bosibl. *Coch* oedd yr hyn a anfonai oleuni dysgleiriach na chyffredin, ond a atelid trwy gyfryngau cysgodol. *Glas* oedd yr hyn a daflai oleu gwanaidd. Yr oedd *gwyrdd* yn dwyn perthynas agos â'r glas. Cymysgedd o goch a gwyn oedd *melyn;* ac yr oedd y lliw *glas-goch*, fel yr arwydda ei enw, yn gynnwysedig o goch a glas. Dyma hen athrawiaeth y lliwiau. Yr oedd gwahanol liwiau y greadigaeth yn trigo, yn ol yr hen dyb, yn y gwahanol sylweddau, fel peth hanfodol i'w nhatur. Newton oedd y cyntaf a wrthbrofodd y gosodiadau hyn. Fe'i sefydlodd fel gwirionedd profedig, mai nid priodoledd berthynol i sylweddau corfforol oedd lliwiau; ond yn hytrach mai tarddu yr oeddynt o'r goleuni ag oedd yn tywynu ar y cyfryw. Cafodd nad oedd un sylwedd gwrthddrychol, pa beth bynag ei liw priodol ei hun, yn ymddangos yn y lliw hwnw, ond mewn goleuni o liw gwyn. Pan ei goleuid gan oleuni coch, ymddangosai yntau yn goch; gan oleuni melyn, yn felyn; ac felly yn y blaen. Cymerwn ddeilen fechan er anghraifft—ymddengys hon yn werdd wrth oleuni càn y dydd; ond gosodwn hi mewn goleuni coch-liw, ac nid ymddengys mwy yn werdd fel o'r blaen. Felly mae yn rhaid mai peth yn tarddu oddiar natur goleuni yw lliwiau, yn hytrach na'u bod yn trigo yn y sylweddau a oleuir. Y dull a gymerodd Newton i brofi y gwirionedd hyn oedd fel y canlyn—Gwedi cael gwydryn trionglog (*prism*), fe wnaeth dwll yn nghaead y ffenestr; ac wedi tywyllu ei ystafell, gadawodd i ryw gymaint o oleuni ddyfod i mewn drwy y twll

fel ag i belydru trwy y gwydryn, a disgyn ar y pared cyfarwynebol. Wrth wneuthur y prawf, fe gafodd fod y pelydr o oleuni a ollyngasid i mewn drwy ffenestr yn ffurfio delw ar y pared, pum gwaith yn fwy o hyd nag o led, ac yn cynnwys saith o wahanol liwiau. Yr uchaf oedd y glas-goch; yn nesaf, y glas-ddu; y trydydd oedd y glas; wedi hyny, y gwyrdd; yna, y melyn; o dan hwnw, y melyn-goch; ac yn isaf, y coch.

Gwedi cael allan y ffaith ddyddorawl yma, y peth nesaf oedd chwilio paham nad oedd y llun ar y pared yn grwn fel y twll yn nghaead y ffenestr. Ar ol gwneuthur amryw brofion, cafodd fod pelydrau o wahanol liwiau yn cael eu gwrthdroi o'u llwybr, rhai yn fwy a rhai yn llai, yn ol y lliw. Y pelydrau coch a wrthdröid leiaf, ac felly y coch-liw oedd isaf ar y pared; tröwyd y melyn-goch yn llai na'r melyn, ac felly yr oedd hwnw yn nes na'r melyn at yr isaf; y glas-goch a âi o dan y cyfnewidiad hyn yn fwy na'r lleill i gyd, ac felly hwn oedd yr uchaf. Yr athrawiaeth ynte a dynai oddiwrth y cwbl oedd, nad oedd goleuni yn gydrywiog (*homogenious*), ond yn gynnwysedig o wahanol belydrau ag oeddynt y naill yn fwy neu lai tueddol i wrthdröad na'r llall. Ond nid ymfoddlonai meddwl Newton ar hyn eto. Beth a allasai achosi y gwahanol liwiau? Ai o'r gwydryn trionglog, neu o ba beth, y tarddai hyn? I'r dyben i olrhain y dirgelwch yma, dododd wydryn trionglog arall ar gyfer y cyntaf, i wrthweithredu ei effeithiau, ac i uno y pelydrau goleuni â'u gilydd drachefn; ac wedi gwneuthur hyn, wele! ymddangosai y llun ar y pared yn grwn ac yn wỳn, fel y daethai i mewn drwy y ffenestr! Beth oedd y casgliad naturiol ynte, ond fod pelydryn gwyn o oleuni yn cynnwys yr holl liwiau ynddo ei hun? Oddiwrth yr athrawiaeth hon, gellir yn hawdd esbonio dirgelwch y gwahanol liwiau â pha rai y mae natur wedi ei gwisgo. Nid oes un corff o sylwedd yn berffaith dywyll, nac yn dryloew berffaith. Yn y gwrthwyneb, y mae y grisial dysgleiriaf, yr awyr teneuaf, a'r dwfr puraf, yn attal ac yn sugno i mewn rai o'r pelydrau ag sydd yn syrthio arnynt. Adlewyrchir rhai yn ol, gwrthdröir eraill o'u llwybr, a sugnir y gweddill i mewn nes eu dyddymu. Y sylweddau hyny a wrthdaflant yr holl belydrau yn ol, a ymddangosant yn wỳn; a'r rhai hyny a sugnant y cwbl i mewn, a wisgant liw du; ond yn fynychaf gwrthdywynir rhai, a sugnir y lleill i mewn. Pan y bo y lliw glas-goch yn ymddangos, y pelydrau glas-goch yn unig a dröir yn ol y pryd hyny, a'r lleill a sugnir i mewn, ac felly yn yr un modd gyda golwg ar y melyn, a'r coch, a'r lliwiau eraill. Gan hyny, nid priodoledd hanfodol yn y sylweddau yw lliw, ond peth a gynnyrchir trwy weithrediad sylwedd ar oleuni. Barnai Newton, mae'n wir, fod goleuni yn gyfansoddedig o saith o liwiau; ond y mae Syr David Brewster, gwr ag sydd wedi ei hynodi ei hun trwy ei olrheiniadau cywrain i natur goleuni, wedi profi ar ol hyny nad oes ond tri o liwiau cyntefig, sef y coch, a'r melyn, a'r glas; ac mai cyflëad y naill a'r llall o'r rhai hyn yn eu hagosrwydd at eu gilydd sydd yn cynnyrchu y lliwiau eraill. Ond yr ŷm yn teimlo ein bod yn myned yn rhy faith yn y dull hwn. Y mae genym ffordd faith eto i'w thrafaelu i ddilyn Newton yn ei deithiau darganfyddol. Bu ei ymchwiliadau i natur cyfansoddiad goleuni, ynghyda'i effaith ar gynddrychau (*lenses*) yn foddion i chwanegu galluoedd yr yspïenddrych gwrthdröadol (*refracting telescope*), offeryn ag sydd wedi bod o ddefnydd mawr yn meusydd seryddiaeth. Ond ni chawn ni ymdroi gyda hyn, er mor ddifyr fuasai genym; yr ydym yn prysuro ymlaen i osod o flaen ein darllenydd

ychydig o hanes yr ymdrechiadau gorchestol hyny o eiddo Newton yn treiddio i mewn i ddirgelion creadigaeth ag sydd wedi ei godi i enwogrwydd a bri yn ngolwg cenedloedd ac oesoedd; ac, ïe, nid gormod yw ei ddywedyd, sydd wedi dyrchafu dyn fel perchen meddwl.

At iawn ddëall ansawdd y wlad yr ydym yn anturio iddi, efallai mai nid anfuddiol fyddai taflu golwg byr ar agwedd y wybodaeth seryddol cyn amser Newton; trwy hyn ni gawn well mantais i farnu ar wir athrylith y gwron hwn. Ymddengys fod yr athronydd Groegaidd, Pythagoras, tua phum can' mlynedd cyn Crist, wedi cyrhaedd gwybodaeth go helaeth o seryddiaeth yn yr Aipht a'r India, lle y coleddid y gelfyddyd hon o flaen pob gwlad arall: ac y mae yn debyg fod ganddo ef a'i ganlynwyr syniadau tra chywir am y gyfundraeth blanedol, sef bod yr haul yn y canol, a'r ddaear yn troi o'i amgylch yn flyneddol, ac ar ei hechel yn ddyddiol; ond anhawdd oedd gan y cyffredin i lyncu yr athrawiaeth hon, gan ei bod mor groes i bob ymddangosiad, ac mor wrthwynebol i'r hen grediniaeth. Ar ei ol, cododd Ptolemy, athronydd Groegaidd yntau, yn Alexandria yn yr Aipht, tua chant a deg-ar-hugain o flyneddau ar ol Crist, ac a geisiodd ffurfio cyfundraeth fwy cyfatebol i'r hyn a dderbynid gan y byd yn gyffredinol. Gosodai ef y ddaear yn ddisigledig yn nghanolbwynt y greadigaeth; ac i gylchdroi oddeutu iddi, yn gyntaf, y lleuad; wedi hyny, Mercher; y drydedd, Gwener; ac yna yr haul, a Mawrth, a Iau, a Sadwrn. Uwch ben y rhai hyn y dodai y ser sefydlog, a thybid fod y cwbl yn troi oddiamgylch y ddaear unwaith bob pedair-awr-ar-hugain. Yr oedd y gyfundraeth hon mor ddyrys ac anghydweddol, fel y gellid dysgwyl nad ymfoddlonai plant dynion yn hir ar ei gosodiadau; ac eto gwaith caled ydyw symud ymaith hen dybiau a rhagfarn. Nid heb brawfiadau digonol y gellid ennill y meddwl i gredu fod y bellen ar ba un yr ydym ni yn byw, yr hon sydd yn ymddangos y peth mwyaf sefydlog o ddim yn y greadigaeth—fod hon yn cael ei chipio trwy yr awyr gyda'r buandra o ddeunaw mil-a-deugain o filltiroedd mewn awr. Ar ol noson dywell a hirfaith (bu felly mae'n rhaid addef) mae'r wawr yn tori, a thrwy lafur a darsylliadau Copernicus, yn rhagfynegi fod dydd gerllaw. Am hanes y gŵr enwog hwn a'i gyfundrefn, cyfeiriwn ein darllenydd at y traethawd a ymddangosodd o dan yr enw "Copernicus a Kepler," yn Rhif. xi. o'r "Traethodydd," tudal. 314. Gwedi ei lenwi â zel ac ëondra, fe fwriodd ymaith ar unwaith holl gylchau a thrawsgylchau Ptolemy, a chydag eiddigedd gwrolfrydig, fe ymaflodd yn yr hen ddaear anhydwyth, ac a'i taflodd ymhell bell o ganolbwynt y planedau i droi o gylch yr haul yn ostyngedig gyda'r lleill, a bod yn ddiolchgar am gael un lleuad i wasanaethu arni, yn lle y gosgorddlu ardderchog a drawsfeddiannasai.

Nid mor gyflym er hyny y cafodd yr athrawiaeth yma dderbyniad. Yr oedd crach-athronwyr duwinyddol a dallbleidwyr crefyddol yn ei herbyn: ac er i Tycho Brahe wedi hyny wneuthur amryw ddarganfyddiadau o bwys gyda golwg ar seryddiaeth, eto methodd a derbyn cyfundrefn Copernicus, gan nad oedd, fel y tybiai, yn unol â'r ysgrythyr! Ond yr oedd Kepler a Galileo yn y byd cyn marw Tycho, ac yr oedd y gwroniaid hyn i osod sylfeini yr athrawiaeth newydd i lawr ar graig nas gellid mo'i siglo. Cyfeiriwn ein darllenydd eto at y traethawd rhagddywededig am hanes Kepler a'i ddarganfyddiadau, ac at Rhif. xiii. o'r "Traethodydd," tudal 100, i gael golwg ar ymchwiliadau Galileo. Profai Kepler fod y planedau yn

troi mewn cylchoedd hirgrynion—bod y llinellau o gyrff y planedau i'r haul (*radii vectores*) yn desgrifio cylchau, â'u gwyneb-fesur yn dwyn cyfartalwch i'w hamserau, a bod eu hamserau cylchdröawl yn dwyn cyfartalwch i'w pellder. Chwanegai Galileo ddarganfyddiadau amrywiol a phwysig at hyn, o barthed amserau cwympiad a llwybrau ysgogiadol cyrff sylweddol. Efe oedd y cyntaf a ddangosai fod cyflymdra yr ysgogiad yn mhob amgylchiad yn gyfartal i'r amser, a bod yr yspaid a deithir trosto yn gyfartal i wyneb-fesur yr amser. Ond heblaw, ac yn fwy na hyn, dygai Galileo yr yspïenddrych i weithredu ar y cyrff wybrenol, a thrwyddo darllenai nifer lleuadau Jupiter, a phenderfynai ei diffygion (*eclipses*). Yn yr agwedd yma yr oedd y wyddoniaeth seryddol, pan y galwyd athrylith Newton ati, i olrhain ac astudio ei therfynau.

Tua'r flwyddyn 1666, yn y bedwaredd-flwyddyn-ar-bymtheg o'i oed, gorfuwyd arno ffoi o Gaergrawnt rhag y pla ag oedd y pryd hyny yn anrheithio y brifddinas a rhanau o'r wlad. Dygwyddodd iddo fod ryw ddiwrnod yn eistedd yn ei ardd; ac wrth weled afal yn syrthio, arweiniwyd ei feddwl i fyfyrio ar natur dysgyrchiad—y gallu rhyfeddol hwnw ag sydd yn peri i bob peth ddisgyn i lawr tua chanolbwynt y ddaear. Gan fod ysgogiad (ymresymai), mae'n rhaid fod gallu yn rhywle: ond pa beth yw ef?—a pha le y mae yn trigo? Ai yn y sylweddau eu hunain neu oddiallan iddynt y mae? Canfyddai yn fuan nad oedd y gallu hwn yn lleihau dim a ellid ei ganfod, yn y pellder mwyaf oddiwrth y ddaear ag oedd yn gyrhaeddwy i ddyn, megys penau mynyddoedd; ac os felly, tarawai i'w feddwl y gallai gyrhaedd ymhellach nag a feddyliid yn gyffredin. Beth os yw yn cyrhaedd i'r lleuad, pa beth fyddai yr effaith? Cyn gynted ag yr ymgynnygiai y dybiaeth iddo, tywynai goleu ar y mater mewn amrantiad—gwelai yn eglur mai dyma oedd gwir achos ysgogiad y lleuad; ac wedi aros ychydig uwch ben y pwnc, argyhoeddid ef yn gwbl fod y gallu hwn yn ddigonol i'w chadw yn ei chylchdro o gwmpas y ddaear! Yr oedd Copernicus wedi ei gosod i droi yn ei chylch, ond ni wyddid yn y byd pa beth oedd yr achos o'i hysgogiad. Y gwirionedd mawr hwn a adewid i Newton i'w gael allan. Nid arosai er hyny yn y fan yma: os dysgyrchiad oedd achos cylchdröad y lleuad, rhaid mai yr un peth oedd yn ysgogi y planedau hefyd yn eu cylchoedd. Cymharai amserau cylchdröad y gwahanol blanedau â'u pellderau oddiwrth yr haul; a'r canlyniad oedd iddo gael fod yn rhaid, os dysgyrchiad oedd yn eu cadw yn eu cylchlwybrau, fod ei allu yn lleihau, yn unol â dychymyg Kepler, mewn cyfartalwch deublygol (*duplicate proportion*), neu yn ol gwyneb-fesur pellder y naill a'r llall oddiwrth yr haul. Ond yr oedd eisieu gwirio y dybiaeth yma. Wel, nid oedd dim a safai o flaen grymusder meddwl Newton. Fe aeth at y gorchwyl. Yr oedd yn anghenrheidiol cymeryd tryfesur y ddaear i mewn i'r cyfrif, ac nid oedd hwnw yn hollol wybyddus y pryd hyny. Cymerodd ef beth bynag yn ol y farn gyffredin, gan olygu fod pob gradd o ledanedd (*latitude*) yn cynnwys triugain o'n milltiroedd ni. O herwydd y gwall yn y cyfrif hwn o barthed tryfesur y ddaear, cafodd, er ei siom, nad oedd y ddeddf yn ateb, gan fod gallu y dysgyrchiad, yn ol hwn, yn un ran o chwech yn fwy nag y dylai fod yn ol yr hyn a brofid ar y ddaear. Taflai hyn ammheuaeth ar ei holl feddyliau ar y pryd, ac eto ni roddai y pwnc i fynu cyn cael gwell chwareu teg i'w brofi. Hyd yr amser hwnw yr oedd yn foddlawn i aros

yn dawel; ac felly er ei fod yn dëall ei fod ar ymyl gwneuthur darganfyddiad o un o brif ddirgelion natur, aeth yn ol, â'i feddwl yn eithaf digyffro, i'r brifathrofa, a throdd ei sylw, tra yno, at ei ymchwiliadau blaenorol i natur goleuni! Dyma hamdden i ni gael cip-olwg ar ansawdd y meddwl hwnw ag oedd wedi hyny i synu y byd â gorchestion ei alluoedd. Ystyriwn ei sefyllfa; wele Newton—yn eithaf gwybyddus ei fod yn ymyl cael gafael ar yr hyn a feiddiasai holl alluoedd meddyliol gwyddonwyr pob oes hyd yn hyn, ac yn dëall canlyniadau dysglaer a hyglod y darganfyddiad yn dda—yn dodi ei gyfrifon heibio yn ddigynhwrf, ac yn troi at destunau eraill, hyd y ffafrai Rhagluniaeth ef â gwell hamdden, os caffai hyny, mewn rhyw amser dyfodol, i orphen ei ymchwiliad yn gyflawn. Dysged ieuenctyd Cymru wers oddiwrth agwedd y gŵr mawr hwn.

Yn mhen ychydig o flyneddau, gwedi dybenu ei olrheiniadau gwyddonawl i natur goleuni a'i effeithiau, fe'i tueddwyd ef drachefn i gyfeirio ei fyfyrdodau at gwestiwn mawr yr ysgogiadau planedol. Yr hyn a'i harweiniodd yn ol at hyn oedd y dygwyddiad dyddorawl o fod M. Picard, yn Ffrainc, wedi penderfynu tryfesur y ddaear i raddau cywirach nag a oedd yn wybyddus o'r blaen. Yn lle triugain milltir am bob gradd o ledanedd (*latitude*), fel y cymerasai Newton yn ei gyfrifon cyntaf, profai Picard trwy fesur cylch-fŵa o'r linell ddeheuol (*arc of the meridian*), fod gradd o ledanedd yn cynnwys yn agos i naw milltir a thriugain a hanner o'n milltiroedd ni. Gwedi cael allan y gwirionedd pwysig yma, ymaflodd Newton ynddo gydag awyddfryd, ac aeth yn ol i adgyweirio yr hen wallau. Pwy a all ddarlunio agwedd ei feddwl y pryd hyn wrth adgymeryd at y gorchwyl, o dan ddylanwad cymysgedig awyddfryd a gobaith ac ofn? Dychymygwn ein bod yn gweled yr athronydd â'i ysgrifell yn ei law, yn llafurio wrthi yn ei ystafell ddystaw ar ei ben ei hun. Mae 'r papyr o'i flaen, a'r ganwyll yn taflu ei goleu gwanaidd i'w oleuo. Pa beth mae'n geisio ei wneyd? Beth yw gwrthddrych ei ymchwiliad? Wel! ceisio y mae i gyd deithio â'r lleuad yn ei throgylch, ac yspïo i mewn i ddirgelion ei hysgogiadau, er cael esboniad boddhaol ar achosion ei llwybriad. Ond y mae mwy na goleu canwyll yn yr ystafell hono; mae yno oleuni ysbryd anfarwol yn gallu treiddio, nid at y lloer a'r planedau yn unig, ond y tuhwnt i awyrgylch y grëadigaeth weledig i ganol bröydd anweledig ac ysbrydol—a'r ysbryd hwnw sydd yn awr yn gosod un o'r bydoedd draw yn ei glorian ac yn mynegi ei faintioli a'i bwysau. Y mae Newton yn brysur wrth ei gyfrifon—pan y mae eto ond tua hanner y ffordd, mae ei feddwl yn rhedeg yn naturiol tua'r pen draw—mae 'n cael trem ar natur yr atebiad. Ydyw. Mae ei dybiaeth flaenorol yn wir! Mae achos cuddiedig ysgogiad cylchynol y planedau ar ddyfod i'r golwg! Mae dwylaw yr athronydd yn crynu—mae mil o feddyliau yn ei orlwytho—mae 'r baich yn ormod i'w ddwyn—nis gall symud gam ymhellach—mae 'r ysgrifell yn syrthio o'i law—mae 'n methu anturio ymlaen i gymeryd gafael yn y gwirionedd gorbwysig. Gorfu arno ofyn i gyfaill i ddwyn ei gyfrifon i ben. Cafwyd fel y dysgwylid, sef, fod y gallu dysgyrchol ag sydd yn gweithredu ar wyneb y ddaear, pan y'i lleihêir ef yn ol gwyneb-fesur pellder y lleuad oddiwrth y ddaear yn gyfartal o'r bron i allu canol-ochelog (*centrifugal*) y lleuad yn ei llwybr;—neu fel hyn, tybiwch i'r lleuad ar y foment gyntaf o'i chrëadigaeth, gael ei thaflu ymlaen gyda rhywfaint o gyflymdra penodol, a bod gallu arall ar ddechreuad ei hysgogiad yn gweithredu arni ac yn ei thynu tua chanol-

bwynt y ddaear; parai cydweithrediad y ddau allu hyn arni, iddi gadw mewn llwybr canol, ac i symud ymlaen mewn cylch-lwybr hirgrynog o amgylch y ddaear; a chan fod gwyneb-fesur pellder y lleuad o'r ddaear yn gyfartal â maint y gallu ysgogiadol cyntaf, y canlyniad yw, fod y gallu dysgyrchol ag sydd yn ei wrthweithredu yr un cymaint â gwyneb-fesur y pellder hwnw. Mae yn haws dirnad na desgrifio yr effaith a adawai darganfyddiad o'r natur yma ar y fath feddwl a'r eiddo Newton. Yr oedd yr holl grëadigaeth wedi ei dadlenu mewn mynydyn o'i flaen; yr haul a'i blanedau cylch-fynedol; y planedau a'u lleuadau gwasanaethgar hwythau; y sêr cynffonog yn troi yn eu llwybrau hirgylchol; a'r sêr sefydlog wedi eu taenu ar led yn eithafion yr ëangder. Gallwn feddwl nad ymfoddlonai ar briodoli y ddeddf hon i'r lleuad yn unig; fe'i cymhwysodd hi yn yr un modd at y planedau hefyd; ac gwedi gorphen ei gyfrifon eto, cafodd ei bod yn ateb i'r naill a'r llall o honynt hwythau. Yr oedd gan hyny y casgliad yn naturiol fod yr un ddeddf yn perthyn yn gyffredinol i holl gyrff cyfansawdd y grëadigaeth. Yr oedd y darganfyddiad yn gyffredinol fel athrylith ei awdur. Mae 'r gareg yn disgyn i'r llawr; mae 'r lleuad yn cylchdroi o amgylch y ddaear; mae lleuadau Iau a Sadwrn yn dilyn llwybrau cyffelyb, a'r planedau yr un modd o gylch yr haul: ond o dan lywodraeth yr un ddeddf y mae 'r naill a'r llall yn ysgogi.

Bu Newton flyneddau yn llafurio yn ddiwyd ar y darganfyddiadau hyn, ac wedi cyflawni ei brawfiadau, crynhôdd hwy ynghyd yn y gwaith rhyfeddol hwnw a deitlid "*Philosophiæ Naturalis Principia Mathematica,*" ("Egwyddorion Rhifyddol Anianaeth,") yr hwn a gyflwynwyd i'r *Royal Society* ar yr 28ain o Ebrill, 1686. "Gwaith yw hwn," meddai Syr David Brewster, "ag sydd i'w gofio, nid yn unig yn hanes un gangen o wybodaeth, neu un wlad, ond a fydd yn brif nod yn hanesiaeth y byd, ac a olygir byth fel y ddalen ddysgleiriaf yn nghoffadwriaeth rheswm dyn."

Mae y "*Principia*" yn cynnwys tri llyfr. Y cyntaf a'r ail ar "Ysgogiad Cyrff Cyfansawdd," a'r trydydd ar "Gyfundraeth y Byd." Yn y ddau gyntaf y gosodir i lawr egwyddorion rhifyddol gwyddoniaeth, sef deddfau ysgogiadau a galluoedd; ac amcan yr olaf yw tynu oddiar yr egwyddorion hyny gyfansoddiad cyfundraeth y byd. Gelwir y darganfyddiad mawr o eiddo Newton, a geir yn y "*Principia,*" wrth yr enw "Dysgyrchiad Cyffredinol;" a hyny ydyw, fod pob mymryn o sylwedd yn cael ei dynu neu yn dysgyrchu at bob mymryn arall gyda gallu cyfartal i wyneb-fesur eu pellder oddiwrth eu gilydd. Tair deddf Kepler (gwel "Traethodydd" Rhif. xi.), ynghydâg ysgogiad y lleuad, oedd y dybsail oddiwrth ba un y tynid y casgliad hwn. Heblaw darganfyddiad deddf y dysgyrchiad, fe brofodd Newton mai llwybr hirgrynog oedd yr unig un a gymerai unrhyw gorff yn symud o dan ddylanwad gallu ag oedd yn gwahaniaethu yn wrthgyfatebol (*inversely*) i wyneb-fesur y pellder, ac felly mai cylchoedd hirgrynog oedd cylchoedd y planedau. Gwedi sefydlu y ddeddf gyffredinol hon, fe allodd nid yn unig benderfynu pwysau y naill blaned a'r llall, ond hefyd gyfrif pa faint o sylwedd oedd yn nghyfangorff yr haul, ynghyd â durfingder (*density*) y sylwedd o ba un y cyfansoddir ef. Yn y modd hyn, cafodd y byddai pwysau unrhyw gorff yn dair-gwaith-ar-hugain yn fwy ar wyneb yr haul nag ar wyneb y ddaear, a bod y ddaear yn bedair gwaith fwy durfing na'r haul; hefyd bod y planedau yn cynnyddu mewn durfingder yn ol eu henciliad oddiwrth ganolbwynt y gyfundraeth. Tybiai

Copernicus fod cyrff y planedau yn gyfrgrwn, ac felly mai crwn oedd llun y ddaear; ond gwelai Newton yn fuan fod cylchdro y ddaear ar ei hechel yn tueddu i daflu sylweddau ymaith oddiar ei gwyneb yn llinell ei hysgogiad, a thrwy hyn i fwyhau ei thryfesur tua'r cyhydedd, a'i leihau tua'r pegynau; a phrofai fod hyd y linell o un o'r pegynau at ganolbwynt y ddaear mewn cyfartalwch i'r linell o'r cyhydedd at y canolbwynt yn ol dau cant a naw-ar-hugain i ddau cant a deg-ar-hugain, neu fod y cyntaf yn ddwy-filltir-ar-bymtheg yn llai na'r olaf; a pheth oedd hyn ond dangosiad mai nid crwn oedd corff y ddaear, ond llethgrwn tua'r pegynau ac yn chwyddo allan tua'r cyhydedd? Y canlyniad o hyn oedd, fod y gallu dysgyrchol yn gryfach tua'r pegynau na'r cyhydedd, am eu bod yn nes i'r canolbwynt, a'r gallu hwnw yn gweithredu mewn cyfartalwch gwrthgyfatebol (*inverse ratio*) i'r pellder oddiwrth y canolbwynt. Profwyd hyn trwy ffeithiau wedi hyny yn wirionedd diammheuol, gan fod yn rhaid byrhau pendyl orleisiau er cadw y gwir amser wrth eu cludo o Ewrop tua'r cyhydedd. Y peth nesaf y trôdd Newton egwyddor y dysgyrchiad ato ydoedd trai a llanw y môr. Gwelsom ef yn "ehedeg yn nghanol y nef," a buom yn trafaelu gydag ef tua'r haul a'r planedau; gadewch i ni, ynte, ddisgyn yn awr gydag ef, a'i ddilyn ychydig trwy ddyfnderoedd y dyfroedd. Beth sydd yn peri i'r corff anferth hwn o ddwfr lifo a gwrthlifo ddwy waith bob dydd, mor wastad a rhëolaidd? Ystyrid hyn gan yr hynafiaid yn un o ddirgelion penaf natur. Dywedir wrthym i Aristotl daflu ei hunan i'r môr am nad allai esbonio achosion ei aflonyddwch. Ond nid mwy ynfyd oedd hyn nag ofergoeledd Kepler. Tybiai efe, yn un o'i freuddwydion dychymygol, mai anifel byw oedd y ddaear, ac mai effaith ei anadliad oedd y trai a'r llanw; dynion, a chrëaduriaid eraill oeddynt bryfed a ymborthent arno; y gwrych ar ei gefn oedd y llwyni a'r coed, a'r gwaed yn ei wythïenau oedd dyfroedd yr afonydd a'r môr! Ond rhaid addef i Kepler siarad yn fwy rhesymol na hyn mewn manau eraill, a'i fod yn golygu, yn gystal a Galileo a Descartes, fod cysylltiad rhwng y trai a'r llanw â'r lleuad. Eto nid oedd neb wedi rhoddi profion digonol o'r peth, a dangos ei gysondeb â'r effeithiau. I feddwl fel yr eiddo Newton yr oedd olrheiniad ac anturiaeth yn bleser. Gwelai yn fuan mai y lleuad oedd y prifweithredydd yn cynnyrchu yr ysgogiadau hyn, ac eto nid hi yn unig; a thrwy gymhwyso ei egwyddorion newydd o ddysgyrchiad a mesuriaeth at y pwnc, dangosai yn fuan y dull yr effeithid arnynt. Aem yn rhy faith o lawer i'w ddilyn trwy ei gyfrifiadau cywreiniol. Digon yw dywedyd iddo brofi fod yr haul yn gystal a'r lleuad yn effeithio ar y môr, a bod dylanwad y lleuad mewn cyfartalwch i eiddo yr haul yn hyn, yn ol 4.4815 i 1. Efallai y dylem chwanegu, iddo gymharu y trai-lif (*neap tide*) a'r gor-lif (*spring-tide*) â'u gilydd, a chael allan drwy hyny fod y lleuad yn achosi llanw o 9 troedfedd ac 1⅞ o fodfeddi; a'r haul un o 2 droedfedd a ½ modfedd; a bod dylanwad y ddau ynghyd yn codi y môr i uchder 11 troedfedd a 2 fodfedd: gosodiadau ag y mae pob ymchwiliad ar ol hyny yn eu gwirio. Gwedi dëall fel hyn ddylanwad y lleuad ar ddyfroedd y ddaear, fe'i harweiniwyd ef at ddarganfyddiad tra phwysig arall. Wrth ddilyn y canlyniadau ymlaen, cafodd allan fod maintioli cyfangorff y lleuad mewn cyfartalwch i faintioli cyfangorff y ddaear yn ol 1 i 40, a durfingder y lleuad at eiddo'r ddaear yn ol 11 i 9.

Yr oedd yr hyn a elwir "*precession of the equinoxes,*" sef ysgogiad

gwrthredol y ddau nôd, lle mae cylch yr haul (*ecliptic*) a'r cyhydedd yn ymgroesi, yn beth â sylw arno er ys oesoedd; ond pa beth oedd achos yr ysgogiad hwn oedd ddirgelwch anhysbys. Ac er i Kepler sicrhau ei fod ef yn analluog i benu ar un achos o hono, ac er nad oedd un seryddwr blaenorol wedi ymgeisio at ei ddëall, eto nid aeth e ddim heibio i graffineb Newton. Wrth ystyried ysgogiad gwrthredol trawsglymau (*nodes*) y lleuad, a thrwy dybiaeth o debygolrwydd yn enciliad y nodau cyhydol, arweiniwyd ef at ei ddëongliad. Cafodd fod cydweithrediad yr haul a'r lleuad ar gorff y ddaear yn gyfryw ag a ddylai beri i'r nodau cyhydol fyned yn ol ychydig bob blwyddyn. Profai fod dylanwad yr haul yn yr ysgogiad hwn yn 40″ ac eiddo 'r lleuad yn 10″; ac felly bod y ddau mewn cysylltiad â'u gilydd yn peri gwrthrediad o 50″ bob blwyddyn; a chan hyny y cyflawna y nodau crybwylledig gylchrediad gwrthol trwy yr ëangder mewn 25,920 o flyneddau.

Yn y flwyddyn 1680, fe ymddangosodd seren gynffonog dra dysglaer, a chymerodd Newton y fantais o gyfrif elfenau ei chylchlwybr. Yr oedd yn naturiol i farnu fod y sêr cynffonog o dan lywodraethiad yr un deddfau ag sydd yn rhëoli ysgogiadau y planedau; ond o herwydd nad oeddynt yn weledig ond mewn rhan fechan o'u llwybr, a bod amser eu hymddangosiad mor anaml, yr oedd yn anhawdd penderfynu ar natur eu hysgogiad trwy ddarsylliadau olynol arnynt. Symudodd Newton yn awr yr anhawsdra hyn ymaith, a phenderfynodd fod ysgogiadau y sêr cynffonog o dan rëolaeth yr un deddfau a'r cyrff planedol. Yr oedd y darganfyddiad hwn o bwys nid bychan; canys dangosai fod dysgyrchiad yn cyrhaedd yn mhellach na'r planedau, o herwydd cylchrediad pellenig y sêr cynffonog yn yr ëangder; ac hefyd fod deddf y dysgyrchiad yn gywir yn mhob cyfeiriad a phob pellder o ganolbwynt y gyfundraeth.

Dyma rai o brif ddarganfyddiadau Newton mewn cysylltiad â'r gyfundraeth heulog. Gallesid meddwl y buasai eu godidogrwydd a'u pwysigrwydd, ynghyda phrydferthwch syml y gyfundraeth o osodant allan, heblaw y rhesymiadau anwrthwynebol â pha rai y profid eu gwirionedd, yn sicr o ennill derbyniad a chymeradwyaeth y byd o honi ar unwaith. Ond nid yn y modd hyn y derbynir gwirioneddau mawrion yn gyffredin. Araf yw y byd i eu gosod i lawr yn ei gredo. Yr oedd Ewrop wedi pendroni â gwyddoniaeth Descartes, yr hon a apeliai at y dychymyg yn hytrach na'r rheswm, ac felly oedd yn haws ganddi i weithio ei ffordd i ffafr. Mynai Descartes fod cyfrwng dyfrllyd yn llenwi yr ëangder, a bod y cyrff nefol yn troi mewn cyfundraeth o chwyldröau (*vortices*) ynddo, megys pe baent mewn llŷn tro, yn cael eu gyru oddiamgylch trwy gylchrediad y llifnodd symudol. Mor hawdd oedd yr athrawiaeth hon i'r meddwl ymafael ynddi a'i chynnwys, heb yr anghenrheidrwydd am lafur a chywreinrwydd rhifyddol, fel yr oedd pawb yn barod i'w derbyn fel gwirionedd heb y drafferth o ymchwiliad pellach. Yr oedd gan athrawiaeth Newton i ddadymchwelyd y grediniaeth gyffredinol hon; a chan fod gofyn am athrylith glew, ynghydag ymroddiad meddwl, i allu olrhain a dëall ei brawfiadau, edrychid arnynt yn ddrwgdybus, hyd yn nod gan wyddonwyr eu hunain; ac fe fu cryn amser cyn iddynt esgyn i gymeradwyaeth y byd. Eto cafodd yr hyfrydwch o weled cyn marw ei wyddoniaeth newydd yn dderbyniol ac yn fuddugoliaethus yn ei wlad ei hun.

Cyfeiriasom o'r blaen at ddarganfyddiad arall o eiddo Newton, a wybyddir yn gyffredin wrth yr enw "*Method of Fluxions.*" Amcan y

drefn hon yw penderfynu gwyneb-fesur camenau (*curves*). Mae'n amlwg fod y gwyneb-fesur hwn yn rhywle rhwng gwyneb-fesur darluniau aml-onglog tumewnol ac allanol i'r gamen, ond ei fod yn gwahaniaethu oddiwrth y naill a'r llall o hyd, er mor agos bynag y cymerir ef. Ni chynnwysa y darluniau aml-onglog ond llinellau uniawn, tra y mae y gamen yn fwäog; a pha mor fechan bynag y gwnewch chwi y llinell uniawn, eto y mae gwahaniaeth rhyngddi a'r fwäog. Cael allan ynte math o rif-res gywir a osodai allan y gwahaniaeth hwn ac a fesurai y gamen oedd amcan Cyfundrefn y Dylifiadau (*The Method of Fluxions*). Ystyriai Newton y gwyneb-fesur yn cael ei genedlu megys trwy ddylifiad parhaus a chyfartal o eiddo'r gamen. Golygai fod llinellau yn cael eu cenedlu trwy ysgogiad pwyntiau (*points*); gwynebau (*surfaces*) trwy ysgogiad llinellau; a chyfangyrff trwy ysgogiad gwynebau; ac, wrth ystyried y cyfartalwch penodol i'w gilydd, â pha un y mae y llinellau perthynol i'r gamen, a elwir *ordinate* ac *abscissa*, yn cynnyddu, dëallai pa mor gyflym y gwnaent hyny. Mesurai y cyflymdra hwn trwy osod gwahaniaeth y cynnyddiad yn annherfynol fychan, sef, trwy rif-res annherfynol (*infinite series*); a thrwy hyny, penderfynai wyneb-fesur y gamen ar bob moment o'i chynnydd. Y cyflymdra a alwai wrth yr enw *fluxions*, a'r llinellau eu hunain a alwai yn *fluents*. Ymddengys fod Leibnitz yn Germany wrth yr un gorchwyl a Newton tua'r un amser. Arferai Leibnitz ddull gwahanol i osod ei drefn allan yn y Rhifyddiaeth Gwahaniaethol (*The Differential Calculus*), er mai yr un egwyddor sydd yn rhedeg drwy y naill gyfundrefn a'r llall. Bu dadl fawr mewn cysylltiad â'r darganfyddiad gorchestol hwn yn meusydd rhifyddiaeth rhwng dysgedigion y cyfandir a Lloegr. Mynai dysgyblion Newton mai efe oedd y cyntaf ar y maes, tra yr haerai y lleill o blaid rhoddi y flaenoriaeth i'w gwron hwy. Gwedi llawer o ysgrifenu o bob ochr, ymddengys fod y ddwy gyfundrefn yn hollol annibynol a gwreiddiol; mai Newton oedd y cyntaf i gymhwyso yr egwyddor, ond mai Leibnitz bïau y flaenoriaeth o gyhoeddi ei waith i'r byd. Parhaodd y ddadl hyd farwolaeth Leibnitz yn y flwyddyn 1716, pryd y rhoddwyd terfyn arni. Rhaid addef fod dull Leibnitz o nodi yn rhagori ar yr eiddo Newton; hono gan hyny a ddewiswyd fel y dull cyffredin ac y sydd mewn ymarferiad hyd heddyw.

Yn y flwyddyn 1688, dewiswyd ein hathronydd yn aelod o'r senedd dros Brifathrofa Caergrawnt, a gwnaeth ei breswylfa yn y brifddinas am y ddwy flynedd ganlynol, i'r dyben o wasanaethu ei ddyledswyddau seneddol; ond ymddengys fod y draul yn ormod i ateb i'w gyllidau, ac iddo o'r herwydd roddi ei swydd i fynu drachefn ar ollyngiad y senedd, yn y flwyddyn 1690. Dygwyddodd amgylchiad bychan, tra yr oedd yn Llundain, ag mae yn ofynol ei goffâu, gan ei fod wedi achosi colled na wyddis ei maint i lëenyddiaeth; ac yn gosod y dyn allan o ran arafwch a chryfder ei feddwl yn well nag un darluniad a ellid roddi o hono mewn geiriau. Un boreu, yn y gauaf, tra yr oedd yn addoli, gadawodd gi bychan o'i eiddo, a elwid *Diamond*, yn yr ystafell gartref. Ar y bwrdd yr oedd yn gorwedd bapyrau a gynnwysent rifiadau dyrys a lliosog, ffrwyth llafur blyneddau. Ar ei ddychweliad adref, cafodd fod *Diamond* wedi taflu y ganwyll a adawsid yn oleu, i lawr ar y papyrau, a'u llosgi i gyd! Wrth ganfod maint ei golled, yn lle brawychu, a phoethi, a chwerwi, y cwbl a ddywedai Newton o dan ei ofid, yn dawel, ydoedd,

"O! *Diamond, Diamond,* ychydig a wyddost ti y drwg a wnaethost i mi!" Ymddengys er hyny i'r amgylchiad effeithio yn ddwys ar ei feddwl am amser maith ar ol hyny.

Yr oedd ef erbyn hyn wedi gorphen ei ddarganfyddiadau mwyaf, a'i enw yn hysbys drwy holl wledydd Ewrop, ac yntau wedi cyrhaedd y pinacl uchaf o fri ac anrhydedd daearol; ond nis gallai orphwys yn y fan hyn. Yr oedd ei feddwl grymus a bywiog yn methu dygymmod â diogi—yr oedd wedi ei arfer i ymaflyd mewn pethau anhawdd a dyrys. Gwedi manwl-chwilio a chloddio ei drysorau anmhrisiadwy o feusydd anianaeth, trŏai ei fyfyrdodau gydag awyddfryd at destunau uchel a chysegredig duwinyddiaeth.

Fe olygir hanes efrydiaeth duwinyddol Syr Isaac Newton bob amser fel y rhanau mwyaf dyddorawl o'i fywyd. Wele y gwr a ennillasai y flaenoriaeth ymhlith plant Adda fel perchen meddwl yn troi y cynneddfau eneidiol â pha rai y cynnysgaethid ef at bynciau a olygir yn isel gan lawer, sef dysgeidiaeth crefydd a duwioldeb; ac nid hyny yn unig, ond yn ei chyfrif yn fraint i gael eistedd yn ostyngedig wrth draed yr Iesu, ac i ddysgu yno fel plentyn bach, y ddoethineb sydd oddiuchod, a gweithredu y ddoethineb hono mewn bywyd ac ymarweddiad, fel prif addurn ei ddynoliaeth a'i goron. Yr oedd yn gristion er yn fachgen; a'i arfer tros ystod ei fywyd ydoedd cymysgu ei olrheiniadau o ddeddfau y greadigaeth âg astudiaeth ddifrifol o'r ysgrythyrau sanctaidd. Oddiwrth "waith bysedd" y Creawdwr, nid anhawdd oedd ganddo i droi at y dadguddiad dwyfol o'i ewyllys yn ei air. Pa beth bynag am grach-athronwyr eraill, nid oedd dëonglydd dirgelion creadigaeth yn rhy uchel a balch i blygu o flaen gorseddfainc crefydd, ac addef ei ymostyngiad i'w hawdurdod. Yr oedd meddwl Newton yn ormod i allu myned heibio i'r Creawdwr trwy ffugaddoliad o'r creadur; yn rhy fawreddig i anghofio Llywodraethwr y bydoedd wrth geisio olrhain rhai o ddeddfau ei lywodraeth; yn rhy gynnefin â dirgeledigaethau natur i fod yn amddifad o dueddfryd i esbonio rhai o ddirgeledigaethau crefydd hefyd; yn rhy gywir i wrthod talu teyrnged i wirionedd, hyd yn nod pan wedi ei amgylchu âg anmharch, diystyrwch, a thlodi. Agoriad llyfr natur a'i harweiniai at lyfr Duw; a dyma fel y cawn ni y meddwl hwnw a fuasai yn ymdroi tua phellderau, a maintioli, ac ysgogiadau y bydoedd draw, yn cymeryd ei hedfa i wlad ysbrydolrwydd a rhinwedd; yn cymdeithasu âg apostolion a phrophwydi, gan gofleidio gwirioneddau y Bibl, a phwyso ar ei addewidion cynnwysfawr a sicr. Y cymhelliad hyn o'i eiddo a barai iddo uno athroniaeth â chrefydd, a'u dwyn i rodio fel cyfeillesau hawddgar â'u gilydd; a thrwy hyny dyddymai y cynghrair anghydryw ag oedd rhwng athrylith ac anffyddiaeth; a chwanegai at y cwmwl tystion yr enw dysgleiriaf a all holl oesoedd a chenedlaethau y byd, cyntefig a diweddar, ymffrostio ynddo. Ond beth wnawn ni a son? onid oes yma ddyfroedd digon dwfn i'r llestri mwyaf nofio ynddynt? Dyfodiad pechod i'r byd—arfaeth Duw, a rhyddid dyn—y prophwydoliaethau a'r gwyrthiau—mewn gair, holl athrawiaethau yr efengyl—pethau ag oeddynt i'r Iuddewon yn dramgwydd, ac i'r Groegiaid yn ffolineb; dyma destunau digon dyfnion a mawreddig, fe dybygid, i osod y galluoedd cryfaf o dan dreth i'w dëongli; a phynciau addas i gynneddfau uwch, ïe, na'r eiddo Newton i ymyraeth â hwy. At rai o'r testunau hyn ynte y cyfeiriai ymhellach ei feddyliau. Ymddengys fod

materion dyfnion y prophwydoliaethau wedi derbyn llawer o'i fyfyrdodau dwysaf. Cyhoeddwyd ei sylwadau ar brophwydoliaethau Daniel a'r Dadguddiad yn y flwyddyn 1733. Dodwn yma ddyfyniad byr o honynt. Dosbarthir y gwaith i ddwy ran: y cyntaf ar brophwydoliaethau Daniel, a'r ail ar y Dadguddiad. Dechreua gyda hanes y gwahanol lyfrau a gyfansoddant gyfrol yr Hen Destament. Yna mae yn traethu ar iaith gyffelybiaethol y prophwydi. Golyga ein hawdur fod "y nefoedd a'r pethau sydd ynddi," yn iaith prophwydoliaeth, yn gosod allan orseddfeinciau, ac awdurdodau; ac yn yr un modd, fod "y ddaear a'r pethau sydd ynddi," yn arwyddo y bobl gyffredin; a "gwaelodion y ddaear," y graddau isaf o'r bobl. "Yr haul" a osodir am freninoedd, "y lleuad" am gorff y werin, a'r "ser" am is-lywodraethwyr a thywysogion; "y tir sych a'r dyfroedd" a arwyddocânt bobl o wahanol genedloedd; a phan y dodir "bwystfil" neu "ddyn" am deyrnas, ei wahanol ranau, a'i ansoddau a arwyddant ranau ac ansoddau cyffelyb o eiddo y deyrnas. Mae Newton yn cymhwyso yr egwyddorion esboniadol hyn at ddëongli gweledigaeth delw fawr Nebuchodonosor. Golyga fod corff y ddelw hon, a gyfansoddid o bedwar math o ddefnydd, yn cyfeirio at y Babiloniaid, y Persiaid, y Groegiaid, a'r Rhufeiniaid. Yr un breniniaethau yw y rhai a osodir allan yn ngweledigaeth y pedwar anifel yn *Daniel* vii. "Y llew âg iddo adenydd eryr," yw Babilon a Media; yr anifel "tebyg i arth," yw ymherodraeth Persia; a'i "dair asen," yw teyrnasoedd Sardis, a Babilon, a'r Aipht; y trydydd, "megys llewpard," yw ymherodraeth Groeg, a'i "bedwar pen, a'i bedair aden," yw breniniaethau Cassander, Lysimachus, Ptolemy, a Seleucus, dilynwyr Alexander Fawr; y pedwerydd bwystfil, "a'i ddannedd mawrion o haiarn," yw ymherodraeth Rhufain, a'i "ddeg corn," yw y deg teyrnas i ba rai y rhanwyd hi yn amser teyrnasiad Theodosius Fawr, pryd y gwarchaewyd ac y cymerwyd Rhufain gan y Gothiaid. Y teyrnasoedd hyn oeddynt, 1. Y Vandaliaid a'r Alaniaid yn yr Hispaen ac Affrica. 2. Y Visigothiaid. 3. Y Sueviaid yn yr Hispaen. 4. Yr Alaniaid yn Ffrainc. 5. Y Burgundiaid. 6. Y Ffrancod. 7. Y Brytaniaid. 8. Yr Huniaid. 9. Y Lombardiaid. 10. Tywysogaeth Ravenna. Dengys fod y "corn bychan arall" a gyfodai yn mysg y cyrn hyn, yn arwyddo Eglwys Rhufain yn ei nodweddiad triphlyg o weledydd, prophwyd, a brenin, &c. Oddiar brophwydoliaeth y deng-wythnos-a-thriugain, fe amlyga Newton ddeheurwydd nid bychan, yn cyfrif a phenderfynu amser genedigaeth a marwolaeth y Messiah, yr hyn a ddyrysai pob esboniedydd o'i flaen. Yn yr ail ran o'i waith mae'n traethu, 1. Ar yr amser yr ysgrifenwyd Llyfr y Dadguddiad; sef, yn ol ei dyb ef, cyn ysgrifenu yr Epistol at yr Hebreaid, ac Epistolau Pedr, gan eu bod hwy yn cyfeirio at y brophwydoliaeth hon. 2. Ar olygfa y weledigaeth, ynghyda'r cyfeiriad sydd yn y Dadguddiad at lyfr cyfraith Moses, ac addoliad Duw yn ei deml. 3. Ar y cysylltiad sydd rhwng prophwydoliaethau Ioan a'r eiddo Daniel, ynghyda chynnwysiad y brophwydoliaeth. Tybia mai nid i ddifyru cywreinrwydd plant dynion, trwy eu galluogi i ragwybod pethau i ddyfod, yr ysgrifenwyd y prophwydoliaethau, ond yn hytrach mai pethau i'w cymharu âg amgylchiadau wedi eu cyflawni a'u hesbonio wrthynt oeddynt—fel hyn i roddi prawf diammheuol fod y byd o dan lywodraeth fanwl Rhagluniaeth Ddwyfol. Fe ysgrifenodd Newton heblaw hyn yn dra helaeth ar amseryddiaeth, ac mae yr un meistrolaeth meddwl i'w ganfod yn yr ysgrifeniadau hyn, ag yn

mhob peth arall a ddeuai o'i flaen. Ond ni chawn fanylu; offrymiad addas oedd y ddau waith olaf i'r Bibl a Christionogaeth; ni a'i derbyniwn gan hyny yn llawen, gan addef ei deilyngdod.

Mae yn bryd i ni dynu ymlaen at ddiwedd y gŵr hynod hwn. Yn y flwyddyn 1722, cymerwyd ef yn glaf o ddolur y gareg, yr hyn a barhâodd arno fwy neu lai o hyny allan. Dyoddefodd lawer oddiwrth y clefyd poenus hwn am y flwyddyn olaf o'i fywyd; a dywedir i ni fod amlygiadau o'r meddwl grymus hwnw ag oedd yn trigo yn ei babell briddlyd i'w canfod pan yr oedd y babell hono yn cael ei thynu i lawr, ac yn ymddattod. Ni chlywid nac ochain, nac wb, hyd yn nod pan y rhedai y chwys i lawr dros ei ruddiau oddiar y dirdyniadau cryfion a ddyoddefai; yn lle hyny, pan y cai ychydig seibiant, gwenai yn dirion, ac ymddyddanai mor siriol ag erioed. Ond yr oedd angeu wedi annelu ei saeth at y gwron hwn, fel eraill; bu farw o'r clefyd a grybwyllwyd ar yr 20fed dydd o Fawrth, 1727, yn 85 mlwydd oed. Cawsai fel hyn oedran têg; ac wrth ddisgyn i'r beddrod, machludai seren o'r maintioli mwyaf, wedi goleuo y byd â'i llewyrch ysplenydd. Claddwyd ef yn Westminster Abbey, fel arwydd o barch iddo oddiwrth ei genedl, a chodwyd côf-adail iddo, ar yr hon y darlunir ef yn yr ymadrodd teilwng a chynnwysfawr, fel

"Addurn y natur ddynol."

Gwedi dilyn y gŵr mawr hwn trwy wahanol amgylchiadau ei fywyd, naturiol fyddai tynu rhai addysgiadau oddiwrth y cymeriad nodedig a fu o flaen ein llygaid. O barthed ei ddarganfyddiadau, y mae tros gan' mlynedd wedi myned heibio er ei ddydd ef, ac y mae mwy o chwanegiad wedi ei wneuthur at bob cangen o wybodaeth yn ystod y tymhor hwn o amser nag a wnawd, mae'n debyg, er dechreu y byd o'r blaen; y mae *darganfyddiadau* y ganrif ddiweddaf yn lliosocach a chywreiniach na'r oll ynghyd cyn hyny; eto, er mor ddysglaer a champus ydynt, nid ydynt wedi effeithio i leihau gwerth yr un o eiddo Newton, ond yn hytrach i fod yn foddion i beri i'r goleuni sydd wedi ymgasglu oddiamgylch iddo lewyrchu yn fwy dysglaer fyth! Yr oedd Newton yn gymwynaswr i'r hil ddynol, ac fe werthfawrogir yr anrheg a roddes i'r byd yn mhob oes gyda diolchgarwch a dyddordeb. Mae ei waith fel efe ei hun yn anfarwol. Pe sylwem ar ansawdd neillduol ei feddwl a'i ddull priodol o efrydu, dywedem fod yn rhaid darllen a dëall ei waith cyn y gellir cael dirnadaeth gywir am dano. Yr oedd ëangder, grymusder, a manylwch yn perthyn iddo—pethau priodol i wir fawredd ac athrylith. Mae Bacon a Locke a Newton yn dri enw ag sydd yn sefyll uchaf yn rhestr gwroniaid perchenogion meddwl; ac eto ffrwyth llafur ac efrydedd diflino oedd gorchestwaith y naill a'r llall. Addefai Newton ei hun, yn aml, mai nid o herwydd ei fod ef yn berchenog ar ryw synwyroldeb y tu hwnt i'r cyffredin y deuai o hyd i'w drysorau cuddiedig, ond o herwydd ei fod yn gallu defnyddio mwy o ddiwydrwydd a dyfalwch, ac amynedd nag eraill. Wedi ymarfer yn foreu â dansoddiadau uchel rhifyddiaeth a mesuryddiaeth, yr oedd pwyll ac arafwch yn briodoledd neillduol yn nodweddiad ei feddwl, ac yr oedd ei afaeliad yn ei bwnc yn gyfartal i'r llafur meddwl a allai gymhwyso ato. Yn lle ymdroi â pethau dibwys a bychain, fe amcanai at yr anhawsderau gwreiddiol a ymgynnygient iddo, ac wedi ymosod ar y rhai'n a'u gorchfygu, eisteddai i lawr yn ei amddiffynfa yn fuddugoliaethus a diogel. Peth arall yn perthyn iddo oedd y gallu i ddadrysu pob testun o'i holl gymmhlethiadau, i edrych arno yn ei symlrwydd ei

hunan, a'i osod ger bron mewn eithaf eglurdeb. Yr oedd hyn yn nôd arbenig yn meddwl Newton, megys ag y mae yn rhaid iddo fod, i raddau mwy neu lai, yn mhob un ag sydd yn dewis dilyn ei ol, a meddiannu gwir hawl i berchenogaeth athrylith wreiddiol. Dirgelwch gwir efrydiaeth yw symlrwydd, dirodresni, annghymysgedd, ac eglurder. Cymaint oedd Newton wedi ymgynnefino â myfyrdod dwfn a pharhaus, nes oedd hyn wedi myned yn reddf yn ei feddwl, ac o'r herwydd byddai yn dueddol i fod yn llwyr absennol, yn fynych, oddiwrth bawb a phob peth o'i amgylch. Gwedi ei orlenwi â meddyliau, fe eisteddai i lawr yn aml ar erchwyn ei wely ar ol iddo godi, ac arosai yno am oriau heb wisgo am dano, a'i fyfyrdodau yn olrhain rhyw destun dirgelaidd a ymgynnygiai iddo. Oddiar yr un duedd, anghofiai gymeryd ei bryd bwyd, ac esgeulusai gymeryd digon yn aml. Adroddir am dano, fod cyfaill iddo, Dr. Stukely, wedi galw arno ryw ddiwrnod, pan yr oedd Newton allan. Dangoswyd Dr. Stukely i'r ystafell, lle yr oedd ciniaw ar y bwrdd yn aros am Syr Isaac er ys meityn. Fe arosodd Dr. Stukely, gan ddysgwyl am dano yn hir; ond gan nad oedd yn dyfod, fe ymosododd ar y cyw ag oedd dan y caead, ac a'i bwytäodd, gan ddodi yr esgyrn yn ol a'r caead arnynt. Cyn bo hir, daeth Newton i mewn, ac wedi cyfarch ei gyfaill, fe eisteddodd i lawr i'w giniaw, ond wedi codi y caead, wele, nid oedd yno ond esgyrn yn unig. Wrth eu gweled, ni feddyliai am foment nad efe a fuasai yno yn bwyta, a dywedai, "Mòr absennol yr ŷm ni yr athronwyr! yr oeddwn i yn meddwl yn sicr fy mod i heb giniawa." Ar hyn, ei gyfaill a eglurodd y cwbl iddo, er mawr ddifyrwch y ddau.

Yr oedd nodweddiad moesol Newton yn gyfryw ag a ellid ddysgwyl oddiwrth ei gyrhaeddiadau meddyliol. Yn nodedig am ei wylder, ei hynawsedd, a'i ostyngeiddrwydd, heb un math o rodres a choegni yn perthyn iddo, nid oedd un arwydd o falchder i'w weled arno. Nid oedd gan neb fwy o achos i ymgodi; dëallai oruchder ei enwogrwydd o'r goreu, ac adnabyddai ei le fel athronydd; ond yr oedd dyfnder a helaethrwydd ei gyrhaeddiadau yn ddigon i'w gadw yn isel a diymffrost—yn syml a difalch. Gwers i lawer coegddyn cibddall. Terfynwn hyn o hanes addysgol gyda choffâu ei ddywediad nodedig ychydig cyn ei farwolaeth; "Nis gwn yn iawn pa fodd yr wyf yn ymddangos i'r byd; ond yn fy ngholwg fy hun nid wyf ond fel plentyn bach yn chwareu ar làn y môr, ac yn fy nifyru fy hun trwy gael careg lyfnach a chragen dlysach na chyffredin, tra mae cefnfôr ëang gwirionedd yn gorwedd yn gryno o'm blaen heb erioed ei ddarganfod."

---

# TEYRNAS NEFOEDD.

PETH digon cyffredin ydyw i gyfnewidiadau y byd hwn effeithio i raddau ar ei breswylwyr; ac mae ein meddyliau mor agored i dderbyn argraffiadau oddiwrth ei helyntion, ag ydyw ein cyrff oddiwrth gyfnewidiadau yr hin. Mae y cysylltiad sydd rhyngom a'r byd a'i drigolion yn gyfrwng manteisiol iddo hefyd effeithio ar ein crefydd; onidê, ni byddai unrhyw amgylchiad yn brofedigaeth i ni; ac ni buasai raid ein rhybuddio i wylio na gweddïo, yn wyneb dim mwy na'u gilydd. Felly mae y cyffroadau

sydd mewn llawer o deyrnasoedd y byd yn peri son a meddwl am deyrnas yr Arglwydd Iesu. Nid yn unig deiliaid hon, eithr eraill hefyd, ïe, ei gelynion, rai prydiau, a glywir yn siarad llawer am dani. Ond dysgwylir i garedigion Brenin Sïon feddwl mwy am ei enw a'i achos ef na neb eraill. A dylent fod ar eu gwyliadwriaeth, gan ymdrechu gwybod yr amserau, a pheth a ddylai Israel wneuthur. Mae deiliaid teyrnas Crist bob amser dan rwymau i ddwyn teyrnged o addoliad iddo; ac y mae pawb o honynt fel eu gilydd i wisgo holl arfogaeth Duw, fel y gallont wrthsefyll cynllwynion diafol. Ond ar ryw brydiau, rhaid amddiffyn ei deyrnas ef yn gyffredinol, heblaw amddiffyn bawb ei hun yn bersonol; yn enwedig pan y byddo ymosod arni gan elynion cyhoedd, neu ynte ddrygau yn magu o'i mewn, y rhai fydd yn debygol o'i niweidio. Felly, mewn rhai manau, mae breninoedd y ddaear yn ymosod, a'r llywodraethwyr yn ymgynghori ynghyd, yn erbyn yr Arglwydd, ac yn erbyn ei Grist ef yn y modd mwyaf cyhoedd. Ond tybiem fod y perygl yn fwy, pan bydd y cyfryw yn cynnyg ymuno â gweision yr Arglwydd i adeiladu ei dŷ a'i ddinas ef; fel y rhai hyny yn amser Nehemiah; ac yn enwedig os byddant yn ceisio arolygiad y gwaith i'w dwylaw eu hunain, ac efallai rhai o feibion Judah mewn cynghrair â'r cyfryw, ac yn ceisio eu dwyn i mewn. Yr oeddym er ys blyneddau yn ymdrechu yn erbyn tywyllwch ac eilunaddoliaeth mewn gwledydd pell, er helaethu terfynau teyrnas y Gwaredwr; ond yn bresennol, mae perygl yn ymddangos yn nes atom, trwy fod yr awdurdodau gwladol yn ychwanegu eu hymyraeth â chrefydd, a bwriad yn cael ei amlygu gan amryw i waddoli pob enwad o Gristionogion. Gallwn dybied fod amryw o'r gwyr da ac anrhydeddus, a amcanant fel hyn, yn ddigon diniweid yn eu bwriad, fel Brenin Gerar gynt; ond beth dâl diniweidrwydd i'w ddadleu os ydyw Sara yn y perygl o gael ei halogi trwy hyny? Ceir aml un tyner ei galon yn ofni i neb ddyrchafu ei arf yn erbyn ei uchafiaid nac unrhyw hen sefydliad. Ond os ydyw "arfau y filwriaeth, y rhai nid ydynt gnawdol," yn debyg o niweidio unrhyw hen sefydliad, paham y rhaid ei arbed? Ac os ydyw y perygl yn ymddangos fel yn ychwanegu, onid ydyw hyn yn ein rhoddi braidd dan fath o orfod i ymdrechu am ein rhyddid a'n hiawnderau yn fwy nag o'r blaen?

Tybygem fod y cysylltiad rhwng yr Eglwys a'r Llywodraeth Wladol wedi ei wneyd yn y dechreu oddiar anwybodaeth o natur teyrnas Crist; ac efallai fod hyn yn peri dadleu drosto ac ymgais at ei helaethu gan amryw eto. Gan hyny, ein dyledswydd ydyw dangos i'r byd natur gwir grefydd, a'r egwyddor y dylid ei dwyn ymlaen yn ei grym. Mae mor anghenrheidiol i ni ddëall natur teyrnas nefoedd, ag ydyw i ni wybod ei bod wedi dyfod i'n plith: a hyny nid yn unig yn ei pherthynas â'i Brenin ac â'i deiliaid, ond hefyd â theyrnasoedd y byd, neu yn hytrach, mor ddigyfathrach ydyw hi â'r rhai hyn. Camsyniad am deyrnas y Messiah a barodd i'r Iuddewon ei wrthod ef, er gwneuthur o hono gymaint o weithredoedd nerthol yn eu plith. Y genadwri gan Ioan Fedyddiwr oedd fod "teyrnas nefoedd wedi nesâu;" a'r hyn a roddwyd i'r apostolion i'w gyhoeddi, oedd ei bod wedi dyfod i blith y bobl y pregethent iddynt; a chyhoeddent yr Iesu o Nazareth, fel "y Brenin sydd yn dyfod yn enw yr Arglwydd." Eglurodd yr Arglwydd Iesu natur ei deyrnas trwy lawer o ddammegion a chyffelybiaethau; a'r rhai hyny oll yn syml a chyffredin. Yn nechreuad ei weinidogaeth gyhoeddus, dangosodd pwy, a pha fath ydynt ddeiliaid ei

deyrnas ef; ac eglurodd ei deddfau, gan osod hunanymwadiad yn un o'i hegwyddorion sylfaenol. A sicrhawyd hyn a ddechreuwyd ei draethu trwy yr Arglwydd, gan y rhai a'i clywsant ef. Yr oedd hyn oll yn gwbl groes i ddysgwyliadau oesawl yr Iuddewon; ac ni allent oddef y fath siomedigaeth ag i un o ysbryd mor ostyngedig, ac ymddygiad mor ddirodres, ei broffesu ei hun yn anfonedig y Tad. Yr oedd llawer o anghysondeb rhwng ymddangosiad yr Arglwydd Iesu a'i honiadau, yn enwedig i olwg y rhai oeddynt yn ei ddysgwyl mewn rhwysg a mawredd bydol: ond digon i gysoni y cwbl, oedd ei dystiolaeth ger bron Pilat, pan ddywedodd, "Fy mreniniaeth i nid yw o'r byd hwn." Rhoddodd ein Harglwydd ddigon o reswm er profi gwirionedd y broffes dda hono: a dywedai yr un peth ddwywaith, i ddangos mai peth o bwys ydyw iawn ddirnad natur ei freniniaeth ef. Wrth freniniaeth Crist yma yr ydym yn golygu ei eglwys ef; y dynion a roddwyd iddo ef allan o'r byd; y rhai a brynwyd oddiwrth ddynion yn flaenffrwyth i Dduw ac i'r Oen. Mae y rhai hyn yn y byd, ond nid ydynt o'r byd; megys nad oedd yntau ei hun o'r byd pan oedd yn trigo ymhlith dynion.

Mae y broffes dda a dystiodd Crist am dano ei hun a'i freniniaeth, yn ein dysgu nad ydyw yr eiddo ef i fod yn debyg i deyrnasoedd y byd hwn, nac ychwaith i'w llywodraethu mewn unrhyw gysylltiad â hwy. Mae yr Arglwydd Iesu yn Frenin breninoedd ac yn Arglwydd arglwyddi; ond ni ystyrir y breninoedd na'r arglwyddi hyn yn ddeiliaid o'i freniniaeth ysbrydol ef mwy na phobl eraill: ïe, pan edrychwn ar ein galwedigaeth, cawn weled nad llawer o'r cyfryw a alwyd. Mae ef yn Dywysog breninoedd y ddaear; eithr nid yn yr un ystyr ag y mae yn Ben i'w eglwys. Megys na pheidiodd ein Gwaredwr a bod yn Fab Duw, pan y daeth yn fab dyn; felly ni pheidiodd â'r awdurdod wreiddiol oedd ganddo fel y cyfryw, wrth godi a llywodraethu ei eglwys.

Mae cymaint o wahaniaeth rhwng dull yr Arglwydd Iesu yn llywodraethu y byd hwn, a'r modd mae yn teyrnasu yn ei eglwys, fel na byddai raid i neb gymysgu ei ddeddfau ef na'u camgymeryd. Ac eto mae y fath gysondeb rhyngddynt, fel mae yn amlwg mai yr un doethineb anfeidrol a luniodd y cwbl. Bydd Brenin Sïon, rai prydiau, yn defnyddio ei awdurdod ar bob cnawd, er amddiffyn i'w bobl, pan na bydd rheswm na thynerwch yn llwyddo, er peri iddynt gael eu hiawnderau; a phryd na phrisir gwialen ei nerth ef, yr hon a anfonir allan o Sïon, mae'n dda fod ganddo y wialen haiarn i'w rhoddi ar warau y rhai na byddont synwyrol, ac na chymeront ddysg, er eu bod efallai yn freninoedd neu farnwyr y ddaear. Llwyr noetha Crist ei fŵa, pryd y bydd amgylchiad ei eglwys yn galw am hyny, gan fod llwon y llwythau, sef ei gyfammod ef yn sicrhau hyny iddynt; a gwae fydd i'w elynion ef pan wnelo hyny. Tebygem ei glywed ef trwy ei genadau yn gofyn i Frenines Madagascar, fel i Sehon gynt, "Gad i mi fyned trwy dy wlad di." Yn erbyn eilunaddoliaeth a drygioni, mae yn ymosod, gan fod yn llwyr ddiniwed i bob peth arall. Ac oni chaiff y ffordd yn rhydd, efallai y cymer feddiant o'r holl wlad, fel y darfu iddo wneyd â thir yr Amoriaid. Defnyddia yr Arglwydd Iesu benaduriaid y ddaear i ddwyn i ben ei amcanion pryd na bydd ganddynt hwy un dealltwriaeth am hyny, ond yn ymegnio dros eu dybenion halogedig eu hunain. Os bydd eisieu poenydiwr ar yr Aipht, caiff y dywysoges fod yn fammaeth iddo. Cymer Nebuchodonosor yn forthwyl at ei orchwylion, a Cyrus yn

fugail i ddychwelyd y ddafad fu ar wasgar, tuag adre. Cymer ei hawl i anfon cenadwr i lys Persia, heb ymgynghori â neb am hyny. A chaiff Harri yr Wythfed osod ei hun i fynu yn wrth-bab, er bwrw ymaith iau Rhufain, a rhwyddhau ffordd i ddiwygiad yn Mhrydain. Efe sydd yn dattod rhwymau breninoedd, ac yn rhwymo gwregys am eu llwynau hwynt. Nid yw holl orwychder y byd yn ei olwg ef ond oferedd, ac ymffrost penaduriaid y llawr yn eu nerth a'u hawdurdod ond fel gwaith y plentyn a ymffrostiai yn y gwregys sydd at ewyllys ei fam i'w dynu pryd y gwelo yn da. Mae y Bachgen a aned yn Bethlehem, yn gallu chwareu â choronau teyrnasoedd y byd, fel cynnifer o deganau plant; gan eu rhoddi i'r neb y myno, a'u cymeryd ymaith fel y gwelo yn dda ei hun. Nid ein hamcan ydyw traethu ar hyn; ond cymerwn y fantais oddwrth a adroddwyd, i ddywedyd wrth Sïon, "Dy Dduw di sydd yn teyrnasu" ar bawb ac ar bob peth.

Eithr am y freniniaeth mae yr Arglwydd Iesu yn ymogoneddu ynddi fel ei briodoriaeth a'i hoff drigfan, nid yw o'r byd hwn. Nid ydyw ar gynllun teyrnasoedd y byd, nac ychwaith i ddwyn lle yr un o'r cyfryw. Nid oedd modd i'r breniniaethau a welodd Daniel gydsefyll; yr oedd y naill yn cael ei chodi ar draul dinystr y llall. Tebyg oeddynt i'r gwartheg hyny a welodd Pharaoh; y gûl yn llyncu y fras. Ond ysbrydol ydyw teyrnas nefoedd, ac nid ar bethau o'r fath yma y mae yn ymddyrchafu i'w mawredd. Bydd i'r gareg fyned yn fynydd mawr a leinw y ddaear, ac heb falurio o'r ddaear ond y delwau a'u perthynasau; oddieithr i ryw gyfansoddiadau fod yn y fath gysylltiad â'r eilunod, fel y ceisiant eu hamddiffyn. Pob pendefigaeth, awdurdod, a nerth, sydd raid i'r Arglwydd Iesu eu dileu, ydynt y cyfryw ag sydd yn ymddyrchafu yn erbyn gwybodaeth Duw, ac na fynant ufuddhau i efengyl ein Crist. Mae teyrnas nefoedd yn debyg i'r goleuni yn hyn fel pethau eraill. Mae hwnw yn llonaid y wlad ar ganol dydd heulog, ond nid ydyw yn dilëu dim er cael ei le, oddieithr y tywyllwch; ac yna o anghenrhaid, â y bwystfilod i'w llochesau, a phaid gweithredoedd y tywyllwch yn mhob man.

Yr hyn a amcanwn ei ddangos yn yr ysgrif hon ydyw, Nad ydyw teyrnas yr Arglwydd Iesu i fod mewn cysylltiad â theyrnasoedd y byd hwn; neu (fel y dëallo pawb), nad oes un eglwys wladol i fod dan oruchwyliaeth oleu yr efengyl. Nid ydym yn amcanu dysgu i neb dybied nad oes dynion gwir dda yn perthyn i eglwys felly, mwy nag y gwadwn fod rhai diras yn yr eglwysi puraf eu hathrawiaeth, llymaf eu dysgyblaeth, a mwyaf efengylaidd eu trefn. Mae rhai sydd yn ewyllysio byw yn dduwiol dan bob cyfundrefn, ac eraill heb fedru peidio a phechod, hyd yn nod dan arolygiaeth bersonol Mab Duw. Nid ydym ychwaith yn ymyraeth âg unrhyw drefn eglwysig, gan y cydnabyddwn nad oes neb yn gyfrifol i'w gilydd dros eu dewisiad yn hyny. Er hyny ystyriwn ein hiawnderau yn rhoddi i ni hawl i feirniadu, a thraethu ein syniadau ar bob sefydliad ag y byddwn yn talu ato, pa un bynag ai yn wirfoddol ai ynte yn orfodol y byddwn yn gwneyd hyny. Hefyd, cymhellir ni i geisio dangos ein barn fel hyn am deyrnas nefoedd, gan y bwriad sydd gan amryw i roi cynnysgaeth wladol i bob enwad o Gristionogion, trwy dalu i'w gweinidogion. Nid oedd achos am hyn flyneddau yn ol, ond yn unig o herwydd y gorthrwm sydd yn hyny; eithr yn bresennol, mae y perygl o'n llwgr-wobri â'n harian ein hunain yn galw am ymdrech anghyffredin, gan fod y perygl

yn un anghyffredin a dyeithr. Haerir gan lawer y derbyniai yr Ymneillduwyr dâl gan y llywodraeth mor awchus ag eraill pe caent gynnyg arno. Os felly, dylem weddïo, "Nac arwain ni i brofedigaeth," a gwneyd ein goreu i'w gochel hefyd, rhag y llygad-dynid ninnau, oblegid "gwobr a ddalla lygaid y rhai sy'n gweled." Am hyny, dylem weithio pawb hyd y gallom, i lwyr-ymwrthod â gwobr anghyfiawnder, rhag y gallai y cynnygiad effeithio arnom fel ar Balaam, yr hwn yn y dechreu a'i gwrthwynebai, eithr o'r diwedd a werthodd ei gydwybod, ac a beryglodd ei fywyd er ennill y wobr. Ond ni chydnabyddwn y perygl o'n hudo mor fawr ag y darlunir ef gan rai sydd yn anturio barnu arnom cyn cael cynnyg ar brofi eu haeriadau. Credwn pe deuai rhyw brofiad tanllyd eto, y ceid dwy fil neu ychwaneg o rai na phlygent i unrhyw ddelw, mwy na'u brodyr yn amser Charles yr Ail. Yr oedd Ioan yn adnabyddus i'r archoffeiriad, a gwyddai ef ac eraill am gynniweirfa yr Iesu cystal ag yntau; eithr nid yr un o honynt a aeth at yr offeiriaid heblaw yr Iscariot, ac ni chlywsom ei fod ef druan yn adnabyddus iddynt, hyd onid aeth i wneyd masnach â hwy.

Mae cysylltu teyrnas nefoedd â theyrnasoedd y byd hwn yn anefengylaidd, ac yn beth sydd wedi ei brofi yn niweidiol yn ei natur a'i ganlyniadau.

Dangosodd yr Arglwydd Iesu mai nid yn farnwr nac yn rhanwr ar ddynion yn y byd hwn yr oedd ef wedi cael ei osod; a phryd na allasai ryddhau y wraig hono yn ol cyfraith Moses, nac ychwaith ei chondemnio yn ol cyfraith Cæsar, dangosodd ei hun yn Arglwydd cydwybod, gan godi hon yn ei blaid, er ei bod yn ngwersyll ei elynion. Rhoddodd ein Hiachawdwr esiampl o ufudd-dod i bob dynol ordinhad, er ar yr un pryd y proffesai ei hun uwchlaw pob gofynion; a phrofodd ei fod felly trwy drethu trigolion y dyfnder; a chymaint mae yn ei geisi ogan Cæsar, fel pob dyn, ydyw talu yr eiddo Duw iddo yntau. Nid oedd ein Harglwydd fel y cyfreithwyr gynt yn rhwymo beichiau i eraill, y rhai na fynai eu dwyn ei hun. A'i rëol ef i ni mewn achosion nad oes gair o gyfraith benodol arnynt, ydyw, "Fel yr ewyllysioch wneuthur o ddynion i chwi, felly gwnewch chwithau iddynt hwy." Wel, gadael llonydd i awdurdodau y ddaear y mae ef; yna gallwn weled mai dyna mae yntau yn ewyllysio gael ganddynt hwythau, sef llonydd i drin ei achos fel y gwelo efe yn oreu ei hun. Nid ydyw Cristionogaeth yn ymyryd â sefyllfaoedd bydol dynion, eithr yn eu gwella yn y lleoedd y gosodwyd hwynt: ond os bydd rhyw swydd neu urdd sydd ynddi ei hun yn bechadurus, nid oes eisieu i neb weinyddu hono. Ond os bydd eisieu, caiff Cornelius fod yn ganwriad, er bod yn gristion; caiff Sergius Paulus fod yn rhaglaw, wedi ei droi i'r ffydd fel o'r blaen; a chaiff teulu Cæsar eu cydnabod gyda'r rhai penaf o'r saint o ran eu caredigrwydd, er na chlywsom fod yr un o honynt wedi gadael y llŷs.

Mae pob llywodraeth dda i ofalu am les pawb yn ddiwahaniaeth, gan amddiffyn eu personau, eu henwau, a'u meddiannau, fel pe na byddai crefydd o un math o fewn y byd: ac o'r ochr arall, mae gwir grefydd yn gwneyd yr hyn allai llywodraeth dda ei ofyn; trwy ddysgu pawb sydd yn ei meddu i garu Duw â'i holl galon, a'i gymydog fel efe ei hun; yna gallai pawb fod yn lled gysurus, pa un bynag ai uchel ai isel fydd ei radd yn y byd. Dylem ystyried teyrnas nefoedd yn rhy oruchel i'w defnyddio gan yr awdurdodau bydol er peri ofn ac ufudd-dod ymhlith y deiliaid; a

a thrais ofnadwy ydyw ei harfer felly. Ac nid oes arni hithau chwaith eisieu milwyr llôg gan neb o deyrnasoedd y byd hwn, am fod cuddiad ei chryfder hi yn y gwirioneddau mae yn eu cyhoeddi, ynghyda dylanwad yr Ysbryd Glan trwy y rhai hyny. Mae yn anhawdd penderfynu pa un ydyw yr haerllugrwydd a'r digywilydd-dra mwyaf, ai gwaith y llywodraethau gwladol yn ymyraeth â chrefydd y deiliaid, ynte cais eglwysi ar osod y llywodraeth yn dreth-gasglydd iddynt hwy. Pe gorfyddai arnom ddangos hyny o farn sydd genym ar hyn, braidd nad ystyriem anghysondeb yr eglwys yn waeth ac yn wrthunach nag un ormes ellir arfer arni hi gan un ddynol ordinhad. Pwy fyddai yn foddlawn i dalu i arall am wasanaeth na chaiff un arolygiad arno, neu dalu at unrhyw sefydliad na oddefir iddo bleidleisio yn ei achos? Dygwyddodd i ryw Gymro gwledig fyned i weled senedd-dai Prydain, ac yn ol dyfod allan gofynai cyfaill iddo, "Onid oeddych wedi synu ar y fath adeiladau gorwych?" "Na, nid cymaint," ebe yntau, "eithr y peth a wnaeth i mi ryfeddu fwyaf, oedd clywed esgob yn Nhy'r Arglwyddi yn siarad ar achos rhyw borthladd yn Scotland; ac anffyddiwr yn y tŷ arall, yn trafod ar wneyd esgob yn Manchester." Mae yr anghraifft hon yn dangos anghysondeb gwrthun yn y ddwy ochr; ac ni ellir dysgwyl pethau amgen na'r fath anghenfilaeth yn gynnyrch y fath briodas anachaidd ag sydd rhwng yr eglwys a'r wladwriaeth yn mhob oes ac yn mhob gwlad. Rhaid mai yr eglwys fydd fwyaf ar ei cholled yn y gyfathrach annaturiol hon, os colled y cyfrifir rhywbeth heblaw amddifadu o feddiannau bydol; oblegid hi sydd o'r gwaedoliaeth uchaf, a'r gynnysgaeth fwyaf ar ei medr; ond gresyn ei gweled wedi ei darostwng mor isel, os yw ei dinasfraint yn y nefoedd. Nid llawer o ennill i'r wlad chwaith all fod ei chysylltu hithau â'r eglwys; oblegid drud i'w cadw a fydd yr uchelradd yn fynych. Haws fyddai genym ateb yn gadarnhaol yr hyn a ofynwyd i Job—"A elli di hela ysglyfaeth i'r llew, neu a elli di lenwi gwanc cenawon y llewod?" nag anturio ar geisio diwallu eglwys wedi colli archwaeth at fara y bywyd; rhag na byddo dim a'i boddia ond gwaed y saint, a gwaed merthyron Iesu, am mai felly y gofynodd y fath cyn hyn. Ofer dysgwyl daioni o beth sy'n ddrwg yn ei natur; ac os dygwydd i'n anghyfiawnder ni ddallu rhai, fel y tybiont ei fod yn canmawl cyfiawnder Duw, ni all hyny fod o hir barhad, ac nid ydyw chwaith yn gwneuthur yr anghyfiawnder fymryn gwell. Felly edrychwn ar waith y llywodraeth ddaearol yn ymyraeth â theyrnas nefoedd, ac â'i deiliaid, mor anghyfiawn a gwaith y Ffrancod trahaus yn aflonyddu ar Tahiti dawel. Ac nid oes gan Nicholas un hawl i lywodraethu ar gydwybodau y Rwssiaid, mwy nag a fedd i gymhell ei grefydd a'i warogaeth ar Victoria a'i deiliaid yn Mhrydain.

Y niwed mwyaf i deyrnas Crist ydyw ei chysylltu â theyrnasoedd y byd hwn. Mae pob gorfod ar ddynion i bleidio crefydd yn hollol groes i ysbryd yr efengyl, ac yn sicr o greu gwrthdarawiad yn y rhai mwyaf meddylgar bob amser. Pan edrychom ar y gwrthddrychau y mae a wnelo yr efengyl â hwy, sef dyeithriaid a gelynion, a'i chais hi ar y cyfryw, sef eu cymmodi â Duw, gallwn feddwl na wna gorfod byth ddwyn y cyfryw i ufudd-dod. Yr hyn a welodd doethineb anfeidrol debycaf o ddwyn y gwrthryfelwr i ufudd-dod, ydyw—"erfyn dros Grist" ar y cyfryw—"eu cymhell i ddyfod i mewn"—"perswadio dynion"—"dysgu a rhybuddio, a hyny mewn addfwynder." Bydd i bob dull gwahanol i hyn

gynhyrfu hyd yn nod yr hyn sydd dda ynddo ei hun, sef hunanamddiffyniad, yn erbyn y dirgymhelliad. Darfu i'r Yspaeniaid, yn ol darganfod America Ddeheuol gan Columbus, anfon eu llynges a'u milwyr i'w meddiannu. Ac fel yr oeddynt yn dyfetha y cynfrodorion, yr oedd yr offeiriaid yn ol y fyddin yn bedyddio y rhai a ddelid i ffydd Rhufain. Dywedent wrth yr Indiaid truain am nefoedd ac uffern, yr hyn ni chlywsent hwy erioed o'r blaen, ac addawent nefoedd wen i bawb a ymostyngai iddynt hwy. Gofynai yr Indiaid gorthrymedig, "Pa le bydd yr Yspaeniaid? "O, yn y nefoedd i gyd," meddai yr offeiriaid. "O'r goreu," meddai y pagan, "mae yn well gan i fod yn uffern, pa waethed bynag ydyw, na bod yn y nefoedd gyda'r Yspaeniaid." Dyma deimlad diniwed dynoliaeth pan yn anwar; ond wedi eu dysgu a'u diwyllio mae dynion yn teimlo gormes yn llawer mwy anoddefol.

Mae cymeryd braich o gnawd i gynnorthwyo yr efengyl yn abl temtio dynion i ammheu a oes rhywbeth mwy na dynol ynddi hi; canys pa raid wrth neb yn "amddiffynwr y ffydd" os ydyw y ffydd yn abl i amddiffyn ei hun, ie, ac amddiffyn pechaduriaid hefyd?

Tybir gan lawer y dylai Cristionogion fod yn un yn eu syniadau, ac yn unffurf yn eu holl ddefosiynau, ac nad oes un moddion yn debycach o'u gwneyd felly nag i bawb ddilyn ei benadur: os felly, bydd raid i ddyn newid ei grefydd pan newidio ei wlad. Yn Spaen rhaid iddo fod yn Babydd, yn Twrci yn Fahometan; yn Rwssia hona Eglwys Groeg ei hawl ar ei gydwybod; yn yr India caiff gyfranogi o wleddoedd yr eilunod; ac wedi ymsefydlu yn Brydain caiff ddwyn yr enw Protestant, a than gysgod yr enw hwn gall grynhoi elfenau holl grefyddau y byd o'r bron. Lle mae mwyaf o ymdrech dros unffurfiaeth, mae mwyaf o amrywiaeth mewn barn ac ymarferiad. Ac nid rhyfedd hyny, gan nad ydyw cyfrifoldeb dyn i Chwiliwr y calonau yn cael ei ddangos mor bwysig a'i gyfrifoldeb i'w gydgreaduriaid.

Mae tuedd gref yn y cysylltiad hwn i beri i ddynion ymorphwys ar gyfres o ffurfiau, gan dybied fod yr oll o grefydd yn gynnwysedig yn hyny. Diammheu y gellir dychryn dynion trwy fwgwth purdan ac uffern arnynt, nes eu cadw dan ddarostyngiad. Gwelwn rai yn abl tywys lluoedd wrth eu hewyllys trwy ddichellion fel hyn, heb yr un awdurdod fydol yn eu cynnorthwyo. Eithr oni ellir ennill dylanwad fel hyn ar galonau dynion? Cymaint all dyn ei wneyd ydyw gorfodi arall i ddadgan y gyffes a fyno ef, heb byth effeithio ar y serch a'r gydwybod; ac os bydd iddo arfer ei nerth anifeilaidd i'r eithaf, nid ydyw hyny yn cyrhaedd ymhellach na "lladd y corff:" eithr cymhellir ni i ofni yr Hwn wedi y darffo iddo ladd sydd âg awdurdod ganddo i ddinystrio corff ac enaid yn uffern. O dragywyddoldeb y mae'r efengyl yn tynu ei chymhelliadau i ufudd-dod. Mae crefydd wladol trwy y byd paganaidd a Christionogol hefyd fel ffrwyn yn ngenau yr holl genedloedd, yn eu gyru ar gyfeiliorn. Delir dynolryw yn rhwym ganddi hi trwy yr oesoedd; eithr os dygwydd i'r fath reffyn dori, bydd pechaduriaid yn fwy aflywodraethus nag erioed, fel y gwelwn yn hanes y chwyldroad yn Ffrainc.

Nid ar dybiaethau yr ydym yn seilio yr haeriad mai rhwystr i grefydd ydyw yr hyn a feiwn: oblegid ceir digon o brofion yn hanes yr eglwys mai felly y bu; ac nid oes debyg na bydd yr un effeithiau yn ei ddilyn hyd oni ddyddymer yr undeb hwn. Darfu i eglwys Crist fyw a chynnyddu yn

y byd am dri chan' mlynedd, heb un awdurdod ddaearol yn blaid iddi, ïe, er gwaethaf y rhai hyn oll, ac y mae wedi goroesi pob gelyn fu yn ymosod arni. Pe buasai yr efengyl yn llwyddo mor gyflym rai oesodd wedi dyddiau yr apostolion ag y darfu yn eu hoes hwy, hi fuasai wedi llenwi y byd ymhell cyn hyn. Ond oni lwydda ei lledaniad yn llawer cyflymach nag yn yr oesoedd hyn, bydd raid iddi gael mwy o amser nag sydd er pan grëwyd Adda, er cyrhaedd ei hamcan. Ac anturiwn ddyweyd mai ei chysylltiad hi âg awdurdodau dynol fu y rhwystr mwyaf iddi. Mae yn wir fod olwynion cerbyd y Messiah wedi arafu yn fuan wedi dyddiau yr apostolion; ond ni lwyr safodd hyd oni lwythwyd ef â chyfoeth. Nid ydym am gelu ddarfod anfon yr efengyl i amryw wledydd eilunaddolgar ymhell wedi i'r eglwys a'r wladwriaeth ymbriodi; eto buan yr aeth hi i sugno cyfoeth y cenedloedd, yn hytrach na dwyn iddynt hwy ragorol olud gras. Ni ryfygwn farnu cyflwr na dyben Cystenyn, ond cymerwn ein hyfdra i ddywedyd nad oedd yn dëall natur teyrnas nefoedd gystal ag y buasai yn ddymunol. Pan aeth i adeiladu tŷ i'r Arglwydd, gosododd ei sail ar adfail eilunaddoliaeth. Y cyfoeth hwnw fuasai yn dwyn aberthau i'r eilunod ac yn cynnal eu hoffeiriaid, a dröwyd at wasanaeth Cristionogaeth. Y gallu a'r dylanwad oedd oesoedd o'r blaen yn ceisio llethu achos yr Arglwydd Iesu a dröwyd i'w bleidio. Nid rhyfedd ynte i Ysbryd yr Arglwydd gilio, gan nad oedd anghen am ei nerth ef er darostwng y byd i ufudd-dod. Yn mhen ychydig wedi hyny cawn yr hanes am ddadleuon ac ymraniadau yn prysur amlhau. Yn lle ymgynghori â genau yr Arglwydd, aeth y gwahanol bleidiau i ymryson am ffafr yr ymherawdwr er amddiffyn eu mympwy, ac ennill hyny a sicrhâi y fuddugoliaeth i'r neb a'i caffai, er a allai rheswm na gair Duw. Trwy hyn, tynwyd ymaith yr hyn oedd yn attal ymddangosiad cyhoedd dirgelwch yr anwiredd, yr hwn oedd yn gweithio yn yr eglwys er dyddiau yr apostolion, ac yna darfu drygioni megys ymgnawdoli, fel nad oedd enw addas i'w roddi arno ond "*dyn pechod.*" Fel hyn y dechreuodd adfeiliad ar yr eglwys, yr hwn aeth rhagddo am ddeuddeg can' mlynedd, heb nemawr o attalfa arno. Trwy hyn aeth yn Babilon mewn eilunaddoliaeth, yn Aipht o ofergoeledd a gorthrymder, yn Sodom mewn aflendid, ac yn lle hefyd y croeshoeliwyd ein Harglwydd ni mewn anghrediniaeth a phob drygioni.Ië, nid oedd dinas ar y ddaear yn addas cynllun i ddangos yr hon â'i geilw ei hun yn eglwys, am hyny rhaid crynhöi prif ddrygau gwledydd y byd i wneyd drych o honi. Ni cheid un bwystfil yn y goedwig yn ddigon gwrthun a dychrynllyd i'w darlunio wrtho, am hyny rhaid oedd dychymygu anghenfil er gwneyd hyny yn ddigon tarawiadol. Addefasom fod yn anhawdd penderfynu pa un ai yr eglwys ai ynte y llywodraeth sydd fwyaf ei bai a'i pherygl yn y gyfathrach anghyfreithlawn hon; ond fel yr ystyriwn y peth wrth fyned rhagom, mae yn amlwg i ni mai y wraig wedi ei thwyllo oedd gyntaf yn y camwedd. Nid ei threisio a gafodd un eglwys i fyned fel hyn, eithr ei thynu a'i llithio gan ei chwant at gyfoeth a moethau. Gyda breninoedd y ddaear y dechreuodd hi buteinio, ac y collodd ddiweirdeb ei hieuenctid, a thrwy hyny yr ennillodd yr enw o "fam puteiniaid a ffieidd-dra y ddaear." Rhaid fod merched i hon, gan ei bod hi yn fam; a phwy sydd deilyngach o'u cydnabod felly na rhai sy'n dilyn yr hyn a halogodd yr hen fam? Mae y cwpan a estynir gan freninoedd y ddaear i'r eglwys yn effeithio arni hi yn debyg i'r modd y gwna ei gwin cymysgedig hi arnynt hwythau; sef eu

meddwi a'u syfrdanu. Am hyny goreu po gyntaf i roddi heibio y fath gyfeddach, a gocheled eraill gyfranogi o honi, rhag y gorfydd iddynt dalu y *shot.* Mae Ymneillduwyr Cymru bellach er ys talm yn gwersyllu yn yr un man, fel Israel gynt ar derfyn Moab, ac wedi profi holl nerth y gelyn yn annigonol i'w gorchfygu. Gochelent rhag i diriondeb a gwobr eu hudo i fwyta pethau wedi eu haberthu i eilunod ac i odinebu.

Mae cysylltu gwlad ac eglwys, hefyd, y moddion tebycaf i lethu yr egwyddor wirfoddol, ar yr hon y mae teyrnas Crist i'w dwyn ymlaen. Mae gorfod talu at grefydd nad ydynt yn cael nac yn dysgwyl dim lles oddiwrthi, yn tlodi pobl, fel na allant wneyd a fynont; yna maent yn myned yn fwy difater am gyfranu. Ystyria rhai yr hyn maent yn orfod roddi yn haeddu gwobr cystal a'r hyn a wneir yn wirfoddol. Ond nid ydyw y niwed hwn yn haeddu ei gymharu â'r hyn a effeithiai tâl o'r llywodraeth ar yr eglwysi a'u gweinidogion. Boddiai hyn yr holl *gybyddion duwiol,* os na byddai y genfigen at y cyfryw fugeiliaid ag a dderbynient yr arian cyffredin yn eu blino. Llanwai yr eglwysi â'r fath ag a welir eisoes yn barotach i roddi eu gweddïau a'u barnau, nag i ymadael âg arian at grefydd. Mae talu at achos yr Arglwydd yn magu cariad ato cystal ac yn ffrwyth cariad; ac nid rhyfedd fod rhai nad ydynt yn cyfranu at y weinidogaeth, yn cwyno nad ydynt yn cael dim trwyddi. Trwy gyfraniadau gwirfoddol y gwelwn yr efengyl yn cael ei lledanu, hyd yn nod gan y rhai a bleidiant fwyaf ar orfodaeth; a'r eglwysi hyny sydd heb orfod ar neb dalu atynt, eithr a gynnelir yn unig gan eu haelodau, ydyw y rhai mwyaf llewyrchus dan y gyfundrefn esgobawl. Gwirfoddol ydyw pob peth a berthyn i eglwys Crist i fod; o'r cynghor tragywyddol hyd y dydd y rhoddo efe i fynu y deyrnas i Dduw a'r Tad. Yn ol boddlonrwydd ei ewyllys ef, mae y cynllun. "Rhyngu bodd" a barai ddadguddio 'r deyrnas i rai bychain. Rhoddi ei einioes i lawr heb i neb ei dwyn oddiarno ddarfu ein Gwaredwr. "Hael Ysbryd" yr addewid ydyw ein Sancteiddydd. "O'i wir ewyllys" mae Crist yn ennill ei ddeiliaid; ac ewyllysgar fyddant hwythau yn nydd ei nerth ef. "O law pob un ewyllysgar ei galon y cymerir offrwm;" a "rhoddwr llawen mae yr Arglwydd yn ei garu." Onid all crefydd fyw ar a ennillo hi, gadawer iddi drengu, a chladder hi mewn angof oesol; a phrysured preswylwyr y ddaear wybod, nad trwy lu na thrwy nerth, ond trwy ei Ysbryd y bydd i Frenin Sïon ennill ei fuddugoliaethau a sefydlu ei achos er pob anhawsder.

Crefydd sefydledig, a zel drosti, a gododd erlid yn mhob oes a gwlad. Mae yn wir ddarfod i anffyddwyr proffesedig wneyd llawer o ddirmyg ar yr hyn a elwid yn grefydd yn Ffrainc a manau eraill, ac nid rhyfedd hyny chwaith. Ond yr hwn a aned yn ol y cnawd a erlidia yr hwn a aned yn ol yr Ysbryd, y rhan amlaf. Yr erlid cyntaf ar Gristionogion a godwyd gan Iuddewon; a gofal am yr elw a'r hen sefydliadau oedd yn cynhyrfu yno. Yr oedd apelio at Cæsar i'w gael rhag hyny; ond wedi i'r gorthrwm ddyfod o orsedd Rhufain yr oedd yn llawer trymach a mwy cyffredinol. Ond pan y daeth rhai yn dwyn yr enw cristionogion i orthrymu, yr oedd ffrewyllau paganiaid yn cael eu cywilyddio gan yr ysgorpionau a arferid gan y rhai hyn. Ar orsedd y ddraig, sef yr awdurdodau cenedlig, yr oedd y bwystfil yn eistedd; ei gallu a'i hawdurdod hi oedd ef yn ei weinyddu, gan ychwanegu llawer at hyny. Ni buasai modd i'r butain fawr gael y fath doraeth o gyfoeth i'w gwychu, ac o waed i'w meddwi, oni b'ai fod y bwystfil

y mae yn ei farchogaeth yn defnyddio ei gyrn i'w gwasanaethu â'r hyn sydd at ei blys. Gallwn weled mai yr un niwed sydd yn tarddu o gysylltu pob enwad o Gristionogion gyda'r wladwriaeth. Y prif wahaniaeth rhwng Eglwys Rhufain ac eraill sydd yn ei dynwared ydyw, ei bod hi wedi gallu hynodi ei hun yn yr hyn mae eraill yn ymgyrhaedd ato. Pan newidiodd yr eglwys ei phen a'i henw yn Lloegr, ni newidiwyd mo'i chalon drachwantus. Yr un gwaed oedd yn rhedeg trwyddi, a'r un bywyd oedd yn ei hysgogi. Yn amser y werin-lywodraeth, nid oedd ond ychydig yn ysgwyd eu dwylaw rhag derbyn gwobr, er bod yn olynwyr y Puritaniaid. Ac yn ol adferu esgobyddiaeth gyda Charles, hi brofodd nad oedd wedi dysgu cyfiawnder, trwy garcharu a llethu i farwolaeth tua deng mil o ffyddloniaid, heblaw tynu ei llygad ei hunan â'i bŷs ei hun. Yr ydym yn edrych ar y ffeithiau a awgrymwyd yn debyg i hanes rhyw gaethwas o ddyn gwŷn oedd wedi dianc oddiar ei orthrymwr. Aeth y meistr ar ei ol, ac wedi ei oddiweddyd, haerai pob un o'r ddau mai efe oedd y meistr. Gan na allai y swyddog yr oeddynt ger ei fron benderfynu pa un oedd y meistr na'r gwas, fe barodd i'r ddau estyn eu penau trwy y ffenestr, a thynodd y darn uchaf o honi ar ei gyddfau; yna gwaeddodd allan "Ddïenyddwr, tòr ymaith ben y caethwas," ac yna nid oedd yn anhawdd gweled pa un oedd yn ymgynhyrfu. Y drwg gwreiddiol yno oedd bod neb yn cadw caethwas; eto pe buasai y gwas a'r barnwr hefyd yn gwadu yr hawl oll yn lle dadleu gan bwy yr oedd hi, fe allesid rhyddhau y ddau. Felly pe buasai Ymneillduwyr yr ail-ganrif-ar-bymtheg yn cydwrthwynebu yr hawl i uchafiaeth y naill ar y llall, mae yn debyg na buasai gwasgu eu gyddfau na bwgwth tori eu penau. Nid oedd y byd y pryd hwnw wedi dëall anghyfiawnder y gaethwasiaeth ysbrydol hon; eithr wedi dyfod goleuni ar hyn, nid oes le i ddadleu pwy fydd fwyaf yn nheyrnas nefoedd, gan y dangosir mai un ydyw ein hathraw ni, sef Crist, a ninnau oll brodyr ydym.

Mae teyrnas Crist i'w dwyn ymlaen yn y byd ar yr un cynllun ag yn y sant unigol: llywodraeth gair ac Ysbryd Duw ar enaid pechaduriaid ydyw, a'r fath yma wedi ymgasglu ynghyd yn gymdeithas i wasanaethu yr Arglwydd yn ol ei osodiadau ef ei hun ydyw y freniniaeth y mae efe yn ymogoneddu ynddi. Mae yn anhawdd dysgu dyn i ddëall yn iawn pa fath ydyw teyrnas Crist, oni bydd ganddo brofiad o deyrnasiad gras ar ei enaid ef ei hun; eithr mae yr eneiniad a dderbyniodd deiliaid teyrnas nefoedd yn eu dysgu yn hyn fel pob peth; canys y maent hwy oll wedi eu heneinio yn freninoedd ac yn offeiriaid i Dduw a'i Dad ef. Nid ydym yn tueddu i ddysgu neb o'r cyfryw beidio talu ufudd-dod i bob dynol ordinhad, er efallai na bydd hono yn gyfiawn bob amser; a dangoswn fod deddfau brenin Sïon yn gofyn hyny, hyd oni ddilëir y gorthrwm. Eithr yn achos crefydd, ystyriwn iawnderau pob dyn yn gyfartal â'u gilydd. Dywed llawer ei bod yn fraint i ni gael goddefiad i addoli fel y mynom. Nid ydym yn ammheu hyn, ac ar yr un pryd ni chydnabyddwn hawl gan neb i'n gwahardd. Mae mor afresymol i'r naill ddyn roddi goddefiad i'r llall wasanaethu yr Arglwydd, ag a fyddai iddo roddi cenad i'w gydgrëadur anadlu; ac nid ystyriem gael byw trwy oddefiad nemawr amgen na chysgod marwolaeth. Eto efallai mai esmwythach i ni wneyd fel y darfu i'r anturiaethwr enwog William Penn, pan oedd ef a'i ganlynwyr ar ymfudo i'r America. Er ei fod o ysbryd mor annibynol, fel na chymerai wasgu ar ei gydwybod serch gadael ei wlad er mwyn ei ryddid, darfu iddo ef brynu y

tir gan Frenin Lloegr, a dywedai yn ei wyneb nad oedd ganddo ef un hawl i'w werthu, ac y prynai efe yr un peth drachefn gan yr Indiaid. A chafodd y "cyfaill" felly lonydd gan bawb. Rhaid i ninnau roddi i lawr ein hiawnderau mewn pethau dibwys, ac yna bydd yn haws i ni eu hamddiffyn mewn pethau mawrion.

Tybygem fod yr alwad, "Deuwch allan o'i chanol hi fy mhobl i," yn cael ei dëall yn effeithiol gan rai yn y blyneddau hyn, pryd mae eraill yn ymgasglu i'r fan a nodwyd i'w ddyfetha, fel yr Iuddewon anghrediniol i Jerusalem cyn ei dinystr. Ac onid ydyw hyn yn rhyw argoel fod dinystr Babilon yn agosâu? Nid ydyw ond ofer dysgwyl am hir heddwch tra byddo elfenau terfysg yn ein mysg, mwy na llonyddwch i'r feichiog nes iddi esgor; oblegid, "gwaith cyfiawnder fydd heddwch, ïe gweithred cyfiawnder fydd llonyddwch a diogelwch hyd byth." Ynfyd dysgwyl i hen gestyll oesol amddiffynfêydd drygioni a gormes ddyfod i lawr heb gynhwrf; a'r peth goreu i'r sawl a fŷn lonydd ydyw cilio ymhell oddiwrth y cyfryw pryd mae arfau y filwriaeth yn curo arnynt. Pe buasai Luther yn ymwrandaw â'i deimladau ac â chais rhai o'i gyfeillion, llonydd a gawsai gorsedd y bwystfil; yna buasai mor ddigryn pan fu y dyn hwnw farw ag oedd hi pan aned ef. Eithr dywedai ef, "Ni adawai Duw na dynion lonydd i mi heb fyned ymlaen." Yr ydym yn barnu fod gair yr Arglwydd, ynghydag arweiniadau Rhagluniaeth, yn ein cymhell ninnau i fyned ymlaen yn y dyddiau hyn er gorphen yr hyn a ddechreuwyd gan Luther a'i gydlafurwyr. Er y gall fod yn rhaid ymchwelyd teyrngader teyrnasoedd, a dinystrio cryfder breniniaethau y cenedloedd, ïe, ysgwyd nefoedd a daear, gweddïwn, "Deled dy deyrnas," a gwyliwn rhag iddo ein cael yn cysgu pan y delo.

---

## YR YSGRYTHYRAU HEBREIG.

YN fuan ar ol cymysgiad ieithoedd dynolryw, sefydlodd cenedlaethau yn y gwledydd cyfagos[1] i Babel yn siarad cangen-ieithoedd tebyg iawn i'w gilydd; ac yn eu plith yr oedd yr Hebraeg. Defnyddid hi yn benaf yn ngwlad Canaan; a phan y symudodd Abraham yno i fyw, fe'i mabwysiadwyd hi ganddo ef a'i hiliogaeth. Byth wedi hyny adnabyddir hi fel iaith had Abraham, sef yr Iuddewon.

Gan mai trwy weinidogaeth dynion duwiol o'r genedl hono y gwelodd yr Arglwydd yn dda ddadguddio ei ewyllys dwyfol i'n byd ni, yr oedd yn naturiol iddynt wneyd defnydd o'u hiaith eu hunain—ac yn fwy felly gan fod y dadguddiad hwnw yn cyfeirio yn flaenaf atynt hwy fel cenedl; ac wedi hyny, trwyddynt hwy at y byd yn gyffredinol.

Parhaodd yr Hebraeg yn iaith iddi—a pharhaodd Duw i godi dynion sanctaidd o honi i lefaru ei ewyllys yn yr iaith hono, o oes i oes, hyd gyfnod mawr y Caethiwed Babilonaidd. Dyna yr adeg y collodd yr Iuddewon

[1] Sef Mesopotamia, Babilonia, Syria, Arabia, ac mor belled i'r dê ag Ethiopia.

arferiad cyffredin o'u hialth;[1] a thyna yr adeg y rhoddwyd terfyn ar yr Hen Destament. Felly yr iaith a ddefnyddiwyd gyntaf i ysgrifenu ewyllys y Bod Mawr ynddi yw yr Hebraeg. Hi yw iaith wreiddiol yr Hen Destament.

Ar ol darllen syniadau llëenyddion a beirniaid ysgrythyrol ar y mater, ymddengys i ni y gellir profi yn ddigon amlwg pwy yw awdur y gwahanol lyfrau yn yr Hen Destament; ond y mae yn annichon dyweyd pa beth a ddaeth o gopi cyntaf y gwahanol lyfrau. Pa fodd bynag, yn amser y diwygiad mawr tan Ezra, Nehemiah, &c. casglwyd y cwbl yn un gyfrol, wedi eu parotoi yn y modd mwyaf gofalus, a hyny dan ddylanwad ysbrydoliaeth anffaeledig. Rhoddwyd y copi yma yn y deml, i'w gadw yn ofalus; i fod yn safon i bob copi arall—oddiwrth hwn yr oedd y cwbl i gael eu gwneyd.

Rhaid fod lliosogiad yr ysgrythyrau Hebreig yn fawr iawn dan y diwygiad hwn, ac yn yr oesoedd dilynol. O herwydd, yn un peth, yr oedd y genedl yn wasgaredig iawn. Yr oedd llawer wedi aros yn Babilon—yr oedd eraill yn yr Aipht—yn wir yr oedd trefedigaethau o honynt, nid yn unig dros y dwyreinfyd, ond hefyd yn Ewrop—nid oedd un ddinas yn Asia leiaf heb liaws o honynt. Ac hefyd, ynglyn â hyn, yr oedd yn rheol codi synagog yn mhob man y byddai deg *Batelnim;* hyny yw, personau mewn oed ac amgylchiadau i allu myned i'r gwasanaeth yn rheolaidd. Felly, pe na buasai copi ond i bob synagog, buasai y copïau yn lliosog iawn. Ond heblaw y rhai hyny, yr oedd rhai at wasanaeth teuluaidd. Y mae yn wir fod y llyfr dwyfol y pryd hyny yn gostfawr iawn, ymhell tuhwnt i gyrhaedd y tlawd; eto yr oedd lliaws o deuluoedd yn ei feddu yn gyflawn —lliaws mwy yn meddiannu y "ddeddf a'r prophwydi;" a lliaws mwy drachefn yn meddu y gyfraith yn unig. Fel hyn, rhaid fod y copïau Hebreig o'r holl Hen Destament, a chopïau o ranau o hono, wedi lliosogi o amser Ezra hyd ddyddiau Crist bron yn aneirif.

Crybwyllwyd fod y copi a orphenwyd gan Ezra a'i gyd-ddiwygwyr yn nghadw yn Jerusalem. Oddiwrth hwnw yr oedd pob un a ddefnyddid mewn unrhyw synagog i gael ei wneyd. Ni chaniatêid gwneyd un oddiwrth un mewn synagog, er i hwnw fod wedi cael ei wneyd oddiwrth yr un yn Jerusalem. Na: lle bynag, trwy yr holl fyd, yr oedd eisieu copi at wasanaeth cyhoeddus, yr oedd yn rhaid ei gael yn uniongyrchol oddiwrth yr un oedd yn y deml. Hwnw, a hwnw yn unig, oedd y safon.

Pa cyhyd y parhaodd i fod felly sydd yn bwnc anhawdd i'w benderfynu. Dichon iddo gael ei gadw hyd ddinystr Jerusalem, ac mai hwnw oedd y copi a ddygodd Titus i Rufain, y crybwylla Josephus am dano.[2] Pa fodd bynag, ar ol dinystr Jerusalem collwyd y copi mawr a gwerthfawr hwn, ac aeth y genedl wedy'n heb un o uwch urddas na'i gydgopïau synagogaidd. Ac y mae yn bur debyg fod y gwasgariad fu arnynt, a'r erledigaethau creulawn a ddyoddefasant ar ol hyny wedi eu cadw yn hir heb gael hamdden i gydolygu ar un at wasanaeth cyffredinol. Yn wir ni wnawd hyny hyd y dydd hwn. Pa fodd bynag, o'r bummed hyd y ddegfed ganrif, fe gododd amryw o ysgolion enwog yn eu plith mewn gwahanol wledydd, a than olygiad Rabbiniaid dysgedig. Rhoddodd y rhai'n eu cymeradwyaeth i

[1] Er fod corff y genedl byth wedi hyn yn analluog i ddeall yr Hebraeg bur, eto, hi yw yr iaith y maent yn arfer i addoli yn mhob gwlad hyd y dydd hwn.

[2] Rhyf. Iudd. Llyfr. vii: pen. 5.

gopïau penodol, yr hyn a roddodd urddas arnynt uwchlaw rhai cyffredin. Y mae genym hanes am bump o'r fath.

1. *Copi* Rabbi Hillel.—Y mae y beirniaid yn methu cyttuno pwy oedd yr Hillel yma, nac yn mha oes yr oedd yn byw. Haera rhai mai yr Hillel enwog oedd yn brifgadeirydd y Sanhedrim tua 50 mlynedd cyn Crist ydoedd; ond y mae hyn heb un sail. Dywed eraill mai ŵyr ydoedd i'r enwog Rabbi Haccedosh, a'i fod yn oesi yn niwedd y bedwaredd ganrif. Y mae eraill drachefn yn tybio mai Iuddew Ysbaenaidd ydoedd; ac y mae amryw bethau ynglyn â'i gopi ef yn arwyddo hyny. Ond pa beth bynag a ddadleuir yn ei gylch, y mae un peth yn amlwg, sef ei fod yn byw, a'i gopi mewn bri mawr iawn cyn y ddeuddegfed-ganrif; canys y mae Rabbi Cimchi, yr hwn oedd yn byw yn y ganrif hono, yn tystio fod copi Hillel yn Toledo y pryd hwnw, ac iddo ef ei weled. Pa fodd bynag, y mae wedi ei golli er's canrifoedd lawer. Dywed Rabbi Zacuti, tua diwedd y bymthegfed ganrif, fod rhan o hono wedi ei werthu, a'i anfon i Affrica. Dyna yr hanes diweddaf a geir am dano.

2. *Copi* Aaron Ben Asher.—Yr oedd y dyn enwog yma yn byw yn nechreu yr unfed-ganrif-ar-ddeg. Yr oedd wedi ennill y radd o fod yn ddoctor, ac yn brifgadeirydd athrofa fawr Iuddewig Tiberias.[1] Tynodd ei gopi ef sylw cyffredinol yr Iuddewon, a dyrchafwyd ef i'r parch mwyaf. Cadwyd y copi yma yn Jerusalem am flyneddau meithion, fel safon, i gywiro copïau eraill wrtho. Dywed Maimonides, yr hwn oedd yn byw yn y ddeuddegfed ganrif, ac yn un o'r Iuddewon mwyaf dysgedig a fu erioed, fod pawb yn apelio at gopi Asher; ac mai oddiwrth hwnw yr adysgrifodd yntau gopi o'r ddeddf, neu bum llyfr Moses. Oddiwrth y copi yma y mae yr holl gopïau argraffedig o'r ysgrythyrau Hebreig wedi eu gwneyd.

3. *Copi* Jacob Ben Naphtali.—Yr oedd Naphtali yn byw yn yr un oes ag Asher, ac yn brifgadeirydd yr athrofa yn Babilon. Daeth ei gopi yntau i sylw a bri mawr, a chafodd dderbyniad cyffredinol ymhlith ei gydwladwyr, ac Iuddewon eraill yn y dwyrain.

Ymddengys fod y ddwy athrofa a enwyd yn adysgrifo yr ysgrythyrau, i'w gwerthu yma a thraw i'w brodyr, yn ol fel y byddai y galw, am oesoedd cyn amser y Doctoriaid Asher a Naphtali. Ymddengys hefyd fod rhyw gymaint o wahaniaeth darlleniad yn nghopïau y ddwy ysgol. O'r diwedd ymaflodd y ddau athraw yn y gorchwyl o gymharu y copïau, a nodi y gwahaniaeth oedd rhyngddynt. Dyma fu yn achlysur o'u galw wrth eu henwau. Yr oedd y ddau gopi yn amrywio mewn dros wyth gant o leoedd; ond gan nad oedd y cwbl, oddieithr un man, ond yn unig amrywiadau yn y nodau llafar, nid ydynt o un pwys na gwerth. Y maent wedi eu cadw yn ofalus hyd ein dyddiau ni; ac y mae Walton wedi eu hargraffu yn gyflawn yn ei Feibl Amlieithawg.

4. *Copi* Jericho.—Ni wyddys nemawr am hwn; ond dywed Rabbi Elias Lefita, mai dyma y copi cywiraf o gyfraith Moses o un oedd mewn bod.

5. *Copi* Seinai.—Y mae hwn hefyd a'i enw mewn bri mawr, fel copi tra chywir, er yn gwahaniaethu tipyn yn yr acenion.

[1] Rhwng y chweched a'r ddegfed ganrif fe gododd dwy athrofa enwog ymhlith yr Iuddewon, un yn Babilon a'r llall yn Tiberias. Llëenyddiaeth Iuddewig oedd prif bwnc y ddwy.

Dyma yr hen gopïau oedd mewn bri ymhlith Iuddewon a Christionogion hyd oddeutu yr unfed-ganrif-ar-ddeg. Oddiwrthynt hwy yr adysgrifwyd yr holl gopïau sydd wedi dyfod i lawr hyd atom ni. Ar ol yr unfed-ganrif-ar-ddeg, rhedodd y llaw-ysgrifau Hebreig i dri dosbarth penodol—sef Hispaenaidd, Germanaidd, ac Eidalaidd.

Y mae y llaw-ysgrifau Hispaenaidd yn canlyn copi Hillel, ac yn cynnwys y Masorah[1] i fanyldra; gan hyny y maent mewn bri mawr gan yr Iuddewon yn gyffredin. Y maent wedi eu hysgrifenu mewn llythyrenau ysgwar, hynod o hardd, a gyda manylrwydd anghyffredinol. Y mae y rhai Germanaidd, o'r tu arall, yn canlyn copi Asher yn benaf. Y maent yn cynnwys darlleniadau nad ydynt yn y rhai Hispaenaidd,a'r rhai hyny o'r pwys mwyaf mewn beirniadaeth; ond darlleniadau sydd yn cyttuno â'r pum llyfr Samaritanaidd, ac â'r hen gyfieithiadau mwyaf enwog. Nid yw y rhai hyn wedi eu hysgrifenu mor hardd a'r rhai Hispaenaidd, nac yn cynnwys dim o'r Masorah; gan hyny, nid yw yr Iuddewon yn eu hystyried o fawr werth; ond i bob gwir feirniad ysgrythyrol y maent o'r pwys mwyaf.

Nid yw y rhai Eidalaidd yn ffurfio trydydd dosbarth ar wahan i'r ddau uchod, ond yn rhyw fath o un rhwng y ddau, o ran dull ysgrifeniad ac o ran y testun. Weithiau y maent yn tebygu i'r rhai Hispaenaidd, a phryd arall i'r rhai Germanaidd.

Yr oedd y cynnydd rhyfeddol oedd ar feirniadaeth ysgrythyrol wedi codi awydd mewn lliaws o ddysgedigion am gael copi o'r llaw-ysgrifau Hebreigaidd gan Iuddewon rhai o wledydd Asia, megys China, India, &c., gan y tybid y gallai fod y rhai hyny yn gwahaniaethu cryn lawer oddiwrth yr ysgriflyfrau oedd yn meddiant Ewropiaid. Yr oedd yr enwog Dr. Kennicott yn hynod o awyddus am gael un i wneyd cymhariaeth cyn argraffu ei Feibl Hebreig—ond methodd. O'r diwedd fe gafwyd y trysor trwy ddwylaw y Dr. Buchanan. Pan oedd y gwr enwog hwnw yn teithio yn yr India, llwyddodd i brynu copi o'r pum llyfr gan Iuddewon duon Malabar[2]—daeth âg ef gydag ef i Brydain, ac y mae yn awr yn y llyfrgell gyffredin yn Nghaergrawnt. Nid oes ammheuaeth fod y copi yma yn olynydd i'r copi neu gopïau a ddygodd yr Iuddewon i'r wlad hono yn hir cyn amser Crist. Y mae yn hollol ddwyreiniol, heb un berthynas â'r copiau oedd o'r blaen yn Ewrop; ond am y llaw-ysgrif ei hun y mae yn anhawdd dyweyd pa mor hen ydyw. Y mae yn lled amlwg ei bod yn gynnwysedig o ddarnau o dair llaw-ysgrif, y naill yn hynach na'r llall, yr hynaf, yn ol pob tebyg, yn hen iawn. Y mae wedi ei gwneyd o grwyn geifr, wedi eu lliwio yn goch. Y mae Mr. Yeates wedi cymharu y copi hwn âg argraffiad Van Der Hooght o'r Bibl yn fanwl; ac er syndod, nid oes ynddo ond tua deugain o amrywiadau, a'r rhai hyny yn eithaf dibwys. Dyma un prawf pellach fod yr ysgrythyrau Hebreig wedi eu cadw yn ddilwgr hyd yr awr hon—hyny yw, heb unrhyw gyfnewidiad o bwys.

Rhaid i'n darllenydd gofio nad oedd y gelfyddyd o argraffu ddim mewn bod y pryd hyn; gan hyny, yr unig drefn o liosogi yr ysgrythyrau oedd trwy eu hysgrifenu. Yr oedd yn anhawdd, yn wir yr oedd yn annichon-

[1] Cododd dosbarth o ddynion ymhlith yr Iuddewon, rywbryd ar ol dyddiau Nehemiah, y mae'n anhawdd dyweyd pryd, a gwnaethant lawer o ryw fath o sylwadau ar yr ysgrythyrau—megys eu cyfrif, nodi llythyrenau diffygiol neu ormodol, &c.; a gelwir eu gwaith yn "Masorah," a hwythau "Masoretiaid."

[2] Gwel ei "*Christian Researches.*"

adwy, heb wyrth, i'r holl gopïau fod yn hollol unffurf. Yr oedd yn rhesymol meddwl fod rhyw gymaint o amrywiadau ynddynt. Y mae'n wir fod y Rabbiniaid Iuddewig yn hòni fod y cwbl yn cyfateb i'w gilydd, llythyren am lythyren, ac ysmotyn am ysmotyn—ac yr oedd y byd yn gyffredin yn eu credu, ond nid pawb. O'r diwedd penderfynodd yr enwog Morinus Capellus wneyd ymchwiliad i'r mater. Yr oedd ef wedi cael ei arwain i dybio yn gryf y gallai amrywiad fod, oddiwrth yr amrywiadau a wyddid oedd rhwng y testun Hebreig, a'r pum llyfr Samaritanaidd, a chyfieithiad y Deg-a-thriugain. Felly ymroddodd at y gorchwyl; ac yn mhen amryw o flyneddau, ar ol cymhariad manwl o liaws o law-ysgrifau, cafodd allan rai miloedd o amrywiadau. Canlynwyd ef yn y gorchwyl hwn gan eraill, yn neillduol Kennicott, Bruns, a De Rossi. Casglodd y dysgedigion hyn dros fil o wahanol law-ysgrifau; heblaw tua thri chant o gopïau argraffedig. Ar ol blyneddau o lafur diwyd, cafwyd allan filoedd o wahanol ddarlleniadau. Ond wedi'r cyfan, beth yw y gwahanol ddarlleniadau hyn? Y maent yn gynnwysedig yn benaf mewn bod llythyren yn rhy fach neu yn ormod mewn gair—camgymeriad un lythyren am y llall; ynghydag ambell air yn lle un arall tebyg iddo. Pe y tynid y rhai hyn allan, ynghyda'r rhai sydd yn amlwg yn gamgymeriadau, ni byddai ond ychydig iawn yn ngweddill; ac ni fyddai y gweddill drachefn yn effeithio mewn modd yn y byd ar un pwnc neu wirionedd o'r dadguddiad dwyfol. Fel y sylwa y Dr. Bentley, nid oes gwahaniaethau pwysig rhwng holl gopïau y byd—dim i effeithio ar unrhyw bwnc mewn ffydd nac ymarweddiad. Y mae y copi mwyaf gwallus mor gyflawn a chywir fel nad oes ynddo un gwall hanfodol. Ac o'r tu arall, trwy gymharu y gwahanol law-ysgrifau, y mae y mân-wallau yn cael eu diwygio, a thrwy hyny yr ysgrythyrau sanctaidd yn cael eu gwneyd yn fwy unffurf, hyd yn nod yn y pethau lleiaf, i'r hyn oeddent pan y daethant o dan ddwylaw yr ysgrifenwyr ysbrydoledig.

Y mae yr ysgrythyrau Hebreig yn *argraffedig* bellach er ys blyneddau lawer, er bendith annhraethol i blant dynion. Y cyntaf a aeth i'r wasg oedd y Salmau, yn y flwyddyn 1477, gydag Esboniad Kimchi. Y mae y llythyrenau yn ysgwâr a llydain, heb y nodau llafar. Y mae erbyn hyn yn hynod o brin. Ar ol hwn, yn y flwyddyn 1488, daeth argraffiad o'r holl Hen Destament allan yn Soncino, dan olygiad Abraham Ben Chaycin. Y mae yr argraff yn gyffelyb i'r blaenaf, ond fod y nodau wedi eu chwanegu. Ni wyddys yn awr ond am naw o gopïau o'r argraffiad gwerthfawr hwn. Ystyrir y ddau lyfr yma yn gydwerth â llaw-ysgrifau.

O adeg cyhoeddiad y ddau lyfr yma hyd yn awr y mae yr argraffiadau o'r Bibl Hebreig wedi lliosogi yn ddirfawr—rhy aml o lawer i'w henwi yn bresennol. Y mae rhai yn cynnwys esboniad neu feirniadaeth, ac o ganlyniad yn gostus. Y mae eraill heb ddim ond y testun yn unig, ac i'w cael am bris rhesymol. A chan mai yr ysgrythyrau Hebreig yw gwerslyfr mwyaf gwreiddiol ein crefydd, taer annogwn bawb sydd am fod yn wir dduwinyddion, i'w pwrcasu, eu hefrydu, a'u deall.

## Y LLYDAWIAID.

YR ydym yn barnu fod teilyngdod neillduol yn nhestun ein traethawd, ac y bydd yn dda gan liaws o'n cydwladwyr hoff gael rhyw grybwylliadau hanesyddol am genedl o ddynion ac sydd â hawl arbenig i'n cydymdeimlad a'n caredigrwydd. Anturiwn ar unwaith i ddadgan y gobaith cryf a deimlwn y bydd i'r hyn a fynegir am y Cymry yn Ffrainc fod yn foddion i helaethu ein gwybodaeth, i wresogi ein teimladau, a chynhyrfu ynom ryw awyddfryd i fod yn ddefnyddiol i'n cydgenedl yn y wlad hono.

Llydaw ydyw yr enw a roddir genym ni i'r rhan hyny o Ffrainc a breswylir gan y Cymry; nid yw hwn, er hyny, ond enw newydd a diweddar. Yn amser Cæsar, Gaul y gelwid y cyfan o'r wlad; ond wedi i'r Celtiaid gilio i'r rhan orllewinol o honi, galwyd hi Corne-de-Galle, oddiwrth ei dull fel gor-ynys (*peninsula*) yn ffurfio terfyn eithaf tiriogaeth Ffrainc tua'r gorllewin. Yr hen enw Celtaeg arni ydyw Armorica. Mae yr enw hwn eto yn ei desgrifio fel gwlad ar y môr. Tua'r flwyddyn o oed Crist 458, wedi i lawer o Gymry o Frydain fyned i'r wlad hono, hi a alwyd yn Brydain Fechan, ac fe gymerodd Irech (*Euricus*) y titl o Dduc Brydain Fechan (*Duke of Little Bretagne*). Yr enw Ffrengaeg arni ydyw Bretange, a'r enw cyffredin a roddid iddi gan y Saeson ydyw Brittany.

O ran ei maintioli, mae Llydaw yn llawn cymaint a Thywysogaeth Cymru, ynghyda siroedd Amwythig, Henffordd, a Mynwy. Mae ei mesuriad oddeutu 150 o filltiroedd o hyd, wrth 112 o led.

Dosberthir gwlad Llydaw yn bresennol i bump o daleithiau, fel y canlyn: Loire Inferieure, D'Ille et Vilaine, Cotes du Nord, Morbihan, a Finisterre. Y ddwy dalaeth gyntaf a elwir gan y Ffrancod Haute Bretagne, a'r tair olaf Bas Bretagne (*Upper and Lower Brittany*).

Mae Llydaw yn gorwedd yn yr un hydred a Chymru, a rhwng lledred 47° a 49°; ac o herwydd fod ei sefyllfa rhwng Môr-gilfach Biscay a'r Môr Seisoneg, mae'r tywydd yn dra chyfnewidiol. Ar y cyfan, dywedir fod yr hinsawdd yn ddigon dymunol, ac yn ffafriol i iechyd a hirhoedledd.

Mae ymddangosiad cyffredinol y wlad yn amrywio yn fawr, ac eto ni ellir dyweyd fod unrhyw hynodrwydd neillduol yn perthyn iddi. Mae ynddi fynyddoedd, ond nid yw yr uchaf o honynt, y Menez Arré, a'r Menez Du, ddim mwy na mil o droedfeddi o uchder; ac nid yw hyny ond hanner uchder Plinlimon, neu'r Mynydd Du yn sir Frycheiniog. Mae ynddi ddyffrynoedd; ond nid oes yno yr un i'w gymharu â Dyffryn Clwyd, neu Fro Morganwg, o ran ëangder na ffrwythlonder. Mae ynddi afonydd; ond nid oes un a ddàl gymhariaeth â'r Wy, yr Wysg, a'r Hafren. O herwydd fod milltiroedd lawer o dir Llydaw yn anniwylliedig, mae yr olwg gyffredinol mewn llawer o ardaloedd yn dlodaidd a digysur, ac yn rhoddi prawf parhaus o felldith y codwm—"Melldigedig fydd y ddaear o'th achos di—drain hefyd ac ysgall a ddwg hi i ti."

Wedi bwrw golwg ar y wlad, awn yn nesaf i ymholi ynghylch ei thrigolion; oblegid nid â Ffrainc, ond â'r "Cymry yn Ffrainc," y mae a wnelom ni yn benaf.

Yn ol y cyfrif diweddaf a wnaed gan y llywodraeth, mae trigolion Llydaw yn cynnwys 2,666,194; a hyny yn fwy ddwy waith a hanner na holl drigolion Cymru, ac yn cyfansoddi y bymthegfed ran o holl drigolion Ffrainc. Mae poblogaeth y gwahanol daleithiau fel y canlyn:—

| | |
|---|---|
| Finisterre, - - - - | 576,068 |
| Côtes du Nord, - - - - | 607,572 |
| D'Ille et Vilaine, - - - - | 549,417 |
| Du Morbihan, - - - - | 446,331 |
| Loire Inferieure, - - - - | 486,806 |

Mewn dwy o'r taleithiau, Loire Inferieure, a D'Ille et Vilaine, nid oes ond Ffrengaeg yn unig yn cael ei siarad gan y trigolion. Yn y tair talaeth eraill, mae y ddwy iaith yn cael eu defnyddio; ond yn y rhai hyn hefyd, y Ffrengaeg a ddefnyddir yn benaf yn y trefydd.

Yn Finisterre a Morbihan y mae 'r cymysgedd mwyaf. Bernir fod pum can' mil yn deall y Ffrengaeg a'r Lydawaeg, a phum can' mil eraill heb wybod un iaith yn y byd ond y Lydawaeg, neu fel y galwant hwy hi, y Brezonaeg. Mae 'r ffordd fawr o St. Malo i Vannes, o'r naill fôr i'r llall, trwy Rennes a Ploermel, yn fath o derfyn rhwng yr ieithoedd hyn. Ar y naill law y Ffrengaeg yn unig a lefarir, ac ar y llaw arall fe glywir y ddwy iaith yn barhaus. Mae yn ymddangos felly fod llawn cymaint yn deall y Brezonaeg yn Ffrainc, ag sydd yn deall ac yn defnyddio y Gymraeg yn Brydain Fawr.

O ran ei chyfansoddiad, mae y Lydawaeg yn gynnwysedig yn benaf o'r hyn a alwn ni yn Gymraeg;—mae 'r nifer fwyaf o eiriau yn gyffelyb yn eu tarddiad, ffurfiad, treiglad, ac arwyddocâd i Gymraeg; ac er fod lliaws o eiriau Lladin a Ffrengaeg yn yr iaith, fel yr arferir hi yn bresennol, eto i gyd, am fod y geiriau a dybiwn ni yn Lladin a Frengaeg yn ddarostyngedig i'r un rheolau a'r geiriau eraill, mae yn anhawdd penderfynu pa un ai'r Lladin ai'r Ffrengaeg sydd wedi benthyca o'r hen Geltaeg, neu ynte 'r Geltaeg sydd wedi benthyca oddiwrthynt hwy. Mae Pezron ddysgedig wedi casglu lliaws o eiriau o'r Groeg, y Lladin, a'r Ellmynaeg, er mwyn profi fod y Rhufeiniaid, y Groegiaid, a'r Teutoniaid, yn ddyledus i'r Geltaeg, am lawer iawn o eiriau goreu eu hamrywiol dafodieithoedd.

Mae'r Lydawaeg yn cael ei hysgrifenu a'i llefaru yn wahanol mewn amrywiol ranau o'r wlad; a braidd na ellir ystyried yr amrywiaeth hwn fel yn cyfansoddi gwahanol gangen-ieithoedd. Yr ydys yn barnu mai yn Vannes a'r ardaloedd y llefarir yr iaith yn fwyaf tebyg i'r modd y llefarwyd hi gynt, trwy holl Ffrainc, gan y llwythau Celtaidd. Y cangenieithoedd eraill ydynt eiddo Quimper, Treguier, a St. Pol de Leon. Mae y rhai hyn yn gwahaniaethu gryn lawer oddiwrth gangen-iaith Vannes, ond nid llawer oddiwrth eu gilydd. Mae cangen-iaith Leon yn gadael allan amryw o gydseiniaid—yn gwneyd defnydd helaethach o'r llafariaid, ac felly yn cael ei chyfrif yn fwy meddal na'r lleill. Cangenieithoedd Leon a Threguier sy'n cael eu defnyddio yn y rhanau gogleddol o Lydaw, o Brest i St. Malo. Cangen-iaith Vannes a ddefnyddir yn y rhanau deheuol trwy yr esgobaeth o'r enw; a changen-iaith Quimper sydd i'w chlywed yn y gorllewin a'r deheu-orllewin, trwy y rhan o'r wlad sydd yn cael ei galw Cornouaille.

Ond er y gwahaniaethau hyn, mae y tebygolrwydd i'r iaith Gymraeg yn mhob un o honynt yn ddigon amlwg.

Er mwyn cynnorthwyo y darllenydd i ganfod cyffelybrwydd y ddwy iaith, rhoddwn rai anghreifftiau.

Mae dyddiau yr wythnos yn hollol yr un fath:—

| | | | |
|---|---|---|---|
| Disul, | Dimeurs, | Diziou, | Disadorn. |
| Dilun, | Dimerc'her, | Digwener, | |

Nid oes ond ychydig o wahaniaeth yn enwau 'r misoedd:—

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| Gwenveur, | Meurs, | Mae, | Goueré, | Guengolo, | Mis du, |
| C'huevrer, | Ebrel, | Mezeven, | Eost, | Here, | Mis Kerzu. |

Mae enwau pethau yn dra chyffelyb:—

| | | | |
|---|---|---|---|
| tan, | penn, | taro, | pont, |
| dour, | kig, | marc'h, | bara, |
| bleo, | kazeg, | pobl, | aval. |

Mae yr enwau perthynasol, nid yn unig yn gyfystyr, ond yn agos a bod yr un sain hefyd:—

| | |
|---|---|
| tad, | mab |
| mamm, | merc'h |
| tad-kin, (tad-cu, taid) | brear, (brawd) |
| mamm-gun, (mam-gu) | c'hoar, (chwaer) |
| les-vamm, (llys-fam) | eontr, (ewythr) |
| les-tad, (llys-tad) | moereb, (modryb) |
| greg, (gwraig) | niz, (nith) |
| pried, (priod) | gavelled, (gefeilliaid) |

Gwelir unrhywiaeth yn enwau y lleoedd canlynol:—

| | | |
|---|---|---|
| Landelou, | Castellin, | Plougonven, |
| Lanhouarneau, | Castelneve, | Plougast, |
| Lanrivain, | Castel-paol, | Plougerne, |
| Lannilis, | Rosporden, | Tredarzec, |
| Landerneau, | Douarnenez, | Treguier, |
| Lanion, | Hennebon, | Carnac, |
| Lanvolon, | Dolay, | Concarno, |
| Landivisiau, | Daoulas, | Penarze, |
| Pontivy, | Gwingamp, | Mellionec, |
| Pontaven, | Henbont, | Lochrist, |
| Pontreo, | Pouldavid, | Morlaix. |

Mae yn y Frythonaeg amryw eiriau o'r un sain ac ystyr ag a geir yn y Gymraeg, oddieithr y defnyddir ynddynt *z* yn lle *dd* ac *th*, ac un neu ddwy *l* yn lle *ll*:—

| | | |
|---|---|---|
| badez, am bedydd, | leaz, am llaeth, | badezour, am bedyddiwr, |
| lan, am llan, | barz, am bardd, | lawen, am llawen, |
| bez, am bedd, | lagad, am llygad, | gwirionez, am gwirionedd, |
| lestri, am llestri, | trugarez, am trugaredd, | len, am llyn. |

Gwelir eto y tebygolrwydd wrth gymharu rhyw ddarn o'r Testament Brezoneg â'r Testament Cymraeg.

Rhoddwn yn gyntaf Weddi yr Arglwydd, allan o *Mat.* vi. 9—13. Ar ol hyny, ddarnau adnabyddus o efengyl *Ioan;* sef *pen.* i. 14—17; *pen.* iii. 16—19. a xiv. 6:—

"Hon Tad, pehini a *zo* en evou: da hanô bezet santifiet: deued da rouantelez: da volonte bezet greet var an douar evel en ev: ro deomp hirio hor bara pemdeziec: pardon deomp hon dleou, evel ma pardonomp d'hon dleourien: ha n'hon hinch ked en tentasiwn, mes delivr ac'hanomp a zroug: rag d'id eo ar rouantelez, ar galloud, hag ar gloar, da viken. Amen."

"Hag ar Ger a zo bet greet kig; hag en deus choumed en hon touez; ha gueled hon eus e c'hloar, ur glor e-c'his eus a Vab unig-ganet and Tad, leûn a c'hras hag a virionez. Hag eus e leunder hon eus holl resevet, ha gras evit gras. Rag al lezen a zo bet roed dre Voises, mes ar c'hras hag ar virionez a zo deued dre Jesus-Christ."

"Rag evel-se eo en deus Doue caret ar bed, ma en deus roed e Vab unig-ganet, evit na vezo ket collet piou-benag a gred enan, mes m'en devezo ar vuez eternel. Rag Doue ne'en deus ket caset e Vab er bed, evit barna ar bed, mes evit ma vezo salvet ar bed drezan.

"Neb a gred enan, ne ket condaonet; mes neb na gred ket, a zo condaonet dija, abalamour na gred ked e hanô Mab unig-ganet Doue.

"Hou-ma eo ar gondaonidigez, penaos ar golou a zo deued er bed, ha m'o deus an dud caret muioc'h an devalijen eged ar golou; rag o oberiou a zo fall.

"Jesus a lavaraz dezan; Me eo an hend, hag ar virionez, hag ar vuez: den na zeu da gavoud an Tad nemed drezoun." (*Aviel Ian*, ch. i. *v.* 14, 16, 17; ch. iii. *v.* 16—19).

Rhoddir un anghraifft eto o'u barddoniaeth. Rhan o Gan-aouen Eisteddfod y Fenni, a gyfansoddwyd gan y Count De la Villemarquè, bardd o Lydaw, ag oedd yn bresennol ar yr achlysur, yn y flwyddyn 1838:—

KAN-AOUEN EISTEDDVOD.

*Er Vretoned-Arvoris hager Gymmri-Bretoned.*

ER GOR.

Ul long a zaez gan ann awel
En un porz a Gymru oc'h a bell.

ER GYMMRI-BRETONED.

Pérérion d'hon-ni lafarec'h
Poui e'ch-c'hwi nag a pa fan a ec'h

ER VRETONED-ARVORIS.

Bretoned emp-ni oc'h ann Armor
A Laezomp d'ho kwelet tros er mor.

ER GYMMRI.

Pan aezec'h da vad é vézec'h
Bretoned a edem-ni fel d-ec'h.

Hen tadau int tadau d'ac'h dadau
Hen mammau int mammau d'ac'h mammau

ER GOR.

Kanom da pan em kefret hiziau
Kanom, broderion, mol hon tadau.

HOLL KEFRET.

Kanom ré n'eus krénet tal Gaezar,
A lakaz da gréno er deuar;

Ré euz trec'het Pickted ha Saezon,
Gan Arthur, hag Howel hon teirnon.

Ha kéfret ha laket pob-eill-benn
Ha maes al Lydaw er Frangizien.

Ré eus pell-amzer gourzwénébet
Gan mawr a voc'haud er Normaned.

Hag ho eus holl-d'ann-holl, gorfodet
Dan Glyndwr ha Ian a Rieux kefret,

'R Bréton ' Armor tal er Gymmro c'hwas
Er banniar du tal er banniar glas.
Kanom ré emlazaz pad mil vloez
Am hen Duw, hen bro, hen brent, hen iaiz.

CAN-AWEN EISTEDDFOD.

*Y Brython-Llydawaeg a'r Cymry-Prydeinig.*

Y DATGANIAD.

Llong a ddaeth gan awel
I borthladd o Gymru o bell.

Y CYMRY PRYDEINIG.

Y Pererinion llafarwch wrthym
Pwy y'ch chwi, ac o ba fan y deuwch.

Y BRYTHON-LLYDAWAEG.

Brython y'm ni, o Lydaw,
A ddaethom i'ch gweled dros y mor.

Y CYMRY.

Gan y daethoch, mâd y daethoch
Brython ydym ni, fel chwithau.

Ein tadau y'nt dadau eich tadau,
Ein mammau y'nt fammau eich mammau.

Y DATGANIAD.

Canwn, gan in' gyfarfod heddyw:
Canwn, frodyr, mawl ein tadau!

YR HOLL GYFARFOD.

Canwn i'r rhai ni chrynasant rhag wyneb Caisar,
Yr hwn a ddychrynodd y ddaear.

Y rhai a drechasant ar y Pictiaid a'r Saeson.
Gydag Arthur a Hywel, ein teyrnon.

Ac a gyfunasant ac a ddodasant bob pen
O'r Ffrancod i maes o Lydaw.

Y rhai dros bell amser a wrthwynebasant
Gyda mawr ogoniant, y Normaniaid.

Ac oll yn oll a orfodasant,
Pan unodd *Glandwr* a *Ian a Rieux*.

Y Brythonwr Llydawaeg ger bron y Cymro eto,
Y llumman du gyferbyn y llumman glas.
Canwn i'r rhai a ymladdasant mil o flyneddau
Dros ein Duw, ein bro, ein braint, ein iaith.

A wardaz ho gwad oc'h er maro
Hag edint ho hunan difaro,
Fel ma ganaz Taliesin Barz hon :
O tarogan. "Tra mor, tra Brêton !"

Er Barz.

Kerreg pe ré as do zoun n'lakes
Namen Breut ha Goruc'hafiaez :
Kerrëg a Gymmru é-tal er mor
Aslafaret son barz a Armor,
Lafaret, lafaret da vis-ken
Hanes mawr hen gourhendadigien.
Ra glefent son anom oc'h ann ion
Ha ra lakent lawen hoc'h c'halon
Ha ra zelent tuez er deuar
Ha ra vendigent ho vibion kar.

A warchadwasant eu hanfod hyd angeu,
Ac a ydynt eu hunain yn anfarwol.
Fal y canodd Taliesin, ein Bardd,
Gan ddarogan, "*Tra mor, tra Brython.*"

Y Bardd.

Creigiau, pa rai ni ddychwelasant sain
Namyn bloedd goruchafiaeth !
Creigiau Cymru, ger bron y mor,
Adseiniwch llais bardd o Lydaw !
Llafarwch, llafarwch dros byth,
Hanes godidawg ein gorhendeidiau !
Pe clywent son am danom ni a chwithau,
Hwy a lawenychent yn eu calon.
A phe delent i'r ddaear,
Hwy a fendigent eu meibion anwyl.

Mae yn y Lydawaeg lawer iawn o lyfrau a mân draethodau ; ac y mae'r wasg yn fwy cynnyrchiol yn bresennol nag y bu erioed o'r blaen. Gwelsom yn llyfrgell y Fibl Gymdeithas tua deg-ar-hugain o lyfrau gwahanol yn yr iaith hon, a ddygwyd drosodd gan y diweddar Barch. David Jones, athraw ieithyddol Athrofa Cheshunt. Oddieithr y gramadegau a'r geirlyfrau, nid ydynt o fawr werth, a chynnwysant yn benaf hanes bywydau a gwyrthiau y seintiau Pabaidd, ynghyda llyfrau gwasanaeth yr eglwys hono.

Dywedir fod yr iaith, ar y cyfan, yn colli tir ; a'r prif achos ydyw, yr ymdrech a wneir i ledanu y Ffrengaeg trwy yr holl wlad. Hon ydyw iaith y gyfraith, iaith masnach, iaith yr ysgolion, a iaith y boneddigion ; ac felly mae pob peth yn milwrio yn erbyn helaethiad a pharhad y Lydawaeg.

Cyn ymadael â iaith y Llydawiaid, cymerwn y cyfleusdra hwn i hysbysu ein barn na byddai Cymro aiddgar nemawr iawn o amser yn cyrhaedd gwybodaeth o honi, yn enwedig os bydd eisoes wedi dysgu y Ffrengaeg a'r Lladinaeg.

Mae yr hyn a ddywedwyd mewn perthynas i'r tebygolrwydd mawr a'r unrhywiaeth hynod sydd rhwng geiriau 'r Llydawaeg a'r Gymraeg yn ein harwain i feddwl fod rhyw berthynas rhwng trigolion Cymru a thrigolion Armorica.

Dyma genedloedd yn preswylio gwahanol wledydd—yn ddeiliaid gwahanol lywodraethau—yn cael eu gwahanu gan foroedd—ac eto yn defnyddio yr un cyfrwng ymadrodd i drosglwyddo eu meddyliau. Braidd na neidiwn ni ar unwaith i'r un penderfyniad a'r bardd o Lydaw :—

"Hen tadau int tadau d'ac'h dadau
Hen mammau int mammau d'ac'h mammau."

Ond pa fodd y gall hyn fod? Mewn atebiad i hyn rhaid i ni geisio olrhain *haniad* a *hanes* y Llydawiaid.

Tybia rhai i Lydaw gael ei phoblogi gan ymfudwyr o'r wlad hon ; tybia eraill i'r wlad hon gael ei phoblogi gan rywrai o'r wlad hono ; ac eraill a ddywedant mai yr un bobl oeddynt o'r dechreuad, ac i'r ddwy wlad gael eu poblogi tua'r un amser yn agos, gan wahanol lwythau o'r un genedl wreiddiol.

Yr ydym yn tueddu i feddwl fod y tybiau hyn oll yn gywir; ac ni a wnawn ein goreu i ddethol o wahanol awduron ychydig o ffeithiau hanesyddol i brofi hyn.

Yr ydym oll yn credu mai hiliogaeth Gomer, ŵyr Noah, yw y Cymry; ac mai o Ascanas, ei fab hynaf, y disgynasant. Gwedi i'r Cymry drigo yn Thracia (y gwledydd o amgylch y lle a elwir Constantinople yn awr) nes myned yn rhy liosog i fod yn gysurus yno, cawsant eu dosbarthu yn llwythau, llawer o ba rai a gymerasant eu taith tua'r gorllewin, gan geisio preswylfëydd newyddion a helaethach. Fe ddywedir i'r llwythau hyn ddilyn rhedfa yr Afon Danube nes dyfod i'w tharddle hi; ac wedi trafaelu rhan o Germany a Switzerland, nes cael gafael yn yr Afon Rhine, hwy a ddilynasant redfa yr Afon hono nes eu dyfod i gyffiniau Môr Germany.

Llawer o'r llwythau hyny a ddaethant o Thracia a drigasant yn Ffrainc, ac mewn amser a feddiannasant y rhan fwyaf o wledydd gorllewinol Ewrop; a gelwid hwynt y Cimmerii, Cimbri, Cymry, Celtæ, Gauls.

Gwedi i'r Cymry ddyfod i gyffiniau Môr Germany, daeth rhai o honynt drosodd i'r ynys hon, dan arweiniad Hu Gadarn, ynghylch mil o flyneddau cyn geni Crist. Wedi iddynt ddëall eu bod yn cael eu hamgylchu a'u hamddiffyn gan y môr, a bod y wlad yn ëang ac yn ffrwythlawn, caniatasant i lawer o'u cydgenedl ddyfod drosodd.

Mewn canlyniad, daeth Prydain ap Aedd Mawr, a'r Lloegriaid o dir Gwasgwyn, o amgylch i'r Afon Loire (neu Liger), a'r Brython o dir Llydaw i'r wlad hon. Am fod y tri llwyth hyn yn tarddu o brif genedl y Cymry, ac yn llefaru yr un iaith, hwy a gydfeddiannasant yr ynys, ac a fuont fyw ynghyd fel un pobl.

Yn y canrifoedd cyntaf fe fyddai tramwy mawr rhwng y gwledydd hyn; ac am fod y dyfodiaid o'r un iaith a'r brodorion, collent yn eu gilydd yn fuan.

Yn y bedwaredd ganrif (O. C. 383) yr ydym yn cael i Macsen Wledig, Tywysog Cornwall, fyned drosodd i Ffrainc ac Itali i ddïorseddu yr Ymherawdwyr Gratian a Valentinian. Fe gymerodd gydag ef, nid yn unig lu y Rhufeiniaid ag oedd y pryd hyny yn Mhrydain, ond triugain mil o flodau ieuenctyd y Cymry. Llwyddodd yn ei amcan uchelfrydig: ond wedi meddiannu yr ymherodraeth am bum mlynedd, fe'i lladdwyd wrth ryfela â Theodosius; a chynnifer o'r Cymry a ddiangasant, a sefydlasant yn Llydaw, yn Ffrainc. Ar y pryd hwn yr oedd Cynan Meiriadog, Tywysog Gwynedd, a brawd Elen gwraig Macsen Wledig, wedi ei osod yn frenin ar y wlad.

Yn y bummed ganrif (O. C. 429) yr ydym yn cael y Llydawiaid yn dyfod drosodd i Gymru, nid fel Macsen, â'r cleddyf dur, yn erbyn rhyw ymherawdwr neu dywysog rhyfelgar, ond â chleddyf yr Ysbryd yn erbyn cyfeiliornadau yr oes. Yr oedd Morgan o Fangor yn blino'r eglwysi, ac fe ddanfonwyd am gymhorth i Ffrainc. Pwy a ddanfonwyd drosodd ond Garmon a Lupus, un yn Esgob Auxerre, a'r llall yn Esgob Troyes; a dywedir eu bod yn dra defnyddiol i gadarnhau yr eglwysi yn y gwirionedd.

Yn y flwyddyn 447, danfonwyd am danynt drachefn. Daeth Garmon, er ei fod yn oedranus, a chydag ef yr oedd ei neuaint, Illtyd Farchog, a Chrallo, ynghyda Severus Esgob Triers, ac amryw eraill o ddynion da. Nid da oedd pob peth a wnaeth Garmon yn yr ymweliad hwn; ond eto fe

fu yn dra defnyddiol i'r Cymry yn eu gorthrymder. Ymhlith pethau eraill, fe sefydlodd athrofêydd i addysgu yr ieuenctyd, ac i ddarparu dynion cymhwys at y weinidogaeth efengylaidd. Adferodd Athrofa Caerworgorn (ag oedd wedi ei dinystrio gan y Gwyddelod), ac a osododd Illtyd ei nai yn athraw ynddi; ac o hyny allan galwyd hi Bangor Illtyd, ac wedi hyny Llanilltyd Fawr.

Gosododd i fynu athrofa arall yn Llancarfan, yn sir Forganwg, ac yn flaenor ar hon yr oedd gŵr duwiol a dysgedig o'r enw Dyfrig Beneurog.

Tua dechreuad y chweched ganrif, yr oedd Hywel, nai yr enwog Arthur, yn frenin yn Llydaw, ac ynghylch yr amser yma fe ddaeth lliaws o ddynion da drosodd o Lydaw i Brydain. Y penaf o'r rhai hyn oedd Cadfan mab Eneas Lydewig; ac yn ei ganlyn ef yr oedd Cynon, Ilar, Dochdwy, Padarn, Cristiolus, Rhystyd, Sulien, Tanwg, Trillo, Tegai, Llechyd, Twrog, Trinio, Sadwrn, Canna, ac eraill. Sefydlodd y Llydawiaid hyn mewn gwahanol barthau; buont wasanaethgar iawn i achos crefydd, ac y mae eglwysi wedi eu cysegru i'r rhan fwyaf o honynt yn y dywysogaeth.

Yn yr un ganrif, tua'r flwyddyn 530, yr ydym yn cael i Arthur fyned i Lydaw, i gynnorthwyo ei nai Hywel.

Yn y seithfed ganrif (660), aeth Cadwaladyr, mab Cadwallon, ynghyd â'i bendefigion a lliaws o'i ddeiliaid, i Lydaw i ochelyd y newyn a'r pla ag oedd y pryd hyny yn Nghymru, wedi ei achosi gan y difrod mawr a wnelsid gan y Saeson.

Yn y cant canlynol, yr wythfed, gwelir Ifor, mab Alan, brenin Llydaw, yn dyfod â byddin drosodd i Gymru, ac yn trawsfeddiannu y llywodraeth; ond yn y flwyddyn 720 fe ymadawodd o'r wlad, gan adael y llywodraeth i Rhodri Molwynog, mab Idwal Iwrch, ac ŵyr y brenin Cadwaladyr.

Nid oes fawr grybwylliad am fyned a dyfod o'r naill wlad i'r llall rhwng yr wythfed a'r unfed-ganrif-ar-ddeg. Yn y flwyddyn 1077, yr ydym yn cael i Rhys ap Tewdwr Mawr, tywysog y deheubarth, fyned drosodd i Lydaw i ymofyn am gymhorth yn erbyn tywysogion Morganwg.

Ar ol i Gymru a Llydaw golli eu hanymddibyniaeth, a dyfod yn rhan gyfansawdd o Loegr a Ffrainc, ni bu nemawr gyfathrach rhyngddynt; ac eto i gyd mae'r naill a'r llall wedi cadw i fynu ei bodolaeth genedlaethol, ac yn siarad yr un iaith, o amser y gwasgariad ar wastadedd Sinar, hyd y dydd hwn!

Rhaid gan hyny mai yr un bobl yn wreiddiol ydynt; ac am hyny gweddus yw i ni edrych arnynt gyda serchogrwydd brawdol, oblegid

"Esgyrn gwir o'n hesgyrn ninnau,
Cnawd o'n cnawd yw Cymry Ffrainc."

Gan fod y Llydawiaid yn berthynasau mor agos, naturiol iawn ydyw i ni ymholi ynghylch eu hansawdd a'u hamgylchiadau presennol.

Mae *masnachaeth gyffredinol* yn dra isel yn eu plith. Mae mŵn haiarn a phlwm mewn amrywiol ranau o'r wlad, ond nid ydynt yn cael eu gweithio i helaethrwydd mawr. Mae'r marchnadoedd a'r ffeiriau yn dra lliosog, ac ynddynt bydd y ffermwyr yn gwerthu eu hanifeiliaid a'u nwyddau eraill. Mae ganddynt y porthladdoedd goreu yn Ffrainc; ac yn St. Malo, Brest, a Nantes, mae cryn lawer o fywiogrwydd masnachol, ond y mae'r fasnach yn nwylaw 'r Ffrancod yn benaf.

Mae *amaethyddiaeth* yn wael dros ben. Er fod digon o dir da, yn enwedig yn Leon, eto o ddiffyg anturiaeth, mae'r wlad yn edrych yn anniwylliedig. Gwelir y tir yn ei gyflwr natur am filltiroedd lawer; drain a mïeri, danadl ac eithin, brwyn, hesg, a rhedyn, a gynnyrchir, yn lle llysiau, a ffrwythau, er cynnaliaeth dyn ac anifel.

Nid yw yn rhyfedd gan hyny fod y werin yn dlawd, ac yn dlawd iawn —ymgasglant oddeutu'r cerbydau, ac y mae yr olwg arnynt hwy, ac ar eu preswylfëydd yn eithaf truenus.[1]

Os gofynir am eu hamgylchiadau crefyddol, rhaid i'r darlun fod yn dra thywyll.

Derwyddiaeth oedd eu *crefydd* gynt. Os oes coel i'w roddi i Ceasar a'r ysgrifenwyr boreuaf, yr oedd derwyddiaeth Gaul yn greulawn iawn yn rhai o'i chyflawniadau. Rhaid i ni gofio, er hyny, mai gelyn sydd yn tystiolaethu. Os oedd aberthau dynol ynglyn â'r gyfundraeth dan ryw amgylchiadau, mae y prawf yn fwy cryf yn erbyn derwyddiaeth y cyfandir yn y cynoesoedd, nag yn erbyn derwyddiaeth Brydain. Nid oes un wlad yn Ewrop â chymaint o weddillion derwyddol ynddi a Llydaw. Gwelir hwynt yn mhob man; ond yn Carnac ac Aurey, yn Morbihan, y maent liosocaf. Gelwir hwynt *maenhir*, *dolmen*, *cromlech*, &c., ac y maent eto mewn amryw leoedd yn wrthddrychau o barch gan lawer o'r Llydawiaid.

Yn mhen amser, trwy fawr diriondeb Rhagluniaeth, fe dorodd goleuni yr efengyl arnynt hwy yno fel arnom ninnau yma, a than ei dylanwad sanctaidd aeth Llydaw yn wlad Gristionogol. Fe fu yno eglwysi blodeuog, a duwinyddion enwog; a pharhâodd gwir grefydd yn eu plith am gannoedd o flyneddau. O'r diwedd darostyngwyd hwynt, fel ninnau, dan yr iau Rufeinig, ac y mae yn rhaid dyweyd mai Pabyddion ydynt yn bresennol, a Phabyddion o'r fath fwyaf selog a defosionol.

Mae'r Llydawiaid yn hollol dan awdurdod yr offeiriaid Pabaidd. Y genedl fwyaf "*priest-ridden*" yn Ewrop ydynt. Maent megys wedi rhoddi i fynu eu hewyllys a'u cydwybod, eu henaid a'u cyfrifoldeb, i ddwylaw eu llywodraethwyr ysbrydol. Llywodraethir hwynt gan y gyffes ddirgel yn y byd hwn, a chan ofn y purdan yn y byd a ddaw. Penyd yma, a phoenau y purdan wedi myned oddiyma, ydyw rhan pawb nad yw yn plygu yn hollol i orchymynion yr eglwys. Ac er fod y boneddigion a'r dysgedigion yn chwerthin am ben yr ynfydrwydd hwn, mae'r werin gyffredin yn credu y cwbl a ddywedir wrthynt, ac yn ufuddhau i'r cwbl a geisir ganddynt.

Mae'r Llydawiaid yn dra choelgrefyddol. Credant yn ddiysgog mewn ysbrydion, drychiolaethau, a gwylliaid. Gwelant bethau anweledig—clywant bethau annhraethadwy. Nid ânt allan yn y nos ar un cyfrif; ïe, pe byddai rhywun o'r teulu yn glâf, nid oes neb a anturiai i ymofyn y meddyg nes cael goleuni y dydd.

Ant ar bererindod at ffynnonau a seintiau. Pererindod St. Ann D'Aurey, yn Morbihan, yw y penaf oll. Dywedir fod dros ddeng-mil-ar-hugain wedi bod yno mewn un flwyddyn yn ddiweddar; ac i lawer o honynt, rhwng myned a dyfod, drafaelu 250 o filltiroedd.

Maent mor hollol eilunaddolwyr a neb yn y byd. Nid ânt allan heb y "groes" a'r "bader-restr" (*beads*)—codir croesau ar ben pob heol, ac

[1] Nid yw y desgrifiad hwn i'w ddëall am y trefydd, ond am y lleoedd mwyaf gwledig. Wrth edrych ar y bobl a'u gwisgoedd, y tai a'r dodrefn, y dull o lafurio'r tir, ynghyd âg offer eu hwsmonaeth, mae'n anmhosibl i ni beidio galw i gof yr hyn a welsom lawer gwaith yn y rhanau gwaelaf a mwyaf mynyddig yn Nghymru.

yn y mynwentydd; gwelir temlau bychain i'r Fair Forwyn ar ochrau'r ffyrdd, ac nid oes neb a feiddia fyned heibio heb blygu glin ac adrodd gweddi.

Mae'r Llydawiaid yn dra anwybodus. Er fod yr ysgolion yn cynnyddu mewn rhifedi, a than arolygiaeth mwy gofalus, eto i gyd y bedwaredd ran o'r boblogaeth sydd yn medru darllen unrhyw lyfr.

Nid yw ryfedd, gan hyny, fod y Llydawiaid yn gyffredin yn dra llygredig yn eu moesau.

Fe ddywed y cenadwr Williams, ar dystiolaeth ysgrifenwyr eraill, fod y cymeriad Llydawaeg yn cynnwys pump o rinweddau a thri o feiau.

Y rhinweddau ydynt:—cariad at eu gwlad—ymostyngiad i ewyllys Duw—ffyddlondeb i ddynion—dyfalwch—a lletygarwch.

Y beiau ydynt:—cybydd-dod—anmharch i'r rhyw fenywaidd—a meddwdod.

Beth bynag am rinweddau, mae'r beiau yn ddigon amlwg—yn enwedig yr olaf. Mae'r rhieni yn dysgu eu rhai bychain i yfed—priodasau—genedigaethau—bedyddiadau—gwylmabsantau—y rhai hyn yw yr achlysuron ar ba rai y daw allan holl arferion llygredig y genedl i'r golwg.

Da genym eto daflu golwg ar yr ochr arall i'r darlun.

Mae hanes Llydaw yn dangos cymeriadau tra rhagorol—dynion a fu yn ddefnyddiol yn eu dydd, ac y mae eu henwau yn barchus eto.

Ni chawn enwi yn bresennol ond dau o'r dysgedigion gynt.

Yr enwog Perron, a anwyd yn Hennebon yn 1639: gwnaed ef yn un o ddoctoriaid y Sorbonne. Ysgrifenodd lawer o lyfrau campus; ond y penaf ydyw, ei "Hynafiaethau'r Cenedloedd" ("*Antiquities of Nations*").

Legonidec:—bu farw yn 1838, ar ol gwneyd mwy er lles ei gydgenedl na neb a fu o'i flaen. Ysgrifenodd eirlyfr a gramadeg; ond ei waith mwyaf gorchestol a defnyddiol ydyw, ei gyfieithiad o'r Bibl am y tro cyntaf erioed i'r Lydawaeg.[1]

Mae yn bresennol yn Llydaw amryw o bersonau ac sydd yn caru eu hiaith yn gystal a'u gwlad—y penaf o honynt ydyw De la Villemarquè o Quimperlê. Ymdrechant i goethi yr iaith ac i ddarparu llyfrau ar gyfer y bobl. Cynnelir math o eisteddfodau ganddynt yn achlysurol i'r dybenion uchod, ac y mae meddyliau y Llydawiaid fel pe byddent yn cael cyffroad i ymofyn am wybodaeth ddefnyddiol.

Mae yn Llydaw un brifysgol, a hono yn ninas Rennes, heblaw tair o athrofêydd breiniol mewn dinasoedd eraill. Mae yr addysg yn hollol dan arolygiaeth y llywodraeth. Ar gyfer y pum talaeth mae tua mil o ysgolion o bob math; hyny yw, un ysgol ar gyfer pob dwy fil a hanner o'r trigolion. Pe na byddai ond un o bob ugain o'r trigolion yn derbyn addysg, rhoddai hyny i bob ysgol 125 o ysgolêigion. Nid ydym yn gwybod ar hyn o bryd y cyfartalrwydd sydd rhwng nifer y plant yn yr ysgolion a nifer y trigolion:—pe byddai Llydaw ar yr un tir yn hollol a thaleithiau eraill teyrnas Ffrainc ni byddai hyny ond un o bedwar-ar-ddeg. Nid

[1] I ddangos eu parch i goffadwriaeth y gŵr hwn, mae dysgedigion Llydaw yn codi cofadail iddo yn Lochrist, gerllaw Brest. Maent wedi apelio at eu cydgenedl yn y wlad hon am gymhorth i'w gorphen, a bwriedir gosod bedd-argraff ynghydag englyn Gymreig ar y gofadail. Mae y cyfarchiad eisoes o flaen y Cymry, a gobeithir y ceir yn fuan y swm anghenrheidiol. Derbynir anrhegion gan gyhoeddwyr a golygwyr y "Traethodydd," y "Drysorfa," a'r amrywiol fisolion Cymreig.

yw yn hysbys i ni fod mwy nag un cylchgrawn yn cael ei gyhoeddi yn Llydaw, a hwnw yn chwarterol. Ei brif amcan ydyw rhoddi hanes am weithrediadau cenadau yr Eglwys Babaidd. Goddefir i ni bellach ddadgan ein barn sefydlog, mai'r feddyginiaeth fawr ar gyfer holl ddrygau Llydaw, fel gwledydd eraill y byd, yw'r Bibl, a'r grefydd mae yn ddysgu. Gobeithiwn fod sylfaen adnewyddiad a thröedigaeth y Llydawiaid wedi ei gosod i lawr eisoes yn yr ymdrechiadau a wnaed gan gristionogion Protestanaidd yn y wlad hono.

---

## DAFIS, CASTELL-HYWEL.

TUA chan' mlynedd yn ol, yr oedd gwr a gwraig yn byw mewn amaethdy a elwir y Goetre isaf, yn agos i'r ffordd sydd yn arwain o Lanbedr-Pont-Stephen i'r Castell-newydd-yn-Emlyn, yn sir Aberteifi, ychydig o filltiroedd i'r de-orllewin o'r blaenaf; a deg neu ddeuddeg milltir i'r gogledd-ddwyrain o'r olaf. Ar y tu de-ddwyreiniol i'r anneddle hwn y mae dyffryn cul, prydferth, lle yr ymdorcha Afon Teifi, o gylch sylfeini y bryniau, a thrwy fras-dyfiant y dolydd amgylchynol. Ar y tu gorllewin-ogledd, gwelir mân-fanciau sir Aberteifi yn ymgodi y naill ar ol y llall oddiyno i lànau y Môr-werydd. Yn yr anneddle lonydd hon y bu y teulu rhagddywededig byw am flyneddau lawer; yma profasant i'r cylch bychan a'u hadwaenent y meddent ar rinweddau teilwng o barch ac ymddiried cymydogol—a'r rhinweddau hyny yn rhai cristionogol; yma daethant yn rhïeni i saith o blant, pum mab a dwy ferch; ac oddiyma yr ymadawsant i "dŷ eu hir gartref," ymlaenaf, y wraig a'r fam, ac yna y pen-teulu, yn y flwyddyn 1795, yn 83 o'i oed.

Enwau y meibion oeddynt Dafydd, Benjamin, Thomas, Timothy, a Joseph. Ymwasgarodd y cangenau hyn i wahanol barthau, a chyda gwahanol alwadau. Ymdeithiodd Timothy i'r America, 1801. Ymsefydlodd Thomas yn ngwlad ei enedigaeth. Daeth Benjamin yn weinidog yr efengyl; a bu yn arolygu Athrofa Caerfyrddin am beth amser, mewn cysylltiad âg un Mr. Gentleman; bu wedi hyny yn weinidog Undodaidd yn Evesham, yn yr eglwys sydd yn bresennol o dan ofal ei nai, y Parch. Timothy Davies, ac yno y bu farw 1811. Ystyrid ef fel dyn, ac fel gweinidog, yn dra chymeradwy, ac fel ysgolâig, yn Hebrëwr rhagorol. Dafydd, yr hynaf o'r meibion, yw y gwrthddrych y sonir am dano yn y papyryn hwn. Er boddloni yr ymofyngar, rhoddir y pethau canlynol fel crynodeb o brif ddygwyddiadau ei fywyd.

Ganwyd Dafydd Dafis, Chwefror, 14eg, 1745, yn yr amaethdy rhaggrybwylledig. Yr oedd ei rïeni yn ddynion crefyddol, ac yn arfer addoli Duw yn deuluaidd. Mewn cyfeiriad at hyn, desgrifia gwrthddrych ein ysgrif ddechreuad ei argraffiadau crefyddol, yn y llinellau syml a ganlyn ("Telyn Dewi," tudal. 104-5):—

"Fe roes im' rïeni duwiol,
Yn dra boreu i'm dysgu 'n fanol;
Gwel'd fy nhad yn plygu ei liniau
Mewn defosiwn hwyr a borau,
Barodd i mi 'n blentyn gyntaf
Feddwl am y Duw Goruchaf.

Wrth fugeilia'n llencyn egwan,
'Ddeutu wyth neu naw mlwydd oedran,
Ar y banc mewn rhedyn tewon,
Rhwng y defaid a'r da düon,
Syrthiais gynta' ar fy neulin
Wedi syrthio, "ffaelu erfyn," &c.

Pan oedd yn 13 neu 14 oed, gosodwyd ef dan ofal y Parch. Joshua Thomas, Leominster, i dderbyn cynseiliau ei ddysgeidiaeth; lle y bu ynghylch blwyddyn a hanner. Bu ychydig o amser eilwaith o dan ofal un Mr. D. Jones, Llanbyther. Pan oedd ynghylch 16 oed, symudwyd ef i ysgol a gynnelid yn Llangeler, o dan ofal y Parch. T. Lloyd, ficer Penboyr; lle y treuliodd dair blynedd. Ac yn olaf, yn Ionawr, 1764, rhoddwyd ef am bedair blynedd yn Athrofa Caerfyrddin; y pryd hyny o dan ofal y Parch. S. Thomas; ac ar ei ol ef Mr. (wedi hyny Doctor) Jenkins. Yn y tymmor hwn y gosododd i lawr sylfaen ei gymeriad, ac yr argraffodd brawf yn meddyliau ei athrawon a'i gydysgolêigion, ei fod yn meddu coethder cynneddfau meddyliol a moesol.

Ar ei ymadawiad â'r athrofa, cyfododd gradd o ymgystadlyddiaeth am ei wasanaeth rhwng Eglwys Llanedi, a'r Eglwysi Presbyteraidd yn sir Aberteifi, mewn lleoedd a elwir y Ciliau, Caeronnen, a'r Cilgwyn.[1]

Ar y maes ëang hwn y bu yn llafurio uwchlaw hanner can' mlynedd: ac oddiyma yr aeth ei enw fel ysgolâig, fel pregethwr, fel ysgolfeistr, ac fel bardd ar led y dywysogaeth, a'r deyrnas i raddau.

Yn y flwyddyn 1775, priodwyd ef âg Anne Evans o'r Foelallt, Ciliau-Aeron; yr hon a brofodd ei hun yn ddynes ieuanc rinweddol, ac a ennillodd glod uchel fel gwraig dyner, gyweithas, a siriol, ac fel mam ystyriol a gofalus; ac yr oedd yn hynod yn ei charedigrwydd i'r tlodion. Bu iddynt naw o blant—pum mab, a phedair merch. Bu dwy o'r merched farw yn eu mabandod; a Jane, yr hynaf o'r plant, a fu farw o'r darfodedigaeth yn ddeunaw oed; ac Anne a fu farw o'r un clefyd dinystriol, Hydref, 13, 1816, gwedi bod am rai blyneddau yn briod â Mr. J. Evans o Gastell-hywel; gadawodd bedwar o blant ar ei hol, un o ba rai sydd yn bresennol yn weinidog parchus yn mysg yr Annibynwyr yn sir Aberteifi, un arall sydd yn gyfreithiwr yn y Castellnewydd. Dafydd, yr hynaf o'r meibion, gwedi bod am rai blyneddau yn weinidog yn Castellnedd, ac wedi hyny am dymmor yn analluog, a fu farw yn Nghaerfyrddin, Rhagfyr 4, 1846. Thomas a fu am flyneddau yn weinidog Undodaidd yn Lloegr. John, wedi gwasanaethu fel llaw-feddyg gyda'r fyddin mewn gwledydd tramor am dymmor, a fu farw gartref o'r darfodedigaeth, Hydref 27, 1810. Timothy[2] sydd eto yn fyw, ac yn weinidog parchus yn mysg yr Undodiaid yn Evesham, swydd Caerwrangon, yn bresennol ynghylch wyth-mlwydd-a thriugain oed, ac mewn sefyllfa dra chysurus.

Bydd y crynodeb blaenorol o hanes cysylltiadau teuluaidd Mr. Dafis, hwyrach, yn ddyddorawl i'r darllenydd, gan y tybiem mai mewn ychydig

[1] Abermeurig a Llwynpiod, onid ydym yn camsynied, oeddynt wedi dyfod yn faes llafur Mr. Gray, yn flaenorol i sefydliad Mr. Dafis yno: ac ydynt yn bresennol yn meddiant y Methodistiaid Calfinaidd. I alwad yr olaf y rhoddodd efe y flaenoriaeth.

[2] Y mae yn gyfiawn i'n darllenwyr gael gwybod yma, mai iddo ef yn benaf y maent yn ddyledus am yr hanes fanol hon o gysylltiadau teuluaidd Mr. Dafis, ei enwog dad. Anrhegodd ni yn y modd mwyaf boneddigaidd a charedig âg amryw erthyglau a chyfarwyddiadau gwerthfawr ynghylch gwahanol gangenau y teulu. Yr ydym yn ddyledus i amryw gyfeillion eraill, pa rai a ddangosasant y parodrwydd a'r caredigrwydd mwyaf trwy ein anrhegu â phob cyfarwyddiadau hanesyddol ag oedd o fewn eu cyrhaedd, yn enwedig y Parchedigion D. Evans, periglor Cilgerran; E. Morgan, ficer Silian; J. Davies, a T. Griffiths, gweinidogion Ymneillduol yn sir Aberteifi; y Dr. Davies, Frwd Vale, ac eraill. Pwy bynag a ewyllysio wybod hanes y teulu yn fanylach, darllenant y "*Monthly Repository*," *new series*, cyf. i. tudal. 692—695, a 848, lle y rhoddir cofiant cynnwysfawr am Mrs. Dafis; a'r "*Christian Moderator*," *for May*, 1828; a'r "Seren Gomer," am Rhag. 1828, lle y rhoddir cofiant byr a difyr am fab i'r Parch. T. Davies.

deuluoedd y cyfarfyddir â'r Bywgraffiad a ysgrifenodd y Parch. T. Griffiths; ac o ganlyniad, mai ychydig o hanes y teulu sydd yn meddiant y cyffredin. Bellach, cymerir golygiad byr ar ein gwrthddrych yn ei gymeriadau fel dyn, gweinidog, a gwladwr; fel ysgolâig ac ysgolfeistr, ac fel awdur a bardd.

Gwedi i Mr. Dafis sefydlu ei gymeriad yn marn y wlad, dyweder, yn 1799, yn nghyfarfod mawr Castellnedd; buasai yn ddifyr gan y darllenydd fod yn mysg y gynnulleidfa, tra yn ei ddysgwyl i'w hanerch. Gwedi dysgwyl yn ddystaw am dymmor, a phob un yn y gynnulleidfa ag oedd wedi clywed ei glod, ac heb ei weled o'r blaen, yn ffurfio ei ddychymyg ei hun am wrthddrych ei ddysgwyliad; tra y dysgwyliai un weled gwr tew, golygus, corffol, dysgwyliai un arall weled un teneu, llygad-dreiddgar, meddylgar, â'i wynebpryd yn dwyn nodau o lafur meddyliol caled; dysgwyliai y trydydd weled boneddwr o ymddangosiad teg, trwsiadus, a gwallt nydd-dröawl, yn cyfateb i'w ddarfelydd ef am ysgolâig da. O'r diwedd, yn nghanol y dystaw fyfyr hyn, wele ddyn mawr, tew, o faintioli mwy na'r cyffredin, yn ymddangos o'u blaen; â'i wisg yn rhydd-grogi am dano, rhywbeth yn annhaclus; a'i wallt melyn-wyn yn llaes-grogi i lawr o gwmpas ei ben a'i ysgwyddau, yn ymddangos yn debyg i ffugwallt (*wig*) wedi ei daflu yno yn ddifater a didrefn; a thremiad ei lygad yn hytrach yn fynegai o dymher gariadus, serchog, a diniwed, nag o athrylith a threiddgarwch mawr. Yr oll o'r ymddangosiad yn arwyddo y diofalwch hyny ag sydd yn perthyn i feddyliau ag sydd yn fwy eu gofal am sylweddau nag am gysgodau—am olygiadau nag am ymddangosiadau. Y mae llawer o briodoldeb yn y desgrifiad canlynol a roddodd y Dr. Jones o Redland o ymddangosiad allanol a gwir fawredd meddyliol ein gwrthddrych:—

* * * *rideri possit, eo quod*
*Rusticius tonso toga defluit, et male laxus*
*In pede calceus haeret: at est bonus, ut melior vir*
*Non alius quisquam; (at tibi amicus) at ingenium ingens*
*Inculto latet hoc sub corpore*[1] * * *

Pan ddechreuai lefaru, er nas gellid teimlo nemawr neu ddim o attyniadau cryf hyawdledd naturiol, neu doriadau allan disymwth meddwl athrylithgar yn ceisio ysgogi dan orlwyth o fater; eto, yr oedd gradd helaeth o dynerwch teimlad a serchawgrwydd naturiol i'w ganfod o'r dechreu. Yn fuan esgynai ei lais i fath o wich-lais hirdônawl; tra y torai caredigrwydd naturiol tymher y llefarwr allan yn fynych mewn ffrydiau o ddagrau; ac ar brydiau, mor gadarn oedd ffrydiad gwresog y teimlad hwn, fel y cipiai lais, parabliad, a thafod y llefarwr at ei wasanaeth ei hun; ac yr ymgodai i ymyl tiriogaethau hyawdledd, nes gorchfygu, neu yn hytrach ennill, teimladau y gwrandawwyr i fath o sobrwydd cyd-deimladol. Fel pregethwr yn meddu teimladau dwfn, calon dyner, a dymuniad cryf am leshâd ei wrandawwyr, cyrhaeddodd gyfran helaeth o boblogrwydd; er y byddai

[1] Y llinellau a ddyfynir o "*Horace Serm.*" *Lib.* i. *Sat.* 3. *line* 30, &c. Y synwyr a ellid roddi rywbeth fel y canlyn :—

* * * Ond odid cellwair wneir
O'r hwn a drwsgl gneifiwyd, sy' â'i hug anniben fawr
Ac am ei draed ei 'sgidiau a lusgant hyd y llawr :
Ond eto parch deilyngs—teilyngs helaeth fri,
Yn nghudd dan wladaidd wisgiad, cynneddfau dysglaer sy'.

yn fynych yn porthi y dëall yn dda; eto, tybiem mai mewn cael gafael yn yr allwedd i fyned y ffordd feraf i galonau y werin, sef trwy'r teimlad, yr oedd dirgelwch ei boblogrwydd yn benaf yn gynnwysedig; a hwyrach, pe buasai yr athrawiaeth a bregethai yn gywirach adsain o lais y tyst oedd yn mynwesau ei wrandawwyr, am anghen natur dyn, y buasai ei boblogrwydd yn fwy.

Fel meddyliwr, nis gwyddom fod cynneddfau ei feddwl yn ei dueddu yn naturiol at fanwl-byneiau athroniaeth. Yr oedd ei feddwl yn hytrach yn eang nag yn fanwl; yn hytrach yn gynnwysfawr nag yn athronaidd; yn tueddu yn fwy i ganfod perthynas y naill beth â'r llall yn y swm cyfan, nag i ddifynu y mater dan ei sylw i'w fân ranau, ac yna i farnu natur y cyfan oddiwrth natur y rhanau a'i gwnaent i fynu. Yr oedd ei feddwl yn fwy hynod am eangder amgyffrediad, nag am dreiddgarwch dirnadaeth; yn nes perthynas i ddosbarth y Dr. Chalmers, nag i'r eiddo *President* dwfn-dreiddiol *New Jersey*. Prin y gellir deall ychwaith fod edyn ei ddychymyg yn gryfion iawn: yr oedd yr fwy hoff o ffurfio ei olygiadau ei hun ar y "byd fel y mae," trwy rym synwyr cyffredin, nag o gymeryd ei daith ar edyn ei ddychymyg i chwilio am neu greu bydoedd newyddion; yn fwy o drefnwr meddyliau wedi eu creu, nag o grëawdwr meddyliau. Mewn gair, os nad oedd natur wedi ei wneyd yn athronydd nac yn fardd, eto yr oedd wedi ei gynnysgaethu â galluoedd meddyliol cryfion; pa rai, gwedi eu trwsio gan ddysgeidiaeth, a'u coethi gan ymarferiad cyson, a osodent Mr. Dafis, yn ddiddadl, yn uchel yn y dosbarth hyny o ddynion a elwir yn ddynion o dalentau. Ac os nad oedd yn wreiddiol iawn mewn chwilio allan gysylltiadau newyddion rhwng hen wirioneddau trwy adfyfyr, fel Bacon; nac yn hedegog iawn mewn creu byd â'i ddychymyg, pan na byddai hwn yn ei foddloni, fel Shelley; nac yn athrongar iawn, mewn olrhain pob mater i'w derfyn wrth brawffaen rhesymeg, fel Hume neu Edwards: eto, os gwna grym meddwl, cynneddfau wedi eu cydbwyso yn briodol, archwaeth gwrteithiedig, a sylwgarwch helaeth, gyfansoddi dyn o dalentau, tybiwn y safai Mr. Dafis yn uchel yn y rhestr hon.

Yr enwad crefyddol i'r hwn y perthynai, sydd gangen o gorff o bobl a elwir yn gyffredin "yr hen Bresbyteriaid Seisonig." Hwn oedd y corff cryfaf o Ymneillduwyr o fewn y deyrnas yn amser Cromwell a'r chwyldröad. O amser adferiad Charles II. hyd yn awr y mae ar ddadfeiliad, a'r rhan liosocaf o'r 220 o eglwysi a berthynant iddo yn bresennol yn Lloegr, ydynt naill ai yn Undodiaid neu yn Ariaid proffesedig; a'r oll o honynt yn Nghymru, sef 30 o eglwysi, onid ydym yn camsynied, ydynt o'r golygiadau hyny.

Gorchwyl caled, i'n tyb ni, a fyddai gwneyd allan unrhyw wahaniaeth hanfodol rhwng golygiadau Undodiaid a'r eiddo Ariaid, yn eu perthynas âg aberth Crist a iachawdwriaeth dyn. Pa wahaniaeth i ddyn, pa un ai creadur o'r un natur, ac o gyffelyb allu iddo ei hun; neu y creadur cyntaf a grëwyd, er yn meddu natur a gallu mewn rhyw ystyr uwchlaw iddo ei hun, a fydd ei Waredwr? Os creadur ydyw, y mae ufudd-dod yn ddyledus arno i'w Greawdwr; ac y mae yn rhaid i raddau yr ufudd-dod hyny gyfateb i'w allu ei hun ac i deilyngdod ei Greawdwr. Gofyn y teilyngdod hyny, pa beth bynag yw natur a gallu y creadur, yr oll o'i amser, a'r oll o'i allu; ac felly ni bydd ganddo ef nac amser na gallu i

ufuddhau dros neb arall, heb esgeuluso ei ddyledswydd ei hun. Y dyb wrthwynebol a'n harweiniai i feddwl y dichon creadur fodoli ar ryw dymmor o'i fywyd uwchlaw deddf, ac yn rhydd oddiwrth ddyled o ufudd-dod; ac felly ar y tymmor, ac yn yr ystyr hyny, o leiaf, allan o lywodraeth yr Anfeidrol. Ni wna dyweyd iddo gael ei greu i'r dyben hyny wellhau dim ar gadernid y golygiad. Os nad yw y Gwaredwr yn Dduw, byddai yn fwy cyson dyweyd mai dyn ydyw. Os gwedir y dyb o "aberth" yn y naill o'r credöau hyn, tra y bydd y llall yn amddiffyn y dyb hono, ni bydd y mater fawr gwell, gan nad yw yr aberth ond aberth creadur. Byddai yn fwy cyson bwrw ymaith y dyb o Waredwr a Phrynwr yn llwyr, a gosod yr oll o grefydd i fod yn gynnwysedig mewn rhinwedd a duwioldeb ymarferol. Ar yr olwg gyntaf, wrth gymharu gwahanol gredöau Arius, henadur ffel a hyawdl Alexandria, a'r mân bleidiau a hanasant o'r boncyff cyffredinol hwnw, â chredöau Laelius a Fast, Socinus o Tuscany—cyfansoddwyr y "*Racovian Catechism*"—ac Undodiaid yr unfed-ganrif-ar-bymtheg ac ymlaen —gellid tybied yr ennillid y meddwl yn gynt i gofleidio y blaenaf, na thybiau isel-wael yr olaf. Ond wedi eu dihatru o'r mwys-eiriau a ddefnyddir i'w gwisgo, a chymeryd yr egwyddor noeth ar ba un y sylfeinir hwy i ystyriaeth, nis gallwn weled fod un gwir wahaniaeth rhyngddynt ond mewn graddau yn unig. Dichon fod gwahaniaeth yn yr egwyddor ar ba un y sylfaenir Cerinthus, Noetus o Smyrna, a'r Patripassiaid, Sabellius o Pentapolis, Beryllius yr Arabiad, Paul o Samosata, ac Origen, yn y canrifoedd cyntaf, yn gystal ag yn ngolygiadau S. Crellius, Dr. S. Clarke, a hwyrach Mr. Whiston o Gaergrawnt, ac eraill yn y ddeunawfed ganrif.

Ond i ddychwelyd o'r gwyrad hyn. Yr oedd ein gwrthddrych, fel duwinydd, i gael ei restru yn rhywle ar y maes ëang hwn rhwng Ariaeth a Sosiniaeth. Anhawdd yw gwybod yn sicr yn mha le; os oedd ef ei hun yn sefydlog ei feddwl ar y pynciau dyrys hyn. Dywedir y proffesai ef ei hun mai Ariad oedd. Pa fodd bynag, pan y mae cyfiawnder â'i gymeriad ef a'r gwirionedd yn ein rhwymo, mewn rhyw bapyryn fel hwn, i osod y ffeithiau a ddefnyddir fel sylfeini i'n golygiadau, yn gystal a'r casgliadau a dynir oddiwrthynt i lawr mewn modd eglur, prysurir i geisio gwneyd hyny. Ymddengys fod ei feddwl fel duwinydd mewn sefyllfa gymysglyd, ac i raddau yn ansefydlog trwy ei oes. Ynghylch yr hyn a elwir athrawiaeth y Drindod, gellid meddwl, os na ellir profi, fod ei olygiadau rhywbeth yn debyg i'r hyn a broffesa yr Ariaid; ond ynghylch aberth Crist a phrynedigaeth dyn, y mae yn fwy cymysglyd, os na ellir profi ei fod yn dal golygiadau gwrthwynebol i Ariaeth. Yn brawf o'r cyntaf, gellir cofflâu yr ymgom ddadleuol rhyngddo ef a'r Parch. D. Saunders, gweinidog y Bedyddwyr yn Merthyr Tydfil. Caiff ef ei hun lefaru:—

"Undod, nid Trindod, yr un-Duw,—a ddeil
Addolwyr y gwir-Dduw
Dwl, tra-dall, dal tri-Duw
Myn y doeth, mai un yw Duw.

Mewn enwau'n dri mae'n unig,—yn meddwl
Y Moddiad dysgedig;
Duw, Mab Duw, heb wŷn na dig
'R un ydyw 'n ddiranedig.

Undod, wâd Drindod, er un-dyn,—Trindod
Wâd Undod yn dŷn-dŷn,
Yn wir nid all yr un dyn,
Yn dde' dystio'r ddau destyn.

Yn glod rho'wn undod i'r un-Duw,—a gras
Ag urddas y gwir-Dduw,
Treio dywedyd fod tri-Duw,
Yw taeru'n ddwl fod tri 'n Dduw.

Y rheol esboniadol (*rule of exegesis*) a'i harweiniodd i'r gredo hon, a ddesgrifir ganddo fel y canlyn:—

"Troi'r iaith i bêr-iaith Brython,—ofynir
Yn fanol cyn credon',
Credu 'air cywir Duw Iôn
Nid allant cyn deallon'.

Yr hen brudd sydd gudd nis gwyddir,—synwyr
Ei sain nis eglurir
Seliedig, guddiedig, gwir,
Y geiriau nid agorir.

Y dull ag nis deallwn,—heb haeru
Na'i gwadu ni gedwn;
Onid dilês y daliwn
Eiriau disynwyr dau sŵn?

Nis gellwch ddodi allan,—un dull
Nas deallwch eich hunan;
Un Duw glwys, wêl llygad glân,
Trwy d'w'llwch tri y dallan'."

Y ddeddf esboniadol yma, y mae yn eglur ydyw, "credu gair cywir Duw Ion, nid allant cyn deallont," neu, "nis gallant gredu dim nas gallant ei amgyffred." Yn y golygiad a fwriedir drosglwyddo yn y frawddeg fwys-eiriol hon, (yn ol ein dull unplyg ni o feddwl) y mae camsyniad sylfaenol coleddwyr y credöau Sosinaidd ac Ariaidd yn ymlechu. Cyttuna coleddwyr y golygiadau hyn â'u gwrthwynebwyr, fod iaith y Bibl i gael ei hesbonio wrth yr un deddfau esboniadol (*laws of exegesis*) yn uniawn, ag a gyttunir arnynt er esbonio unrhyw ysgrifeniadau dynol: cyttunant eilwaith mai rheswm dynol sydd i gyfarwyddo yn yr ymchwiliad. Ond pa beth ydyw gwaith rheswm wrth ymchwilio? Onid chwilio yn gyntaf a ydyw y Bibl yn ddadguddiad dwyfol ai peidio? Ac os caiff ei foddloni ar hyny, chwilio yn nesaf, a ydyw y golygiadau a fwriedir drosglwyddo yn ddealladwy, yn ol deddfau cysylltiad geiriau a rheolau iaith? Os caiff ei foddloni ar hyn eilwaith; dyna waith rheswm ar ben, pa un bynag a allo amgyffred y *dull* a'r *modd* y mae y golygiad a drosglwyddir yn bodoli ai peidio. Y mae mawr wahaniaeth rhwng credu tystiolaeth am fodolaeth peth a gallu amgyffred *y dull* y mae yn bodoli. Gall y neb a ddarlleno "*Newton's Principia*," gredu tystiolaeth y gwr enwog hwnw, fod canolbwynt dyscyrchiant y gyfundraeth heulawg, bob amser ac o anghenrheidrwydd, yn nghorff yr haul yn rhywle: ond nid un o fil a all ddirnad ei brofion ef *pa fodd* y mae yr anghenrheidrwydd hyny yn bodoli. Gellir credu tystiolaeth Leverrier iddo gael allan fodolaeth a lle y blaned Neptune oddiwrth gynhyrfiadau Georgium Sidus; ond peth arall yw amgyffred pa fodd y cafodd hyny allan. Gellir credu fod undeb anghenrheidiol rhwng enaid a chorff, ond nid yw mor hawdd dirnad *pa fodd* y bodola; neu ynte gredu y dichon y llinellau a ysgrifenir yma gynhyrfu teimladau rhyw ddarllenydd, ond dirnad *pa fodd* y cynnyrchir y fath effeithiau gan y fath achos sydd fwy anhawdd. Felly, pan ddywedir i ni *fod Duw yn hollbresennol*, yr ydym yn credu y dystiolaeth, ond heb amgyffred *y modd* y mae yn bodoli felly; ar yr un tir yn uniawn yr ydym yn credu y dystiolaeth mai "Duw oedd y Gair—a'r Gair a wnaethpwyd yn gnawd"—neu, "y mae Tri yn tystiolaethu yn y nef—a'r Tri hyn Un ydynt," ond heb amgyffred *y dull* y mae hyny yn bodoli. Os dywedwn, nad ydym ychwaith yn *credu y dull* y mae y pethau yna yn bodoli; hyny yw, ein bod yn amgyffred y dystiolaeth, am hyny yn ei chredu, ond nad ydym yn amgyffred y dull y mae yn bodoli, am hyny nad ydym yn credu y dull y bodola y golygiad a drosglwyddir; dywedir wrthym fod hyn o'r goreu, ac ond i ni wneyd felly â thystiolaeth y Bibl fod y mater ar ben. Ond gan na fwriedid yn yr erthygl hon fyned ddim ymhellach i'r mater nag i roddi amnaid fer ar ba seiliau yr anghymeradwyir y gangen hon o olygiadau duwinyddol ein gwrthddrych, rhaid prysuro i ddangos ei

olygiadau ar Aberth Crist a Phrynedigaeth Dyn; caiff ef ei hun lefaru eto. Wrth anerch angeu, dywed yn "Nhelyn Dewi:"—

"Fy Arglwydd nerthol, elyn gwan,
Wrth syrthio a'th orfu yn y fan;
Ac i'w gyfeillion eto rhydd
Yn angeu nerth i gario'r dydd." Tudal. 140.

Eto:—

"Groesaw i'r clwyf a'm dyd yn rhydd
O fyd a chnawd a phechod prudd."

Eto:—

"Ar ddelw hardd eu Prynwr Mawr
Mewn gwisgoedd fel goleuni 'r wawr." Tudal. 143.

Eto, yn llefaru am Grist, dywed—

"Ei gariad hael a'i dygai 'n hy'
Drwy ing ei daith a'r angeu du;
Yn rhwydd yn wir y rhoddai 'i wa'd
Er achub dyn ar arch ei Dad.

Cariad ni bu ar ddae'r yn bod
O'i ryw, na'i radd, na'i fath erio'd;
Crist wedi d'od i gadw dyn
I'w lwyr ryddhau bu farw 'i hun." Tudal. 145.

Gadewir i'r darllenydd farnu cywirdeb yr hyn a ddywedwyd uchod, oddiwrth y llinellau hyn. Ni chyfarfuasom âg un linell yn ei ysgrifeniadau yn trosglwyddo golygiadau gwrthwyneb i'r rhai uchod am aberth Crist. Pa fodd i gysoni hyn â sefyllfa betrusol ei feddwl ynghylch athrawiaeth y Drindod, nid yw yn perthyn i'n hymchwil bresennol.

Fel gwladwr, yr oedd yn bleidiwr mor gadarn ac effro i ryddid gwladol a chrefyddol, fel ag i dynu sylw y llywodraeth arno yn amseroedd terfysglyd y Chwyldroad Ffrengig. Oddiar y dybiaeth bod Mr. Dafis yn un o'r blaid gadarn oedd yn y deyrnas y pryd hyny, i raddau yn amddiffynol i egwyddorion y chwyldroad, awdurdododd Mr. Pitt (prif-swyddog y llywodraeth ar y pryd) un Johnson, goruchwyliwr y trethi, i agor pob llythyr oddiwrth, ac at, Mr. Dafis; yr hyn a wnelsid, oni buasai i offeiriad parchus yn y gymydogaeth gyfryngu. Yr un egwyddor, efallai, yn hytrach na chydsyniad mewn barn, a'i gwnaeth mor bleidgar i Dr. Priestley a'i ganlynwyr. Pan gyhoeddodd y gwr dysgedig hwnw ei lyfr ar ddefnyddiolrwydd (*materiality*) a marwoldeb yr enaid, cyfansoddodd ein gwrthddrych y pennill canlynol, yr hwn sydd anghraifft o ffraethder, yn hytrach na chydsyniad mewn barn ag awdur y llyfr:—

"*Here lie at rest in oaken chest,*
*Together pack'd most nicely,*
*The bones, and brains, flesh, blood, and veins,*
*And* SOUL *of Doctor Priestley.*"

"Yma gorwedd wedi marw,
Yn dra dethau mewn arch dderw,
Esgyrn, 'menydd, gwaed, gwythenau,
Corff ac *enaid* Dr. Priestley."

Yr oedd ei olygiadau ar ryddid crefyddol, ac ëangder tiriogaeth cymdeithas Gristionogol, agos heb un linell terfyn—yn ymylu ar yr hyn a eilw ein cymydogion, *latitudinarianism*. Mewn llythyr at gyfaill, dywed fel y canlyn:—"Yr ydwyf yn cael fy hollol foddloni, y gall fod Dr. Priestley, a phersonau o'i blaid ef, yn Gristionogion da a duwiol. Y mae

genyf yr un meddwl am John Calvin, a'r Dr. Crisp, a'i ddysgyblion. Eisteddwn yn llawen yn yr un cymundeb a hwynt, gyda hyfryd obaith o dreulio tragywyddoldeb gyda hwynt ar ol hyn."

Y mae ei enw fel ysgolâig da yn ddigon adnabyddus, ac uwchlaw cael ei ddyrchafu gan ein clod, na'i ddarostwng gan ein hanghlod ni. Ymddengys mai yn ei gydnabyddiaeth fanwl â'r ieithoedd dysgedig, yr oedd ei brif enwogrwydd fel ysgolâig yn gynnwysedig. Ystyrid ef yn berffaith feistr ar y Lladin a'r Groeg; ac felly o anghenrheidrwydd, wrth ddarllen ysgrifeniadau yr ieithoedd hyny, yn meddu gradd helaeth o gydnabyddiaeth â hanesyddiaeth henafol. Gellir tybied wrth gyfansoddiad naturiol ei feddwl y gallasai fod yn fwy hoff o'r beirdd, nag o'r haneswyr, a'r athronwyr. Nid mynych y cyfarfyddir â mesurau caethion y Gymraeg, mewn gwisg Lladinaidd. Er boddloni y cywrain, yn gystal ag er dangos cynnefindra ein gwrthddrych â'r iaith hono, rhoddir y ddau bennill canlynol yn esiampl:—y blaenaf yn feddargraff i ryw gydnabod yn Castellnedd; a'r ail wedi ei anerch at Samuel Teuton, i ddiolch i'w frawd Charles am ryw garedigrwydd:—y ddau ar fesur englyn unodl union y Gymraeg:—

*"Sopor Mariam cepit;—in lectum*
*A luctu recessit:*
*Ast tuba hanc excitabit,*
*Ut Maria salva sit.*

*O Carole! non querelas—tibi*
*Nunc dabo, sed gratias:*
*Tui Sam grates sumas*
*Cui tot clara dona das."*

Yn mysg ei ohebwyr yr oedd y gwr llafurus a nodedig hwnw, Iolo Morganwg. Gellir gweled ei dyb uchel am gymeriad ein gwrthddrych, oddiwrth y darn canlynol o lythyr wedi ei ddyddio, Ionawr 4, 1823, at y Parch. Mr. Dafydd Dafis, gweinidog Llwynrhydowen, yn ngwlad y Crammwyth. "Da iawn fyddai genyf gael tri neu bedwar englyn unodl union neu ddernyn bychan o gywydd o'ch gwaith, ni waeth beth y testun, fal y gallwyf eu dangos yn fy rhagymadrodd," (sef i "Gyfrinach Beirdd Ynys Prydain," yr hwn oedd yn y wasg gan yr awdur ar y pryd) "wyneb yn wyneb â barddoniaeth tuhwnt i bob amgyffred y Doctor * * mawr," (Dr. W. O Pughe), "a gadael i holl Omeriaid y ddaear hon, ynghyda rhai'r pwll diwaelod (sef pwll anwybodaeth cadarn) i farnu fel y dodo ei dduwies * * * yn eu calonau druain."

Profid y cymeradwyaeth a roddid iddo fel ysgolfeistr yn y lluoedd o ieuenctyd, o bell ac agos, a ddanfonid i'w ysgol. Hyd amser Horsley, Esgob Ty-Ddewi, byddai Eglwyswyr yn gystal ag Ymneillduwyr yn derbyn cynseiliau eu haddysg gydag ef. Yn y tymmor hwnw, yr oedd sir Aberteifi, yn enwedig glenydd y Teifi, yn nodedig fel maethle dysgeidiaeth —efallai yn uwch nag un rhan arall o'r Dywysogaeth. Ni byddai yn beth dyeithr yn y parthau hyny, hyd yn nod yn bresennol, gyfarfod â dynion yn tori ceryg ar y ffordd fawr, pa rai a allant adrodd yn hylithr ddarnau o Homer neu Horace (fel y coffa y Parch. D. Lloyd, Caerfyrddin, mewn llythyr a ysgrifenodd yn ddiweddar). Nid yw hyn ond canlyniadau a ellid ddysgwyl, pan oedd y trigolion yn gyffredin yn gallu cyrhaedd ysgolion cyffelyb i'r eiddo Mr. Dafis, a'r un a gynnelid yn y Neuaddlwyd, Ystradmeurig, ac eraill. Yr oedd ei ddysgyblaeth, fel athraw, yn dra llym a manwl; cybelled fel ag i gael ei gyhuddo gan rai o greulondeb.

Dysgybl trwyadl ydoedd ef i'r hen ddull o addysgu, ac nid ymddengys iddo feddwl y gellid dyfeisio ei well. Yn ol yr hen gynllun o addysgu plant, nid yw mor rhyfedd fod ysgolfeistr yn cael eu truthiaw i gofleidio *Idola Specus* Bacon. Nid oedd y cynllun canmoladwy a goffêir gan Mr. Mann, ond odid wedi croesi eu meddyliau erioed:—"O'r ffeithiau canlynol," medd y gwr llafurus hwnw wrth ddesgrifio ysgolion Prussia, "nid oes ammheuaeth:—(1.) Yn ystod yr holl amser hyn, (sef chwech wythnos), ni welais yr un athraw yn gwrandaw gwers o unrhyw fath, oddieithr darllen neu sillebu, â llyfr yn ei law. (2.) Ni welais yr un athraw yn eistedd tra yn gwrandaw ar adroddiad gwers. (3.) Er i mi weled cannoedd o ysgolion, a miloedd—ïe, yr wyf yn tybied y gallaf ddyweyd o fewn terfynau, ddegau o filoedd o ysgolêigion—nis gwelais un plentyn o dan gerydd, neu yn cael ei alw ger bron am gamymddygiad. *Ni welais un plentyn mewn dagrau oblegid cael ei geryddu, neu gan ofn cael ei geryddu.*"[1]

Dywedai Mr. Dafis iddo fod yn addysgu ieuenctyd mewn rhyw ddull neu gilydd am yr yspaid hirfaith o bum' mlynedd a thriugain; ac os nad oedd yn ddyfeisgar iawn i chwilio am y llwybr byraf a mwyaf effeithiol i *ennill* meddyliau yr ieuainc i hoffi addysg, eto yr oedd ei ffraethder—yr ystôr o fân ystorïau a feddai yn wastad at law—ei awydd am gynnydd ei ysgolêigion—ynghyda'i synwyr cryf i'w gyfarwyddo i ddwyn allan ryw chwedl ddigrif, mewn amser a dull priodol i gyffroi uchelgais, a chynnal meddyliau y rhai a addysgai rhag iddynt ddigaloni wrth gyfarfod â rhwystrau ar eu hesgynfa—yn gosod ei gymeriad yn uchel iawn fel ysgolfeistr. Bydd y darn-lythyr canlynol, o dan law y Dr. Davies, Ffrwdfâl, yn eglurhâd ar ei ddull o gyfranu addysg, ac yn dra dyddorawl. Rhoddir ef yma o law ysgrifen y doctor ei hun:—

"Froodvale, Medi 25ain, 1847.

"ANWYL SYR,

* * * * * * *

"Yr oedd y Parch. D. Davies, o Gastell-hywel, yn hynod o deimladwy wrth bregethu—yn dëall cystrawen yr ieithoedd Lladin a Groeg yn dda, ac yn fedrus rhagorol i wneyd i'w ysgolêigion i'w dëall. Yr oedd yn cymeryd amser mawr i'w holi; yn gwneyd iddynt adrodd rhëol y gramadeg i brofi pob rhan o'r frawddeg a fyddent yn gyfieithu. Nid oedd nemawr o ddiwrnod yn myned heibio na byddai rhai o'r ysgolêigion yn cael achos i wylo wrth ddyweyd eu gwersi, ac i chwerthin eilwaith cyn terfynu, trwy iddo adrodd iddynt ryw gamsyniadau mwy ag oeddynt wedi cael eu gwneyd gan rywrai wrth gyfieithu yr un llyfr o'i flaen ef, oddeutu ugain neu ddeng-mlynedd-ar-hugain cyn hyny: gan ddyweyd, 'Y mae y dynion hyny yn ddynion enwog yn awr, am hyny peidiwch chwithau a digaloni. Cofiwch, fe fu Dr. Lewis, o Lanuwchlyn, wythnos gyda fi yn dysgu *Musa, a song;* ac y mae efe yn awr yn D.D. ac yn athraw coleg. Ond os na ddysgwch chwi, (meddai ef unwaith wrth ŵr ieuanc o'r un enw a Dr. Lewis, ag oedd y pryd hyny yn yr ysgol), mae arnaf ofn na ddeuwch chwi yn Ddoctor Lewis byth. Nid yw gwiw llefain—dechreuwch eto yn araf deg: *Nominative hæc, Musa, a song,* cân; *genitive hujus, Musæ, of a song,* o gân," &c. Wed'yn dywedai, "Yr ydych yn dyweyd yn o lew yn awr, oni b'ai y dôn sydd genych. Mae rhyw dôn ddiflas iawn wedi dyfod i'r ysgol hon yn awr er's oddeutu dwy flynedd yn ol, ac yr ydych chwithau yn dechreu ei dysgu hi; ac os na chymerwch chwi ofal yn awr yn y dechreu, yr ydych yn sicr o'i dysgu hi hefyd: ac yna chwi fyddwch fel hen offeiriad oedd yn Llanwenog er ys llawer o amser yn ol: yr oedd ef wedi dysgu rhyw dôn ddiflas pan oedd ef yn yr ysgol: ac wed'yn fe'i harferodd trwy ei oes wrth ddarllen y gwasanaeth yn yr eglwys. Gofynodd y clochydd iddo ryw ddiwrnod, 'Pa beth yw yr achos, Mr. J—, eich bod chwi yn gwneyd y fath dôn hir pan yr ydych yn gweddïo yn yr eglwys? A ydych yn meddwl bod

[1] "*Report of an Educational Tour,*" &c. By H. Mann, Esq. Ail argraffiad: tudal. 125.

eich gweddïau yn fwy tebyg o gael eu hateb felly, na phe buasech yn eu dyweyd yn eich llais naturiol?' Dywedir i'r offeiriad ddyweyd eu bod yn sicr o fod yn llawer mwy effeithiol ar ddynion, ac yn fwy derbyniol gan Dduw, o'u traddodi yn y dull hwnw. Boreu dranoeth, daeth y clochydd ato eilwaith, a dywedai, 'Boreu da i chwi, Mr. J—. Mi dorais fy nghaib boreu heddyw wrth geibo-ô-ô-ô; os gwelwch fod yn dda roi benthŷ-ŷ-ŷ-g un, mi ddeuaf â hi yn ol henô-ô-ô.' Yna dywedai yr offeiriad, 'Sion, beth yw'r mater? A ydych chwi wedi colli eich synwyr? Beth yw sut dôn eirad yna sydd genych?' Yna dywedodd Sion (Shôn) ei neges mewn llais naturiol: a dywedodd yr offeiriad, 'Cewch, gyda phob croesaw; ond ni chawsech chwi byth mo'r gaib, a gofyn yn y fath ddull ffôl ag yr oeddech chwi ar y cyntaf.' 'Yr wyf yn *begian* eich pardwn chwi, syr,' ebe Shôn, 'chwi a ddywedasoch wrthyf fi fod y dull hwnw yn fwy effeithiol er cael ein cais, ac yr ydych chwi yn meddwl fod yr Hollalluog yn hoff o'r *dôn hir hono!*'

Tebyg i hyn y byddai Mr Dafis yn difyru y plant yn 'Virgil' a 'Horace,' â rhyw ystorïau pan fyddai wedi bod yn eu bwgwth, a hwythau wedi methu cyfieithu wrth ei fodd ef.

W. DAVIES."

Cafodd y Dywysogaeth, yn ddïau, golled na buasai Mr. Dafis wedi ymddangos yn fynychach fel awdur. Yn ystod cystudd ysgafn a gafodd pan tua pedair-ar ddeg-ar-hugain oed, cyfieithodd draethawd a elwir "Bywyd Duw yn Enaid Dyn," o waith Scougal, i'r Gymraeg. Ynghylch yr un amser ymddangosodd erthygl o'i waith yn Saesoneg yn yr "*Analytical Review*," cyf. vii. tudal. 295, mewn ffordd o feirniadaeth ar farddoniaeth Dafydd ab Gwilym Nis gallwn roddi unrhyw olygiad mewn ffordd o feirniadu teilyngdod nac annheilyngdod yr erthygl hono, gan nad yw y gyfrol lle yr ymddangosodd wrth law yn bresennol. Nid ydym yn gwybod am ddim arall o'i eiddo a ymddangosodd mewn rhyddiaith.

Fel bardd y bu ef fwyaf llwyddiannus o gwbl. Y mae ei enw fel cyfieithydd "Marwnad Gray" yn ddigon cydnabyddus i bawb ag sydd yn gwneyd unrhyw sylw ar farddoniaeth Gymreig. I'n tyb a'n teimladau ni, nid yw yn ail i ddim yn ein hiaith oddieithr "Marwnad Esgob Heber," gan Blackwell, a rhai o farwnadau Williams, Pant-y-celyn. Ymddangosodd crynodeb o'i weithiau barddonawl o dan yr enw "Telyn Dewi," mewn cyfrol ddeuddeg-plyg, yn cynnwys 219 o dudalenau: cyhoeddedig gan Longman, Llundain, 1824. Cyhoeddwyd y gyfrol, yr ydym yn meddwl, trwy dâl-ysgrifiadau am hyny. Gan na ddygwyd allan ail-argraffiad o honi, tebygol ei bod yn brin yn bresennol. Gwneir i fynu ynghylch hanner y gyfrol o'i gyfansoddiadau gwreiddiol ef ei hun; y rhan arall sydd gyfieithiadau o ddarnau dewisol o rai o feirdd goreu y Saeson. Y mae yn ddigon eglur ei fod wedi astudio rhëolau y mesurau caethion yn drwyadl, a'i fod yn eu dëall yn dda; er nad yw ond anaml yn caethiwo ei hun at fanylrwydd y rhëolau hyny wrth gyfansoddi. Os caniatêir i rëolau Longinus i gael allan y *sublime*, gael eu defnyddio i chwilio am yr awen farddonawl—sef y bydd yn sicr o gyffröi y meddwl, neu gynhyrfu y teimlad yn ddifeth, i bob dyn ag a ddëallo y geiriau, bob amser, ac yn mhob gwlad—yna y mae rhai o gyfieithiadau Mr. Dafis yn tra rhagori ar yr oll o'i gyfansoddiadau gwreiddiol. Yn y blaenaf y mae yn llawn o ucheledd, cymesuredd, ystwythder, a phrydferthwch; yn yr olaf yn fynych, prin y cyffyrddir â'r teimlad, nac y cyfodir y meddwl uwchlaw ei sefyllfa naturiol. Yn y blaenaf, teimla y darllenydd ei hun yn cael ei gipio tua chopa Parnassus, tra yr adfywir ef yn ei esgynfa gan ddyfroedd y Castalius Fons, yr hyn a bair iddo fynychu ei gyfeillach â'r bardd; yn yr olaf, try ymaith heb ei ddisychedu, ac yn flinedig gan ei daith. Os nad oedd tueddiadau anfydraidd Mr.

Dafis yn fwy na chydbwys i'w dueddiadau at fydryddiaeth, y mae yn dra sicr bod ei athrylith ddynwaredol yn gryfach na'i athrylith ddyfeisiol. Yr oedd ei feddwl yn gryf, yn hytrach na hedegog; yn tueddu i afaelu mewn sylweddau, yn hytrach nag i ffurfio tebygoliaethau; yn tueddu i ddangos diffygiadau y byd fel y mae, yn hytrach nag i ehedeg uwchlaw iddo, i fyw mewn byd o grëadigaeth ei ddychymyg ei hun. Nid oes lle i ammheu, pe buasai yn rhoddi mwy o'i amser at farddoniaeth, ac yn taflu ei feddwl yn llwyrach i wrteithio ei duedd at y gelfyddyd ardderchog hono, yr hon "a grëa bob peth o'r newydd," na buasai yn dringo yn llawer uwch yn ei dringraddau ysplenydd; ïe, cyfuwch ag i allu cario ei ddarllenwyr uwchlaw iddynt eu hunain wrth ganlyn esgyniadau ei ddychymyg. Eto nid ydym yn cael lle i feddwl y gallasai unrhyw wrtaith ei alluogi i ddwyn allan ffrydlifoedd Blackwell, neu ddrychfeddyliau Trefriw.

Rhoddir yma ychydig anghreifftiau o'i gyfansoddiadau gwreiddiol yn mlaenaf, fel y gallo y darllenydd farnu drosto ei hun. I fawredd Ffynnon Pedr (*Peterwell*, ger Llanbedr):—

"Wychaf Gaer o'n dae'r wen dirion—urddas
A harddwch Cer'digion
Hyd y ser yr heda sôn,
Deg annedd, o'th dai gwynion."

Eto i'w chwymp:—

"'Does gofio heno hanes—y ffynnon
Na'i ffyniant, na'i mawrlles:
Bu frwd hâf, bu hyfryd dês,
Mawrhydi yma a rhodres.

Gwleddai tra parai;—purwin—fyth yno
Gai ffrydio 'n gyffredin;
Och! o'r gêll mwy ni cheir gwin
Na chôg o fewn ei chegin."

Eto i foddlonrwydd:—

"Deg wridog Foddlonrwydd, fûn lariaidd fwyn lon,
A'r hardda' a ddanfones y nef i'r ddae'r hon,
Pa'm tyni di 'n wastad tua bythod ein byd,
Gan ado 'r tai dysglaer a'u gwychder i gyd?

I b'lasau dysglaerwych os na cheri dd'od,
Rhwng cyfoeth a mawredd, anrhydedd a rhôd,
Fy nghyfraid a geisiaf, a'm calon yn iach,
Oll gyda 'm hangyles, a mi mewn ty bach.

Can's digon yw digon, gormodedd sydd flin;
Pa beth wnaf â rhagor nag allaf ei drin?
Fy rhaid a boddlonrwydd, yn unig tr'w'i byw,
O holl dda 'r byd yma a geisiaf gan Dduw."

Cyfiawn yw dywedyd nad yw yr esiamplau uchod yn ffrwyth dewisiad ond dygwyddiad. Rhoddir eto ychydig anghreifftiau o'r cyfieithiadau. Mor lithrig y rhed llinellau nodedig Cowper mewn acen Gymreig; yn dechreu gyda "*Man wants but little here below*," &c.:—

"Dyn nis gofyn ond ychydig, na'r ychydig hyny 'n hir;
Yn eu beddau caiff cybyddion, eu digonedd bawb o dir:
Tir a leinw 'r gôl a'r galon, a'r ddau lygad fynu 'n lân,
Nes bo'r gôg yn gwaeddi 'Digon,' gair ni chlyw'd erioed o'r blaen."

Ni chyll linellau bythgofiadwy Pope ychwaith ddim o'u gogoniant mewn diwyg Gymreig: yn dechreu gyda "*Father of all in every age:*"—

"Ti Dad y byd, bob oes o'n dae'r
Gait fawl dros dir a môr;
Gan saint, gan wylltiaid, a chan wâr,
Jehofah, Iau, neu Iôr.

Brif achos mawr o'm gwydd yn gûdd,
Ni roist ond gwybod im'
Dy fod di'n dda, a minnau 'n bridd,
Gwael, dall, heb feddu dim.

Gwnest ddrwg a da 'n y t'w'llfyd hyn,
Mor danbaid im' a'r dydd;
Wrth roi ar natur dynged dyn,
I ddyn rhoest 'wyllys rydd.

Na âd im' wrthod rhoddi 'n hael,
Dy fwynder, dyner Dad:
Derbyniad llon sy'n fath o dâl
Ufudd-dod yw mwynhâd.

N'âd im' gyfyngu 'th gariad gwiw
I gyrau 'n daeren gûl,
Fel pe b'ait ond i ddyn yn Dduw,
A chenyt fydoedd fil.

Fy eiddil law gamsyniol n' âd
I daflu 'th lid ar lêd,
Na thywallt barn ar bawb drwy'r wlad
Nag uno â mi 'n eu crêd."

Ymddengys anerch Mrs. Barbauld i'r Duwdod yn llawn cystal yn ei wisg Gymreig: rhoddir pennill yn esiampl:—

"O Dduw f' einioes, ddoeth Grëawdwr, rhoddwr bywyd, ffûn, a bod!
Godde' i wael grëadur eiddil, er ei floesgni ganu 'th glod,
A than grynu geisio moli, ar fabanaidd isel lef,
Enw seinir gan seraphiaid, ar delynau aur y nef."

Nid yw yn ymddangos i ni bod ein bardd wedi bod mor llwyddiannus yn ei gyfieithiad o awdl fyth-gofus y brydyddes Roegaidd Sappho. Rhed y cyfieithiad fel y canlyn:—

"Dedwydd, dedwydd iawn y dyn,
Yn glôs sy'n eistedd wrth dy glun,
Ac yna orphwys bwys ei ben
Fyth ar dy fynwes gynnes, Gwen.

I wel'd a chlywed ar un waith
Wiw swyn dy wên, mwyn swn dy iaith,
Hyn godai dònau, a briwiau i'm bron
Gan 'nafu harddwch heddwch hon.

Ac yna gwres yn cwnu gwrid
Ai trwyddwy'n fasau ac iasau i gyd,
Na wela'i dês na goleu dydd
A sïad cnill trwy'r clustiau sydd."

Nid yw "Gan 'nafu harddwch heddwch hon" ond cyfieithiad tlodaidd o

"Ὡσγαρ εἰδω σε, Βροχεως με φωνᾶς
Οὐδεν ἐτ εἰκει."

Ac heblaw rhai diffygion eraill, y mae y wers olaf o'r awdl wedi ei gadael allan yn gwbl; yr hyn a bair i'r meddwl, mewn desgrifiad esgynawl o'r fath hyn, aros mewn math o ddysgwyliad anhapus, megis ar hanner ei yrfa. Buasai yn garedigrwydd i'r genedl, pe buasai Mr. D. yn cymeryd ychydig mwy o ofal wrth droi y dernyn hynod hyn o farddoniaeth henafol i'r Gymraeg ardderchog. Y mae yn ddiammhau y goddefai ein iaith gywirach efelychiad o'r cyfansoddiad gwreiddiol, na'r Saesoneg neu'r Lladin; ac yr oedd ein bardd yn eithaf cymhwys i'r gorchwyl, pe buasai yn taflu ei hun iddo gydag ychydig mwy o fanylrwydd a gofal. Rhaid addef bod yr awdl, yn ei gwisg Lladinaidd gan Catullus a Lucretius, ac yn ei gwisg Seis'nigaidd gan Mr. Phillips, fel yr ymddangosodd yn y

"*Spectator;*" yn tra rhagori mewn cludo drychfeddyliau ac ardderchog-rwydd y Roeg; fel y gellir gweled wrth gymeryd y drafferth leiaf i'w cymharu. Hyd ar y wyddom ni, y mae y Gymraeg farddonawl wedi ei gadael yn amddifad o gyfieithiad da o honi hyd yn hyn. A oes neb o'n beirdd a'n hanrhega â'r fath yn y "Traethodydd?"

Ni bydd yn annifyr gan y darllenydd yn ddïau ddarllen pennill neu ddau yn Gymraeg o Saesoneg esmwyth hedegog Beattie, mewn desgrifiad o feudwy:—

"Yn niwedd y dydd pan oedd pawb yn y fro
Yn felus yn gollwng eu gofid dros go',
Heb swn ond y cornant o'r bronydd yn dod
Na llais ond yr eos yn canu'n y co'd—
Rhyw feudwy 'n ei ogof ymhell dan ael bryn,
Yn gydsain â'i delyn a ganai fel hyn:—
A'i hun, ac â natur yn gwbl gyttûn
Fe syniai fel doeth, ac a deimlai fel dyn.

Pa'm eos hyfrydlais, y fwynlais fûn lân,
Wyt ti mor alarus gwynfanus dy gân?
Can's gwanwyn, pan ddelo ry' it' gyfaill mwyn llon,
A thristwch byth wed'yn ni friwia dy fron:
Y newydd loer faingorn yn mron myn'd i lawr,
Mewn awyr yn boddi 'n dra gwanaidd ei gwawr.

A welais nos arall mewn llawnder a llwydd,
A'r ser yn ymguddio gan g'wilydd o'i gwydd:
Dilyna wân ganaid y llwybr yn llon,
A'th ddwg di 'n llawn lloned, pen gronyn yn gron,
Ond dyn, pan dadwino, 'dall dim ei wellhau
O, ffoled yw balchedd! O, fawredd! mor frau!

Os ceni o dosturi, rhô 'n fynych gân fwyn
I ddyn yn ddyddanwch sy'n galw 'm dy gŵyn,
Ei wynfyd e, a thithau glan giliant o'r gôl,
A'i wynfyd pan gilio ni ddaw byth yn ol."

Ai nid yw bardd Castell-hywel a'r Gymraeg wedi gosod drychfeddyliau mawrion hen fardd pruddglwyfus "Y Meddyliau Nosawl" yn mynwent Welwyn, mewn prydferthach gwisg yn y llinellau canlynol: Gwel "*Night Thoughts.*" "*Night*"—llin. 1af. tudal. 68, &c.

"Pa mor dloted! gyfoethoced! waeled! wyched! ydyw'r un?
Pa gysylltiad cymysgedig! pa ryfeddod dwfn yw dyn!
Gymaint uwch na phob amgyffred, a rhyfeddod ydyw'r Bôd,
Trwy ddoethineb anchwiliadwy, ag a'i gwnaeth ef felly i fod!

Hardd wreichionen dan ddyhuddiad a gorchuddiad mewn gwael le
Er ei chuddio a'i llychwino 'n dwyn perthynas byth â'r ne':
Rhith o fawredd ac arglwyddiaeth, a'r mawrhydi mwya'n bod;
Glan etifedd y gogoniant, a'r cardotyn tloda' erioed.

Maith bellafoedd, amryw fydoedd, mewn cyfarfod diwahân!
Priddyn marw, mud o'r ddae'ren, ac o'r nefoedd fywiol dân!
Hynod ddolen hardd yn nghadwyn anfesurol Hanfod yw
Yn y canol rhwng diddymdra, ac anfeidrol Hanfod Duw.

Anfarwoldeb dïymgeledd, pryf anfeidrol fawr ei fri:
Mwydyn—angel—gwel'd fy hunan, a bâr syndod dwys i mi:
Ceisio amgyffred gwych bŵerau, a chynneddfau 'r enaid oll
Yr fy rheswm i'r dyfnderau, a'm synwyrau i gyd ar goll.

Eto, y llinellau yn dechreu "*The bell strikes one:*" llin. 55:—

"Y gloch a dery *un*;—nid ydym byth yn cyfrif amser drud,
Nes êl heibio;—call iawn ydoedd, roddi tafod groch i'r mud,
Fel na hedai'n ddiarwybod:—'r ydwy'i'n teimlo 'i adsain gref
Fel llais angel cryf yn bloeddio, uwch y ddae'r yn entrych nef!"

Eto, y llinellau hynod yn dechreu, "*This is the bud of being:*" llin. 123:—

"Nid yw hwn ond blagur bywyd; dechreu gwawrio 'n llwyd mae 'n dydd;
Hwn yw'r portys,—mawr-lys einioes, heb ei agor eto sydd:
Ac nid oes ond braich yr angeu anorchfygol gadarn gawr,
Ag all dynu 'r barrau trymion, a malurio 'r muriau mawr."

Eto, anerch y bardd i angeu, am ladd ei wraig, a'i mhab, a'i mherch: llin. 213:—

"Teirgwaith hedai 'th saethig farwol; teirgwaith lladdai hedd fy mron;
Teirgwaith cyn i'w meingyrn ceimion, deirgwaith lenwi'r Ganaid gron,
Pa'm, loer wiwlyd, aist mor llwyted? 'wyt ti Ganaid wen yn drist,
Wel'd gofidiau dy gymydog? ai chwith genyt fod yn dyst?

O fynychach gyfnewidiad, yn anwadal gyflwr dyn
Nag sy'n dygwydd yn dy fisol, newidiadau di dy hun?
Wele 'r modd mae 'n gwynfyd benthyg, fel y lleuad yn lleihau:
Er cymylau, gwên haul rhinwedd, pur ei hanian sy'n parhau."

Wrth ymattal, tybiem fod y darllenydd yn barod i ofyn am ychwaneg, a'r cyhoeddwr am lai: boddloni yr olaf raid i'r ymgais fod, a dymuno ar y darllenydd sychedig fynu gafael yn "Nhelyn Dewi:" a gall gael llawer o'r fath. Yr ydym yn hollol gredu fod ein bardd wedi maeddu Young yma, mewn ystwythder barddonawl, a'r gallu hwnw i led-gipio y meddwl ymaith, fel heb yn wybod iddo ei hun, yr hyn a berthyn i farddoniaeth dda. Tra y bydd Young yn taraw y darllenydd â rhyw fath o syndod llesmeiriol wrth geisio gollwng y meddwl i ymlithro o linell i linell, nes y bydd yn methu a symud gan fawredd y drychfeddyliau a drosglwyddir yn fynych mewn geiriau anystwyth: dena bardd Castellhywel y meddwl i'w ganlyn trwy fath o swyn-gymhelliad yn ystwythder llithrig ei iaith, fel y galluogir ef i edrych ar yr unrhyw ddrychfeddyliau heb yr anghyfleusdra lleiaf. Wrth ddarllen y blaenaf, dychymygem ein bod yn cael ein cludo trwy yr ystrydoedd prydferthaf, yn mysg yr amryfath wrthddrychau mwyaf prydferth, gorwych, a mawreddig—tra y mae y cerbyd, yn yr hwn y cludir ni, yn ymysgwyd ac yn ymdolcio o ochr i ochr, nes gwneuthur ein taith yn flinderus, er prydferthed y golygfëydd: ond wrth ddarllen yr olaf, cludir ni yn agerdd-gerbyd sidanaidd "iaith ystwythgamp barabldrefn a boddgar gymhenddull ei hamrywiogsain," gyda'r esmwythder hyfrydaf; tra y caiff ein llygaid wledda ar yr unrhyw olygfëydd prydferth, heb yr ysgydwad lleiaf i beri anesmwythder. Pe rhoddasid "Y Meddyliau Nosawl," oll mewn gwisg Gymreig gyffelyb i'r 220 llinell o'r nos gyntaf a roddir yn "Nhelyn Dewi," nid oes ammheuaeth na chawsent ugain i'w darllen, am bob un ag a ddarllenodd "Goll Gwynfa," gan y Dr. W. O. Pughe.

Nid yw y cyfieithiad o "Gŵynfan Tybiol Alexander Selkirk, ar Ynys Juan Fernandez," gan yr anfarwol Cowper, mor dda. Er y trosglwyddir y meddwl yn ddifai, eto, y mae rhyw anystwythder yn y mesur a'r cyfansoddiad, fel ag y mae yn llawer gwell genym ei ddarllen yn Seisoneg Cowper, nag yn y cyfieithiad. Rhoddir anghraifft yn wrthgyferbyniol, a barned y darllenydd.

"'Rwy' i'n frenin ar bob rhan o'r fro,
A'm hawl nis dadleuir lle do';
'Rwy' i'n arglwydd o fynydd i fôr,
I'r lluoedd wy'n wel'd is y llo'r;
Fyd unig! mae'r hawddfyd a'r hedd
A welai rhai gynt yn dy wedd?
Cân gwell yw cardotyn mewn tre'
Na brenin mewn fath anial le.

Chwi wyntoedd a'm gyr'soch yn gaeth,
O dygwch i'r anial fall draeth,
Ryw newydd cysurus hoff gwiw,
O'r wlad na cha'i gweled tro 'i byw.
A anfona nghyfeillion da gynt,
Uchenaid ar f'ol gyda'r gwynt?
O d'wedwch oes genyf un ffrynd,
Er na chaf mwy ato byth fyn'd.

Gyflymed yw'r meddwl! a'r lled
Yn llawer cyflymach y rhêd,
Na gwyntoedd cynddeiriog storm fawr
Ac ysgafn adenydd y wawr.
Pan gofiwyf un waith am dŷ Nhad
Yn union 'rw'i gartre'n fy ngwlad:
Och! buan yr adgof mewn gŵg
Yn ol i'm hanobaith a'm dwg."

"I am monarch of all I survey,
My right there is none to dispute,
From the centre all round to the sea,
I am lord of the fowl and the brute;
O solitude! where are thy charms
That sages have seen in thy face?
Better dwell in the midst of alarms
Than reign in this horrible place.

Ye winds, that have made me your sport,
Convey to this desolate shore,
Some cordial endearing report
Of a land I shall visit no more.
My friends, do they now and then send
A wish or a thought after me?
O tell me I yet have a friend,
Though a friend I am never to see.

How fleet is a glance of the mind,
Compared with the speed of its flight,
The tempest itself lays behind,
And the swift winged arrows of light.
When I think of my own native land,
In a moment I seem to be there;
But alas! recollection at hand
Soon hurries me back to despair."

Ni chaniatâ y terfyn gosodedig i'r ysgrif hon i ni roddi anghreifftiau o'r cyfieithiadau yn "Nhelyn Dewi" o'r "*Invitation of Mercy,*" gan Mrs. Barbauld; o'r "*Ode on a distant Prospect of Eton College,*" gan Gray; o'r "*Blackbird,*" gan Beattie; o "*Iter Vitæ*" y Dr. Watts, &c.; ond byddai yn anesgusodol peidio dywedyd dim am bengorchwyl ein bardd—ei gyfieithiad o'r "Myfyrfod ar Einioes ac Angeu, a ysgrifenwyd mewn Mynwent yn y Wlad yn min yr hwyr," gan Gray. Wrth ollwng y meddwl i lithro o ddrychfeddwl i ddrychfeddwl yn yr "*Elegy,*" buom lawer gwaith yn dychymygu gweled y dyn bychan, lluniaidd, trwsiadus hwnw a'i cyfansoddodd—gyda gwynebpryd gwelw, pruddaidd, â'i lygaid yn sylldremu tua'r llawr—ryw noson yn mynwent Eglwys Stoke Pogis, yn swydd Buckingham, yn ymrodio mewn dystaw-fyfyr—

"Rhwng y llan a'r hen geubreni, hyd yr iwen ddulas draw,
Ffordd mae 'n gymysg briddgoch grygiau, a glâs dwmpathau ar bob llaw:"

gan ollwng ei feddwl i gymdeithasu â'r meirw ar eu tiriogaeth eu hunain. Yno ffurfiodd ei luniau a'i athrylith, pa rai sydd yn perffaith gyfateb i deimladau dyfnaf mynwes dyn. Pa le bynag y gwisgir natur ddynol, ac y meddir teimladau dynol, bydd y meddyliau a wisgir yn ngeiriau yr "*Elegy*" yn sicr o gyffwrdd â llinynau y galon, ac o adsain y llais fel yr eiddo natur ei hun. Ond wrth ddarllen y cyfieithiad, nid oes ynom yr ammheuaeth lleiaf na chyttuna pawb ag sydd ganddynt unrhyw ymhoniad o ddëall y ddwy iaith, y gwisgir yr un meddyliau ynddo mewn iaith mwy barddonawl, ystwyth, a naturiol;—a chan belled ag y mae a wnelo barddoniaeth â iaith, yn annibynol ar ddyfeisiad meddyliau, y rhagora bardd Castell-hywel ar fardd Stoke Pogis. Clywch y llinellau byth-gofus, "*Full many a gem,*" &c. ar dannau "Telyn Dewi:"—

"Y mae'r gemau a'r perlau puraf, goreu 'u lliwiau is y llô'r
Dan y tonau 'n gudd rhwng creigiau, yn nyfnderoedd mawr y môr
Ac mae 'r blodau teca'u lliwiau, lle na's gwelir byth mo'u gwawr,
Ac yn taenu 'u peraroglau, lle na sylwa neb mo'u sawr."

Eto—y meddyliau gwreiddiol yn y pennillion yn dechreu, "*Yet ev'n these bones:*"—

"Rhag i'w hesgyrn gael eu damsing gyda dirmyg gan un dro'd
Gerllaw iddyn', er eu coffa, mae rhyw arwydd in' a nôd,
A diryfau heb iawn fesur, â cherfiadau gwael dilun
Ag sy'n galw am ddeigryn mwynaidd, wrth fyn'd heibio gan bob un.

'R oed a'r enw, a'r dydd bu farw, ar gareg arw-lwyd ddirân,
A geir yma 'n lle cof-feini, a chanmoliaeth peraidd gân;
Cynghor prysur, ma's o'r 'sgrythyr ar ei godre' gwedi 'n gawn
I rybuddio pawb el heibio lwyr ddiwygio a marw 'n iawn.

Nid oes adyn yn ymado, na ddymunai i gyfaill mwyn,
Wedi cauad ei ddau lygad roddi 'chenaid fèr a chŵyn;
I dir ango' wedi i'r angeu fyn'd â'i gelain yn ei gol
Hoff yw ganddo pan nas byddo, i rai wylo ar ei ol."

Ond rhaid ymattal. Nid oes fodd dewis yma, y mae yr oll mor rhagorol. Gall y darllenydd gael y dernyn prydferth hyn mewn llawer o fan gasgliadau barddonawl ein hiaith. Byddai yn dda pe b'ai wedi ei argraffu ar gôf holl ieuenctyd y Dywysogaeth tra yn ieuainc; nid yn unig oblegid rhagoroldeb y meddyliau, a phrydferthwch y farddoniaeth, ond hefyd er cadw adgof o ystryw ac agosrwydd angeu o flaen y meddwl yn fynychach.

Gall y darllenydd Cymreig weled mawr gymeradwyaeth y Saeson a chenedloedd eraill o'r dernyn hyn, pan y ceir y deuddeg-ar-hugain o bennillion a'u cyfansoddant, wedi eu cyhoeddi mewn cyfrol fawr, o werth deuddeg swllt; gyda cherfiadau cyfochrog er egluro pob pennill, a chyfieithiadau cyferbyniol o'r unrhyw i'r ieithoedd Groeg, Lladin, Idalaeg, Ellmynaeg, a Ffrangaeg. A pha beth bynag yw teilyngdod y cyfieithiadau hyny, gall y Cymro ymlawenhau ar y sicrwydd, nad oes un o honynt yn well, nac ysgatfydd, cystal a'r eiddo ef.

---

# EIN TIR, A'I AMAETHIAD.

Hyderwn fod llawer o'n darllenwyr yn cofio i ni mewn rhifyn blaenorol osod o'u blaen egwyddorion amaethyddiaeth. Dywedwn ein bod yn dysgwyl nad aeth hyny yn anghof ganddynt, nid yn unig ar gyfrif ein hymddiried yn nghywirdeb ein sylwadau, ond am y dylai fod cydymdeimlad ynom oll â'r amaethwr, yn enwedig yr amaethwr Cymreig, o herwydd iselder ei sefyllfa. Nid oes neb yn ein gwlad mwy distadl ei annedd, gwaelach ei ymborth, garwach ei frethyn, llai ei ennill, a mwy amddifad o fanteision i wella ei feddwl na llafurwr y ddaear. Ac eto nid oes yr un dosbarth anhaws i'w hebgor. Cyfranogodd llawer heblaw nyni o'r digrifwch a rydd yr arwydd hwnw a welir uwch ben ambell i ddrws tŷ tafarn (gocheled ein darllenwyr yr hyn sydd oddifewn!)—y blaenaf ar y *sign* yw y milwr, a'r geiriau hyny yn dyfod o'i enau, "*I fight for all!*" yna cawn

ddarlun o'r person, ac yn ymyl ei enau, "*I pray for all!*" ac yn olaf y ffermwr yn dweyd, "*And I pay for all!*" Ac o'r tri, yr amaethwr sydd o lawer y mwyaf anhawdd byw hebddo. Gwnaem y tro yn burion heb i neb ymladd drosom, ond cael cenedloedd eraill y byd i fyw yn llonydd; a digon tebyg na byddai dim a dueddai y byd yn fwy i hyny na gweled Brydain yn gogwyddo felly. Pob llwydd meddwn ni o waelod ein calon i'r Cymdeithasau Heddwch sydd yn codi yn y dyddiau hyn. Ond na feddylied neb ein bod am wneyd heb weddïo—ac ar yr un pryd cyttunem yn rhwydd â dywediad Sior III, pan, ar ol gofyn i Ymneilldüwr, a fyddai ei weinidog yn gweddïo drosto, y câdd yr ateb, "Bydd, eich Mawrhydi, o'r galon hefyd yr wyf yn credu." "Mi warantaf hyny," ebai yr hen frenin, "canys nid yw yn cael nemawr am ei boen." Tybiwn ninnau mai y gweddïau mwyaf effeithiol yn Mhrydain a throsti yw y rhai y mae aur ac arian yn gwneyd i fynu ran fechan o'u gwobr. Ysywaeth y mae gan y dyddiau hyn eu *Anti-State-Church* yn gystal a'u *Peace Societies*. Ond beth bynag yw awydd yr oes ddiwygiadol hon am gael gwared o'r milwr a dadgysylltu gweddïo oddiwrth dâl gan y llywodraeth, y mae peth afrifed o gymdeithasau yn cael eu codi i gefnogi yr amaethwr, a dymunem yn fawr lwyddiant y rhai hyn hefyd.

Er yr ymdrechem y tro o'r blaen wneyd ein sylwadau yn ddealladwy, eto ofnwn eu bod yn rhy gelfyddgar gan lawer o'n darllenwyr amaethyddol, neu o leiaf y carent eu gweled yn cael eu dilyn gan sylwadau mwy ymarferol ar drin y ddaear. Amcanwn wneyd hyny yn awr. Ac ymlaenaf dim, ceisiwn gan amaethwyr Cymru gredu fod trin ychwaneg ar y tir yn sicr o wella eu sefyllfa—fod modd dyfod â'r tir i gynnyrchu llawer yn ychwaneg—a bod yr amser wedi dyfod ag sydd yn rhoddi y fath gyfleusderau yn nwylaw llafurwr y ddaear nes sicrhau iddo ennill da wrth wneyd. Pe cynnygiasai dyn hanner can' mlynedd yn ol wneyd darn o dir gwael yn dir da, hwyrach y buasai y draul yn fwy na'r ennill. Yr oeddid mor anhysbys o natur tir, y gwrtaith, a'r llysiau mwyaf priodol—y dull goreu o barotoi y tir i'w derbyn—yr offerynau hwylusaf i ddwyn y parotoad hwnw ymlaen—yr oedd y ffyrdd mor ddrwg i gludo y gwrtaith, a'r farchnad mor ddïofyn ar y cynnyrch—a goreu y trinid uchaf fyddai y degwm. Gwnai y pethau hyn wahaniaeth dirfawr rhwng manteision yr amaethwr ymroddgar yn y ddau amser. Gwyddom y gallai dyn eto fyned wrth drin i draul fyddai yn fwy na'r ennill; ond gall wella ei dir a pheidio gwneyd hyny ond gofalu; ac nid yn unig peidio gwaethygu ei amgylchiadau, ond eu gwella yn fawr. Mawr yw awydd yr amaethwyr am ychwaneg o dir. Dyma a yrodd lawer o'u gwlad, a fagodd genfigen rhwng teuluoedd a'u gilydd—ac a hudodd lawer un i droseddu deddfau y Beibl a dynoliaeth. Ond y mae yn ddigon hawdd gwneyd y ffarm fechan yn fawr, a gochel y pethau hyn. Os gellir dwyn y tir, a gadwai onid un fuwch, i gadw dwy, oni wneid hyny? Nid ydym ni am fyned cybelled a rhai mewn gwneyd holl ffermydd ein gwlad yn fychain; credem yr effeithiai hyny i wneyd peth rhy debyg i ranu eiddo y genedl yn gyfartal rhwng pawb. Yn lle gwneyd y ffarm fawr yn rhai bychain trwy adraniadau, gwneler y rhai bychain yn fawr trwy wella y tir. Ond medd rhywun, "Dyma hwn eto yn rhoddi pobpeth ar gefn y *tenant*." Cyn myned ymhellach ynte, nodwn rai pethau y dylai perchenog y tir eu gwneyd tuag at i'r deiliaid gael chwareu teg i'w wella. Nid oes dim o du y meistr yn fwy o attalfa

i hyny na gosod y tir o flwyddyn i flwyddyn. Ymresyma y tyddynwr âg ef ei hun:—Nid oes genyf fi ond cymeriad blwyddyn ar fy ffarm; a phe bawn yn sychu y weirglodd fawr ac yn ei chalchio, neu yn *drainio* ac yn palu y gors arw, neu yn *subsoilio* y cae cleiog, pwy a ŵyr nad cyn pen blwyddyn neu ddwy y codai fy meistr yn y rhent, neu y deuai un gwaeth nag ef yn ei le, a thyna fi yn waeth na bod yn yr un twll. Hawdd i berchenogion tiroedd weled fod grym yn yr ymresymiad hwn. Ac er hwyrach i'r amaethwr gael mwy o'i ddefnydd yn ei adnabyddiaeth brofiadol o'r galon ddynol, nag mewn esiamplau gan dir-berchenogion, eto y mae yn cael iddo ymresymu yn iawn, a thyna yn ffarwelio â'r meddwl am *drainio*, &c., a'r ddiareb "gwell aderyn mewn llaw na dau mewn llwyn." Ac yn awr, dymunem sylw y boneddigion sydd yn meddu tiroedd yn Nghymru ar hyn:—dymunem iddynt ystyried faint a allant wella ar eu hetifeddiaethau trwy osod *leases* i'w tenantiaid. Digon tebyg mai y rhwystr penaf o'u tu hwy yw cofio yr hen *leases* a osodwyd cyn y codiad mawr ar brisiau trwy y rhyfel. Ac nid yn unig (medd y meistr tir) câdd y tir ei osod yn rhy isel, ond tenantiaid y *leases* oedd y rhai gwaelaf am drin o bawb:—amlaf yn y dafarn, ac anamlaf yn yr odyn galch. Y mae hyn eto yn wir. Ac y mae cymaint o eisieu i'r meistr gael diogelu gwelliant ei dir, trwy fod y *lease* yn rhwymo y deiliad i wneyd, ag sydd i'r *tenant* gael diogelu ennill wrth ddwyn y gwelliant ymlaen trwy gael *lease*. Hefyd wrth brisio y tir rhyngddynt, byddai yn deg fod gan y ddwy blaid eu dyn. Paham nad yw cyttundeb rhwng pleidiau am dir yn gofyn hyny fel cyttundeb rhwng pleidiau am rywbeth arall? Y mae fod y perchen yn unig yn nodi prisiwr, yn gosod temtasiwn o'i flaen i ymddwyn yn annheg, a bu yn demtasiwn lwyddiannus lawer gwaith yn Nghymru. Pe byddai perchenogion tir hefyd yn planu mwy o goed, byddai yn llawer i wella eu hetifeddiaethau. Y mae digon, a gormod, o honynt ar les y tir yn ein dyffrynoedd: ond gwnai ychwaneg ddaioni dirfawr yn ein holl diroedd eraill. Y mae ein hinsawdd mor gawodog, fel y byddai o'r lles mwyaf i'r anifeiliaid a'r llysiau fod mwy o gysgod. A buan y talent am y draul o'u planu. Y mae sir Drefaldwyn yn batrwm i Ogledd Cymru yn hyn. Pe cynllunid gwinllanoedd culion o goed yn y manau mwyaf manteisiol i wneyd cysgod yn siroedd Mon, Caernarfon, ac Aberteifi, ynghydag ucheldir sir Ddinbych, gwneid daioni annhraethol i'r tir.

Byddwn yn darfod â pherchenog y tir gydag un amnaid ar y budd o dynu darn o dir at dŷ y gweithiwr, cymaint ag a'i galluogo i gadw buwch drwy y flwyddyn. Gellid fel hyn wella llawer o dir gwael, a rhoddi lle i'r gweithiwr wneyd peth at gynnal ei deulu pan allan o waith; a rhoddid llawer llawnach bywioliaeth i'r teulu.

Ond nid ydym am i'r tyddynwr gysgu nes i'r meistr wneyd y pethau a enwyd. Y mae yn hen wir-air fod pob diwygiad yn dechreu trwy y bobl gyffredin; ac ni fynem er dim iddynt golli eu henw da yn hyn. Y mae cymaint a hyny o fantais yn barod oddiwrth y meistr—teilyngdod gyda golwg ar drin tir yw y gymeradwyaeth uchaf i gael ffarm dda: pan ychydig yn ol yr oedd pethau llawer mwy annheilwng yn gwneyd y tro.

Dywedasom wrth yr amaethwr eisoes fod yr amser yma yn dyfod â llawer o fanteision i drin y ddaear wrth a oedd gan ein hynafiaid; ac nid y leiaf o honynt yn ein golwg yw lledaniad gwybodaeth grefyddol dros hyd a lled ein gwlad. Er mai un o amcanion penaf crefydd yw codi

meddwl dyn goruwch gwrthddrychau daearol, nid oes dim arall mor effeithiol i ddwyn dyn i iawn arfer y byd. Dyfod â dyn i'w le tuag at Dduw yw y peth mwyaf effeithiol i'w gael i'w le tuag at bawb a phobpeth arall. Y mae y Bibl yn dyfod â dyn i ymaflyd yn y dyledswyddau hyny tuag ato ei hun ac eraill ag a'i gesyd yn y cyfleusderau goreu i ddiwyllio a gwellâu y tir: a dysg ef i ochel y camymddygiadau hyny sy'n tueddu i attal ei lwyddiant tymmorol. Dengys fod llafurio y ddaear yn orchwyl mor anrhydeddus nes bod yn deilwng o ddyn yn ei sefyllfa ddibechod; ac mai peth sydd yn ffurfio y cymeriadau a gyfyd uchaf yw ymarferiad â llafurio y tir a thrin anifeiliaid, megys Abraham a'i deulu, Moses, Dafydd, Solomon, Eliseus, &c. Sefydla drefn priodas—hawl bersonol dyn i eiddo—rhaniad y ddaear rhwng dynolryw—rhwymedigaeth dyn i ddarpar dros ei deulu; canmola gynnildeb, diwydrwydd, a gofal; a gwahardda lythineb, meddwdod, diogi, ac anniweirdeb; a dyd i mewn gynnydd ar drin y ddaear yn mysg y goreu o'r addewidion, ac i fod yn gysylltiedig â'r llwyddiant mwyaf ar grefydd. Nid rhyfedd gan hyny yw gweled trigolion y parthau hyny sydd flaenaf mewn gwybodaeth grefyddol, ymlaenaf hefyd mewn diwyllio y tir:—yn wir felly y gwelir yn Nghymru. Y sir sydd fwyaf ar ol mewn gwybodaeth grefyddol yw Maesyfed; ac yno hefyd mae amaethyddiaeth fwyaf ar ol. Y flaenaf yn Nghymru mewn gwybodaeth a llafur crefyddol yw Mon; ac y mae hefyd yn blaenori mewn diwylliant amaethyddol. Yr ydym yn dyweyd hyn i ddangos i'n cydwladwyr eu mantais. Y mae Cymru wedi cychwyn o dde—gwybodaeth grefyddol ymlaenaf. Os felly y mae yn oreu i ddyn yn bersonol, felly y mae yn oreu i wlad. Nid ydym yn anobeithiol am lwyddiant crefydd yn y manau y mae gwybodaeth naturiol a chelfyddydol, dan lywyddiad meddwl llygredig, wedi gwneyd y trigolion yn saith mwy annuwiol na phan oeddynt yn fwy anwybodus; ond gwyddom mai peth hawdd a bychan iawn yn gyferbyniol a hyny yw tynu y Cymry sydd wedi derbyn gwybodaeth grefyddol ymlaen mewn diwylliant amaethyddol; gan fod yr hyn sydd ganddynt hwy yn barod yn eu tueddu at yr hyn a gynnygir iddynt, tra y mae medr i drin eu daear fras a'i chynnyrch yn gwneyd trigolion y Goror a manau eraill yn llawer mwy anfanteisiol i'w hennill at bethau crefydd.

Aethom yn feithach ar hyn nag yr oeddym yn bwriadu: ond beth ni wnaem tuag at gael gan y Cymry werthfawrogi eu gwybodaeth grefyddol, a meithrin a dal gafael ynddi trwy bob peth. Ond meddai rhyw hen amaethwr, byrach ei amynedd nag eraill, Onid ein tir a'i amaethiad yw y testun? Dymunwn ynte gael gwybod, pe bawn yn ymroddi i wella y ffarm yma, pa fodd i wneyd?—pa fodd i ddechreu? Ni a atebwn, mai y peth cyntaf i'w ddëall yw natur y tir, pa fodd i'w wella, a pha gynnyrch i'w godi o hono. Tuag at ddëall yr hyn sydd anhebgorol i'r tyddynwr am natur tir, rhaid iddo edrych i ansawdd y ddau blyg uchaf o'r ddaear. Da fyddai genym fod ein holl amaethwyr yn *geologians*—yn medru tirio i mewn i berfeddion y ddaear, a dëall natur ei gwahanol blygion: ond nid rhyw waith un dydd neu nos yw eu cael felly. A hyd nes delo yr oes auraidd hono, myned pob amaethwr ddëall natur y ddau blyg uchaf. Gellir dosbarthu y plygion hyn yn Nghymru, i dri: cleidir, graiandir, a mawndir. Weithiau nid yw y gwahaniaeth rhwng y ddau blyg ond effaith ymgymysgiad gwrtaith â'r plyg uchaf. Bryd arall, cawn y plyg uchaf yn fawndir, a'r un odditano yn gleidir neu raiandir caled, neu gymysgiad o'r ddau. Y

mae gwahaniaeth mawr hefyd rhwng y naill dir perthynol i un o'r dosbeirth hyn ag un arall perthynol i'r un dosbarth. Ceir un cleidir mwy trwm, rhwym, a chaled o lawer nag un arall. Cyfarfyddwn hefyd, weithiau, â graiandir mor fân nes y byddai yn fwy priodol ei alw yn dywodtir. Cawn hefyd dir yn cyfranogi mewn rhan o'r naill ac mewn rhan o'r llall o'r dosbarthiadau hyn. Weithiau, cleidir wedi ei gymysgu â thywod nes y mae yn agored i dderbyn dwfr, gwrtaith, ac awyr i mewn. Geilw y Sais hwn yn *loam*, a'r Cymro a'i geilw yn bridd llwyd. Y mae hwn eto heb fod yr un fath yn mhob man. Ar y llethrau y mae yn ysgafnach nag yn y gwaelodion, a cheryg gleision yn gymysg âg ef. Po trymaf y byddo, os yn ddigon agored i dderbyn i mewn, goreu yw. Hwn yw y fath oreu o dir. Ond y mae gwerth tir hefyd yn amrywio yn ol natur yr ail blyg. Niwed penaf yr ail blyg i'r tir yw, iddo fod mor rwymgaled, nes cadw y dwfr yn ormodol yn y plyg uchaf, neu rhwng y ddau, fel ag y mae gwraidd y llysiau yn rhynu ac yn gwanychu. Y mae trwch y plyg uchaf hefyd yn bwysig i ffrwythlondeb y tir. Y mae rhai llysiau yn estyn eu gwraidd gymaint i waered fel oni chânt drwch da o bridd gwrteithiol, gwaelant yn eu tyfiad. Ond y gwahaniaeth mwyaf pwysig rhwng y naill dir a'r llall yw fod un yn wlyb ac mewn anghen ei *ddrainio*, a'r llall heb fod. Ynfydrwydd yw gwrteithio tir gwlyb heb ei sychu trwy ei *ddrainio*. Y mae hyn wedi dyfod mor eglur a haul ganol dydd: ac y mae y dyn na chred ef yn hollol annheilwng o'r enw amaethwr. Dodwn i lawr ymlaenaf, rai pethau am *ddrainio* y cyttuna y dynion blaenaf mewn amaethyddiaeth arnynt; yna, rhai o'r pethau nad ydynt yn cyttuno arnynt. Cyttunir gan bawb y dylid tori y *drain* i'r ail blyg, gan fod cartrefle benaf y dwfr rhwng y plyg uchaf a'r ail, a thuag at iddo gael ffordd i redeg o'r tir, rhaid i'r *drain* gyrhaedd i'r ail blyg. Cyttunir hefyd mai y ffordd oreu i dori y *drain* yw ar ei phen oddi fynu i waered, yr un ffordd a rhediad y tir. Y mae hyn bellach wedi ei gymeradwyo mor gyffredinol gan y dynion mwyaf dëallus a phrofiadol o *ddrainio*, fel y gellir myned ymlaen yn ol y cynllun hwn yn ddibetrus.

Ond cyfarfyddir weithiau âg amgylchiad y gellir amrywio. Pe byddai bryn o raiandir sych, ac odditano dir gwlyb, fel y bydd yn gyffredin, nid anfuddiol fyddai tori *drain* ddofn yn groes i rediad y tir, yn y cyfwng rhwng y tir gwlyb a'r sych, gan y cyfarfyddir yno yn gyffredin â thoraeth o'r dwfr. Torer y *drainiau* eraill ar eu penau i waered ac o bum' llath i wyth rhwng eu pen uchaf a'r *drain* groes. Rhaid i'r *drain* fyddo yn y gwaelod yn derbyn dwfr y rhai fo ar eu penau, fod ychydig yn ddyfnach na'r lleill: ac os bydd yno olwg am lawer o ddwfr, rhaid ei chwtteru a phalmantu ei gwaelod. Am y modd goreu i lenwi neu gau *drains*, nid yw yr amaethwyr goreu yn cyttuno. Mae rhai am dylau; ac eraill am geryg lled fân, neu raian bras. Ond gan fod *tiles* mor ddrudion, a'r ceryg yn lled hawdd eu cael yn Nghymru, a bod y rhai mwyaf cyfarwydd yn methu penderfynu rhyngddynt, gwell i'r Cymry gymeryd y ceryg. Ond os na fyddant wedi eu malu, dylid bod yn dra gofalus wrth eu rhoddi yn y *drain*, rhag dygwydd i gareg hir fyned ar draws y *drain*, ac attal y dwfr a gwneyd pen am y llafur oll. Dylai llygad y meistr fod ar hyn yn anad dim a berthyn i *ddrainio*. Gwyddom am Gymro gwledig, ond meddylgar, wrth fod y ceryg at gau y *drains* yn fawr, a'u malu yn ddrud, wedi dyfeisio pigo y ceryg hwyaf a meinaf i'w gosod ar eu penau, yn isaf yn y *drain*—gosodai

hwy ochr yn ochr â'u pen mainaf i lawr, ac mor dŷnion fel nad oedd modd i yr un fyned o'i lle; yna gosodai geryg ar eu gwastad arnynt: ac yr oedd y dwfr yn rhedeg trwyddynt yn gampus. Rhaid i waelod y *drain* fod yn galed at i'r ffordd hon ateb: neu os na bydd, palmanter ef. Y mae y draul hon yn llawer llai na malu y ceryg, ac nis gall y dwfr redeg yn well trwy un math o *drain* na'r rhai'n; hefyd lle mae ceryg yn brin, a chyflawnder o raian neu dywod, gosoder cymaint o geryg neu raian brâs glan yn isaf ag a fo yn ddigon i'r dwfr redeg trwyddo—yna ychydig o wellt, wedi hyny llanwer y *drain* mor uchel ag y myner â'r graian neu dywod. Dyfnder y *drains*, ynghyd â'u pellder oddiwrth eu gilydd, sydd beth arall y mae amaethwyr blaenaf ein teyrnas yn methu cyttuno arnynt. Hyd yn ddiweddar, deg neu ddeuddeg-modfedd-ar-hugain o ddyfnder, ac o bum llath i wyth rhwng y naill *drain* a'r llall, a fernid yn oreu. Ond er ys ychydig yn ol, y mae Mechi ac eraill yn tori y *drain* yn bedair troedfedd o ddyfnder, ac yn rhoddi o ddeuddeg i bedwar-llath-ar-ddeg rhyngddynt. Sicrha Mechi mai y rhai hyn sydd oreu ar bob math o dir. Diammhau eu bod yn rhatach. Gwrthwynebir y cynllun hwn gan rai mewn cleidir rhwym, am ei fod mor anffafriol i rediad y dwfr i'r *drains*, y rhai sydd bellach arall oddiwrth eu gilydd na'r rhai y cynllun arall. Ond y mae gogwydd y rhai uchaf eu cymeriad amaethyddol at y rhai dyfnion ac anaml. Barned ein darllenwyr drostynt eu hunain—dyma ni wedi dywedyd y pethau a farnem yn fwyaf angenrheidiol wrth ddarllen, ac oddiar brofiad, i'r amaethwr Cymreig feddwl am danynt wrth *drainio*. Ac os nad yw ei dir yn sych, na feddylied am fyw heb wneyd. Y mae pob tir gwlyb, y ceir rhediad o hono, yn sicr o dalu am ei sychu, ond arfer synwyr i wneyd hyny yn y modd goreu a rhataf. A gresyn, ïe pechod ydyw gadael tir yn nwylaw dyn rhy ddiymgais i wneyd.

Y peth nesaf yw, pa fodd i ddyfod â'r tir hwn yn ffrwythlawn. Nid yw *drainio* ond megys tori y sylfaen. Dylai yr amaethwr yn awr ystyried pa fath yw y tir, a pha faint o draul a all ef roddi arno. Gellir cyfarfod â thir a dâl yn oreu wrth ei wrteithio ar ei groen ar ol ei *drainio;* megys gweirglodd-dir groen ein dyffrynoedd, a'r tiroedd sydd yn dra llawn o geryg mawrion yn ngwaelod y ddaear. Byddai y draul o dori a chodi y rhai 'n mor fawr fel na allai y tir ateb cystal ag wrth ei adael heb dori ei groen, a'i wrteithio arno. Ceir math arall o dir a dâl yn oreu wrth ei roddi dan ŷd ar ol ei *drainio.* Os bydd y plyg uchaf yn gleidir neu fawndir ac yn deneu, a'r ail blyg yn gleidir neu raiandir caled, neu gymysg o'r ddau, ac heb lawer o geryg mawrion ynddo, y ffordd y tâl oreu yw ei *subsoilio* neu ei *drenchio* at ŷd. Digon tebyg fod y geiriau hyn yn disgyn ar feddwl y Cymro uniaith fel huddugl i botes (chwedl yr hen Gymry cyn i *de* fyned â lle y gwlybwr maethlawn hwnw) sef o rywle tywyll iddynt. Ond ni a wnawn ein goreu i ddangos beth a feddylir wrthynt. Y mae tir yn cael ei *subsoilio* trwy dori y gŵys fel y byddis arferol o wneyd wrth aredig—goreu po lletaf a dyfnaf: yna cymerer aradr arall, naill ai un mawr pwrpasol, yn cael ei dynu gan bedwar neu chwe' cheffyl, neu os na bydd llawer o geryg yn y tir, gwna aradr haiarn gyffredin, gref, wedi tynu y cwlltyr, y tro; ac y mae dau geffyl da yn ddigon nerthol i'w dynu. Rhodder y wedd hon i gerdded yr un ffordd a'r wedd gyntaf, a rhyddhäer â'r aradr hon y tir sydd o dan y gwys a dorwyd gyntaf: a goreu po dyfnaf y galler ei rhoddi yn y ddaear. Y gwahaniaeth rhwng *subsoilio* a *threnchio* yw, eu

bod yn yr olaf yn codi y gwys isaf oddiar yr uchaf, a rhaid gadael y gwlltyr ar yr aradr i wneyd hyny. Os bydd y plyg uchaf yn fawndir teneu, a'r ail blyg yn glai neu gymysgedd o glai a graian, *trenchio* yw y goreu; gan fod yn well ar les y tir gymysgu y plygion hyn â'u gilydd. Ond os bydd y plyg uchaf yn bridd llwyd da, ac heb fod yn deneu, a'r ail blyg yn glai caled, *subsoilio* sydd oreu. Mae y rheswm yn amlwg. Mae rhyw Gymro craffus ac eiddigus dros arferion ei wlad yn barod i ddyweyd, Pw, nid yw y *subsoilio* a'r *trenchio* hyn yn ddim ond rhyw eiriau dyeithr am waith sydd yn cyfateb yn uniawn i ddau fath o balu tir, a arferid gan fy nhad a fy nhaid; sef codi y rhawiad isaf ar yr uchaf yn ateb i *drenchio*, a rhyddhâu y rhawiad isaf â rhaw neu gaib yn ateb i *subsoilio*. Yr ym yn addef fod hyn i gyd yn gywir. Ac y mae i'n cyfaill roesaw i gadw at yr hen ddefod o balu os, wedi eistedd a bwrw y draul, y caiff ei bod can rhated. Mae rhyddhau y tir fel hyn yn yr ail blyg yn welliant dirfawr i dir rhwym caled. Ei fai o'r blaen oedd cadw gormod o ddwfr tua gwraidd y llysiau, os nad ar wyneb y tir, ar hîn wleb; a phan ddeuai sychder ni byddai ganddo ddim gwlybwr i helpio y plyg uchaf i ddal y gwres. Y mae y tir sydd â'i ail blyg yn raian rhydd yn well o'r hanner na hwn. Y mae hwnw yn gollwng y gwlybwr fel nad yw yn niweidio y llysiau ar wlybaniaeth, ond nid yw yn gallu dal dim i'w cynnorthwyo ar sychder. Ond y mae y cleidir afrywiog trwy *subsoilio* yn dyfod yn ddigon agored i dderbyn y gwlybwr gormodol i fewn i'r *drainiau* ar wlybaniaeth, ac y mae yn cadw digon o'r natur ymlynol fel ag i ddal dwfr i faethu llysiau ar sychder. Ac o'i wrteithio daw y fath oreu o dir.

Am y graiandir sydd â'r plyg uchaf yn deneu, goreu fyddai tori yn gynnil i'r ail blyg. Cyfranogai yr hyn a godid i fynu felly o'r gwrtaith, a thewychid y tir.

Gwall y mae llawer yn ein gwlad yn syrthio iddo yw, ceisio gan y tir ddwyn llysiau nad yw yn perthyn iddo; megys rhoddi tir perthynol i geirch dan wenith. Peth yn gwneyd teulu yn ddirmygus yw cael y gair o fyw yn uwch na'u sefyllfa. Gwneyd peth tebyg i hyny â'r tir yw yr hyn y dywedwn yn ei erbyn yn awr. Camgymeriad cyffelyb hefyd yw rhoddi gwartheg i bori yr haf ar le nad yw gymhwys ond i ddefaid. Ond diffyg mwy niweidiol o lawer na hwn yna yw codi bychan o faip. Y mae yn drygu y ffarm ddwy ffordd. Y mae y tir sydd ar dro yn gorfod dwyn gormod o gnydau o ŷd, ac felly y tir yn myned yn ddiwrtaith: ac y mae yr anifeiliaid yn cael cynnaliaeth ry-wael, heblaw y cedwir bychan o honynt. Ni byddai dim o fa.h maip am estyn y gwartheg ieuainc sydd yn byw ar wair rhos caled, ac am gadw y gwartheg a borthir â gwellt rhag myned yn rhy gulion. Nid oes yr un llysieuyn chwaith a godir yn Nghymru yn dygymmod yn well â'i thir a'i hinsawdd; y naill yn lled ysgafn a'r llall yn llaith. Coder yn ei thiroedd sychach a thrymach fwy o *mangel wurtzel*, a moron (*carrots*). Dywedai cyfaill i ni, yr hwn a ymbleserai mewn sylwi ar gnydau y meusydd, ac a deithiodd trwy Loegr yn Awst diweddaf, fod y maip yn nhiroedd canolig sir Gaernarfon yn rhagori ar yr un a welsai trwy Loegr. Cymered y Cymro galon.

Ni ddylid codi mwy nag un cnwd o ŷd ar ol maip neu *bytatws* cyn ei ollwng i sefyll. Cam i'r eithaf â thir yw gwneyd yn amgen. Ac nid yw tir chwaith yn cael chwareu teg, os rhoddir mwy nag un cnwd ynddo o flaen y maip.

Digon tebyg y gellir mewn tiroedd trymion fel ag yw rhai parthau o Ddinbych a Fflint, godi dau gnwd gwyrdd (fel y gelwir maip, pys, a ffa) o'r trôad cyntaf hyd ollyngiad y tir i sefyll: a dau neu dri chnwd o ŷd. Naill ai ffa, a gwenith, a maip, a haidd; neu rhodder ceirch o flaen y ffa. Dywedwn eto bron wrth ddarfod mai diffyg mawr amaethwyr Cymru gyda golwg ar gnydau, yw codi gormod o ŷd, a bychan ddarpariaeth ar gyfer eu hanifeiliaid. Y mae ein tir, ein hinsawdd, a'n marchnad yn galw am gyfnewidiad. Cai ein tir fwy o wrtaith. Y mae hinsawdd Brydain er ys oesoedd yn ddïareb am ei fantais i fagwraeth anifeiliaid; a pha beth bynag fu mantais annheg ein marchnad i gael pris uchel am ŷd, y mae hyny yn awr drosodd. Ac os cadwn y blaen ar deyrnasoedd eraill yn ein marchnadoedd mewn rhywbeth, anifeiliaid a'u cynnyrch raid i hyny fod. Y maent hwy lawer ar ein hol yn eu hanifeiliaid, ac o'n blaen mewn mantais i godi ŷd: heblaw fod yn rhatach cludo yr olaf na'r blaenaf yma.

Nis gallwn derfynu heb alw sylw yr amaethwyr Cymreig, yn enwedig y rhai sydd yn byw yn y tiroedd gwaelaf, at un llysieuyn na enwasom eto, sef *eithin*. Rhoddant gnwd mawr, maethlawn i anifeiliaid, a hyny oddiar dir gwael. Graiandir a'i blyg uchaf o'r fath deneuaf, neu briddyn melyn gwan, neu hen rôs o gymysg clai neu fawndir a graian, wedi ei phalu neu ei *threnchio* sydd dir wrth eu bodd. Y mae cannoedd o erwau yn mynydd Hiraethog a manau cyffelyb, a roddai gynnaliaeth i gannoedd yn ychwaneg o anifeiliaid, gydag ychydig o draul, ac y mae cyflawnder o ddwfr yn y cymydogaethau hyny i droi peiriannau i'w malu.[1]

Bwriadwn mewn rhifyn dyfodol roddi desgrifiad o'r gwahanol rywiogaethau o anifeiliaid priodol i'n gwlad, ynghyda'r modd goreu i'w trin. Nis gallwn derfynu y sylwadau hyn yn fwy boddhâol i ni ein hunain nag yn ngeiriau Syr Richard Bulkeley mewn cyfarfod amaethyddol diweddar: "Beth bynag yw anhawsderau yr amaethwr Cymreig, ni welais i eto mo'r dyn ymroddgar i wella ei dir, heb ddyfod cyn hir yn amlwg yn well yn ei amgylchiadau."

---

## Y CYFFRAWD.

[*The Geographical Progress of Empire and Civilization.* By the Rev. T. Price. Llandovery: W. Rees.]

O fewn cylch llëenyddiaeth Gymreig nid ydym yn gwybod am neb yn fwy teilwng o ganmoliaeth nag awdur y llyfr hwn. Iddo ef yr ydym yn ddyledus am "Hanes Cymru," un o'r gweithiau mwyaf gorchestol a ymddangosodd yn ein iaith. Mewn gwybodaeth drylwyr yn yr holl ieithoedd Celtaidd, dïau ei fod yn *facile princeps*: ac y mae hyn yn ei gymhwyso tu hwnt i neb a fu o'i flaen i daflu goleu ar ysgrifeniadau yr hen feirdd Cymreig. Ond yn y gwaith sydd yn awr dan ein sylw y mae wedi dyfod allan mewn maes newydd. Yma y mae yn olrhain hanes ymherodraeth a gwar-

[1] Y mae O. O. Roberts, Ysw. o Fangor, wedi ysgrifenu yn ddiweddar ar faentumiad eithin a *drainio*. Y mae ei sylwadau rhagorol ar hyn, yn gystal ag ar ansawdd addysg yn Nghymru, yn dra theilwng o ddarlleniad ac ystyriaeth.

eiddiad trwy holl oesoedd y byd. Ymdrinwyd â'r pwnc hwn gan Guizot ac eraill, yn ei gysylltiadau moesol; a rhaid i ni gydnabod mai dyma yr olwg sydd yn ymddangos i ni yn fwyaf ennillgar a phwysig. Dilys ydyw fod achosion yn cynnyrchu eu heffeithiau priodol yn y byd moesol, fel yn y byd naturiol; ac y mae chwilio allan yr achosion hyn yn un o'r gorchwylion mwyaf difyr a defnyddiol. Ond y mae Mr. Price yn dwyn ymlaen egwyddor newydd i esbonio y pwnc. Ei farn ef ydyw, fod rhyw allu anianyddol yn tramwy o gwmpas y ddaear, yr hwn a eilw efe "Y Cyffrawd;" ac mai y gallu hwn sydd yn cynhyrfu meddyliau y bobl, ac yn achosi ymherodraeth a gwareiddiad. Er nas gallwn gyttuno â'r golygiadau hyn, y mae ein parch i'r awdur yn ein rhwymo i sylwi ar ei resymau: a chan nad yw ei lyfr yn faith, rhoddwn yma y rhan fwyaf o hono mewn rhydd gyfieithiad ger bron ein darllenwyr. Y mae yn werth ei ddarllen, er mwyn y crynodeb a geir ynddo o hanes y byd. Fel pob dyn call, y mae Mr. Price yn dechreu heb lawer o ragymadroddiad, fel y canlyn:—

"Y mae yn ymddangos i mi fod ymherodraeth a gwareiddiad, y rhai ydynt yn cynnwys cynhyrfiad deallawl, medr a chelfyddyd, anturiaeth fasnachol a milwraidd, buddugoliaeth, llywodraeth, a rhagoriaeth cenedlaethol, wedi ymdaith bob amser mewn cyfeiriad gogledd-orllewinol.

"Fod cyfartaledd yr ymdaith yn cyfateb i symudiad y pwyntiau cyhydeddol, yr hyn sydd yn hanner cant o eiliadau mewn blwyddyn, neu radd mewn ddeuddeg-mlynedd-a-thriugain, ychydig yn fyrach na milltir Brydeinaidd; ac yn ddarostyngedig i afrwyddiadau a brysiadau cylchynol.

"Fod y cyfwng a drafaelwyd yn barod yn cyfansoddi rhan o linell â thröadau ysgeifn ynddi, gydag ail-dröadau neu ddolenau; yr hon, pe ei hestynid, a ffurfiai wregys neu gylch, yn amgylchynu y ddaear, yn croesi y cyhydedd oddeutu yr hydred o bedwar ugain o raddau i'r dwyrain, ac yn myned ymlaen mewn cyfeiriad gogledd-orllewinol hyd yn agos i'r lledred gogleddol o driugain o raddau, pan y mae yn cymeryd rhedfa ddeheuol A ganlyn ydynt fy rhesymau:—

"Y mae yr hanesion boreuaf yr ydym ni yn eu meddu ynghylch sefydliad y gallu llywyddol yn ei gyfleu oddeutu ymarllwysiad yr Afon Euphrates, lle y sefydlodd Nimrod ei ymherodraeth, C.C. 2247.

"Wedi peth amser yr ydym yn colli presennoldeb ymherodraeth yn Asia, ac yn mhen yr yspaid o 1923 o flyneddau ar ol y blaenorol, yr ydym yn ei ganfod yn Groeg o dan Alexander, C.C. 324, yn y pellder o saith-ar-hugain o raddau; wedi i Tyrus, Palestina, a'r Aipht gael eu hymweled gan y dylanwad cylchdeithiol.

"Wedi hyny, yr ydym yn canfod eisteddle ymherodraeth wedi ei symud o Groeg i'r Ital, pellder o gylch pedair gradd a hanner yn yr un cyfeiriad, yr hyn, yn yr un cyflymder o fynediad ymlaen, a'n dwg i'r flwyddyn O C. 1—y rhan ddiweddaf o deyrnasiad Augustus, a gradd uchaf y mawredd Rhufeinig, y mae yn debyg.

"Yn yr Ital drachefn, yr ydym yn colli y gallu ymherodrol; ac wedi wyth cant o flyneddau yr ydym yn ei ganfod yn Ffrainc, yn nwylaw Charlemagne, wedi cymeryd Lombardy yn ei ffordd; eithr ni thrafaeliodd yn y deithradd hon ond naw gradd, yn lle un-ar-ddeg, ei drafaeliad arferol; collwyd dwy radd yma trwy arosiad i gael eu hennill eto trwy frysiad.

"Drachefn, yr ydym yn colli presennoldeb ymherodraeth yn Ffrainc; ac yn awr, wedi treiglad 1046 o flyneddau, os cymhwyswn y cwmpawd at linell y symudiad, gan ganiatâu, fel o'r blaen, hanner cant o eiliadau i flwyddyn, y rhan o'r ddaear a ddygir dan ein sylw fydd Ynys Brydain. Ac os na chanfyddwn allu ymherodrol wedi ei gyflawn amlygu yno, ni a ganfyddwn o'r hyn lleiaf ragoriaeth cenedlaethol, a hwnw hefyd yn cynnyddu yn gyflym; fel y tystir nid yn unig gan anturiaeth filwraidd a masnachol, a sefydliadau cartrefol, ond hefyd gan yr hynodeb hanfodol ac anwadadwy hwnw o lywodraeth dramor. Canys mewn ychwanegiad at ei gallu gwladol yn Ewrop, a'i thiriogaethau lliosog eraill ag sydd yn daenedig dros y byd, y mae y Frenines Victoria y foment hon yn wir benadures ymherodraeth fawr yr India, o'r Indus i Fynyddoedd Himalaya, ac a all â gair effeithio ar dynged hyd yn nod China ei hun.

"Fel hyn yr ydym yn canfod fod rhagoriaeth cenedlaethol wedi teithio mewn 4094 o

flyneddau, o ororau yr Euphrates i Brydain, pellder o ddeuddeg-a-deugain o raddau, a thair mil o filltiroedd, oddeutu yr wythfed ran o amgylchedd y byd; a chyda mor ychydig o drawswyriad o'r llwybr a'r cyfartaledd cyffredin, fel ag i roddi i ni ddigon o seiliau, yn ol fy marn i, i awdurdodi y ffurfiad o ryw dyb ar y testun.

"Gan hyny yr wyf fi yn barnu oddiwrth y gwirioneddau hyn fod rhyw ddylanwad, i'r hwn y rhoddais yr enw Cyffrawd, cyffelyb i ddylanwad trydaniaeth, yn ymdeithio ar hyd y llinell, neu y gwregys hwn, ac yn gweithredu ar y gewynau a pheiriannau dëalltwriaeth mewn modd cyffelyb i'r hwn y mae trydaniaeth yn gweithredu ar elfenau anmhurach ein cyfansoddiad, y rhai ydynt yn dyfod o fewn cyrhaedd sylw celfyddgar; yn cyffroi y meddwl i fywiogrwydd mwy, ac yn achosi arddangosiad pellach o'r galluoedd dëallawl; ac y mae y meddwl wedi ei gyffroi fel hyn, yn cael ei wthio i ffurfiad o feddyliau mwy anghyffredin, ac i fwy o anturiaeth wrth eu cyflawni.

"Yr wyf hefyd yn casglu fod gan y dylanwad hwn ganolbwynt pegynol, neu ffoc (*focus*), yn meddiannu cymeriad a chynneddfau pegwn trydanawl.

"Hefyd fod y dylanwad hwn yn gweithredu gyda gallu lleihâol, fel y mae yn pellhâu oddiwrth y ffoc; nid yw ei weithrediad mwyaf galluog yn cyrhaedd dros bum cant o filltiroedd, tra nad yw ond pur wan yn y pellder o fil o filltiroedd.

"Yr wyf yn barnu hefyd yn yr un modd, fod y pegwn neu'r ffoc hwn yn bresennol (O.C. 1847) yn gyflëedig yn y rhan ogleddol o'r ynys hon, yn agos i Gyfyngfôr Forth, yn Scotland; yn ymsymud yn nghyfeiriad Cyfyngfôr Solway, yn y cyflymder o bedair milltir y flwyddyn. Y mae yn awr yn ei dröad tua'r deheu, fel ag yn mhen ugain mlynedd ar ol hyn, neu yn y flwyddyn O.C. 1867, bydd wedi croesi y cyfwng rhwng y ddau gyfyngfôr hyny; pan y pery yn ei ymdaith tua'r deheu, hyd oni chwblhêir ei blygiad deheuol; ac yna efe a dry drachefn tua'r gogledd, gan adael nôd difeth ar gymeriad dëallol y bobl â'r rhai yr ymwel.

"Yr wyf yn meddwl hefyd ei bod yn debygol fod gan y pegwn hwn ei begwn cyferbyniol yn yr hanner-gylch deheuol; eithr rhaid fod ei gyflëad presennol yn Môr y Dê; y tir nesaf o unrhyw hynodrwydd ydyw Zealand Newydd, oddeutu saith cant o filltiroedd o bellder; yr hwn sydd yn rhy bell i gael ei gyffroi gan y dylanwad, oddieithr mewn gradd pur ysgafn."

Yna rhoddir darlun o Ewrop, Asia, ac Affrica. Y gwledydd a fuont unwaith, neu ydynt yn awr, yn wareiddiedig, a ddarlunir yn oleu; a'r rhelyw yn dywyll. Am y rhanau tywyll, dywedir na ddarfu iddynt erioed gyrhaedd enwogrwydd: ac am y rhanau goleu, ceir fod y dylanwad yn tramwy ar hyd-ddynt yn ol y cyfartalwch o un gradd mewn deuddeg-a-thriugain o flyneddau, gan ddechreu yn y flwyddyn C.C. 2247, a mesur o ganol Mor Persia. Ond nid oes yma ddim son eto am y byd newydd. Onid yw y gallu hwn, pa beth bynag ydyw, i'w weled yn gweithredu gyda nerth a bywiogrwydd mawr yn America, lle nad yw y Cyffrawd wedi cyrhaedd? Mewn ffordd o atebiad i'r gwrthddadl hwn cawn y sylwadau canlynol:—

"Eithr fe'm hysbysir, mewn atebiad i'r gosodiad hwn, fod gwareiddiad ac anturiaeth yn bodoli mewn gwledydd eraill, y rhai nad ydynt o fewn y gwregys hwn; a rhoddir America er esiampl. I hyn yr wyf yn ateb, nad yw yr un o'r nodebau hyn, y rhai a ellir eu canfod yn America, o dwf naturiol; ni ddangosodd y cynfrodorion hwynt erioed; y mae y Cyffrawd i gyd yn cael ei ddwyn i mewn o Brydain; a chyhyd ag y pery y fam-wlad dan y dylanwad hwn, ac y pery yr adgyflenwad, fe fodola yr ysbryd yn America, fel ag y gwna yn Calcutta, Hong Kong, a Sidney; eithr pan fydd y crwydr-wib gwefr-dynol wedi gadael yr Ynysoedd Prydeinig a suddo yn Môr y Werydd, a'r ynysoedd hyny wedi llithro i sefyllfa o ddifrawder, yna fe â cynhyrfiad America i gyffelyb sefyllfa o ddifrawder; ac a bery felly, oni aflonyddir hi gan ryw gyffro ag sydd yn anadnabyddus hyd yn hyn, hyd oni thiria y gallu cynhyrfiol ei hunan ar gyffin ddwyreiniol Labrador, ar ol yspaid o ddwy fil o flyneddau, os pery y byd cyhyd a hyny.

"Gellir cymhwyso yr un sylw at bob gwlad trwy 'r byd; nid yw yr hynodeb rhaggrybwylledig i'w ganfod ymhlith unrhyw bobl, oddieithr disgynyddion y rhai a anwyd o fewn y gwregys hwn. Ac nid yw y Cyffrawd yn gyfranadwy ond drwy drosglwyddiad tref-tadawl. Ni bu y Prydeiniaid erioed yn alluog i'w gyfranu i gynfrodorion America, India, nac Australia, na'r Dutch i'r Hottentotiaid, a'r Caffiriaid,

"Ac nid yw y blaenoriaeth deallawl hwn yn rhagorfraint unrhyw genedl neilltuol. Y mae yn bresennol yn meddiant pobl y rhan ogleddol o Ewrop, y rhai a elwir y genedl Indo-Ewropaidd, neu Caucasiaid; eithr nid yw y cangenau Asiaidd o'r un tylwyth yn gwybod am ei fodolaeth, er eu bod wedi ei feddiannu unwaith; ymhlith y rhai, gallwn nodi trigolion Georgia er esiampl, y rhai a dybir y rhan mwyaf digymysg o'r tylwyth Caucasaidd, ac yn arddangos y rhagbrawf mwyaf perffaith o'r llun dynol; o'r hyn lleiaf y mae y benglog Georgiaidd yn cael ei chyfrif dan y cymeriad hwnw gan Blumenbach, â'r hwn y cyttuna llawer o ddifynwyr enwog eraill; ac eto nid yw y Georgiaid hyn ag sydd wedi eu breintio mor fawr, gyda golwg ar fanteision deallawl, ronyn uwchlaw y Mongoliaid cymydogaethol, penglogau afluniaidd pa rai sydd yn cael eu rhoddi ochr yn ochr â'u rhai hwy mewn cyferbyniad iddynt. Y mae yn ymddangos yn wirionedd fod y Georgiaid yn gystal a llawer o gangenau digymysg eraill o'r tylwyth Caucasaidd, wedi bod yn rhy hir heb fod dan effeithiau y dylanwad bywiog hwn, fel na ddarfu cyfluniedddrwydd eu penglogau leshâu dim iddynt."

Dyma ergyd nerthol ar ben y gyfundraith benglogaidd hono a elwir *penglogiaeth*. O barth yr hyn a ddywedir yn y dyfyniad uchod am Unol Daleithiau yr America, cawn wneyd sylw neu ddau pan ddeuwn at ein gwrthddadleuon. Ond y mae Mr. Price yn myned ymlaen i roddi awgrym am yr achos paham nad yw dylanwad y Cyffrawd yn tramwy rhagddo mewn llinell union; a dyma, efallai, un o'r rhanau mwyaf cywrain yn yr holl lyfr. Yn ol ei ddesgrifiad ef, y mae llwybr y Cyffrawd yn fwy dolenog na'r Afon Meander. Er fod ei ysgogiad ar y cyfan tua'r gogledd-orllewin, eto ymddengys fod rhyw allu arall, unwaith mewn oddeutu 930 o flyneddau, yn ei dynu tua'r gogledd. Ond beth yw y gallu sydd yn cynnyrchu yr effaith hwn? Nid yw Mr. Price yn llefaru yn benderfynol iawn ar y mater, ond y mae yn cynnyg tybiaeth y dichon iddo fod yn ddim amgen na'r yni hwnw sydd yn treiddio trwy bob corff, sef gwefrdyniant. Y mae yn hysbys nad yw y pegwn gwefr-dynol yn un â phegwn y ddaear, ac nad yw yn sefydlog mewn un man, ond ei fod yn troi yn gyfnodol oddeutu pegwn y ddaear. Cymerir yn ganiatâol yn y llyfr hwn ei fod yn cyflawni y cylchdro hwnw mewn 930 o flyneddau. Anhawdd yw profi nad yw yr amser hwn yn gywir; oblegid, er fod rhai yn ei gyfrif rywfaint yn llai, nid oes neb yn medru llefaru gyda llawer o sicrwydd. Ond er nad yw y pegwn gwefr-dynol yn yr un lle a phegwn y ddaear, y mae yn nes ato o lawer na'r Cyffrawd: a phan fyddo y pegwn gwefr-dynol yn dygwydd bod yr un ochr i'r ddaear a'r Cyffrawd, y mae yn ei dynu tua'r gogledd; ond pan fyddo, yn ei gylchdro, yn cilio tua'r ochr arall, y mae y Cyffrawd yn dilyn ei duedd naturiol. Gellid meddwl fod tyniad y duedd naturiol hon tua'r cyhydedd, neu yn hytrach tua'r de-orllewin: ond wrth gymeryd holl ysgogiad y Cyffrawd yn y cyfanswm, rhaid ystyried ei lwybr fel yn gorwedd rhwng y ddau gyfeiriad, yn ogledd-orllewinol. Ond gadawn i Mr. Price lefaru drosto ei hun:—

"Yr wyf yn dychymygu fod y pegwn gwefr-dynol yn troi o gylch y pegwn daearol, mewn cylch-dro mwy neu lai afreolaidd, ac i orphen ei gylchdroad mewn oddeutu 930 o flyneddau.

Fod y cyffrawd, neu y dylanwad cynhyrfus yn cael ei ad-dynu tua'r gogledd, bob tro y mae y pegwn gwefr-dynol yn nesâu ato; a phan y mae y pegwn gwefr-dynol yn encilio tua'r rhan bellaf o'i gylch-dro, y mae y llall yn tynu tua'r cyhydedd."

Yn y dyfyniad a ganlyn cawn ddesgrifiad manwl o lwybr y Cyffrawd yn ei holl droiadau. Buddiol fyddai i'r darllenydd gyfeirio at yr enwau a nodir yma mewn map; ac yna, pa un bynag a fydd yn cydsynio â'r awdur ai peidio, bydd y darlleniad yn wers dda iddo mewn hanesyddiaeth ac hefyd mewn daearyddiaeth.

"Nid ydym yn canfod ond ychydig grybwylliadau am lywodraeth ddwyreiniol yn flaenorol i'r unfed-ganrif-ar-ddeg. Rhaid fod y byd am rai cenedlaethau wedi y gwahaniad yn Babel wedi bod yn bur deneu o bobl. Y mae yn ymddangos fod ysbryd ymfudiad wedi bod mor gyffredinol yn y prifnod hwnw, fel y rhaid fod ceulanau yr Euphrates wedi eu hanmhoblogi agos, a rhaid fod ymherodraeth Nimrod, yr hon unwaith a gynnwysai holl ddynolryw, wedi ymollwng o eisieu deiliaid. Y mae Syr Isaac Newton, er profi anamlder y trigolion yn y gwledydd hyn, yn traethu y ffaith o fod Abraham, gyda 318 o ddynion o'i dylwyth ei hun, ac heb ond ychydig help mae'n debyg, wedi gorchfygu pedwar brenin cydbleidiol. Mae ef hefyd yn dangos, fod yn rhaid fod yr Aipht, dair canrif yn ddiweddarach, yn bur deneu ei phobl, fel y mae Pharao yn dywedyd, "Y mae pobl plant Israel yn amlach, ac yn gryfach, na nyni;" a hyn pan na allai yr Israeliaid fod gan mwyaf uwchlaw hanner miliwn. Nid yw yn rhyfeddod, gan hyny, ein bod heb glywed am fodolaeth unrhyw ymherodraeth fawr mewn gwledydd ag oedd mor anmhoblog. Canys er fod y dylanwad cynhyrfus, testun y traethiad presennol, yn ei dramwyfa dros wledydd eraill, wedi deffroi ysbryd o anturiaeth, trefniad, a goruchafiaeth, ac er ei fod wedi cymeryd y rhan Asiaidd hon o'r ddaear yn ei lwybr, eto ni allai gynnyrchu y cyfryw effeithiau, o achos ei fod yn traws-deithio anialwch.

"Eithr yn ystod yr unfed-ganrif-ar-ddeg, C.C. y mae y dylanwad, wedi iddo redeg ar hyd ymylau tiriogaethau Tyrus, yn myned i rai Palestina, gan ddeffroi galluoedd y bobl; ac y mae yn dyfod yn weithredydd effeithiol trwy wir-gyflawni y rhagoroldeb cenedlaethol a ragddywedwyd er ys cyhyd o amser, a sefydlu y llywodraeth addawedig o'r canoldir i'r Euphrates.

"O Palestina, y mae y dylanwad yn myned i'r Aipht, ac y mae y freniniaeth hono yn dyfod mor gref dan Amon, a hefyd dan ei fab Sesac, fel y mae Syr Isaac Newton yn siarad am dani fel "Ymherodraeth fawr yr Aipht." Eithr nid yw yn aros yn hir yn y sefyllfa hon o allu, canys, yn ol yr un awdur, y mae yn tori yn ddarnau yn 944 cyn Crist.

"O'r Aipht y mae y dylanwad ymherodrol yn cymeryd ei ffordd i'r canoldir, ac fel y mae yn cylchdeithio yr *Archipelago* yn ei yrfa tua'r gogledd, y mae yn gweithredu ei allu ar gyffiniau *Groeg;* gan gyfranu ysbryd cyffroad i'r gwahanol wladwriaethau, fel y mae yn nesâu atynt. Yn gyntaf oll, y mae *Sparta* yn cael ei chynhyrfu, yna *Athens*, a *Thebes*, yna *Macedonia;* pob un o honynt yn olynol yn arddangos rhagoroldeb cenedlaethol; eithr nid cynt y sefydlodd y bywyn ei hun yn gyflawn yn *Macedonia*, nag y mae y wlad yn cyfodi i fynu mewn agwedd ymherodrol, ac yn dyfod yn feddiannol ar lywodraeth gyffredinol.

"Eithr yn mhen ychydig flyneddau y mae y dylanwad yn gadael Macedonia, ac yn ymweled â'r cenedloedd barbaraidd tua'r gogledd, ac yn ebrwydd y mae yr ymherodraeth Facedoniaidd yn syrthio yn ddarnau, ac y mae y cenedloedd barbaraidd hyny yn cael eu cynhyrfu; y mae y *Gauliaid* yn dylifo i lawr ar Groeg, ac yn ei hanrheithio heb unrhyw rwystr. Ac nid ydynt yn gadael y wlad hono mewn canlyniad i orchfygiad neu wrthwynebiad, eithr yn wirfoddol, trwy gael eu cyffroi gan eu daliadau coel-grefyddol eu hunain.

"Yn fuan wedi hyn y mae y dylanwad yn myned ymaith i'r Adriatic; yna y mae Groeg yn dyfod yn diriogaeth i Rufain, ac nid yw byth yn ychwaneg yn cyfodi ei phen.

"Mewn ychydig amser y mae y dylanwad yn cyrhaedd tuedd yr *Ital*, ac y mae y wlad hono yn ebrwydd yn cydnabod ei allu, ac yn cymeryd llywodraeth ymherodrol; yr hyn y mae yn dal ei gafael ynddo cyhyd ag y mae yn cael ei theithio gan y Cyffrawd, fel Groeg ei rhagredegydd; ac yna, fel hithau, y mae yn cael ei difrodi gan farbariaid. Canys cygynted ag y mae y dylanwad yn gadael y tir, ac yn cael ei gyfleu yn y mor, y mae yr ymherodraeth yn dechreu gogwyddo; a chyn hir y mae Rhufain yn cael ei chymeryd gan Alaric, y wlad wedi ei llenwi gan y Gothiaid, a'r gallu ymherodrol wedi ei ddiffodd.

"Y mae y dylanwad wedi hyny yn myned ymlaen i Lombardy, yr hon y mae yn ei chroesi yn gyflym; eithr er hyny nid heb ei effeithiau; fel y mae y Lombardiaid yn dyfod o sefyllfa barbaraidd, i fod yn waraidd a dylanwadol.

"Eithr nid yw goruchafiaeth Lombardy yn parhau yn hir. Y mae y dylanwad yn gadael y wlad yn fuan ac yn myned i diriogaeth y Ffrancod; pan y mae llwyddiant y Lombardiaid yn gogwyddo, a'r Ffrancod yn dyfod i reoli. Y mae Charles Martel yn cyfodi gyda nerth cawr, a chyn hir y mae y gallu ymherodrol yn nwylaw ei ŵyr Charlemagne.

"Pa fodd bynag nid yw y gallu hwn ond o barhad byr. Y mae y dylanwad yn myned ymaith, ac yn suddo yn y canoldir, pan y mae yr ymherodraeth Ffrancaidd yn ymollwng yn ebrwydd, a Ffrainc, fel ei rhagflaenyddion Ital a Groeg, yn cael ei difrodi gan farbariaid, y *Normaniaid*, a'u gorchfygu mewn effaith. Tra y mae y dylanwad hwn yn teithio y mor, cyfnod o bum canrif agos, y mae Ffrainc mewn sefyllfa o annhrefn a gwendid; wedi cael ei gwarchae a'i gorchfygu dair gwaith, unwaith gan y Normaniaid, a dwywaith gan y Saeson. Eithr yn mhen amser, y mae y Cyffrawd yn ymweled â'r wlad drachefn, ac y mae trefn yn dychwelyd, gyda grym cenedlaethol. Y mae y Saeson yn cael eu troi ymaith, ac y mae Ffrainc yn helaethu ei therfynau.

"Er hyny nid yw y dylanwad cynhyrfus yn gwneyd ond arosiad bŷr yn Ffrainc. Y mae yn myned yn gyflym dros y wlad, gan gymeryd cyfeiriad Môr y Gogledd; ac fel y mae yn agosau at gyffin y Saeson oddeutu diwedd y bymthegfed ganrif, gellir tybied iddo gyfranu rhyw gyffroad bendithiol, yn arwain i iawn-drefn a chyfluniad gallu, ac fel hyn yn terfynu rhyfel trychinebus y Rhosynau, y rhai oeddynt wedi difrodi y wlad mor hir. Eto nid yw yn cyffwrdd â thir Prydain y pryd hwn, ac y mae yn fuan yn encilio oddiwrth ei chyffin tua'r gogledd; ac ychydig yn flaenorol i'r flwyddyn O. C. 1657, (trwy gael ei dynu gan y pegwn gwefr-dynol, fel yr wyf fi yn barnu, i'r gogledd o Lundain y flwyddyn hono) y mae yn cyrhaedd ei bellder mwyaf oddiwrth yr ynys hon, ac yn cael ei gyfleu yn Môr y Gogledd; ac oddeutu yr amser yma yr ydym yn canfod y deyrnas mewn sefyllfa o annhrefnusrwydd, yr unbenaeth wedi ei dymchwelyd, a'r wlad yn dyoddef oddiwrth ryfel cartrefol.

"Drachefn y mae y gallu trefnusol a chyfuniadol yn tueddu tua'r ynys hon, ac oddeutu O. C. 1800, y mae yn tirio ynddi, ar yr ochr ogledd-ddwyreiniol o Scotland; ac oddeutu yr amser hwn y mae Prydain yn dechreu cymeryd ei sefyllfa bresennol mewn rhagoriaeth cenedlaethol; ac y mae trigolion y rhan hono o'r wlad yn arddangos sefyllfa berffeithiach o gynnydd deallawl na rhai y rhan ddeheuol o Brydain.

Y mae y dylanwad yn myned ymlaen ar hyd gyffiniau Scotland am lawer o flynedd-au yn olynol; ac yn awr O. C. 1847, prin y mae wedi myned dros yr hydred o dair o raddau i'r gorllewin; ac ni all fod wedi teithio ymhell i'r deheu oddiwrth yr afon Forth."

Yn awr, pa beth a ddywedwn am y gyfundraeth newydd hon? Ei bod yn brawf o feddwl athrylithgar sydd anwadadwy. Nid dyn cyffredin fuasai yn medru ei dyfeisio. Nis gallwn weled ychwaith ei bod yn peryglu moes-oldeb a chrefydd, trwy ddinystrio y teimlad o gyfrifoldeb. Yr hyn y dadl-euir drosto yw, fod rhyw allu anianyddol yn cynhyrfu, yn bywiogi, ac yn cadarnhau meddyliau y trigolion, heb benderfynu pa ddefnydd a wneir ganddynt o'r cyffröad hwnw. Rhaid i bawb addef fod deddfau anian yn effeithio llawer ar y meddwl tra yn y fuchedd hon; ac nid ydym yn sicr nad yw gwefr-dyniant, neu ryw allu mwy bywiol, yn dylanwadu gyda mwy o rym nag a dybir yn gyffredin ar gyrff dynion, a thrwy eu cyrff ar eu heneidiau. Fel prawf o hyn gellid crybwyll y darganfyddiadau a wnaed yn y blyneddau diweddaf gan y Mesmeriaid; honiadau y rhai, er nad ydynt oll yn deilwng o grediniaeth, eto ni haeddant y gwawd a deflir arnynt gan eu gwrthwynebwyr. Ond er ein bod fel hyn yn rhydd oddi-wrth bob rhagfarn yn erbyn cyfundraeth Mr. Price, ac oddiwrth bob an-mharodrwydd i'w chroesawu pe gwelem ei bod yn cydfyned â ffeithiau, y mae genym amryw resymau yn ei herbyn, i ba rai y mae yn anghenrheidiol i ni gael atebiad cyn y gallwn roddi iddi dderbyniad cyflawn.

1. Yn ol ei ddesgrifiad ef, nid yw y dylanwad yn cyrhaedd yr Ital hyd amser Iwl Caisar. Ond y mae yn ymddangos i ni fod y Rhufeiniaid wedi dangos yr yni mwyaf cyn hyny yn amser y werin-lywodraeth. Beth bynag y gellir edrych arno fel yn cyfansoddi gwir fawredd cenedl, yr ydym yn ei gael yn fwy blodeuog yn y werin-lywodraeth na than yr ymherawd-wyr. Ond pe caniatêid mai yn nyddiau Iwl Caisar a'i olynwr y cyrhaedd-odd Rhufain yr uchder mwyaf, y mae yn amlwg er hyny fod mwy o allu yn ofynol i ddringo i'r uchder hwnw nag i'w gadw ar ol ei gyrhaedd.

2. Y mae yn ammheüus i ni a ddylid gadael y Carthaginiaid allan. Ni ddangosodd neb erioed fwy o ddewrder a medrusrwydd na'r bobl hyny, yn enwedig yn amser Hannibal.

3. Yr ydym yn teimlo yn gryf iawn na ddylid cau allan y Saraceniaid; ac eto yn ol y gyfundraeth dan sylw, nis gallent gyfranogi o'r dylanwad yn y mesur lleiaf. Yr oeddynt unwaith yn feistriaid ar y byd, o'r Indus hyd at y Pyrenees. A chydnabyddir yn gyffredin mai iddynt hwy yn benaf y mae teyrnasoedd Ewrop yn ddyledus am eu gwareiddiad, a'u

gwybodaeth lëenyddol a chelfyddydol. Nid oedd y Ffrancod y pryd hyny, mewn cymhariaeth iddynt hwy, ond barbariaid; a dywedir nad oedd Charlemagne ei hun ond prin yn medru ysgrifenu ei enw. Ac eto, yn ol barn Mr. Price, yr oedd y dylanwad yn y cyfnod hwn ymhlith y Ffrancod, ac nid ymhlith y Saraceniaid. Gwir iddynt gael eu gorchfygu gan Charles Martel; ond methodd ef, a Charlemagne ar ol hyny, eu gyru o Ewrop. Ac nid ydym yn gweled fod buddugoliaeth Charles Martel yn profi fod y Ffrancod yn uwch na'r Saraceniaid mewn ymherodraeth a gwareiddiad, mwy nag yr oedd buddugoliaeth yr Affganiaid ychydig flyneddau yn ol yn profi eu bod hwy yn uwch na Lloegr.

4. Os bu rhyw Gyffrawd erioed yn tramwy dros ryw barthau o'r ddaear i gynhyrfu meddyliau dynion, y mae yn rhaid ei fod yn yr Almaen yn amser y Diwygiad Protestanaidd; ond yn ol darluniad Mr. Price, yr oedd y Cyffrawd y pryd hyny yn Ffrainc.

5. Nid ydym yn gwybod fod Lloegr wedi bod mewn un oes yn arddangos mwy o egni meddyliol, ac yn cynnyddu yn gyflymach mewn gallu ymherodraethol nag yn nyddiau Elizabeth a Cromwell. Dan eu teyrnasiad hwy yr ennillwyd rhai o'r buddugoliaethau mwyaf clodfawr, ac yr ysgrifenwyd y llyfrau campusaf a feddwn. Ac eto, myn Mr. Price i ni gredu fod y dylanwad yn cilio oddiwrth Loegr yn amser Elizabeth, a'i fod wedi cyrhaedd y pellder mwyaf oddiwrthi yn amser Cromwell, ac yna iddo droi yn ol a chyrhaedd y wlad hon yn 1800.

6. Yn ol y gyfundraeth hon, nid yw y dylanwad wedi bod yn agos i China na Rwssia. Er fod China wedi sefyll, ac megys wedi rhewi i fynu er ys llawer dydd, eto bu amser pan oedd yn rymusach ac yn fwy gwareiddiedig na'r un deyrnas arall. Ac am Rwssia, y mae eisoes yn annaturiol o fawr, ac y mae ei chynnydd beunyddiol yn peri i bawb synu. Os edrychir am y deyrnas sydd yn cynnyddu gyflymaf, cyfeiriwn at Rwssia; neu os dywedir fod yn rhaid cael un yn ei chyflawn faint, ac yn rhagori ar yr holl deyrnasoedd eraill, yna gellir ateb fod China wedi bod felly unwaith, er nad oedd dan effaith y dylanwad.

7. Nis gallwn ganfod cysondeb yn yr esboniad a roddir yma o barth Unol Daleithiau America. Dywedir fod eu llwyddiant hwy yn ddyledus i'w perthynas â Lloegr. Onid yw hyn yn gwneyd y dylanwad yn genedlaethol, yn lle (fel y dylai fod yn ol y dybiaeth) yn wladol a lleol?

8. Ond yr hyn sydd yn ymddangos i ni yn fwyaf annhebygol o'r cwbl yw y dyb y bydd y dylanwad yn cymeryd dwy fil o flyneddau i dramwy dros y môr i America. A yw Mr. Price yn barnu yr â y byd yn ol am gymaint a hyny o amser i dywyllwch y canol oesoedd? Braidd na ddywedem fod hyny yn annichonadwy, a bod y rheswm hwn yn ddigon, pe na bai dim arall, i wrthbrofi yr holl gyfundraeth.

Yr ydym yn cynnyg y sylwadau hyn gyda phob parch i Mr. Price, gan obeithio y cawn gyfarfod âg ef eto mewn maes helaethach. Nis gwyddom pa fodd y gall dreulio ei amser yn well na thrwy ei ddefnyddio i egluro yr *holl* achosion sydd wedi cydweithredu i ddwyn oddiamgylch wareiddiad y teulu dynol. Neu os mwy dewisol ganddo fyddo rhyw efrydiaeth arall, goddefed i ni grybwyll nad oes neb hyd yn hyn wedi ceisio gwneyd cyfiawnder â chenedl y Celtiaid yn ei holl gangenau, oddieithr y Ffrancwr, Thierry. Da fyddai genym weled Carnhuanawc yn cymeryd y gorchwyl hwn mewn llaw.

# GWIR A CHELWYDD.

*Gwir a chelwydd:*—cynnwysa y ddau air holl elfenau athronddysg foesol y grëadigaeth, a thynged dragywyddol ei holl fodau rhesymol. Gwaith hawdd ydyw eu cysylltu ynghyd yn un frawddeg â'r pin mewn ysgrifen, neu â'r tafod mewn ymadroddiad, ond fel elfenau moesol y mae gagendor mawr a thragywyddol rhyngddynt a'u gilydd. Gellir eu plethu gyda'u gilydd mewn tystiolaeth neu hanesyddiaeth, ond ni ellir byth wneyd y ddau yn un o ran natur a sylwedd. "Y ddau hyn a wrthwynebant eu gilydd." Dwy ffynnon ydynt, yn bwrw allan eu dyfroedd yn barhaus:—y dyfroedd sydd yn gosod holl beiriannau y byd meddyliol a chyfrifol i droi a gweithio. Dylifa o ffynnon celwydd yr holl ffrydiau heilltion, chwerwon, a gwenwynllyd, a daenant anrhaith, gwywdra, a dinystr drwy y byd, gan gludo pob peth a ddelo yn eu ffordd a than ddylanwad eu rhediad i'r môr marw. O ffynnon gwirionedd hithau y tardd dyfroedd croewon, peraidd, ac iachusol, y rhai a daenant adnewyddiad, ffrwythlonrwydd, a bywyd drwy bob lle y ffrydiant iddo. "Pob dim lle y delo yr afon hon fydd byw."

Celwydd gan hyny ydyw gwreiddyn holl ddrygau a thrueni daear ac uffern; a gwirionedd ydyw gwreiddyn pob daioni a rhinwedd a geir ar y ddaear ac yn y nefoedd. Celwydd ydyw pla, afiechyd, a marwolaeth ysbrydol y byd; a gwirionedd ydyw y wir a'r unig wrth-feddyginiaeth, a'r gobaith am fywyd ac adferiad y byd. Y mae y ddau mor wahanol yn eu tarddiad cyntaf ag ydynt yn eu nhatur a'u heffeithiau. Celwydd, o ddiafol y mae: efe yw ei dad a'i luniwr. "Pan yw (ef) yn dywedyd celwydd, o'i eiddo ei hun y mae yn dywedyd, am ei fod yn gelwyddog, ac yn dad iddo." Efe a ddyfeisiodd, a ddywedodd, ac a gyflawnodd y celwydd cyntaf erioed, ac a fu yn ddysgawdwr celwydd i ddyn. Nwyf trosglwydd o uffern ydyw. "O ddystryw y daeth, ac i ddystryw y mae yn myned." Gwirionedd, o Dduw y mae; efe yw tad y goleuni hwn. "Duw gwirionedd ac heb anwiredd" yw un o'i enwau. Arf gweithio satan yn y byd ydyw celwydd: ac arf gweithio Duw ydyw gwirionedd. Trwy gelwydd y llwyddodd y gelyn i daflu y byd o'i le i annhrefn a thrueni ar y cyntaf; a thrwy y gwirionedd y myn Duw ei adferu yn ol i drefn a dedwyddwch.

Rhydd gwreiddiau y geiryn Cymreig, *celwydd*, ddarnodiant teg o'r peth ei hun—sef, *cel, celu*, a *gwydd, celu o wydd*. Cuddio, neu attal mynegiad rhydd a gonest o ffaith neu ddygwyddiad adnabyddus i'r person y gelwir arno ddwyn tystiolaeth o honi, neu wadiad o'r cyfryw pan fydd amgylchiadau yn ei osod dan rwymedigaeth i'w chyhoeddi. Anwiredd—dywedyd yr hyn nad yw wirionedd neu sydd yn groes i'r ffaith adnabyddus i'r dyn o'r blaen. Nid yw yr hwn a ddywedo yr hyn a fyddo anwireddus mewn amryfusedd, drwy gael ei gamarwain, i'w ystyried yn anwir ei nodwedd neu i'w gyhuddo o fod yn gelwyddwr. Dywedai ef yr hyn a dybiai ar y pryd ydoedd wirionedd; yr hyn na fuasai yn ei ddyweyd pe gwybuasai yn amgen; ac na fynasai ar un cyfrif ddarfod iddo ei draethu wed iddo gael ar ddëall nad gwir ydoedd. Hwnw yw yr anwir a'r celwyddog

a wado wirionedd adnabyddus iddo, neu a ddywedo yr hyn a ŵyr ar y pryd nad yw y ffaith.

Gwirionedd—ni allwn feddwl am well darnodiad i'w roddi o hono na chymhwyso i'r dyben hwn un o ymadroddion Job wrth Bildad, "Pa fodd y cynghoraist ti yr annoeth, ac y mynegaist yn helaeth *y peth fel y mae*." Gwirionedd ydyw y peth fel y mae. Dywedyd y gwir ydyw mynegu yn helaeth, neu yn gyflawn, mor gyflawn ag y byddo gwybodaeth y tyst yn cyrhaedd, o'r peth fel y mae, heb ychwanegu dim, lleihau dim, na chyfnewid dim. Yn awr dyma y ddwy egwyddor fawr sydd yn ffurfio nodwedd a thynged y byd moesol neu ysbrydol. Ni bu erioed ac ni bydd byth ond y ddau ddosbarth hyn—plant y gwirionedd a phlant y celwydd—plant Duw a phlant diafol.

Caniatâer i ni drafod ychydig ar y ddau yn fwy neillduol, yn eu gwahanol ffurfiau a'u heffeithiau priodol. Yn gyntaf oll, edrycher ar gelwydd yn ei ddelweddion crefyddol. Na ryfeddwch, ddarllenyddion, o achos hyn, oblegid yn sicr i chwi y mae celwydd yn dra chrefyddol, yn fwy o lawer felly mewn un ystyr nag ydyw gwirionedd; oblegid lle nad oes gan wirionedd ond un trefniant o grefydd yn bod, y mae gan gelwydd liaws mawr iawn o honynt. Celwydd yn rhith neu ffurf crefydd, neu grefydd gelwyddog, yw y mwyaf enbyd a niweidiol o bob math ar ffurf o hono.

Y prif gyfundraethau o grefyddau celwyddog sydd yn y byd ydynt, Paganiaeth, Mahometaniaeth, Iuddewiaeth, a Phabyddiaeth. Dyma y pedwar bwystfil; y mae bwystfilod eraill o lai nerth a maintioli. Y gyntaf a nodwyd sydd yn dywedyd celwydd *am* Dduw; yr ail yn gelwyddog *ar* Dduw; y drydedd yn *ei wneyd ef yn gelwyddog;* a'r olaf yn cymeryd i mewn iddi ei hun gelwyddau y lleill oll. Dywed y flaenaf ei chelwydd mewn anwybodaeth, o ddiffyg meddwl ac ystyriaeth. Yr ail a blethodd ei chelwydd â cheinciau o wirionedd, mewn cyfrwysdra i gynllwyn i dwyllo, ac estynodd ei dylanwad ar filiynau o eneidiau ehud o ddyddiau ei dyfeisydd hyd y dydd heddyw. Y drydedd sydd gelwyddog oddiar ragfarn a gelyniaeth calon siomedig cenedl yn erbyn gwirionedd Duw; a'r bedwaredd yn gelwydd "mewn rhagrith a phob dichell anghyfiawnder."

Paganiaeth ynte sydd gelwyddog *am* Dduw, neu wrthddrych addoliad. Rhydd ei "ogoniant i arall, a'i fawl i ddelwau cerfiedig." Hi a ddywed "wrth bren, Ti yw fy nhad; ac wrth gareg, Ti a'm cenedlaist." Newidia "ogoniant yr anllygredig Dduw i gyffelybrwydd llun dyn llygredig, ac ehediaid, ac anifeiliaid pedwar-carnol, ac ymlusgiaid." Gesyd y crëadur yn lle y Crëawdwr ar orsedd mawrhydi, a chyflwyna addoliad a gwasanaeth crefyddol iddo. Gwna dduw o bob crëadur, o bob elfen a defnydd a welodd y llygad, neu y clywodd y glust am danynt; a thasga gyda hyny holl alluoedd dychymyg y meddwl i ddyfeisio a chwilio allan ffugiau i ychwanegu at y nifer, fel pe na buasai nifer digonol o wrthddrychau yn yr holl grëadigaeth i ddiwallu ei hawydd am dduwiau. Ac wedi tynu allan holl adnoddau dychymyg drachefn, hi a gyfyd allor arall, ac ysgrifena arni, "I'r Duw nid adwaenir;" fel y byddai ganddi un dros ben i ddim a welwyd, y clywyd, nag y gallwyd erioed ddychymygu ei fod! Caiff pawb a phob peth fod yn dduw gan y celwydd hwn, ond yr unig wir a bywiol Dduw ei hun. Dan ddallineb a thywyllwch y celwydd yma yr â yr eiddunwr (*votary*) truan, ac "y tyr iddo gedrwydd, ac y cymer y cypreswydden a'r dderwen, yr ymegnïa yn mysg prenau y coed; efe a blana onen, a'r

gwlaw a'i maetha—efe a gynneu dân, canys efe a gymer ran o honi, ac a ymdwymna; ïe, efe a boba fara; gwna hefyd dduw, ac a'i haddola; gwna ddelw gerfiedig, ac a ymgryma iddo. Rhan o hono a lysg efe yn tân; wrth ran o hono y bwyty gig, y rhostia rost, fel y diwaller ef; efe a ymdwymna hefyd, ac a ddywed, Aha, ymdwymnais, gwelais dân. A'r rhan arall yn dduw y gwna, yn ddelw gerfiedig iddo; efe a ymgryma iddo, ac a'i haddola, ac a weddïa arno, ac a ddywed, Gwared fi, canys fy nuw ydwyt. Ni wyddant, ac ni ddëallant, canys Duw a gauodd eu llygaid hwynt rhag gweled, a'u calonau rhag dëall.Ië, ni feddwl neb yn ei galon; ïe, nid oes wybodaeth na dëall i ddywedyd, Llosgais ran o hono yn tân, ac ar ei farwor y pobais fara, y rhostiais gig ac y bwytëais; ac a wnaf fi y rhan arall yn ffieidd-beth? a ymgrymaf fi i foncyff o bren? Ymborth ar ludw y mae, calon siomedig a'i gwyrdrôdd ef, fel na waredo ei enaid, ac na ddywedo, Onid oes gelwydd yn fy neheulaw?" *Esay* xliv. 14—20.

Ni ddichon dim fod yn fwy cynhyrfiol nac alaethus na'r desgrifiad ysbrydoledig hwn o eilunaddoliaeth, ac eilunaddolwr. Gwelwch yma grëadur rhesymol yn amlygu callineb, medr, a darbodaeth, er diwallu ei anghenrheidiau naturiol, ac ar yr un pryd yn amlygu yr ynfydrwydd a'r gwallgofrwydd eithaf yn ei ddarbodaeth gogyfer a'i anghenrheidiau ysbrydol. Y mae yn ddoeth ac yn ffwl, yn synwyrol ac yn ynfyd, ar yr un pryd! "Efe a gynneu dân," yr hyn ni allodd un crëadur direswm erioed eto ddysgu ei wneuthur; "efe a boba fara—rhostia gig, ymdwymna ac ymddigona," ac yna terfyna ei weithrediadau rhesymol. Fel crëadur moesol ac addolwr, efe a ymddyrysa yn mhob oferedd ac ynfydrwydd. Yr hwn a "bobai fara ac a rostiai gig," yn ddarpariaeth gyfaddas i anghenion ei natur anifeilaidd, a ddarpara ludw ar gyfer anghenion ysbrydol ei natur angelaidd! "Gwna ddelw gerfiedig" o'r pren y llosgasai ran o hono yn tân. Ymgryma ger bron y defnydd hwnw, y crasasai fara, y rhostiasai gig, ac yr ymdwymnasai wrth wres marwor peth o hono, gan ddywedyd wrtho, "Gwared fi, canys fy nuw ydwyt!" Ymarfera ei synwyr i feddwl a darbod yn briodol er twymno a digoni y corff; ond ni feddwl yn ei galon, nid oes ganddo wybodaeth na dëall i dynu y casgliad eglur a syml am ei ynfydrwydd yn y ddarpariaeth a wna i'w enaid, ac i weled ei fod yn cario celwydd yn ei ddeheulaw. Y mae yn agos i dair mil o flyneddau wedi myned heibio er pan dynwyd y desgrifiad hwn, ond ni wybu ac ni ddëallodd eilunaddolwyr y byd y pethau hyn hyd heddyw; ond ânt ymlaen o oes i oes, heb i neb feddwl yn ei galon.

Y nesaf ydyw Mahometaniaeth—celwydd y gau-brophwyd, ffrwyth dychymyg a dyfais y twyllwr Mahomet. Tadoga hwn holl freuddwydion ofergoelus y "Coran" ar Dduw, yn gystal a'r gwirioneddau hyny a gymerodd allan o'r Ysgrythyr Lân. Plethodd ran o wirionedd Duw gyda'i gelwydd ei hun, a phriodola y cwbl i Dduw fel dadguddiad a dderbyniodd oddiwrtho trwy yr angel Gabriel. Celwydd *ar* Dduw yw celwydd y gau-brophwyd. Dyma y cyhuddiad a ddygid yn erbyn gau-brophwydi Israel gynt, y rhai a ddywedent, "Fel hyn y dywed yr Arglwydd," ac yntau heb ddywedyd; "A'r Arglwydd a'm hanfonodd," ac yntau heb eu hanfon; llefaru eu breuddwydion eu hunain yn enw yr Arglwydd. Fel y mae Paganiaeth yn droseddiad o'r ddau orchymyn cyntaf o'r ddeddf foesol, y mae Mahometaniaeth hithau yn droseddiad o'r trydydd—yn cymeryd enw Duw yn ofer. Cydnabydda yr unig wir a bywiol Dduw, a gwahardda eilunod

ac eilunaddoliaeth. Gwna yr arddadganiad—"Yn enw Duw, nid oes ond un Duw," yn rhagarweiniad i'w holl ffugiau anferth a halogedig; a saif trefniant celwyddog y gau-brophwyd fel hyn trwy yr holl oesoedd yn gabldraeth ar y Goruchaf a Gabriel hefyd.

Y mae llawer o wledydd ëang a breision, ac o genedloedd cryfion a lliosog yn anrhaith ac yn wasarn dan draed y bwystfil hwn. Yn eu mysg y mae Palestina, yr hyfryd wlad. Gosododd y gau-brophwyd bebyll ei lŷs ar yr hyfryd fynydd sanctaidd. Y mae estyniad ei adenydd yn llonaid lled tir Emanuel. Meddiannodd y tir y bu y Gwirionedd ymgnawdoledig ei hun yn ei rodio, ac yn cyhoeddi gwirioneddau mawrion teyrnas nefoedd ar hyd-ddo. Saif temlau y twyllwr y dydd heddyw ar fynyddau Tabor a Hermon, Sïon a Chalfaria; a chenir ei foliant uwch ben y beddau lle y gorwedda llwch patriarchiaid, breninoedd, a phrophwydi yr Hen Destament! Trodd fel hyn y wlad dda odiaeth, y tywynodd Haul y Cyfiawnder ei hun arni, yn fagddu o dywyllwch ac yn drigfa pob aderyn aflan ac adgas. "Eto efe a ddaw hyd ei derfyn, ac ni bydd cynnorthwywr iddo."

Y nesaf a ddaw dan sylw ydyw Iuddewaeth; yr hon sydd "yn gwneuthur Duw yn gelwyddog" drwy wrthod "y dystiolaeth a dystiolaethodd efe am ei Fab." Y mae pob dyn sydd yn byw dan weinidogaeth yr efengyl yn anghrediniol yn gwneuthur yr un peth: y gwahaniaeth yw bod Iuddewaeth yn gwneuthur hyn mewn ffurf a phroffes. Am na ddaeth y Messiah yn ol dysgwyliadau cnawdol y genedl, gwrthodasant ef yn ngrym eu rhagfarn o blaid eu mympwy eu hunain, a'u gelyniaeth yn erbyn egwyddorion symlion ac ysbrydol ei deyrnas: ac y mae y gorchudd hwn o ragfarn a gelyniaeth yn aros ar eu calonau hyd y dydd hwn. Proffesant fawr barch i'r "gyfraith a roddwyd trwy Moses," ond dirmygant "y gras a'r gwirionedd a ddaeth trwy Iesu Grist." Proffesant grediniaeth i'r prophwydi, ond gwrthodant yr hwn y dug "yr holl brophwydi dystiolaeth iddo." Mawrygant yr Hen Destament fel gair Duw, ond dibrisiant y Newydd fel dyfeisiau twyllwyr. Gan mai y Newydd yw gwirionedd cyflawniad, a chyflawnder yr Hen, yr hwn sydd yn cyflawni oll yn oll, y mae Iuddewaeth, wrth anghredu y naill, yn gwneyd y llall yn gelwyddog. Rhaid i'r ddau sefyll neu syrthio gyda'u gilydd. Os na ymddangosodd y Messiah ar y ddaear yn yr amser a'r pryd y dywed y Testament Newydd iddo ymddangos yn mherson Iesu o Nazareth, yna fe geir yr Hen yn gau dyst i Dduw. Nid yw ei brophwydoliaethau am dano, ac amser ei ymddangosiad yn y byd, yn ddim amgen na phentwr o gelwyddau dwyfol! Ond, "nid posibl myned gair Duw yn ddirym"—"bydded Duw yn eirwir," ac Iuddewaeth yn gelwyddog.

Y bedwaredd freniniaeth gelwyddog ydyw yr un Rufeinig-Anghristaidd, yr hon sydd gyffelyb i'r pedwerydd bwystfil yn ngweledigaeth Daniel, yr hwn a ddynodai allu tymmorol Rhufain baganaidd—"yn ofnadwy iawn, a chryf ragorol, â dannedd haiarn ganddo." Yn wir, y mae yn rhan arbenigol o'r bwystfil hwnw, oblegid "y corn bychan a gododd yn mysg cyrn eraill y bwystfil ydyw, yr hwn yr oedd llygaid dyn ganddo a genau yn traethu mawrhydri." Llefara y genau hwn fawrhydri celwyddog y lleill oll, a mwy—rhuthra archoffeiriad y twyll "i deml Duw, eistedda yno gan ymddyrchafu goruwch pob peth a elwir yn dduw, neu a addolir, a dangos ei hun mai duw ydyw." Cymer arno gau ac agor nef ac uffern, a gweinyddu bendith a melldith wrth ei ewyllys. Yn y trefniant gorchestol hwn y

gwelir Paganiaeth, Mahometaniaeth, Iuddewaeth a Christionogaeth, wedi eu traws-gordeddu am eu gilydd. Y mae ganddo ddelwau ac eilunod paganiaeth, amryw o syniadau Mahometanaidd, traddodiadau a defodau Iuddewaidd, a rhyw fath ar Gristionogaeth. Ei offeiriaid a ddywedant "gelwydd mewn ragrith, gan fod eu cydwybod eu hunain wedi ei serio â haiarn poeth." Y mae egwyddorion y bwystfil hwn yn ysbryd celwyddog yn ngeneuau ei holl brophwydi, a'r lledrith yn myned allan trwy yr holl dir—yr hon sydd megys "ffrwyn yn ngenau y bobl oedd yn eu gyru ar gyfeiliorn."

Yn awr, gadewch i ni arafu a manylu ychydig mewn adolygiad ar yr hyn a draethwyd. Y mae yn wirionedd, nad all unrhyw drefniant o gelwydd noeth a digymysg sefyll i fynu nemawr iawn; syrthia i lawr yn garnedd wrth ei bwysau ei hun. Rhaid i gelwydd adeiladu ei gastell ar ryw wirionedd fel ei sail cyn y dichon iddo ddal i fynu. Ni wna dodi meini o wirionedd yma ac acw yn yr adeiladaeth y tro chwaith, os tywod o gelwydd fydd y sail. Y mae hyd yn nod paganiaeth ei hun yn seiliedig ar wirionedd—bod rhyw un i'w addoli, a bod dyn dan rwymedigaeth i addoli. Oddiar y syniad hwn y cyfyd pob cyflawniad a gwasanaeth o grefydd. Celwydd ydyw y maen cyntaf a esyd paganiaeth i lawr ar y sylfaen hon, drwy osod y creadur, neu ddelw o gerfiad celfyddyd a dychymyg dyn, yn dduw ac yn wrthddrych i gyflwyno ei haddoliad iddo. Y mae y gau-brophwyd yn cymeryd mwy o wirionedd i'w drefniant. "Nid oes ond un gwir a bywiol Dduw," medd ef; ac yn nesaf, ar y graig hon o wirionedd y dechreua adeiladu ei gelwydd, "A Mahomet yw ei brophwyd." Y mae gan Iuddewaeth wirionedd yn sail iddi, ond gwrthododd adeiladwyr hon y pen-conglfaen: ac am Babyddiaeth, y mae fel siaced Joseph yn fraith; gan fod celwydd a gwirionedd wedi eu cyd-wau trwyddi oll. Fel hyn ynte gall gwirionedd fod yn fantais i gelwydd, ie, mae rhyw gymaint o hono yn hanfodol i barhâd ei fodolaeth yn y ffurfiau a ddynodwyd: ond nid yw celwydd byth yn fantais i wirionedd.

Rhoddwyd un prawf mawr a hynod ger bron y byd o wirionedd ein gosodiad, na all un trefniant o gelwydd noethlyman sefyll i fynu, ond y syrthia bendramwnwgl i lawr, gan gladdu ei adeiladwyr yn ei adfeilion, yn chwyldroad ofnadwy Ffrainc. Dodwn grynodeb o'r amgylchiad yn ngeiriau awdur y traethawd Cymreig, ar "Grefydd Naturiol a Datguddiedig:"

"Addfedwyd Ffrainc i ymollwng i ddylanwad egwyddorion annuwiaeth mewn rhan drwy ysgrifeniadau Voltaire, a'i gymdeithion Rosseau, a D'Alembert, Helvetius, Raynas, ac eraill. Er y cydnebydd pawb ymron fod llawer o egwyddorion gwladwriaethol rhagorol yn ysgrifeniadau y gwyr hyny, eto yr oeddynt wedi eu cymysgu â hadau anffyddiaeth ac annuwiaeth, yn y fath fodd ag oedd yn tueddu i wneyd y wlad yn frwd-wely llygredigaeth a halogrwydd: ac i fagu casineb yn meddyliau dynion at bob math o grefydd a llywodraeth. A pheth arall, yr oedd y fath o Gristionogaeth, neu yn hytrach Anghristionogaeth, sef Pabyddiaeth, crefydd wladol y deyrnas, wedi bod yn iau haiarnaidd drom ac anesmwyth iawn ar ei gwar am lawer o amser: a chan na wyddent am well Cristionogaeth na'r hon oedd o dan yr enw yn eu poenydio hwy, yr oedd y bobl yn barod ddigon i ymwrthod â hi, ac i'w melldithio fel un o brif achosion eu trueni. Felly yn llygredigaeth Pabyddiaeth y magodd pryfaid a barasant y fath gnofeydd dychrynllyd yn ngholuddion y wlad annedwydd hono.

"Wedi bod o'r hadau a hauodd Voltaire a'i gymdeithion oddeutu deugain mlynedd yn gwreiddio, yn egino, yn tyfu, ac yn ffrwytho, drwy nerth y gwrtaith a roddai Pabyddiaeth iddynt, addfedasant o'r diwedd i'r cynhauaf mawr, yr hwn a ddechreuodd yn y flwyddyn 1789, pan dorodd y gwrthryfel byth-gofiadwy allan.

"Ar yr ugeinfed o Fedi, 1792, dyddymwyd llywodraeth frenïnol Ffrainc, a gosodwyd i fynu fath o werin-lywodraeth yn ei lle. Dienyddiwyd y brenin Louis XVI., ar yr unfed-ar-ddeg o Ragfyr yn yr un flwyddyn. Gwnaed cyfnewidiadau yn y llywodraeth yn yr haf canlynol, a dechreuodd gwahanol bleidiau ymryson â'u gilydd am yr awdurdod i'w dwylaw. Cododd amrywiol ddinasoedd a rhanau o'r deyrnas mewn gwrthryfel yn erbyn y llywodraeth, ond darostyngwyd hwy yn fuan; ac y mae yn debygol na all hanesyddiaeth y byd gyflwyno drych cyffelyb o greulondeb a dystryw mewn can lleied o amser. Yn y flwyddyn 1793, wele Ffrainc, megys llong hwyliog ar gychwyn i'w mordaith, yn codi ei hangorau, yn lledu ei hwyliau i'r gwynt, ac yn ymollwng i gefnfor tonog annuwiaeth, heb na llyw na chwmpas, na breinlen. Ymdroa ac ymsymuda fel meddwyn ar frig ei wanegau am ryw gymaint o amser, ac yn y diwedd tery yn erbyn craig, dirgryna Ewrop yn swn ei drylliant, a dynoliaeth ddychrynedig a ruddfana yn wylofus uwch ben ei dinystr!

"Yn y flwyddyn rag-grybwylledig gwnaed ryw gymysgedd o Baganiaeth, anffyddiaeth, ac annuwiaeth, yn anghenfiliaeth na fedd iaith enw cyfaddas i'w roddi arno, i fod yn sefydledig trwy gyfraith a deddf y gymanfa wladwriaethol, yn lle crefydd. Dyddymwyd y Sabboth Cristionogol, a gosodwyd un dydd o bob deg yn ei le yn ddydd o orphwysiad. * * *

"Gwnaeth y llywodraeth bob ymdrech dichonadwy i ddileu pob argraff grefyddol oddiar feddyliau y wlad. Gwnaed cyfraith i gladdu pob marw cyn pen wyth awr a deugain wedi ei drancedigaeth heb un math o ddefod neu wasanaeth ar yr achlysur. Yn y fynwent gosodid delw ar ddull cwsg: ar borth y fynwent dodid yr arysgrifen ganlynol:—"Cwsg tragywyddol yw marwolaeth."

"Yn lle y gwir Dduw," ac er dirmyg o bob math o grefydd, "gosodwyd i fynu dan enwau duwiau—Rhyddid, Rheswm, Natur, Cydraddoldeb, a'r cyffelyb. Perffeithiwyd y cwbl drwy gysegru gwyl i reswm, dan yr enw duwies. Ymofynwyd am buten wedi ei haiarneiddio mewn digywilydd-dra a drygioni i gynnrychioli duwies Rheswm! ac wedi ei gwisgo a'i haddurno yn y modd gwychaf, arweiniwyd hi mewn rhwysg a llawenydd i adeilad ardderchog a alwent Teml Rheswm, lle y cyflawnwyd amryw ddefodau addoliadol iddi! Felly dan yr enw Rheswm, cyflawnent bob math ar ynfydrwydd a gwallgofrwydd, y dychymygion ffolaf a ffieiddiaf a glybuwyd erioed son am danynt. "Ofer fuant yn eu rhesymau, a'u calon anneallus hwy a dwyllwyd." Chwyddodd llygredigaeth, a phob math ar halogedigaeth, annhrefn, a chreulondeb, fel dylif mawr dros y wlad, nes boddi a golchi ymaith bob gweddillion o rinwedd a gweddeidd-dra ag oeddynt i'w cael cyn hyny.

"Dilynwyd sefydliad y deddfau anwaraidd â chreulonderau, barbareidd-dra, a thywalltiad gwaed dynol, nad oes yn holl hanesyddiaeth y byd esiampl o'u cyffelyb. Gallesid meddwl bod holl gynddeiriogrwydd ac annhrefn uffern wedi cydymgyfarfod yn y wlad annedwydd hono.

"Parhaodd teyrnasiad dychryn *(reign of terror)*, fel y gelwid ef, am oddeutu tair blynedd."[1]

Fel hyn, os oedd Pabyddiaeth yn iau drom ar Ffrainc, profodd annuwiaeth yn drymach. Os cosbodd y flaenaf hi â ffrewyllau, cosbodd yr olaf hi âg ysgorpionau. Os oedd y bobl yn gruddfan am ymwared odditan iau crefydd lygredig, gruddfanent fwy am ymwared odditan rwymau iau trefniant o anghrefyddolder. Y mae hyny o wirioneddau sydd mewn Pabyddiaeth yn lleddfu cryn lawer ar ddylanwad y twyll a'r celwyddau sydd ynddi; y mae yn well na threfniant o gelwydd noeth yn ei pherthynas â'r bywyd hwn o leiaf, gan ei bod yn cadw cylchoedd cymdeithas heb ymddattod oddiwrth eu gilydd yn llwyr.

Elfen hunan-ddinystriol ynte yw celwydd. Pan y ceisier ei osod i fynu yn noeth ac ar ei ben ei hun, efe a syrth, ac a ddadymchwel y gymdeithas neu y wladwriaeth a'i gosodo felly. Dinystriai ddynoliaeth oddiar wyneb y ddaear yn llwyr ac yn fuan, fel y profa yr anghraifft ofnadwy a fu dan ein sylw.

Ond y mae cangen arall o'r mater y rhaid i ni ddychwelyd ati am fynyd. Dywedasom y rhaid i gelwydd adeiladu ei gastell ar ryw wirionedd fel ei

[1] "Crefydd Naturiol a Datguddiedig." Gan y Parch. W. Rees. Tudal. 186—189.

sail, cyn y dichon iddo ddal i fynu—na wna dodi meini o wirionedd yma ac acw y tro, os tywod o gelwydd fydd y sylfaen. Fel prawf eglurhaol o wirionedd ein haeriad olaf hwn, gallem gyfeirio at drefniant ein cydoeswr, ac fel y mae gwaethaf yr hap, ein cydwladwr hefyd, Mr. Robert Owen—yr hwn a addawai yn hyderus greu byd moesol newydd. Dodai ger ein bronau gynllun o'r greadigaeth foesol newydd hon, yn amlygu y dull a'r modd yr oedd y creawdwr yn myned ynghylch y gwaith. Gosodai i lawr yn sail, mai creadur amgylchiadau yn unig ydyw dyn. Dyma gelwydd yn sylfaen i ddechreu. Gosodai lawer o feini teg gwirionedd yn y cyfansoddiad, neu yr adeilad ar y sail hon. Wedi bod flyneddau lawer yn teithio yn ol ac ymlaen trwy yr hen fyd moesol, yn cyhoeddi fod diwedd pob peth wedi nesau, yn dangos cynllun a threfn y byd moesol newydd, ac yn addaw y greadigaeth ysplenydd allan o law; o'r diwedd cynnygiodd ei alluoedd crëedigol i weithrediad, drwy osod ei gynllun a'i egwyddorion mewn ymarferiad. Wele y creawdwr, Robert Owen, yn sefyll uwch ben y ceugant, ac yn myned i osod cylch ar wyneb y dyfnder, yn myned i dynu i lawr yr hen nefoedd a'r hen ddaear, ac i godi i fynu rai newydd yn eu lle! ceisia y crëwr truan osod i lawr y sylfeini, a dodi wrth eu gilydd elfenau cyfansawdd y byd newydd:—ond och! y seiliau a ddinystriwyd, a pha beth a wna Robert Owen? Llithrai gwadn yr adeilad, ac ni safai yr un darn wrth ei gilydd. Ceisia creawdwr y byd newydd daflu y bai ar greaduriaid yr hen fyd, sef nad oeddynt yn dëall ei gynllun a'i egwyddorion; ond ni phrofai hyny amgen na'i fethiant ef ei hun i greu goleuni. Siomwyd yr hen fyd yn hollol yn ei ddysgwyliadau am y newydd; ac y mae y creawdwr a'r creadur erbyn hyn na wyddis pa le, heb braidd air o son yn yr hen fyd am danynt. "Yntau hefyd a ddarfu am dano, a chynnifer oll a ufuddhasant iddo a wasgarwyd."

Y mae pob cais o eiddo tad y celwydd i godi teyrnas hollol annibynol o'i eiddo ei hun i fynu yn y byd, wedi troi allan yn aflwyddiannus. Rhaid iddo ladrata rhyw gymaint o wirionedd Duw, yn sail i osod ei gelwydd arno. Pa faint bynag o wirioneddau yr athrawiaeth sydd yn ol duwioldeb gyda hyny a gymysga âg athrawiaethau cythreuliaid, gofala y fferyllydd dichellgar am fod digon o wenwyn cythreulig twyll a chelwydd yn y trefniant, i wrthweithio dylanwad iachâol y cyfryw wirioneddau ar feddyliau y dysgyblion, fel y byddent yn sicr o droi yn angeu iddynt yn y diwedd.

Y trefniant Pabyddol yn ddïau yw y campusaf oll o ddyfeisiau y gelyn. Rhoddodd ei holl alluoedd mawrion ar eu llawn egni i gyfansoddi y peiriant ofnadwy hwn. Geilw gwirionedd dwyfol ef yn "weithrediad satan, gyda phob nerth ac arwyddion a rhyfeddodau gau—a phob dichell anghyfiawnder—y dyn pechod, mab y golledigaeth—yr anwir hwnw," &c. Wedi ymddangosiad "daioni a chariad (neu ddyngarwch) Duw ein Hachubwr tuag at ddyn," yn anfoniad ei Fab i'r byd, a sefydliad goruchwyliaeth a gweinidogaeth yr efengyl, buan yr ymddangosodd hefyd ddrygioni a dyngasedd diafol ein dinystrydd, yn nghyfodiad yr "anwir hwnw," er gwrthsefyll ac attal goleuni a dylanwad yr efengyl. Cynllunwaith i'r unig bwrpas a'r dyben hwn ydyw. Fel ag mai yn a thrwy yr efengyl y gwelodd Duw yn dda roddi i'r byd yr amlygiadau helaethaf erioed o'i gariad, ei ras a'i ddoethineb, felly yn y trefniant hwn a gododd i'r dyben o'i gwrthwynebu y dadguddiodd satan yntau ddyfnderau ei ddichell, ei falais, a'i gyfrwysdra; y penaf o ffyrdd satan ydyw. Y mae wedi ei ffurfio dan

enw Cristionogaeth a gwirionedd dwyfol anffaeledig—ar lun oen, ond ysbryd a lleferydd draig sydd iddo. Addefa fodolaeth Duw y nefoedd yn dri o bersonau fel gwirionedd sylfaenol: ond ceidw ef yn llonydd a thawel yn ei deml uchod; ac yn ei deml isod ar y ddaear, gesyd dduw arall i ymddyrchafu uwchlaw iddo, ac wrth wregys hwn y crogir holl agoriadau y byd hwn a'r byd a ddaw. Nid yw Duw y nefoedd i gael derbyn na mawl na gweddi oddiar y ddaear, ond yn ol meddwl ac ewyllys, ac yn y dull a'r ffurf a ddewisio y duw a eistedda yn y deml isod. Efe sydd i rwymo a dattod, maddeu a damnio, lladd a bywhau, bendithio a melldithio! Cydnebydd Grist yn Gyfryngwr, ond gesyd Mair uwchlaw iddo, a gwna gyfryngwyr o gynnifer o seintiau ag a glywodd am danynt, a seintia y neb a fyno, ac yn aml rai o'r duaf a'r ffieiddiaf eu nodweddau a halogasant y ddaear â'u presennoldeb! Y mae ganddo gyfiawnhâd i bechadur, ond y mae "ffydd yn ei waed Ef" yn cael ei chauad allan o hono, a gweithredoedd da yn cael eu dodi yn eu lle; ac ufudd-dod i'w ddeddfau a'i ddefodau ef a gyfansodda y gweithredoedd da hyny. Y mae ganddo aberth dros bechodau, ac iawn i Dduw, ond nid aberth Crist ydyw, ond yr offeren sacrament yr allor; yr hwn, medd ef, sydd yn aberth cymmodlawn dros y byw a'r meirw. Y mae ganddo athrawiaeth maddeuant pechodau, ond nid maddeuant rhad yn ol cyfoeth gras Duw yn Nghrist Iesu ydyw, ond yr hyn a werthir ganddo ef a'i offeiriaid am arian. Sonia am adenedigaeth a'r anghenrheidrwydd o honi, ond nid yr hon a weithredir gan yr Ysbryd Glan trwy air y gwirionedd ydyw, ond a weinyddir gan ei offeiriaid ef yn y bedydd. Addefa awdurdod ddwyfol yr Ysgrythyr Lan, ond gesyd awdurdod y pab uwchlaw iddi yn mhob peth, a bwria hi heibio yn ddirmygus, a gwna hi yn hollol ddirym â'i draddodiadau. Dyma, yn fyr, rai o gynneddfau Pabyddiaeth—dichellwaith satan er gwrthweithio dylanwad Cristionogaeth bur ac efengylaidd yn y byd. Hon yw gobaith olaf ei deyrnas ar y ddaear. Nid yw Paganiaeth, Mahometaniaeth, ac Iuddewaeth yn meddu dim ysbryd cenadol—ni chais satan ganddynt hwy ond dal eu tir gartref hyd y gallont. Ond gan weled fod yr ysbryd hwn yn elfen hanfodol yn mywyd Cristionogaeth efengylaidd, llanwodd yntau y gwrthdrefniant â'r cyffelyb; ac awdurdododd ei genadau i arfer pob math o dwyll, celwydd, gweniaith, cyfrwysdra, dichell, ïe, a'r cleddyf pan allant, i ledanu yr achos ar y ddaear, ac i sefyll yn erbyn y gwirionedd. Ac felly at ba lwyth a chenedl bynag yr ehedo yr angel sydd â'r efengyl dragywyddol ganddo, ymlusga y llyffaint hyn o'r pydew heb waelod, sef cenadau Pabyddiaeth, yno yn uniongyrchol i'w wrthwynebu.

Dyma yr amryfusedd cadarn a ddaliodd Ewrop oll am oesoedd lawer yn nghaethiwed ei lygredigaeth, ac sydd eto yn dal ei afaelion llymion ar feddyliau llawer o'i theyrnasoedd, ac yn eu poeni â phob aflwydd. Y mae yn y dyddiau hyn yn gwneuthur ymegnïadau gorchestol i adennill y tir a gollodd yn y Diwygiad Protestanaidd, ac yn gorfoleddu yn y gobaith cryf o lwyddiant ei anturiaethau i gwblhau yr amcan. Y mae ei "gelyn yn dyfod i mewn fel afon" i Brydain yn y blyneddau diweddaf hyn. Rhoddodd ei lefain yn nghelwrn blawd yr Eglwys Sefydledig, yr hwn sydd eisoes wedi suro llawer iawn o'i thoes. Estyna ei breichiau i gofleidio Cymru hithau i'w mynwes, a mawr yw ei hawydd am ddifodd y goleuni efengylaidd a lewyrcha ynddi. Mewn gair, Gelynes fawr a marwol yr efengyl yw Pabyddiaeth!

Gan ddarfod i ni ymdroi cyhyd gyda chelwydd dan wahanol ffurfiau

crefyddol, rhaid i ni fod yn gynnilach yn ein hymdriniaeth âg ef yn ei amrywiol ffurfiau eraill.

Yn llysoedd breninoedd y ddaear a chynghorau teyrnasoedd y mae wedi peri drygau a thrychinebau aneirif. "Os llywydd a wrendy ar gelwydd, ei holl weision a fyddant annuwiol;" ac os bydd gweinidogion llysoedd a llywodraethau yn annuwiol, odid fawr na orthrymir y deiliaid, oblegid "pan ddyrchafer yr annuwiol, dynion a ymguddia." Y mae tywysogion a phenaduriaid yn gyffredin yn cael eu hamgylchynu â chelwydd a thwyll yn holl amgylchiadau eu bywyd. Tywelltir ef i'w clustiau yn weniaith a ffalsedd gan y rhai a'u hamgylchynant o'u mebyd i fynu. Meithrinir hwy dan y dylanwad i dybied eu hunain megys rhyw fodau goruwchddynol, a'u bod o anghenrheidrwydd yn ddoethach a rhagorach na phawb arall: wedi eu geni i lywodraethu, dysgir hwy i feddwl mai eu hewyllysiau eu hunain sydd i fod yn ddeddf a rhëol iddynt hwy a'u deiliaid oll: ac nad yw y deiliaid ond crëaduriaid wedi eu hanfon i'r byd i'r unig bwrpas iddynt hwy eu marchogaeth. Yn ol y dyb hon yr ymddygant yn mhob man lle y mae ffurf y llywodraeth yn unbenol; ac y mae y ffurf hono yn gorfforiad a delweddiad o'r celwydd ynddi ei hun. Yn y gwledydd hyny, y neb a fyno y penadur a ladda, a'r neb a fyno a gcidw yn fyw. Dengys benaduriaid yn gyffredinol lawer o'r ysbryd hwn, ond ffrwynir ac attelir ei weithrediadau i raddau mwy neu lai lle mae llais gan y bobl yn ffurfiad a gweinyddiad y cyfreithiau. Am yr hawl gyfiawn hon, y mae gwledydd Ewrop, ag ydynt er ys oesoedd yn amddifad o honi, yn gruddfan ac yn ymegnïo y dyddiau presennol hyn. Y mae deiliaid Prwssia newydd lwyddo i ennill cyfansoddiad newydd o ffurflywodraeth gan eu brenin, yn yr hon y cydnabyddir eu hawlfraint i roddi llais yn ffurfiad y deddfau. Cawsant y peth mawr i ben heb derfysg na thywallt gwaed; drwy ddygwydd fod y brenin yn ddyn synwyrlawn a doeth. Naples, Tuscani, a Sardinia, Itali, a theyrnasoedd eraill, ydynt oll yn ferw o anesmwythder, ac o hyd yn bwgwth ysgwyd ymaith y gorseddfêydd hyny, o eisieu yr un peth. Y mae dyddiau y dull anwireddus hwn o lywodraethu dynion yn ymddangos fel ar ben. Y mae ysbryd yn ymddeffroi ac yn ymweithio drwy holl Ewrop, na chwsg, ac na lonydda mwyach nes y'i dymchwelir ef: ond dichon y bydd yr ymdrech yn faith yn gystal ag yn un galed. Y mae y penaduriaid yn y gwledydd hyn yn ymgynghreirio â'u gilydd, ac yn dirgel ymgynghori, er cadarnhau a pharhau iau celwydd ar warau eu deiliaid, ac yn edrych gyda llygaid digofus ar bob symudiad o eiddo goleuni gwybodaeth a rhyddid yn mysg eu pobl. Edryched y gorseddfeinciau sydd yn seiliedig ar dwyll a chelwydd ati. Y mae llynclyn y farn a'r teimlad cyffredin yn agor ei safn yn anferth odditanynt. Celwydd yn y ffurf dan sylw, ydyw melldith fawr wladwriaethol teyrnasoedd y cyfandir. Drachefn, lle na byddo y llywodraeth fel hyn yn gelwyddog yn ei hegwyddor wreiddiol, ond yn hanfodi mewn ffurf o gyfansoddiad a rydd lais i'r bobl yn ffurfiad y cyfreithiau y maent i fyw danynt, medr celwydd a thwyll ddyfod i mewn. Edrycher arno yn yr etholiadau cyffredinol yn ein gwlad ein hunain. Yr adegau hyn yw cynauafau mawrion celwydd yn y tir. Yma y gelwir ei holl alluoedd i weithrediad cyffredinol—yr agorir ffynnonau y dyfnder mawr, nes y chwydda fel dylif dros y wlad. Gesyd yr ymgeiswyr am aelodaeth yn y senedd (yn gyffredin) ei holl beiriannau ar waith; dygir holl rym ei ddylanwad yn mhob ffurf i orwedd ar yr etholwyr, mewn

bygythion, addewidion, gwasgu, denu; arferir pob ystryw a dyfais i halogi cydwybodau a llygru moesau dynion, gan yr ymgeiswyr a'u goruchwylwyr. A dyma y dynion wedi y cwbl a fedrant gwyno yn ddefosionol iawn yn ein senedd-dŷ, o herwydd iselder moesau a bucheddau y werin, ac a ddadleuant, dan rith ocheneidio, am yr anghenrheidrwydd anhebgorol i'r llywodraeth gymeryd addysg y wladwriaeth dan ei sylw, a threfnu ysgolion i'r dyben o wella a choethi moesau ac arferion y bobl—y bobl ag yr oeddynt hwy newydd fod yn eu gwasgu, ac yn eu denu â llwgr-wobrwyon i fradychu uniondeb a gonestrwydd! Pa ryfedd os llifeiria deddfau anwir allan o'r fath senedd, "i ymchwelyd y tlodion oddiwrth farn, ac i ddwyn barn anghenogion y bobl." Pa ryfedd os bydd gwirionedd yn methu dyfod i mewn i'r fath gynghor, ac os bydd holl weinyddiad y llywodraeth yn unochrog a phleidiol. Cyhyd y bu y gwirionedd am y gaethfasnach anwir a melldigedig yn curo wrth ddrws ein llywodraeth! Pa mor faith y bu y gwirionedd am iawnderau a rhyddid y caethion truain yn ein trefedigaethau yn erfyn am wrandawiad ganddi! Y fath waith caled a gafodd uniondeb a gwirionedd gyda golwg ar ysgrif y Diwygiad Seneddol—dyddymiad deddfau prawf a bwrdeisiaeth—i ymwthio i mewn—ac yn ddiweddaf oll, y fath ymdrech orchestol a fu raid i'r gwirionedd ynghylch Deddfau yr Yd a gorfaelaeth wneuthur cyn ennill ei bwnc yno! Sefydlid yr holl ddeddfau celwyddog hyny yn llawer haws nag y dyddymwyd hwy. Yr oedd ganddynt liaws o bleidwyr a ymdrechent hyd angeu ymron o'u plaid, o'r cyfryw ag oeddynt yn elwa ac yn manteisio oddiwrthynt, ac na phrisient ddim fod miloedd a miliynau o'u cydgreaduriaid yn gruddfan dan y gwasgfeuon a achosent iddynt. Egwyddorion celwyddog oedd i'r deddfau hyny, a llawer eraill sydd eto yn aros, ac â chelwydd yr amddiffynid hwy; dadleuon celwyddog oedd raid arfer i'w pleidio.

Eistedda celwydd yn fynych hefyd ar y fainc yn llys cyfiawnder. "Hefyd mi a welais dan yr haul le barn, yno yr oedd annuwioldeb; a lle cyfiawnder, yno yr oedd anwiredd;" un farn i'r cyfoethog, ag un arall i'r tlawd. Pan y mae barnwyr gwlad wedi myned mor isel a llygredig ag y derbyniont wobr er gwyro barn yn llys cyfiawnder, pan y mae celwydd wedi gwneuthur ei eisteddle ar y frawdle fel barnwr, y mae yr holl gyfansoddiad wedi myned yn fraenllyd a phwdr, ac ar ymollwng oddiwrth ei gilydd. Yr oedd barnwyr Israel wedi myned yn nodedig yn hyn cyn dymchweliad y wladwriaeth a'u caethgludiad i Babilon. Rhydd hanesyddiaeth yr hen oesoedd anghreifftiau nodedig o amrywiol wladwriaethau enwog, ag oeddynt yn nodedig ofalus a manwl am weinyddiad uniawn a theg o'r cyfreithiau, ac na byddai i un o'r deiliaid beth bynag a fyddai ei sefyllfa gael cam yn ei fater yn llys barn; gweinyddid y cosbau llymaf ar farnwyr a geid yn euog o dderbyn gwobr er gwyro barn. Yn yr amserau hyny yr oeddynt yn llwyddiannus a chedyrn gartref, ac yn wrthddrychau ofn a pharch yr holl wledydd o'u hamgylch. Ond pan y dirywient ac y collent y nodwedd hwn, buan iawn yr ymddattodent ac yr ymollyngent i ddinystr. Arwydd sicr fod darfodedigaeth derfynol wedi ymaflyd yn rhanau bywydol gwladwriaeth ydyw fod gwirionedd a chyfiawnder wedi syrthio ar lawr yn ei brawdleoedd. Y mae yn hyfryd genym gydnabod bod nodwedd y fainc ynadol yn uchel ac anrhydeddus iawn ar y cyfan yn Brydain Fawr. Ni ellir dywedyd, trwy drugaredd, bod ei barnwyr "yn fleiddiau yr hwyr," yn rhoddi "barn er gwobr." Saif eu cymeriad uwch-

law ammheuaeth yn y cyffredin am onestrwydd a thegwch. Esboniant y gyfraith yn onest a diduedd yn ol eu golygiadau cydwybodol arni, a gweinyddant ei chosbau hefyd yn anmhleidiol, fel mai yn anaml iawn yr achwynir arnynt. Bod deddfau anwir eto yn aros ar ein deddflyfr sydd wir dilys; ond bai ein deddf-wneuthurwyr, ac nid ein deddf-weinyddwyr, ydyw hyny. Y maent hwy dan rwymau i weinyddu deddfau y wlad fel y maent, ac nid oes ganddynt awdurdod i'w newid na'u hysgoi, pe mynent. Ond er hyn, daw anwiredd i mewn i'n llysoedd fel afon, a gwenwyna weinyddiad y gyfraith ynddynt yn aml. Hudir dynion â llwgrwobrwyon i dyngu llwon celwyddog, a dwyn camdystiolaethau ynddynt. Y mae y Jezebeliaeth o gyflogi meibion y fall i dyngu yn erbyn y gwirion, neu o blaid yr euog, yn beth rhy gyffredin o lawer. Y dosbarth ag sydd yn llygru mwyaf ar foesau ein gwlad yn y peth hwn o bawb ydyw ein cyfreithwyr; ac eto diangant hwy yn groen-iach bob amser, heb gael eu dynoethi a'u fflangellu ar gyhoedd drwy yr argraff-wasg fel y dylent. Echrydir uwch ben cyflwr yr anudonwyr, a chyhoeddir eu hysgelerddrwg yn ddiarbed, fel y dylid gwneyd; ond gadewir annogwyr y drygedd, y gwreiddiau o hono, i ddianc yn ddisylw a digerydd. Y twrnai mwyaf ei ddichell a'i gastiau celwyddog, a mwyaf ei fedr i hud-ddenu a llygru dynion i gamdystiolaethu, yw y mwyaf ei fri a'i alwedigaeth. Y mae yr awyr y troa y dosbarth hwn ynddi mor dawchus a gwenwynig, fel na all un dyn effro a thyner ei gydwybod fyw nemawr iawn ynddi. Pa sawl diniwed a aberthir fel hyn i drallod a thrueni, a pha sawl euog a dynir allan o afaelion cyfiawnder â rhaffau celwydd! Fel anghraifft nodedig i ddangos fel y mae cydwybodau rhai o'r dynion wedi eu serio megys â haiarn poeth, gellid crybwyll amgylchiad a gymerodd le ddiwedd y flwyddyn ddiweddaf, mewn brawdlys yn swydd Gaerefrog (*York*). Profid dau ddyn ar y dybiaeth o fod yn gydgyfranogion yn llofruddiad teulu mewn lle a elwir Mirfield, ac o yspeilio y tŷ. Nid oedd tystiolaeth eglur uniongyrchol yn erbyn y naill na'r llall. Pa fodd bynag, barnodd y rheithwyr y ddau yn euog, a chyhoeddodd y barnwr ddedfryd marwolaeth arnynt, heb adael iddynt y lle lleiaf i obeithio am drugaredd. Cydnabyddai un o'r carcharorion ychydig cyn ei brawf ei euogrwydd ei hun, a dieuogrwydd perffaith ei gydgarcharor. Gwnaed y dadleuwr dros yr euog yn hysbys o'r gyffes, y noson o flaen y prawf; ond yn lle gadael i'r gwirionedd a amlygasid iddo ddyfod allan er rhyddhau y truan diniwed, efe ar y prawf a lafuriodd â'i holl egni i daflu yr euogrwydd oddiar y llofrudd a'i ddodi ar ysgwyddau y diniwed! Ymdrechodd hyd eithaf ei allu i gollfarnu yr hwn y gwyddai ar y pryd ei fod yn gwbl ddieuog, ac i ryddhau yr hwn y gwyddai ei fod yn euog o'r llofruddiaeth, a'i ollwng yn rhydd â gwaed gwirion tri o'i gydgreaduriaid arno, i felldithio cymdeithas â'i bresennoldeb. A phan achwynai rhai o'r newyddiaduron arno yn gynnil am hyn, meddai ar y wyneb i geisio amddiffyn ei hun, a haeru nad oedd wedi troseddu un egwyddor o foesoldeb, ond ei fod dan rwymau i wneyd ei oreu mewn amddiffyniad i'r carcharor a roddasai ei achos yn ei law! Oni buasai i gydwybod yr euog ei aflonyddu, a pheri iddo wneuthur llawn gyffesiad drachefn yn ngwydd tystion, buasai bywyd y diniwed wedi ei aberthu gyda'r llall. Dyma attal y gwirionedd mewn anghyfiawnder i'r eithaf, a mwy; dadleu celwydd noeth (adnabyddus i'r dyn ar y pryd) yn llys cyfiawnder, er diofrydu y cyfiawn a diogelu y llawruddiog! Y mae yn syndod i feddwl pa mor gynnil a

diniwed yr ymdrina y Wasg Seisonig â'r anghraifft ofnadwy hon. Gallesid dysgwyl y buasai yn codi ei llef fel taranau cryfion, nes gorfodi y trosedd wr anferth hwn yn erbyn gwirionedd a chyfiawnder ac iawnderau y diniwed i guddio ei ben mewn dychryn a chywilydd, fel na feiddiasai ddangos ei wyneb yn llys barn ond hyny. Ond nid ymddengys ei fod dan y perygl lleiaf o golli ei anrhydedd a'i gyfrifiad mewn cymdeithas, nac ymhlith ei frodyr y cyfreithwyr! Y mae y dosbarth hwn o ddynion yn gweithredu bob amser fel pe byddai ganddynt hwy awdurdod i arfer pob dichell a chastiau celwyddog yn y gweinyddiad o'u swydd. Medrusrwydd i asio celwydd a llunio dichellion twyllodrus yw y cymhwysder anghenrheidiol i un fyned i'r swydd. Ennill y gyfraith, bid cam bid cymhwys, yw eu pwnc; ni waeth ganddynt yn y byd pa un ai gwir ai celwydd, ond ei fod yn wasanaethgar i'w dyben. O bob dosbarth o gymdeithas, dyma y mwyaf celwyddog yn ddiau; ac y mae yn ddigon a pheri chwydiad, i feddwl mai tri aderyn o'r nythaid hon a fuont yn ddiweddar yn tramwy trwy Gymru, ac yn *reportio* ar nodwedd ein cenedl, gan gymeryd arnynt ysgwyd eu penau yn deimladwy iawn uwch ben ei thrueni fel pobl anwireddus a dibarch i'r gwirionedd.

Drachefn, y mae masnach y byd yn halogedig gan gelwydd. "Drwg, drwg, medd y prynwr; ond pan el o'r neilldu, efe a ymffrostia." Rhed anwiredd fel ffrwd gref ar hyd heolydd ein trefi ar ffeiriau a marchnadoedd wrth brynu a gwerthu anifeiliaid a nwyfau. Annela masnachwyr "eu tafod fel bwa" i gelwydd, uwch ben yr eiddo masnachol. Syrthia gwirionedd ar lawr yn yr heol, ac ni all ddyfod i mewn i'r masnachdŷ. Y mae masnach y byd yn gyffredin ar egwyddorion drwg ac anwireddus. Nid ydym yn cyhuddo un genedl yn fwy na'u gilydd, nac un dosbarth o fasnachwyr yn fwy na'r llall. Cyhuddir ein cenedl ni yn adroddion y Dirprwywyr Addysg o fod yn waeth nag un genedl arall yn hyn. Pell ydym o addef cywirdeb y cyhuddiad hwn; gwyddom yn amgen. Rhaid fod Curadyn St. Mary, Aberhonddu, yn hurtyn anwybodus iawn am y byd, os na wyddai yntau yn amgen pan yn ysgrifenu ei dystiolaeth i'r Dirprwywyr; ac os gwyddai, rhaid ei fod yn fradwr taeog yn erbyn nodwedd cenedl gyfan o bobl. Ond eto y mae y drwg hwn yn rhy gyffredin yn Nghymru yn gystal ag yn Lloegr, ac yn mysg cenedloedd eraill; er na welsom ni Gymro erioed a ofynai ddeg swllt am beth a werthai am ddau, os caffai y cynnyg, fel y gwelsom Sais a Gwyddel lawer gwaith yn gwneyd. Gwyddom fod eithriadau anrhydeddus yn mysg y naill genedl a'r llall; a bod lliaws o brynwyr a gwerthwyr a masnachwyr cydwybodol i'w cael, na fynent er dim fanteisio eu hunain na cholledu eraill drwy arfer anwiredd yn eu masnachaeth. Nid hir y bydd y byd heb adnabod y cyfryw. Ennilla gwirionedd a gonestrwydd barch ac ymddiried dynion yn fuan iawn; "Gwefus gwirionedd a saif byth, ond tafod celwyddog ni saif fynyd awr." Adwaenem hen Gymro o'r hen ffasiwn, yr hwn, er ei fod yn hollol ddigrefydd, oedd yn nodedig am gywirdeb a gonestrwydd; a mawr berchid ef ar y cyfrif hwnw. Yr oedd ganddo geffyl unwaith yn ei feddiant ag oedd yn peri mawr flinder iddo oblegid ei fariaeth; torai dros bob clawdd, a gwnai ddifrod mawr ar ydau yr hen wr, ac ni allai ei feistroli â llyffetheiriau nac mewn un modd arall. Penderfynodd Dafydd ei werthu, os gallai; a boreu ddiwrnod ffair, yn y pentref cyfagos, clymodd y llyffethair am wddf Sharper, ac arweiniodd ef yno. Yn mhen enyd daeth prynwr heibio, ac

wedi dal sylw ar y ceffyl, a barnu y gwnaethai ei dro, ymofynodd ynghylch y pris. "Ond beth sydd genych am ei wddf?" ebe fe. "Llyffethair i roi am ei draed o, debyg," meddai Dafydd; "os ydych yn meddwl ei brynu o, rhaid i chwi rhoi hon am ei goesau fo,—mi na' lw nad oes genych yr un clawdd ar eich helw a'i deil o." "Ond sut yr ydych chwi mor ffol ac amlygu y peth am dano, a chwithau eisieu ei werthu?" ebe y llall. "Oes y mae arnaf eisieu ei werthu i'w grogi," meddai Dafydd; "ond y mae arnaf eisieu i'r neb a'i pryno gael gwybod y gwir am yr hen ellyll." "Mi a roddaf i chwi eich pris am y ceffyl," ebai y gwr; "ond gellwch chwi gadw y lyffethair; gwnawn y tro yn burion, oblegid ni chaiff gyfleusdra i dori cloddiau gyda mi; caiff ei gadw o'r ystabl i'r tresi, ac o'r tresi i'r ystabl." Y mae gwir brydferthwch mewn troion symlion a gonest o'r fath yma; ac y mae Dafydd o'r Gilfach yn deilwng o gael ei gadw mewn coffadwriaeth o'i herwydd.

Y mae addewidion twyllodrus cryddion, gwehyddion, a theilwriaid, wedi peri llawer o boen a theimladau drwg mewn teuluoedd yn Nghymru; ac nid anfynych y cyfyd y ddadl ynghylch pa un ai gwr y mynawyd, y nodwydd, neu y wennol, ydyw y mwyaf celwyddog o'r tri boneddwr. Tŷr y crydd gynnifer o addewidion am bâr o esgidiau ag a fydd o bwythau ynddo cyn dechreu ar ei waith, a chwyra esgusion anwireddus drachefn mor barod a deheuig ag y cwyra ei edef. Addawa y teiliwr wasanaeth ei nodwydd ddeng waith i wneuthur pâr o ddillad i'r gwr ieuanc, cyn y cyflawna; a bydd hwnw o herwydd y siomedigaethau yn ei ddirgel felldithio. Addawa y gwehydd wëu corn o wlanen i hanner cant o wragedd ar yr un pryd mor rhwydd ac mor rhigl ag y rhed ei wennol; a bydd y rhai hyny drachefn yn ei gablu ac yn gollwng eu tafodau arno fel y llifeiriant, o herwydd iddo eu twyllo âg addewidion gau. Brawd cyfan i'r lleill yw y panwr yntau. Y mae y drwg a'r niwed o gelwyddau o'r fath hyn wedi ei guddio o'r golwg i raddau helaeth gan gyffredinolrwydd yr arferiad o honynt. Ni feddylia y naill na'r llall bod dim allan o le yn y peth, ond y rhaid iddynt ei arfer i gadw eu cwsmeriaid, a'u cadw yn ddiddig; pan mewn gwirionedd y maent yn achosi cynnen ac yn cynnyrchu teimladau digofus fwy na mwy.

Yn y teulu, ar yr aelwyd wrth fagu y plant—dyma feithrinfa gyntaf y drwg. Rhieni, drwy fân-gelwyddau a olygant yn ddiniwed—addaw a bwgwth heb byth gyflawni—a ddygant eu plant i fynu yn y gelfyddyd ddu o'u mabandod. Megir hwy fel hyn yn nghymdeithas celwydd; ymgynnefinant â'r gwenwyn o'r bru, yr hwn a wenwyna eu holl gyfansoddiad moesol. Y mae cymdeithas fel hyn yn cael ei gwenwyno yn ei ffynnonell. Y rhai a ddysgwyd fel hyn i gellwair âg anwiredd o'u mebyd, ac a feithrinwyd o'r groth yn ei gwmpeini, a syrthiant dan ei ddylanwad o anghenrheidrwydd; ac anhawdd iawn fydd eu deffro i ystyriaeth a theimlad o'r drwg, a'u cael i ymadael âg ef. Os yn mhen ffordd celwydd yr hyfforddir plentyn gan ei rieni gartref, nid at wirionedd yr ymgryfha hwnw ar y ddaear: odid fawr nad myned ymlaen ar hyd-ddi a wna ar hyd ei oes.

Yr unig feddyginiaeth i'r pla mawr yn ei holl raddau ydyw GWIRIONEDD. Y gwirionedd am Dduw yw yr unig foddion i ddilëu holl gelwyddau paganiaeth, i newynu duwiau y ddaear, ac i ddilëu yr eilunod, y rhai ni wnaethant y nefoedd a'r ddaear, oddiar y ddaear, ac odditan nefoedd yr Arglwydd. Cyhoeddiad a thaeniad o wirionedd pur yr Ysgrythyr

Lân, a raid ddifa holl gelwyddau a dychymygion y "Coran." Dangos trwy Ysgrythyrau y gwirionedd, mai 'r Iesu yw y Crist, a orthrecha gelwydd rhagfarnllyd Iuddewaeth. A chyhoeddiad croew a llawn o wirioneddau pur yr efengyl, ydyw y cleddyf a raid ladd yr "anwir hwnw—y dyn pechod, mab y golledigaeth; â'r dysgleirdeb hwn y dilea yr Arglwydd ef. Y gwirionedd am iawnderau a rhyddid cyfiawn dynoliaeth, fel y delo i'r golwg ac y dealler ef, a ddadymchwel bob trais, anghyfiawnder, ac anwiredd yn ffurflywodraethau a chyfreithiau gwladol y byd. Sefydlu gwirionedd ar y fainc yn y llys, a gwirionedd yn egwyddor lywodraethol y dadleuwyr a'r tystion, a iachâ y ffynnon hono yn gwbl. Codi gwirionedd ar yr heol, ac ar y cyfrif-fwrdd yn y masnachdŷ, a feddyginiaetha yr holl ddrygau ag ydynt yn aml yn gysylltiedig â hwy yn bresennol. Felly yn mhob peth, ac yn mhob man. "Dyma y peth a wnewch chwi, Dywedwch y gwir bob un wrth ei gymydog." Dyma'r *peth* mawr er adferu y byd i'w le, i drefn ac i ddedwyddwch. Hyd nes yr ymwrthoder â chelwydd, ac oni ymlidier ef yn mhob rhith a ffurf allan o bob lle ac o bob galwedigaeth, erys drygau a thrueni ar y ddaear. Wynfydedig wirionedd! cymer dy allu a theyrnasa dros y byd; teyrnasa i farwolaeth pob anwiredd yn mhob man, ac yn mhob calon; dos allan yn gorchfygu ac i orchfygu; ysguba a golcha wyneb aflan ein byd; taenella arno dy ddwfr glan, fel y byddo lan; adfera iddo galon gywir, ysbryd uniawn, a gwefus bur, fel y gallo Duw y gwirionedd edrych ar holl deuluoedd y ddaear, a dywedyd, "Yn ddiau fy mhobl ydynt hwy, meibion ni ddywedant gelwydd." Yna, pan fyddo gwirionedd fel hyn yn "tarddu o'r ddaear, cyfiawnder a edrych i lawr o'r nefoedd;" a phan wel drugaredd a gwirionedd yn cydgyfarfod ac yn cydgofleidio, yntau hefyd a ddisgyn i gofleidio a chusanu heddwch! "Yr Arglwydd hefyd a rydd ddaioni, a'n daear a rydd ei chnwd."

Yn ddiweddaf oll, broffeswyr crefydd y gwirionedd, sefwch i fynu o'i du; codwch ei fanerau yn uchel; "gan fwrw ymaith gelwydd, dywedwch y gwir bawb wrth eich gilydd," yn mhob peth ac ar bob achos. Chwychwi sydd i ddiwygio y byd—i fod yn offerynau ei buredigaeth. Na fydded i chwi gymdeithas â gweithredoedd anffrwythlawn celwydd, mewn dim oll, megys nad oes i'ch Duw "gydymdeithas â gorseddfainc anwiredd, yr hwn a lunia anwiredd yn lle cyfraith." Dyfered mamau gariad at wirionedd a chasineb at gelwydd i fynwesau eu babanod gyda llaeth eu bronau. Gofaled athrawon ein hysgolion dyddiol a Sabbothol i feithrin parch i'r gwirionedd ac adgasrwydd at anwiredd yn yr ysgolêigion. Taraned ein hareithfaoedd a'n hargraffwasg eu hanathemau yn erbyn y bradwr. Myner pen y Seba hwn, sydd yn bla ac yn codi terfysg, dros y mur. "Rheded barn fel dyfroedd, a chyfiawnder fel ffrwd gref," drwy ein gwlad. "Felly bydd gobaith i'r tlawd, a phob anwiredd yn cau ei safn." Amen.

# ADRODDIADAU Y DIRPRWYWYR.

PAN yn ymaflyd yn y gorchwyl o ysgrifio ein sylwadau ar "Addysg yn Nghymru" erbyn y rhifyn diweddaf, nid oeddym ond newydd dderbyn yr Adroddiadau, ac hyd y gwyddom nid oedd unrhyw feirniadaeth wedi ymddangos o berthynas iddynt yn y Dywysogaeth, oddieithr un neu ddwy o erthyglau gwael, gwan, a gwantan, mewn Papyryn a gyhoeddir yn y Deheudir. Ond er nad oeddym wedi cael hamdden i'w darllen yn fanwl, yr oedd yr olwg gyntaf yn ddigon i'n hargyhoeddi y dylasem ddyfod allan yn fwy penderfynol ac egnïol na'r Papyryn rhag-grybwylledig. Yr oeddym yn gweled ac yn teimlo fod y Dirprwywyr wedi gwneyd cam dirfawr â ni fel cenedl; a chymerasom ein rhyddid i ddyweyd hyny yn eofn ac yn wrol. Ond ar yr un pryd nid oeddym yn ystyried fod genym ni hawl i farnu eu dybenion, a chymerasom ofal i hysbysu nad oeddym yn eu cyhuddo o ddwyn camdystiolaeth fwriadol. Y mae yn dda genym, wrth edrych yn ol, i ni ymgadw o fewn y terfynau hyn; ac nid ydym eto yn gweled anghenrheidrwydd i fyned un cam ymhellach. Trosedd mawr yn nghyfrif rhai fyddai son fod y fath beth yn ddichonadwy ag i'r Dirprwywyr hyn fod i ryw raddau yn well na Beelzebub ei hun. Ond nid yw eithafion o'r natur yma yn effeithio dim namyn i beri gwrthdarawiad cryfach yn mhlaid y Dirprwywyr a'u Hadroddiadau, o'r hyn y mae genym anghraifft eisoes yn y "*British Banner*." Beth sydd a fynom ni â chwilio eu calonau? Rhyngddynt hwy a'u dybenion—ein gwaith ni yw barnu gwirionedd eu tystiolaethau. Yr un peth yn ein bryd ni fyddai cyhuddo dyn o lofruddiaeth neu ladrad, a'i gyhuddo o gelwydd gwirfoddol. "Pan glywaf ddyn yn tystiolaethu yr hyn nid yw wir," meddai Dr. Johnson, "y mae yn ddigon genyf hysbysu iddo, Yr ydych yn dyweyd celwydd, syr: ond os byddaf mewn natur ddrwg, byddaf yn ei gyfarch fel hyn, Yr ydych yn dyweyd celwydd, syr; ac yr ydych yn gwybod eich bod yn dyweyd celwydd." Ond nid oeddym ni wrth gyfansoddi yr ysgrif o'r blaen, ac nid ydym yn awr, mewn natur ddrwg; gan hyny, nid oes eisieu i ni fyned ymhellach na hysbysu fod y Dirprwywyr wedi dyweyd celwydd, heb gymeryd arnom benderfynu pa un a oeddynt yn gwneuthur hyny yn fwriadol ai peidio.

Yr ydym yn deall fod rhai yn tueddu i'n beio, pe gwyddent pa fodd, am addef fod *peth gwirionedd* yn yr Adroddiadau. Ond yn lle galw hyn yn ol, yr ydym yn barod i'w ail-ddyweyd; ac nid hyny yn unig, ond dymunem ei wasgu yn ddwysach eto at feddyliau ein darllenwyr. Yr ydym yn addef, ac hefyd wedi hòni yn y modd cadarnaf, fod ein cenedl ar y cyfan yn rhagori ar un genedl arall: ond nid barnu ein hunain mewn cymhariaeth i eraill a weddai fod ein rheol; ond yn hytrach ymofyn pa beth ydym wrth yr hyn a ddylem fod. Hoff genym ni hen arwyddair y Cymry, "Y Gwir yn erbyn y Byd." Caffed y gwir ei le, beth bynag fyddo y canlyniad. Ac onid y gwir yw, fod arferion yn ffynu ymhlith meibion a merched Cymru na oddefid mewn un genedl wareiddiedig? Onid y gwir yw, fod gwylder benywaidd yn beth na ŵyr llawer o'n merched ieuainc ddim am dano? Onid y gwir yw, fod mân-ddichellion, twyll ac anghyfiawnder, yn

rhy gyffredin yn ein plith? Onid y gwir yw, fod cryn nifer yn y dosbarth amaethyddol a gweithyddol yn dra isel mewn gwybodaeth gyffredinol? Yr ydym yn gorfod credu mai fel hyn y mae, ac nid oes arnom ofn dyweyd ein meddyliau. Pa les fydd i ni dwyllo ein hunain, trwy gau ein llygaid, fel yr estrys, rhag gweled y drwg sydd mor agos atom? Na, gadewch i ni ymwroli yn fwy ffyddlawn a thanbaid nag erioed yn erbyn y llygredigaethau sydd wedi dwyn y fath sarhad ar ein cenedl. Wrth ymladd yn erbyn y gelynion, nac esgeuluswn y gwaith o adeiladu y mur. Da fyddai genym pe medrem lanhau enw da ein gwlad oddiwrth y gwarth a deflir arni gan ei chaseion; ond gwell na hyny fyddai ei glanhau hi ei hun oddiwrth yr achosion sydd wedi dwyn y gwarth hwnw arni, deued a ddelo o'i henw yn ngolwg estroniaid. Dywedir wrthym, efallai, mai nid dyma yr adeg briodol i son am waeleddau y Cymry. Wel, y mae gan y neb a fyno hawl i feddwl felly; ond y mae genym ninnau yr un hawl i feddwl yn hollol i'r gwrthwyneb. Ac y mae yn ymddangos i ni mai dyma yr amser i ddwyn y Cymry i ffieiddio ac i yru ymaith o'u plith yr arferion hyny ag sydd wedi dwyn y fath warth ar eu cymeriad fel cenedl; ac y byddem yn euog o anffyddlondeb ysgeler wrth beidio gwneyd y defnydd goreu o'r cyfleusdra. Dymunem gymhell yr ystyriaethau hyn yn ddifrifol at feddyliau penau teuluoedd ac athrawon yr Ysgolion Sabbothol. Gofidus yw genym fod ein gwaeleddau wedi eu hadrodd yn Gath, a'u mynegu yn heolydd Ascalon; a buasem yn gwneuthur un peth a allasem i ragflaenu yr anffawd. Ond y mae hyny yn awr wedi dygwydd, ac nid oes modd ei alw yn ol. Beth yw ein dyledswydd yn ngwyneb hyn? Onid galaru a diwygio? Pe byddai un o'n cyfeillion anwylaf yn euog o ryw fai, ni a wnaem ein goreu yn y lle cyntaf, fel meibion hynaf Noa, i daflu mantell drosto, a'i ddwyn i edifarhau. Ond pe deuai rhyw Davies, Troedyraur, neu Jones, Nefyn, â'r cyhuddiad ymlaen, ni fedrem ddyweyd celwydd er mwyn ei amddiffyn; ond yn hytrach ni a ddefnyddiem ymddygiad ei gaseion yn rheswm ychwanegol i geisio ei ddiwygio. Ac heblaw hyn oll, beth sydd yn rhwystro ein cyfeillion i weled eu bod, wrth ddesgrifio yr Adroddiadau fel un pentwr digymysg o gelwyddau, yn euog eu hunain o'r un camwedd ag a roddir ganddynt yn erbyn y Dirprwywyr? Ië, mwy na hyn—y mae y Dirprwywyr yn addef fod llawer o ddaioni yn Nghymru: ond ni fyn rhai o'u gwrthwynebwyr i ni addef fod yr Adroddiadau yn cynnwys y mymryn lleiaf o wirionedd! Gwareder Cymru rhag ffolineb ei phleidwyr.

Ni ddygwyddodd i ni glywed am un wrthddadl arall, gwerth mynyd o sylw yn erbyn ein hysgrif flaenorol. Gan hyny, ni a awn rhagom i gynnyg rhai sylwadau ychwanegol ar yr un testun. Ac ymlaenaf oll, dymunem hysbysu nad casineb at y grefydd wladol sydd yn ein cymhell yn hyn o orchwyl. Pe na buasai ond y teimlad hwn yn ein llywodraethu, buasem yn llawenhau wrth weled yr Adroddiadau. Nid oes eisieu profion cadarnach nag a geir yma o aneffeithioldeb yr Eglwys Sefydledig yn Nghymru. Dywedir a dangosir ynddynt yn amlwg mai ei hysgolion hi yn gyffredin yw y rhai salwaf; ac nad yw ei phleidwyr yn gofalu ond ychydig am les y bobl. Ceir yma y ffeithiau mwyaf gwarthus am eglwyswyr wrth y degau yn lladrata arian a ddylasent fod yn cynnal ysgolion i'r tlodion. Pe baem am warthruddo yr Eglwys Sefydledig, ni fyddai raid i ni ond casglu ynghyd yr hanesion gwaethaf yn y llyfrau hyn. Ond nid hyn yw ein hamcan. Teimlo yr ydym dros ein cenedl, yr hon a gafodd gam yn yr achos hwn ar law cen-

adon y llywodraeth. Er ein bod yn addef y gwir, nid ydym am dderbyn y celwydd; ac y mae ein ffyddlondeb yn argyhoeddi ein cydwladwyr o'u beiau yn ein gosod ar dir manteisiol i gyfarfod â'u cyhuddwyr. Er nad oes genym ddim i'w ddywedyd yn wahanol oddiwrth yr hyn a ddywedasom yn ein rhifyn diweddaf, eto, gan i ni gael lle i ddeall fod amryw o gyfeillion y Dirprwywyr yn talu mwy o sylw nag a feddyliasom i'r hyn sydd yn ymddangos yn y "Traethodydd," tybiwn mai nid afreidiol fyddai i ni brofi ac egluro ein cŵyn yn eu herbyn yn fwy helaeth a manwl.

1. Y mae yn amlwg nad oedd y Dirprwywyr yn meddu ond ychydig o syniad am, nac archwaeth at, grefydd y Cymry. Nid ydym yn awr yn son am Ymneillduaeth, ond crefydd efengylaidd, pa un bynag ai yn y llan ai yn y capel. Y mwyaf anghymhwys yn yr ystyr yma, yn ol pob ymddangosiad, oedd Mr. Lingen. Y mae y gwr hwn yn gosod Diwygiadau Cymru yn yr un gyfres ag ysgarmes Rebecca; ac wrth roddi hanes am un ysgol, y mae yn dyweyd fod y plant yn canu rhyw fath o *ffiloreg grefyddol*, pan nad oeddynt ond canu hen bennill synwyrlawn a melus, yr hwn a arferir yn bur gyffredin yn nghynnulleidfaoedd y Saeson. Nid yw y ddau arall yn siarad am bethau cysegredig gyda llawn cymaint o ddibrisdod; ac nid ydym yn ammheu nad oes ganddynt ryw grefydd o'r eiddynt eu hunain; ond am grefydd y Cymry, nid oes lle i feddwl y gwyddant lawer ychwaneg na Mr. Lingen.

2. Yr oeddynt yn llawn rhagfarn yn erbyn iaith y Cymry. Nid yw yn hysbys pa ddrwg a wnaeth yr hen Omeraeg iddynt hwy na neb arall; ond y mae eu gelyniaeth tuag ati yn berwi allan ar bob achlysur. Y mae yma anghyfiawnder dyblyg. Yr oedd anfon Saeson i holi plant y Cymry yn anghyfiawnder; ac yr oedd anfon rhai mor ragfarnllyd yn erbyn y Gymraeg, i wneyd gwybodaeth o iaith arall yn safon yr ymholiad, yn anghyfiawnder gwaeth. Ac nid oedd hyn yn ddigon ganddynt. Gellid meddwl nad oedd modd myned ymhellach; ond medrasant hwy ddyfeisio ffordd i ychwanegu un anghyfiawnder arall. Nid yn unig y maent wedi craffu ar bob trosedd o reolau yr iaith Saesoneg; ond y maent yn ymostwng i feirniadu ar y dull o'i swnio. Pe anfonasid y doethion hyn i ymweled â Phrifysgol Edinburgh, buasent yn ddiattreg yn rhoddi *Professor* Wilson a Dr. Chalmers yn rhestr y bwngleriaid, am eu bod yn siarad gydag acen Albanaidd. Neu pe dygwyddai iddynt daraw i mewn i Dy yr Arglwyddi, nid ydym yn sicr y diangai Arglwyddi Brougham a Campbell heb eu collfarnu fel rhai rhy anwybodus i fod yn athrawon mewn Ysgolion Brytanaidd.

3. Heblaw hyn, yr oedd llawer o'r holiadau ynddynt eu hunain yn eithaf afresymol. Buasent yn annheg, ac ni chawsid gwell atebion, pe gofynasid hwynt yn ysgolion Llundain neu ryw dref arall. Gŵyr pawb nad oes dim yn fwy anhawdd na ffurfio darnodiadau boddlonawl, sef yw hyny, dyweyd mewn ychydig eiriau beth ydyw unrhyw wrthddrych. Ffordd effeithiol i ddyrysu dyn yw gofyn iddo, Beth yw y peth hwn, neu y peth arall? Methodd Plato ag ateb y gofyniad, Beth yw dyn? A phwy a ddichon gyfrif yr holl ddadleuon sydd wedi bod ymhlith duwinyddion wrth geisio ateb y gofyniadau, Beth yw ffydd, Beth yw gwyrthiau, ac eraill cyffelyb? Ac eto dyma rai o'r gofyniadau a roddid gan y Dirprwywyr i blant deg oed. Nid ydym yn gwybod am ddim yn fwy anhawdd i'w ateb na'r olaf, sef, Beth yw gwyrthiau. Y mae rhai o'r meddyliau dysgleiriaf a fu erioed yn y byd wedi ysgrifenu cyfrolau arno, ac wedi ei adael yn dywyll

yn y diwedd. Ond ni phetrusai Mr. Symons roddi y gofyniad hwn i'r plant yn ysgol y Parch. T. Price. Y mae Mr. Price yn teilyngu canmoliaeth am droi y gofyniad ato yntau yn ol; ac nid ydym yn rhyfeddu na fedrai Mr. Symons mo'i ateb. Y syndod yw ei fod mor ffol a dysgwyl y medrai y plant, na neb arall, mewn ychydig eiriau ddyfod i ben â'r gorchwyl.

4. Bu y Dirprwywyr yn hynod o anhapus yn newisiad y rhan fwyaf o'u cynnorthwywyr. Nid gwaeth genym ni iddynt ddyfod o Goleg Llanbedr, mwy na rhyw goleg arall, ond cael dynion yn meddu ar synwyr cyffredin: ond pe chwiliasent holl golegau y byd, dilys yw na chawsent neb mwy anaddas at y gorchwyl na'r nifer fwyaf o'r rhai a gafwyd. Dymunem siarad o hyd am y Dirprwywyr gyda 'r parch sydd yn gweddu i foneddigion, er ein bod yn eu hystyried wedi gwneyd cam â ni mewn amryfusedd. Ond gweled rhyw gorachod hunanol fel hyn yn rhyfygu beirniadu ar ddynion mil gwell na hwynt eu hunain—dyma sydd yn rhoddi ysfa yn nhraed pob dyn a fedro wneuthur rhyw ddefnydd o'i draed heblaw cario ei gorffyn ei hun o'r naill fan i'r llall. Soniasom yn y rhifyn diweddaf am John James efo ei *Garden of Gardens.* Ond gan nad oeddym y pryd hyny yn gwybod fawr am y dyn, rhoddasom yr esboniad tirionaf a fedrem ar ei gamgymeriad. Erbyn hyn, pa fodd bynag, os yw hanner y tystiolaethau a gawsom am dano yn wir, y mae yn rhaid i ni gredu na wyddai y gwahaniaeth rhwng *cerdd* a *gardd.* Cawsom lythyr oddiwrth gyfaill yn hysbysu mai "*lob* perffaith" ydyw. Wel yntau, *lob* y caiff fod o'n rhan ni; ac ni faliem mo'r llawer pe rhoddem rai ffeithiau yn ychwaneg i brofi cywirdeb y desgrifiad. Aeth y dyn hwn i ryw ysgol y gwyddom am dani yn dda; ac am nad oedd yr athraw yn crynu ger ei fron, ac yn talu iddo yr ymostyngiad a ddysgwyliai, dywedai yn fawreddus, "Gallaf fi wneyd llawer iawn o ddrwg i'ch ysgol chwi, os dewisaf." Rhaid fod yr athraw yn meddu ar amynedd Job, onide buasai yn ei hebrwng allan yn gynt nag y daeth i mewn am arfer y fath fygythiad annynol. Ond pa fodd bynag, aeth John James ymlaen i holi yr ysgol: ac ymhlith pethau eraill, gofynodd, "Os gall 3 cheffyl dynu 3 tynell o lo mewn certwyn, yr hon sydd yn pwyso 1 dynell, pa faint o lo a dynai 2 geffyl?" Atebodd y plant yn gywir. Rhoddasant bwysau y certwyn, wrth reswm, at bwysau y glo, a chawsant y cwbl yn 4 tynell. Yna gweithiasant fel hyn, Os yw tri cheffyl yn tynu pedair tynell, yna y mae 2 geffyl yn tynu dwy dunell a 13⅓ cant. Dyma yr *holl* bwysau a dynid gan 2 geffyl. Yna cymerasant allan bwysau y gertwyn, sef 1 dynell, a chawsant fod pwysau y glo yn un dunell a 13⅓ cant. Fe wel pob dyn sydd yn gwybod y gwahaniaeth rhwng ei law dde a'i law aswy fod y plant yn gywir. Ond er fod John James wedi cael amser i barotôi y gofyniad, ac i efrydu uwch ei ben; ac er iddo gael atebiad cywir o flaen ei lygaid, eto methodd a'i ddëall yn y diwedd. "Edrychwch yma," ebai wrthynt, "os yw 3 cheffyl yn tynu 3 tynell, beth sydd yn rhwystro i chwi weled mai tynell sydd gan bob ceffyl? Gan hyny, rhaid y gallai 2 geffyl dynu dwy dynell." Felly yr oedd y gertwyn yn symud o honi ei hun; ac nid oedd ei phwysau hi yn mwyhau dim ar y llwyth. Yr un peth fyddai dyweyd nad oedd ffolineb y ddau gynnorthwywr yn fwy na ffolineb un o honynt, er y gwyr pawb fod tynell o ffolineb yn John James ei hun. Cymaint a hyn am dano fel rhifyddwr. Y mae yn ymddangos nad yw ei wybodaeth mewn daearyddiaeth fawr helaethach: oblegid pan yr enwodd

un o'r plant "Australasia." "Dyna," eb efe, "yr ydych yn awr yn dyfeisio gair o'r eiddoch eich hun." Tua 'r un amser, aeth i edrych ysgol arall yn yr un gymydogaeth: ond yn lle myned at ei waith, bu ar hyd y pentref trwy y prydnawn nes yr oedd o fewn hanner awr i'r amser y byddai y plant yn arfer myned adref. Yna cadwodd hwynt dan holiad nes yr oedd yn dechreu tywyllu. Aeth y plant fel y gellid tybied yn bur anesmwyth, a rhoddodd yntau yn yr Adroddiad fod yr athraw yn analluog i gadw trefn yn ei ysgol. Un o'r holiadau oedd "Pa fodd y mae y byd yn cael ei ranu?" Gan fod yr holiedydd yn gofyn yn lled floesg, meddyliodd un bachgen, yr hwn oedd yn well daearyddwr na John James, mai gofyn yr oedd "Pa fodd y mae Cymru yn cael ei rhanu?" Ac atebodd, "Deuddeg." Ond dëallodd yr athraw yn ebrwydd mai camgymeryd yr holiad a wnaeth y bachgen; a dymunodd ar yr holwr am ofyn yn eglurach. Hyny a wnawd, a chafwyd atebiad cywir yn y fan. Ac eto, y mae John James wedi mynegu yn yr Adroddiad fod yno un bachgen 18 oed yn dyweyd fod y byd yn cael ei ranu yn ddeuddeg rhan. Digon yw hyn o sylw am John James, a mwy efallai nag a haeddai. Ond cyn gadael y cynnorthwywyr, y mae genym air neu ddau i ddyweyd am un D. B. Price, yr hwn sydd yn honi braidd mwy nag a ddylai, ac yn dra hoff o feio ar y dull o swnio Saesoneg. Fel anghraifft o'r sylwadau pwysig a wneir ganddo ef, cymerer yr hyn a ganlyn: "Gwelais offeiriad y plwyf; enw ei breswylfod yw Glyn-Celyn, yr hwn sydd hanner milltir o'r eglwys, ar yr ochr dde i'r ffordd o Bronllys i Aberhonddu." Un o'i ofyniadau ef yw, "Pa le yr oedd Gardd Eden?" Erdolwg, a fedr efe ei hun ddyweyd pa le yr oedd? Am un dosbarth yn Ysgol Tregaron Bwlchgwynt y mae yn sylwi na wyddent pa sawl blwyddyn ar ol Crist y crëwyd y byd. "*Did not know how many years after Christ the world was created.*"[1] Ac yn ysgol yr Eglwys yn Tregaron, yr oedd y plant yn dyweyd yn ddigon priodol fod croeshoelio yn arwyddo hoelio traed a dwylaw wrth bren. Ond cyfieithir eu hatebiad gan D. B. Price fel hyn; "*to nail hand and foot to a stick.*" Byddai yn hawdd ychwanegu: ond rhag blino ein darllenwyr, gadawn ar hyn o hanes am weithrediadau y cynnorthwywyr.

5. Yr ydym yn cyhuddo y Dirprwywyr o annhegwch yn nghasgliad eu tystiolaethau. Yn y lle cyntaf, nid oeddynt yn rhoddi gofyniadau teg ger bron y tystion. Holent yn fanwl pa ddrygau oedd yn y wlad; ond ni ynganent am y rhinweddau. Ac yn ail, os na fyddai y tystiolaethau wrth eu bodd, hyny yw, os na byddent un ai yn rhoddi golwg bruddaidd ar y Dywysogaeth, neu ynte yn cynnwys dymuniad am gynnorthwy y llywodraeth, ni chaent ymddangos yn yr Adroddiad. Hwyrach fod rhai eithriadau; ond hyn oedd eu rhëol gyffredin. Nid ydym yn dyweyd eu bod yn rhwym o argraffu pob tystiolaeth a dderbyniasant; ond yr oedd genym hawl i ddysgwyl mwy o gyfartalwch nag a welir yma. Ymhlith golygwyr yr holl gyhoeddiadau Cymreig, nid oes ond tystiolaeth un o honynt wedi cael ymddangos. Ac wrth gymeryd y tystion o bob ochr, yn Eglwyswyr ac Ymneillduwyr, ceir eu rhifedi fel hyn:—

| | |
|---|---|
| Eglwyswyr | 232 |
| Ymneillduwyr | 79 |
| Gwahaniaeth | 153 |

[1] Y mae yn debyg fod yma gamargraffiad. Ond ni ddylasent hwythau fod mor -wyddus i gofnodi camargraffiadau, a chamddywediadau.

Felly, yr oedd yn rhaid cael yn agos i dri Eglwyswr ar gyfer un Ymneillduwr.

Dyma y ffeithiau noeth ac anwadadwy. A pha gyfrif a allwn ei roddi am danynt? Y ffordd feraf a hawddaf yw penderfynu ar unwaith fod y Dirprwywyr wedi bod yn euog o roddi camddarluniad bwriadol. Ond y mae hyn yn gyhuddiad na feiddiwn ei ddwyn, hyd yn nod yn erbyn y cynnorthwywyr. Ac am y Dirprwywyr, y mae yn rhaid i ni gyfaddef na welsom ac na chlywsom eto ddim am danynt yn anghyson â'r dybiaeth fod y tri yn ddynion o deimladau boneddigaidd ac anrhydeddus. Os bydd rhywun yn teimlo tuedd i haeru ein bod yn rhy dyner, y mae iddo lawn groesaw. Pe efelychem y cyfryw un, gallem ddyweyd gyda 'r un faint o reswm ei fod yntau yn rhoddi camddarluniad bwriadol o'r Adroddiadau. Ac onid oes Ymneillduwyr yn Nghymru wedi rhoddi golwg dduach arnom na'r Dirprwywyr eu hunain? Ond a raid i ni gredu oblegid hyny eu bod oll yn euog o draethu celwyddau gwirfoddol? Yr esboniad cywir am y cwbl ydyw, fod dynion wrth deimlo yn frwdfrydig dros un ochr, mewn perygl o anghofio neu ddibrisio yr ochr arall. Un o hoff bynciau ein seneddwyr yn y dyddiau hyn yw yr anghenrheidrwydd am i'r llywodraeth gymeryd addysg y bobl i'w llaw ei hun. A meddyliwyd mai y lle mwyaf manteisiol i ddechreu oedd Cymru. Bu rhai mân-frwydrau o'r blaen; ond dyma lle y mae Brwydr Waterloo i gael ei hymladd, ydyw ar faes y Dywysogaeth. Ac fel rhagbarotôad, daeth y Dirprwywyr hyn i gasglu pob profion a fedrent gael o iselder y Cymry, er mwyn dangos fod yn rhaid gwneyd rhywbeth iddynt yn fuan, onide yr ai y byd bach Cymreig yn bendramwnwgl. Mewn geiriau eraill, daethant yma, fel y dywed y Saeson, *to make out a case.* Cyfreithwyr y llywodraeth oeddynt, yn chwilio am dystiolaethau dros y llywodraeth, erbyn y daw yr achos ymlaen yn llys y Senedd, ac fel y cyfryw y dylem edrych arnynt. Nid ydym yn eu cyfiawnhau, mwy nag yr ydym yn cyfiawnhau y rhai hyny sydd yn eu duo hwythau yn ormodol er mwyn cadarnhau y teimlad o blaid addysgiant gwirfoddol. Nid hon, yn ol ein barn ni, yw y ffordd deg ac uniawn. Ond pwnc arall yw cyhuddo y naill blaid neu y llall o egwyddor ddrygionus.

Nis gwyddom pa un a ydym mewn tymher fwy hynaws na chyffredin y dyddiau hyn, ai peidio. Ond rywfodd nid ydym yn hollol barod i gredu, hyd yn nod am yr offeiriaid a'r gweinidogion ymneillduedig, a fu yn drwgliwio ein cenedl, iddynt ddwyn camdystiolaeth fwriadol yn ei herbyn. Y mae y pechod hwn yn ymddangos i ni mor adgas ac arswydus, fel y mae yn anhawdd genym feddwl i neb o honynt fod yn euog o hono. Ond pa fodd bynag am hyny, y mae eu hymddygiad hwy yn llawer gwaeth nag eiddo y Dirprwywyr. Yr oedd y cyfreithwyr hyn yn perthyn i un blaid, ac yn gwneyd eu goreu dros y blaid hono; ond yr oeddynt hwy yn cael eu galw ymlaen fel tystion i ddyweyd y gwir, yr holl wir, a dim ond y gwir. Ond yn lle hyny, eisteddasant a dywedasant yn erbyn eu brodyr; rhoddasant enllib i feibion eu mam. Derbyniasom lythyr digon tirion oddiwrth y Parch. J. W. Trevor, yn yr hwn y mae yn ceisio amddiffyn ei hun. Gan na ewyllysiem wneyd cam âg ef yn y gradd lleiaf, yr ydym yn rhoddi ei lythyr yn ngwaelod y dalen.[1] Y mae Mr. Trevor yn ymddi-

[1] *Y llythyr y cyfeirir ato uchod sydd fel y canlyn:—*

SIR, Rectory, Llanbeulan, Anglesea, 27th January, 1848.

I cannot doubt your willingness to do me justice by correcting some errors into which you have fallen in your last number of the "Traethodydd."

heuro trwy nad yw Llanfihangel a Llandrygarn yn perthyn iddo ef; ac o ganlyniad nad yw y boblogaeth sydd dan ei ofal ond 1,945, yn lle 2,563. Mewn atebiad i hyn, dymunem sylwi na wnaethom ond rhoddi geiriau Mr. Johnson, fel y maent ar lawr yn yr Adroddiad. Yn nesaf, dywedir ganddo fod y ffeithiau a gynnwysir yn ei dystiolaeth ar lawr yn nghofnodiadau llys yr ustusiaid yn Bodedeyrn. Ond y mae Mr. Trevor wedi camddeall ein meddwl. Pell oeddym oddiwrth ammheu ei eirwiredd gyda golwg ar y ffeithiau neillduol a benodir ganddo. Ond yr oeddym, ac yr ydym eto, yn gwadu ei gasgliad mewn perthynas i gyflwr moesol sir Fon. Nid yw yn anhawdd cael anghreifftiau cyffelyb i'r rhai a ddynoda efe yn mhob sir yn Mrydain. Ond cymerwn genad i ofyn iddo, fel dyn cydwybodol, ac fel gweinidog yr efengyl, A yw efe yn barnu mai cyfiawn fyddai cynnyg anghreifftiau o'r fath hyn fel desgrifiad o foesoldeb y trigolion yn gyffredinol? Ai i gofnodiadau y llysoedd gwladol yr edrychai efe am wybodaeth gywir o ansawdd Lloegr neu yr Alban? Ond odid na ddarllenodd efe draethawd Mr. Alison am sefyllfa y tlodion yn Glasgow, lle y gosodir hwynt allan, ac nid yn anghywir dybygid, yn annhraethol is yn mhob ystyr na dim a welir eto yn Nghymru. Ond ai teg fyddai cymeryd hyn yn

"At page 117, in stating the parishes and population under my charge as Rector of Llanbeulan, you mention Llanfihangel, population 200, and Llandrygarn, population 485. Those parishes do not belong to the living of Llanbeulan; and I have nothing whatever to do with them. You might have mentioned that part of the town of Llanerchymedd, called *the Vill*, which belongs to Llanbeulan, and contains only 67 inhabitants. Adding therefore *these*, and deducting the *former*, your statement of the population within my benefice ought to be reduced from 2,563 to 1,945.

"With respect to the facts stated in my evidence as published by the Commissioner, which you say are not true, and cannot be true, I have only to assure you that they are all on record in the minutes of the petty sessions at Bodedeyrn, and that they *were proved on oath*. There is no reason to suspect that the parties perjured themselves.

"I was called upon by the Commissioner to give evidence. It was my duty to give it, when so required, and my only regret is that I had such disgraceful facts to disclose.

"You appear to charge me also with all the blame for the want of schools in the Llanbeulan District. In the year 1846, the schoolmaster at Bryngwran died. I have made every exertion to find another master, but have failed to meet with one duly qualified. The Inhabitants of the parish and chapelries of Llanbeulan do not contribute one farthing to the salary of the master. Only two of the landed proprietors are contributors to it, the remainder is given by me.

"In another district of Llanbeulan, the people were desirous of establishing a British and Foreign School. Mr. Phillips, the local agent, attended a meeting for the purpose. I offered to give land for the building, and an annual contribution towards the master's salary, provided the Inhabitants would pay the remainder. This they attempted and failed to do, and therefore the scheme has come to nothing, and I am now engaged in establishing a school in the same place by other means.

"I deem it proper to make this statement to you, because the character of your periodical is such that whatever appears in it deserves attention, and mistakes in it about individuals may be injurious.

"To the attacks that have been made on me on account of my evidence, by writers in newspapers, and speechifiers at public meetings, it would be equally useless and degrading to make a reply; but from the Editor of the "Traethodydd" I am sure I shall not be denied justice for his inadvertent errors, and I think also I may expect from him the usual courtesies of language which are observed between *Gentlemen* who honestly differ in their opinions.

"I am, SIR, your obedient Servant,
"J. W. TREVOR,
"Rector of Llanbeulan."

brawf fod pob rhinwedd a phob teimlad dynol wedi diflanu o blith yr Albaniaid? A ymfoddlonai Mr. Trevor ei hun i ni ffurfio barn am holl offeiriaid yr Eglwys Sefydledig oddiwrth y gweithredoedd ysgeler a gyflawnwyd gan rai o honynt, ac a brofwyd mewn llysoedd gwladol? Eto fel hyn y mae efe wedi ymddwyn tuag at drigolion annedwydd Mon: ac nid yw yn cyfyngu ei hun i Fon yn unig, ond y mae yn dwyn yr un cyhuddiadau yn erbyn Cymru yn ei chrynswth. Dywed "fod egwyddorion moesol y Cymry yn hollol lygredig a phenrhydd ar y pen hwn." Dywed hefyd ei fod "yn honi gyda sicrwydd, fel ffaith anwadadwy, nad yw godineb yn cael ei ystyried yn fai, nac ond braidd fel gwendid, gan y bobl gyffredin yn Nghymru. Ystyrir ef fel mater o anghenrheidrwydd—fel y llwybr rheolaidd i briodas. Y mae yn cael ei arddelwi, ei amddifyn, a chwerthin am ei ben heb ddim petrusder, na chywilydd, na dirgeliad, gan y naill ryw fel y llall." Bobl anwyl! a gafwyd dyn o fewn cyffiniau Cymru yn alluog i roddi y fath gyhuddiadau ofnadwy a hyn ar bapyr—a hwnw hefyd yn Gymro o waed, yn ustus heddwch, ac yn offeiriad urddasol yn yr Eglwys Sefydledig? Oni wyddai Mr. Trevor fod yr Ymneillduwyr yn diarddel o gymundeb eglwysig yn ddiarbed bob un a geir yn euog o'r pechod hwn? Gallasai wybod, a dylasai fynu gwybod hyn. Ac eto, y mae yn haeru nad yw y Cymry yn edrych arno yn fai. Tybygem mai y Methodistiaid yw y blaid liosocaf yn nghymydogaeth Mr. Trevor: a phe gofynasai i un o honynt, cawsai wybod eu bod yn diarddel hyd yn nod am rag-gyfeillach anweddaidd, a bod y diweddar Barch. John Elias wedi ysgrifenu yn erbyn yr arferiad yma yn benodol. Nis gwyddom ni a gred efe ein tystiolaeth ni ai peidio. Ond gallwn sicrhau iddo i ni glywed ymdrin â'r pwnc hwn, fel prif bwnc y cyfarfod, am lawer o fisoedd yn olynol mewn mwy nag un sir yn Nghymru, gyda dymuniad taer am i'r holl genadau oedd yn wyddfodol fyned â'r mater adref yn ffyddlawn i'r amrywiol eglwysi a'r Ysgolion Sabbothol. Ac yn awr, yr ydym yn gofyn i Mr. Trevor ailystyried ei dystiolaeth yn ei oriau mwyaf difrifol; ac yna y mae yn ddiammhau genym y gwel mai ei ddyledswydd, fel dyn cydwybodol, yw *galw ei eiriau yn ol,* a hyny yn y modd mwyaf cyhoeddus.

Ond yr ydym yn addef yn rhwydd nad yw ymddygiad Mr. Trevor hanner cynddrwg a'r eiddo Henry Lewis Davies. Y mae hwn, nid yn unig wedi dwyn camdystiolaeth yn erbyn y Cymry; ond yn ceisio taflu y bai ar eu crefydd. Nid yw ei dystiolaeth ond pentwr o ddigywilydd-dra a baweidd-dra: ac y mae ei holl haeriadau wedi eu profi yn gelwyddau dybryd. Ond y mae bechgyn Troedyraur wedi ei drin mor dda, fel nad oes achos i ni ddywedyd llawer. Y mae ei dynged yn dwyn i'n cof y chwedl yn y Mabinogion am Gwawl fab Clud. Dywedir yno fod Pwyll fab Pryderi a Rhianon ferch Hyvait Hen wedi syrthio mewn cariad â'u gilydd; ond y dewisai tad Rhaianon yn hytrach gael Gwawl yn fab-yn-nghyfraith. Yn yr amgylchiad hwn daeth Pwyll at balas Rhianon, lle yr oedd Gwawl ar y pryd yn gwledda. "A gwisgaw bratau trymion yamdano a wnaeth, a llopanau mawr am ei draed." Gwedi ei ddawed i'r neuadd, gofynai am lonaid côd fechan, yr hon oedd ganddo yn ei law, o fwyd. Hyn a ganiatâwyd; ond er a fwrid ynddi, ni fyddai llawnach na chynt. Pan welodd Gwawl fod cymaint ag oedd yn y tŷ yn debyg o fyned i gôd Pwyll fab Pryderi, aeth i feddwl am ryw lwybr i attal yr anffawd; a chafodd allan

nad oedd modd symud y swyn heb iddo gyfodi, a sengu â'i ddau droed y bwyd yn y gôd, a dywedyd, "Digawn a doded yma." Yna, medd yr hanes, "cyvodi i vynyt a oruc, a dodi ei deutroed yn y gôd. Yna troi o Bwyll y gôd ynivyt Gwawl tros ei ben ynti; ac yn gyvlym cau y gôd, a llat clwm ar y careiau." Yn awr, fe wel pawb mai dammeg yw yr hanes yma—fod Rhianon yn arwyddo Cymru hardd a hoff; fod Pwyll fab Pryderi yn cynnrychioli yr Ymneillduwyr; ac mai wrth Gwawl fab Clud y mae i ni ddëall Lewis Henry Davies. Ond diwedd y chwedl sydd fel hyn:—"Pwyll a dodes lev ar ei gorn. Ac ar hyny llyma y teulu am ben y llys. Yna cymeryd o Bwyll bawb o'r niver a daeth ygyda Gwawl, ac eu dodi yn ei garchar ehun; a bwrw y bratau, ac y llopanau, ac yr yspail ditestyl iamdano a oruc. Ac val y delai bob un o nifer Pwyll yntau i mywn, y tarawai dyrnawd ar y gôd, ac y govynai, Beth y syt yman? Broch, metynt wyntau. Sev cyvryw chware a wneynt, taraw a wnäai bob un dyrnawd ar y gôd, ai ag ei droed, ai â throsawl; ac evelly yn gware, pawb val y delai a ovynai, Pa chware a wnewch chwi velly? Gware broch ynghôd, metynt wyntau. Ac yna gyntav y gwarewyd broch ynghôd." Yma yn y gôd y gadawn Guredyn Troedyraur ar hyn o bryd, nid heb obaith rhyddhâd, os ceir arwyddion boddlonawl o'i edifeirwch. Ond yn y cyfamser crefwn genad i ofyn yn barchus i Esgob Tyddewi, yr hwn, y mae yn dda genym glywed, sydd yn ddarllenydd cyson o'r "Traethodydd," Onid yw y gŵr hwn yn haeddu cael ei alw i gyfrif am ei ymddygiad?

Y mae un arall wedi enwogi cymaint arno ei hun yn yr helynt yma, fel y byddai ganddo achos cyfiawn i gwyno pe pasiem ef y tro hwn eto yn ddisylw. Cyfeirio yr ydym at y Parch. W. Jones, Nefyn. Yr oedd genym feddwl lled dirion am dano ef unwaith, oherwydd y llyfr a ysgrifenodd ar "Nodweddiad y Cymry." Er nad oeddym yn ystyried y gwaith hwnw mewn un modd yn ddifai, yr oeddym er hyny yn ewyllysgar i guddio lliaws o bechodau er ei fwyn. Ond y mae yn ymddangos oddiwrth ei lythyrau diweddar yn y "*Carnarvon Herald*" ei fod yn awr yn penderfynu gwneyd iawn i'r Uchel-eglwyswyr am bob gair diragfarn a ysgrifenodd yn ei lyfr. Soniai yn un o honynt am Mr. Trevor fel merthyr; ac amlwg oedd yr amcanai gymeryd rhan go fawr o'r un clod iddo ei hun. O Eglwys Loegr! hen eglwys Cranmer a Farrar! i ba ddyfnderoedd y syrthiaist? ai dyma y merthyron sydd genyt i'w dangos yn y dyddiau hyn? Llefarai y merthyron gynt yn wrol yn erbyn pechodau y mawrion a'r cyfoethogion; ond nid yw eiddigedd merthyr Nefyn yn cyrhaedd yn mhellach na merchetos disynwyr a thlodion digymhorth. Byddai y merthyron gynt yn cyhoeddi eu cenadwri o flaen wynebau y troseddwyr; ond y mae merthyr Nefyn yn cyfaddef na ddysgwyliodd y byddai i'w dystiolaeth ddyfod i'r amlwg ger bron y wlad. Blaenllymodd ei saethau, trochodd hwynt mewn gwenwyn, ac annelodd hwynt yn llechwraidd yn erbyn gwrthddrychau ei gasineb; ac yna, pan brofwyd ef yn euog o'r weithred, y mae yn troi i fynu ei lygaid, ac yn mwngial rhywbeth am ysbryd merthyr. Ond er hyn oll, cynnygia ein darbwyllo ei fod yn ewyllysiwr da o eigion calon i bawb o'r Ymneillduwyr; a thystia yn ddifrifol mai y fath yw cyflawnder anhysbyddadwy ei gariad tuag atom, fel y dymunai ein gweled oll yn un, *trwy ddyfod i'r un Eglwys ag yntau.* Ie, braidd na feddyliem y rhoddai ddeheulaw cymdeithas, ar ol rhyw gymaint o brawf, i bechaduriaid mawrion Nefyn. O'r hyn lleiaf, y mae genym seiliau cryf i gredu y

derbyniai eu harian yn ddigon dirwgnach. A rhag i neb dybied nad yw efe ei hun wedi gwneyd dim at ddiwygio y genedl, y mae yn iawn i ni hysbysu iddo ysgrifenu llythyr i rai o'r cyhoeddiadau misol, *er ys dau fis yn ol*, i'n dysgu pa fodd i ffurfio Cymdeithasau Diweirdeb drwy yr holl wlad. Yr oedd ei gynllun yn rhagorol: ond rywfodd anghofiodd sylwi fod y Methodistiaid wedi gweithredu yn egniol *er ys blynyddau* gyda chynllun o'r un natur, a'u bod wedi llafurio i gael penau teuluoedd ac ieuenctyd i law-nodi ymrwymiadau, y rhai ydynt bron air-yngair yr un peth a'r eiddo ef. Ond cafodd eu hymdrechiadau gyda 'r achos hwn eu gwrthwynebu a'u gwawdio yn nghyhoeddiad misol yr Eglwyswyr. Addas, gan hyny, fyddai cymhwyso un o ymadroddion Sheridan at lythyrau y Parch. W. Jones: "Y mae ynddynt lawer o bethau hollol wir, a llawer o bethau hollol newydd; ond y pethau sydd wir nid ydynt newydd, a'r pethau sydd newydd nid ydynt wir."

Nid oes genym arfod nac amynedd i ymdroi gyda 'r rhelyw o'r personiaid sydd wedi dyfod allan ar yr achlysur hwn yn y cymeriad o gyhuddwyr y brodyr. Ond cymerwn y cyfle i gyfeirio rhai ymadroddion atynt oll gyda'u gilydd. Offeiriaid yr Eglwys Sefydledig—wrth y dosbarth erlidgar o honoch yr ydym yn siarad—gwrandewch air o rybudd! Yr ydych wedi bod yn llafurio am yspaid maith o amser, ac yn awr yr ydych yn fwy ymdrechgar nag erioed, i lanw meddyliau y cyfoethogion â rhagfarn yn erbyn yr Ymneillduwyr. Nid oes iaith yn rhy isel genych i'w harfer am danynt, na phechodau yn rhy ysgeler i'w cyhuddo o honynt. Y mae perthynasau agosaf rhai o honoch yn Ymneillduwyr; iddynt hwy yr ydych yn ddyledus am hyny o wybodaeth grefyddol sydd genych; yn eu Hysgolion Sabbothol hwy y dysgasoch ddarllen; eu hemynau melusion hwy a drysorwyd gyntaf yn eich cof. Ond ni wnewch gyfrif o'ch rhwymedigaethau mwyaf pwysig; ni pherchwch dad na brawd; ni phetruswch alw eich mamau a'ch chwiorydd yn buteiniaid; nid gwaeth genych er fod eich cenedl yn cael ei chablu yn holl newyddiaduron y deyrnas; os gellwch yn rhyw fodd daflu gwarth ar ddynion mwy cydwybodol na chwi eich hunain. Os bydd rhyw ddaioni o fewn y tir, os bydd brawdlysoedd yn myned heibio heb un carcharor i'w brofi, yr ydych yn cymeryd y clod i chwi eich hunain: ond os bydd rhyw ddrwg yn aros heb ei ddiwreiddio, yr ydych yn rhoddi y bai wrth ddrws yr Ymneillduwyr; pan y gŵyr eich cydwybodau mai eu llafur hwy gan mwyaf yw yr achos o bob trefn a gweddeidddra a welir yn ein plith. Gallasai llawer o honynt gael bywioliaethau càn frasèd a'r eiddoch chwithau, pe dewisasent. Ond glynasant wrth eu hegwyddorion, heb nemawr o obaith na dysgwyliad am dâl yn y fuchedd hon, oddieithr yn yr hyfrydwch o wneuthur daioni. Nid oes pobl dan haul y ffurfafen y dyddiau hyn wedi llafurio mwy, ac wedi llwyddo mwy, dan gymaint o anfanteision, nag Ymneillduwyr Cymru. Ac eto, dyma y bobl yr ydych chwi yn ceisio eu difeddiannu o'r hyn a werthfawrogir ganddynt yn fwy na'u bywyd, sef eu cymeriad moesol. Yr ydych yn adgyfodi yr hen gyhuddiadau a ddygid gynt yn erbyn Griffith Jones, Llanddowror, ac wedi hyny yn erbyn y Methodistiaid boreuaf. Os bydd rhai yn tyfu i fynu yn anwybodus mewn rhyw gŵr o'r wlad, yr ydych yn ein beio am hyny; ac os ymgyfarfyddwn, yn lle gorphwyso, ar ol caledwaith y dydd, i addysgu y bobl mewn crefydd a moesoldeb, yr ydych yn ein beio am hyny. Os bydd meddwdod a godineb yn ennill tir, yr ydych yn ein beio am hyny;

ac os codir cymdeithasau effeithiol yn erbyn y cyfryw bechodau, yr ydych yn ein beio ac yn ein gwawdio am hyny. "Yr ydych yn cau teyrnas nefoedd o flaen dynion; canys chwi nid ydych yn myned i mewn, a'r rhai sydd yn myned i mewn, nis gadewch i fyned i mewn." Ond mor sicr a bod deddf Duw yn anghyfnewidiol, fe ddymchwel eich traha ryw ddiwrnod ar eich penau eich hunain. Wrth geisio adeiladu yr Eglwys Sefydledig trwy gelwydd a chabledd, yr ydych yn cymeryd y llwybr mwyaf uniongyrchol i'w dinystrio. Chwi sydd mewn effaith yn ei thynu i lawr â'ch dwylaw eich hunain. Y rhai a ddewisent fod yn llonydd, ni chânt lonydd; oblegid yr ydych yn eu gorfodi i ddyfod allan yn eich erbyn mewn hunan-amddiffyniad, ac yr ydych â'ch holl egni yn cynhyrfu teimladau y genedl o'u plaid. Ac, attolwg, pwy ydych *chwi* sydd yn edrych gyda diystyrwch ar eich cymydogion? "Ai eich celwyddau *chwi* a wna'i wŷr dewi?" Ai *chwi* sydd yn son am gyfarfodydd y nos? Ai *chwi* sydd yn cwyno o herwydd anfoesoldeb y genedl? Byddwch fyw yn well na ni, ac yna ni a wrandawn arnoch yn ein cynghori. Ond gwyddom yn lled dda, ac fe ŵyr y wlad hefyd, pa fath rai ydych *chwi*. A fynwch chwi i ni ddal y drych o'ch blaen, fel y caffoch fantais i weled eich hunain? Ysgwaetheroedd, pe ysgrifenid hanes eich bywyd, ni fyddai yn llawer o anrhydedd i chwi nac i'ch eglwys. *A hyn a wneir* os na cheir llonydd genych un ffordd arall. Gan na fedrwch dewi o gydwybod nac o gywilydd, y mae yn rhaid eich dysgu â mieri ac â drain. Nid oes ynom ddymuniad na bwriad i gymeryd y gorchwyl mewn llaw ein hunain. Ond cofiwch fod olynwyr Twm o'r Nant heb ddarfod eto yn Nghymru, y rhai a hiraethant am weled rhyw gyhoeddiad misol yn cael ei gychwyn i gofnodi holl gastiau y personiaid hyny sydd yn enllibio yr Ymneillduwyr, ac yn rhanu llyfrau yn mysg eu plwyfolion, y rhai a gynnwysant bregethau a chabldraeth ar bersonau yn gymysg â'u gilydd. Yr ydym yn awr yn rhoddi i chwi rybudd teg. Y mae golygydd a gohebwyr eisoes wedi eu nodi—dynion a fedrant eich portrëadu i'r byw, ac ysgoi maglau y gyfraith wladol yn gystal a chwithau: ac oni ddewisech gael eich anfarwoli yn gynt na phryd, cynghorem chwi i fod o hyn allan yn hynod iawn o ddystaw. Gobeithiwn na bydd anghenrheidrwydd am gyhoeddiad o'r fath; ac y cawn ymresymu am bob gwahaniaeth sydd rhyngom heb geisio taflu anfri ar gymeriad moesol personau na phleidiau. Arosir o leiaf am rai misoedd i gael gweled pa fodd yr ymddygwch.

Hyfryd yw gweled y teimlad gwladgarol a gynnyrchwyd gan yr Adroddiadau hyn yn meibion dewrion Gwalia. Y mae ein diolchgarwch yn deilwng mewn modd arbenig i olygwyr a pherchenogion yr "Amserau" a'r "*Carnarvon Herald;*" ac hefyd i Mr. Thomas Morris, Liverpool; Dr. Owen Roberts, Bangor; y Parch. D. R. Stephen; y Parch. Evan Jones, Tredegar, am ei lythyr rhagorol at Mr. W. Williams; a'r Parch. Henry Richard, am ei ddarlith odidog yn Crosby hall. Ac er fod y "*Principality*" yn gloff ryfeddol ar y cyntaf, daeth ato ei hun a newidiodd ei dôn yn fuan, ac ar ol hyny y mae wedi ymladd yn egniol. Ond caniatâer i ni ddwyn ar gof nad yw ein llywodraethwyr yn debyg o sylwi ar ein hareithiau na'n penderfyniadau, mwy nag ar "nadau asynod," os na lwyddwn i ddylanwadu ar yr etholiadau. Nid oes dim yn eisieu ond cael rhyw ychydig mewn lle manteisiol i ffurfio cymdeithas i'r perwyl: a'r lle sydd yn ein golwg ni ydyw Liverpool. Nid oes dim a saif o flaen ein cydwladwyr yn y dref hono, os unwaith y dechreuant. Rhaid cael un, a hwnw yn

ddyn trwyadl, i roddi ei holl amser at y gwaith. Dau cant, mwy neu lai, o bleidleisiau a fyddai yn ddigon i droi y fantol yn y rhan fwyaf o'r etholiadau Cymreig. Ac ni fyddai yn syn genym glywed fod un cant yn Liverpool yn unig wedi prynu hawl i bleidleisio yn mhob un o siroedd Cymru. Y mae lliaws mawr yn mhob sir a ymunent yn galonog; ond nid oes nemawr o honynt yn ei gweled yn werth myned i'r drafferth yn awr, gan na fydd eu pleidlais hwy yn bersonol yn debyg o effeithio llawer y naill ffordd na'r llall. Y mae yn rhaid cael symudiad cyffredinol; ac os cymerir y mater i fynu yn unol, nid gormod fyddai dysgwyl yr anfonid Ymneillduwyr egwyddorol i'r senedd dros bob sir a phob bwrdeisdref yn Nghymru.

---

## CODEX BEZÆ.

Gan ein bod yn gadael yr ymadrodd a roddasom uwch ben yr ysgrif hon yn ddigyfieithiad, fel ei harferir gan y dysgedigion, efallai y dylem, er mwyn y cyffredin o ddarllenwyr, ddywedyd mai *codex* y gelwir hen ysgrif ar femrwn. Y mae y gair yn cael ei arferyd fynychaf am yr hen ysgrifeniadau hynaf o'r ysgrythyrau, neu ranau o honynt, sydd eto ar gael yn llyfrfâoedd y prifysgolion, mynachlogydd, llyfrfâoedd cyhoeddus, a rhai llyfrfâoedd personol hynafiaethwyr cywrain. At y rhai hyn y cyfeirir mewn dadleuon ar awdurdod rhyw ranau ammheüus o'r casgliad a elwir y Bibl, yn benaf gwahanol ranau o'r Testament Newydd. Y mae yr ysgrifion hynafol hyn yn cael eu gwahaniaethu wrth enwau y lle y cafwyd hwynt, megys *Codex Alexandrine*, &c. y lle maent yn nghadw, megys *Codices Cantabrigiensis* (Caergrawnt), &c. neu y personau a'u darganfuasant, ac a'u dygasant i sylw, megys *Codex Bezæ*, &c. Gan fod cyfeiriad atynt mor fynych yn y gwahanol esboniadau beirniadol a gyhoeddir y dyddiau hyn, hyd yn nod yn yr iaith Gymraeg, tybiasom, o bosibl, na byddai ychydig hanes am rai o honynt ddim yn hollol ddiadeiladaeth i ddarllenwyr y "Traethodydd." Ni a ddechreuwn gyda yr un a enwir ar ben uchaf y traethodyn hwn, am ei fod yn un o'r pwysicaf, ac wedi achlysuro cryn ddadleuon gynt rhwng dysgedigion a hynafiaethwyr Biblaidd.

Y mae yr hen ysgrif hono yn cael ei galw *Codex Bezæ* oddiwrth Theodore, neu Theodori Bezæ, neu Beza, diwygiwr yn Geneva, a chydoeswr â Chalvin, am iddi fod gynt yn ei feddiant, ac iddo ei rhoddi yn anrheg i Brifysgol Caergrawnt (Cambridge); ac hefyd i'w gwahaniaethu oddiwrth hen ysgrifeniadau eraill o ranau o'r ysgrythyrau sydd yn llyfrfa y brifysgol hono, ac a adwaenir wrth yr enw *Codices Cantabrigiensis*, fel y nodwyd uchod.

Hen Roegiaith yw yr ysgrif, gyda chyfieithiad Lladinaidd, yn cynnwys y pedair efengyl mewn trefn—Matthew, Marc, Luc, ac Ioan, ynghydag Actau yr Apostolion. Cyfeiria Beza yn fynych at yr ysgrif hon yn ei argraffiad newydd o'i Destament Groeg, yr hwn a gyhoeddwyd gyntaf yn 1551, er y tybia iddi gael ei darngnoi a'i chyfnewid gan yr hen gyfeiliornwyr, yn benaf yr efengyl yn ol Luc. Pa fodd y cafodd Beza hi i'w feddiant gyntaf, nid yw yn dywedyd, ond yn unig iddo ei chael o fynachlog

yn Lyons, yn 1562. Efe a'i hanrhegodd i'r brifysgol yn 1581, gyda llythyr moesgar mewn Lladin tlws yn gysylltiedig â'r ysgrif.

Y mae gwedi ei ysgrifenu mewn llythyrenau unffurf, sef llythyrenau mawrion pedwarochrog (*square*), y rhai yn anmhriodol a elwir gan rai yn Benigoliaid, canys y fath oedd yr holl lythyrenau Groeg, yn gystal mewn llyfrau ac ar femrynau, yr amser y cafodd yr ysgrif hon ei hysgrifenu. Y mae yr ysgrif wedi ei hanrheithio mewn amryw ddalenau, a deg o honynt wedi eu cyflenwi gan ysgrifell ddiweddarach; ond heblaw hyny, y mae drwyddi mewn cadwraeth lled dda. Tybir mai yn yr Aipht yr ysgrifenwyd y wreiddiol, sydd yn awr ar ddifancoll; ac mai oddiwrth hono y cafodd hon ei gwneyd; ac y mae rhesymau i gredu fod y bresennol wedi ei hysgrifenu yn y gorllewin.

Trwy ba foddion bynag y daeth i feddiant Beza, efe a farnodd yn eithaf priodol ei ystyried yn eiddo y cyffredin; a chan olygu y byddai hyny yn eithaf anrhydeddus iddo ei hunan, efe a'i trosglwyddodd i lyfrfa un o'r prifysgolion dysgedicaf yn y byd—o leiaf y pryd hyny. Y mae rhai yn anewyllysgar i gyhuddo y fath ddyn crefyddol a Beza o draisfeddiannu y llyfr gwerthfawr hwn, er fod y beirniaid goraf, yn enwedig Greisbach, yn caniatâu fod rhyw ddirgelwch yn gwisgo yr amgylchiad hwn. Ond pa fodd bynag y daeth i law Beza, y mae un peth yn ddiammheuaeth, fod yn rhaid i'r llyfr gael ei ladrata gan rywun; canys, heblaw yr hyn a sylwyd arno gan eraill, gellir mynegu, na roddwyd caniatâd Pabyddol neu gyfreithiol yn Ffrainc i awdurdodi ymweled â'r mynachlogydd; ac ni allasai Beza na neb arall weithredu fel dirprwywyr i ddwyn ymaith yr ysgriflyfrau, fel y gwnaed o dan ddirprwyaeth arbenigol oddiwrth y cyfrin-gynghor yn Lloegr: gan hyny nid oedd gan neb hawl i'w wneyd; ac yr oedd yn rhaid i'r neb a'i cymerodd gyntaf o lyfrfa ryw fynachlog fod yn euog o ladrad. Y mae Wetstein yn haeru yr un peth, a Michælis yn dyweyd ei fod yn dra thebygol. Y mae Mr. Marsh wedi symio i fynu y prawfiadau o bob tu (a dyma y pwnc mwyaf cywrain gan feirniaid Biblaidd) gyda manylwch a doethineb mawr, heb draddodi ei dyb ei hunan, ond yn gadael y canlyniad i benderfyniad ei ddarllenwyr. Boed i hyna fod ei wala ar hanes yr ysgrif.

Yn y lle nesaf ni a gymerwn olrheiniad i'w hynafiaeth. Os yw awgrymiad Beza yn dwyn unrhyw awdurdod, i'r ysgrif hon fod rywbryd yn Mynachlog St. Irenæus, ac iddi fod yno er amser y tad hwnw, bydd hyn yn gryn bwys er sicrhau ei hoed; neu os caniatêir ei haeriad, iddi gael ei niweidio gan yr hen hereticiaid, fel eu gelwir, daw hyny â'i hynafiaeth o fewn i'r ail, drydedd, bedwaredd, bummed, neu y chweched ganrif, pan oedd y Falentiaid, Sabeliaid, a'r Ariaid yn fwyaf bywiog; ond gan fod hyn yn ymddibynu ar haeriad noeth Beza, neu o leiaf, can belled ag y mae a wnelo â chyhuddo y Pabyddion a hereticiaid, fel y gelwid eraill, o newid llawer o lëoedd mewn hen ysgrifion a geid ar femrwn yn y mynachlogydd, mewn gwahanol amserau, y mae yn gadael y pwnc yn dra phenagored. Ac ni ellir chwaith penderfynu dim oddiwrth lwyder neu felynder y llythyren. Sylwasom fod rhai ysgrifeniadau diweddar mewn cymhariaeth wedi llwydo neu felynu oddiwrth ansawdd yr *inc*, oddiwrth ddull yr ysgrifenydd, neu oddiwrth y lle y bu yr ysgrifeniadau yn cael eu cadw: ond y mae llwyder neu felynder yr ysgrifen, ac arwyddion eraill, o'u cymeryd mewn cysylltiad â dull unffurfiol y llythyrenau, ac hyd yn nod y mwyaf

pedwar-onglog o'r dull hwnw, ac hefyd eu bod heb fath yn y byd o nodau i rëoleiddio y darlleniad, gymaint a rhaniadau y brawddegau, yn profi ei bod yn ysgrif o'r hynafiaeth pellaf.

Tybia Mr. Whiston fod yr ysgrif hon mor hyned a'r eilfed ganrif; ond er y rhaid cyfaddef ei fod ef yn dra hyddysg mewn hynafiaethau Cristionogol, ychydig bwys a ddwg tybiadau dyn a allai goleddu y fath opiniynau am y cyfansoddiad apostolaidd a Mr. Whiston. Tybia Dr. Waterland, yntau, nad oes braidd y fath beth i'w gael a llaw-ysgrif ar femrwn mor hyned a'r bedwaredd ganrif; nac yr un hynach na'r cyfnod hwnw. Yr oedd y ddau hyn yn ddynion dysgedig iawn. Y mae cryn bwys hefyd yn cael ei roddi ar dyb Montfaucon, yr hwn nid yn unig a ddarllenodd bob beth a gyhoeddwyd o barth i hen ysgrifion Groegaidd, ond hefyd a olrheiniodd yn bersonol holl lyfrfäoedd gwerthfawrocaf Itali a Ffrainc, gan belled yn ol a'r drydedd ganrif; ac yr oedd yr ysgrif ag y cyfeiriai ef ato, meddai ef, wedi darfod er ys talm trwy hynafiaeth a rhwd; ac y mae ei ymchwiliadau ef yn dilyn trwy y bummed a'r canrifoedd dilynol. Wetstein, yr hwn a ysgrifenodd eilun o'r *Codex Bezæ*, yn Nghaergrawnt, a dybia ei bod o'r bummed ganrif: ac ni allai Marsh gael ei hun yn meddu digon o awdurdod i briodoli iddi hynafiaeth pellach, er ar yr un pryd ei fod yn credu gyda beirniaid eraill, ei bod y llaw-ysgrif Roegaidd hynaf yn y byd. Dyma y cwbl a gynnygiwn ar hynafiaeth y *Codex* hon.

Bellach, ni a daflwn olwg ar y defnydd a wnaed o honi.

Am Destament Groegaidd Beza, dywed Mr. Porson, "mai bychan yw ei deilyngdod fel gwaith beirniadol. Gan ei fod yn anwybodus o wir ddefnydd y gwahanol ddarlleniadau, nid yw yn crybwyll am danynt, oddieithr i gefnogi ei osodiadau ei hun, i'r hwn ddyben duwiol y mae yn cyfrodeddu y testun a'r dëongliad! Y mae yn gwneyd ei esboniad ei hun (ac yn wir y mae mewn rhan yn ymffrostio o hyny) yn offeryn i ddirmygu Origen, Erasmus, a Castalio, yn enwedig yr olaf, ar yr hwn y mae yn gollwng *eithaf drwg-dafod llid duwinyddol*." Yr ydys yn gorfod derbyn gyda chynnilwch y dyb yna beth bynag am un o'r diwygwyr ag y mae genym barch nid bychan iddo, hyd nes y gallom gael allan beth oedd duwinyddiaeth Porson ei hun, rhag bod dan ei *gap* yntau ryw *lid duwinyddol* tuag at ddiwygwyr Geneva. Pa fodd bynag, er y gwnaeth Beza ei hun ddefnydd helaeth o honi, gan fel y sylwai fod ynddi *bethau o bwys mawr*, efe a dybiai na ddylid cyhoeddi ei *Codex* hon, oblegid y newidiadau a wnaed gan hereticiaid mewn amryw lëoedd. Tybir mai Patricoies Junius a gasglodd ei gwahanol ddarlleniadau gyntaf. Cymharodd Archesgob Usher argraffiad Elzevir wrthi yn 1724, ac a roddodd ei gwahanol ddarlleniadau i Walton, yr hwn a wnaeth ddefnydd o honynt yn ei chweched llyfr o Fibl Amrywieithawg Llundain, yr hwn a argraffwyd yn 1757.

Cyhoeddodd Dr. Mill ei argraffiad ef o'r Testament Groeg yn Rhydychain yn 1707, ac ailargraffwyd yr unrhyw yn Rotterdam yn 1710. Traethodd ef yn helaeth ar y *Codex Bezæ* yn ei "*Prolegomena*." Dywed ef fod y Groeg wedi ei lygru yn rhyfeddol, er ei fod wedi tarddu yn wreiddiol o'r un ffynnonell a'r cyfieithiad Italaidd, a'i fod wedi ei newid yn ddrwg gan yr ail-ysgrifenwyr neu yr eilunwyr Lladinaidd. Y mae beirniaid eraill mor ddysgedig ag yntau yn haeru fel arall, gan ddal fod yr holl *Codices* Groeg-Ladinaidd wedi eu newid oddiwrth y Groeg gwreiddiol, tra y tybia eraill mai y Groeg a newidiwyd oddiwrth y Lladin. Mill, er

i dyb mai eilun llygredig yw oddiwrth un arall purach, a wna ddefnydd mynych o honi yn ei Destament Groeg.

Cyhoeddodd Wetstein ei argraffiad mawr o'r Testament Newydd, mewn dau lyfr unplyg, yn Rotterdam, yn 1731. Adysgrifenodd ef y cwbl o'r ysgrif, fel y sylwyd yn barod, yn Nghaergrawnt, â'i law ei hun. Ysgrifenodd draethiad helaeth am dani yn ei "*Prolegomena,*" gan lefaru yn gryn wresog, ac yn wir yn chwerw, yn erbyn Beza. Y mae yn achwyn fod yr ysgrifeniadau Groegaidd wedi eu newid oddiwrth y Lladin, er ei fod yn rhoddi cryn sylw i'r *Codex Bezæ,* ac yn gwneyd defnydd mynych o honi o dan y nodyn D.

Yn 1776, darfu i Dr. Harwood gyhoeddi ei Destament Newydd, yn Llundain, yn yr hwn y mae wedi cymharu â'u gilydd yr holl hen ysgrifeniadau mwyaf awdurdodedig; ac oddiar argyhoeddiad mai "ysgrif Beza ac ysgrif Clermont, o'r holl ysgrifeniadau adnabyddus yn awr yn yr holl fyd, sy'n ymddangos yr agosaf i destun gwreiddiol yr ysgrifeniadau sanctaidd, y mae yn cymeryd y gyntaf fel prawfiedydd i'w argraffiad o'r pedair efengyl ac Actau yr Apostolion; ac y mae yr amgylchiad hwn yn rhoi gwerth ar Destament Groeg Harwood.

Cyhoeddodd y Cadeirdraw Michælis yn yr Ellmynaeg, "Ddarlithiau Arweiniol i Lyfrau Cysegr-lân y Testament Newydd." Cyhoeddwyd pedwar argraffiad yn Gottingen. Y mae llythyr o berthynas i'r tri cyntaf oddiwrth Michælis yn y "*Gentleman's Magazine,*" Medi, 1781. Cyhoeddwyd cyfieithiad Seisoneg o'r argraffiad cyntaf yn Llundain, yn 1750, ond ni ddadguddiwyd i ni enw y cyfieithydd. Nid yw Michælis yn yr argraffiad hwn ond yn enwi *Codex Bezæ* yn y ffordd gyffredin, yr un modd ag ysgrifion eraill. Y mae yn dyweyd wrth fyned heibio, "y meddylir ar sail dda, fod yr ysgrif hon wedi ei newid oddiwrth y cyfieithiadau Lladin." Ond y mae yn cydnabod, yn ei lythyr at Marsh, mai gwaith ar frys oedd yr argraffiad cyntaf; a bod y dysgedig Wetstein, ac yntau ei hunan, wedi rhoddi barn gyfeiliornus am yr ysgrifion pwysig hyn. Y mae yn ei ail lyfr o'i argraffiad diweddaf yn siarad yn helaeth ynghylch *Codex Bezæ;* ac yn rhoddi rheswm am feddwl "fod ei ddarlleniadau gan mwyaf yn ddiwaethygiad, ac o ganlyniad yn well na'r ysgrifion eraill." Darfu i Marsh, yn ei gyfieithiad o "Arweiniad" Michælis, yn 1793, helaethu ar rai o sylwadau Michælis, ac unioni rhai o'i dybiau; ac yr oedd Mr. Marsh mewn sefyllfa fanteisiol trwy ei fod yn cyfanneddu yn Nghaergrawnt, a chylch ei efrydiaethau hefyd yn ei gyfaddasu yn dda i'r gwaith hwnw.

Cyhoeddwyd Testament Groeg yn Halle, yn Almaen, gan Greisbach, mewn dau lyfr, yn 1775 a 1777: ac ailargraffwyd ef ar draul y Duc o Grafton, yn 1796, gyda rhagymadrodd byr, dyddiedig Jena, 1796. Y mae yn amddiffyn ei dybiau ei hun â'r defnydd o hen ysgrifion Groeg, ac yn golygu fod ei drefnddull o feirniadaeth yn cael ei gadarnhau gan yr hyn a welsai ef wedi ei gyhoeddi yn Nghaergrawnt (Beza) a hen ysgrifion eraill. Y mae yn llefaru yn gryf yn erbyn "*Michælis' opinionem inveteratum de codicibus et versionibus Latinizantibus,*" er fod Michælis wedi rhoddi i fynu y tybiau hyny. Y mae yn gwneyd defnydd mawr o ddarlleniadau ysgrif Beza yn ei argraffiad manwl, yr hwn sy'n destun-lyfr yn mhrifysgolion Almaen, ac mewn cyfrif mawr ymhlith beirniaid ysgrythyrol yn Mrydain.

Byddai yn dra anmhosibl i ni ddiweddu y traethiad hwn heb grybwyll y dysgedig Dr. Adam Clarke, yr hwn, yn ei sylwadau beirniadol gwerth-

fawr, sydd yn gwneyd defnydd agos o bob ysgriflyfrau hynafol a allasai gael gafael arnynt, ac a'u holrheiniodd yn bersonol. Efe a ddywed am y *Codex Bezæ* hon, "Y mae yn un o'r ysgriflyfrau hynaf sydd yn bod: amryw o'r darlleniadau, trwy ba rai y gwahaniaethir ef, a geir yn y Syriaeg, Coptaeg, y Sahidaeg, ac ymyl dail y cyfieithiad Syriaeg Philosenaidd. Hwn, gan mwyaf, yw yr ysgriflyfr mwyaf pwysfawr a feddwn o'r Efengylau a'r Actau: ac er ei ysgrifenu ar wahanol amserau, gan wahanol ddwylaw, eto gellir meddwl yn ddiogel fod y rhanau dechreuol yn gosod allan wir ddarlleniadau y testun efengylaidd ac apostolaidd mewn mesur mwy nag un ysgriflyfr arall sydd yn bod. Chwiliais fy hun yr ysgriflyfr hwn yn y llyfrgell gyhoeddus yn Nghaergrawnt; ac yr wyf wedi fy argyhoeddi, nid yn unig o'i fawr hynafiaeth, ond hefyd o'i ragoroldeb neillduol ef. Yn mhob lle yn fy sylwadau, ymdrechais i dalu sylw penodol i ddarlleniadau yr ysgriflyfr hwn." Oblegid y rheswm uchod, mewn rhan, y tybiasom na buasai byrdraith o'r fath a hwn ddim yn annyddorawl gan y cyffredin, ond er hyny yn fwy felly gan efrydwyr ieuainc ein hathrofëydd Cymroaidd, yn gystal ag eraill a ymbleserant mewn ymdrech cyfrinachol i wneyd i fynu y diffyg o ddysgeidiaeth athrofaol, trwy wneyd eu hunain o leiaf yn hysbys o'r hyn y gallant glywed eraill a gafodd fanteision helaethach yn crybwyll mewn ymddyddaniad.

Gan i ni ddywedyd fod y *Codex Bezæ*, yn gystal a'r holl ysgrifion hynaf wedi eu hysgrifenu â llythyrenau mawrion unffurf, heb na nod rhwng geiriau na brawddegau i gyfarwyddo y ddarllenydd, ni a roddwn esiampl i'r darllenydd, fel y gwelo mor drafferthus ac anhawdd yw darllen y cyfryw, a'r fath lafur dybryd a gafwyd i ddwyn yr ysgrythyrau i ni yn y modd rhwydd a hyfedr ag y maent. Ac er yr holl wahanol ddarlleniadau, mai ychydig sydd yn effeithio ar gynllun Duw yn achub dyn, a'r rhai sydd yn niweidiol felly, fod rhyw ysgrif arall wedi ei chadw yn fwy pur; a bod y cyfnewidiadau anghywir a wnaed yn dduach neu lwydach na'r rhan arall o'r ysgrif, yn brawf digonol fod y gair neu y frawddeg ammheüus wedi ei hysgrifenu gan ryw law lawer diweddarach na chorff yr ysgrif; fel ar y cyfan fod genym awdurdodedig feddwl Duw, wedi ei gadw gan neillduol gyfryngaeth ei ragluniaeth a'i ofal ei hun, a'i drosglwyddo i ni, "at y rhai y daeth terfynau yr oesoedd." Yr esiampl a roddwn sydd o *Codex Bezæ*, *Mat.* v. 1—3:—

APHANWELODDYRIESUYTYRFAOEDDEFEAESGYNODDIRMYNYDDACWEDIIDDOEISTEDDEI
DDYSGYBLIONADDAETHANTATOACEFEAAGORODDEIENAUACAUDYSGODDHWYNTGANDDY
WEDYDGWYNEUBYDYTLODIONYNYRYSBRYDCANYSEIDDYNTYWTEYRNASNEFOEDDGWYN
EUBYDYRHAISYNGALARUCANYSHWYADDYDDENIR.

Gallem yn hawdd ymhelaethu, ond tybygid fod hyn yn llawn ddigon yn bresennol; ar yr un pryd, efallai y trown ein golwg eto at rai o'r *Codices* eraill, neu ryw bwnc a fyddo yn dwyn perthynas â hynafiaeth yr Ysgrythyrau Sanctaidd. Gwasanaethed hyn er peri i ni fawrhau gair Duw, a diolch am dano, fel dadguddiad o'i feddwl am ein iachawdwriaeth.

# Y CYNHWRF ESGOBYDDOL.

Er pan y darparasom ein hysgrifiau i'r rhifyn diweddaf o'r "Traethodydd," mae yr Eglwys Wladol wedi bod yn faes ysgarmes frwd, yn herwydd penodiad y Dr. Hampden i Esgobaeth Henffordd; a thyrfu a gwreichioni mawr a fu ar yr achos. Digrif oedd gweled gwyr eglwysig yn lluchio pamphletau i wynebau eu gilydd—esgobion, dëoniaid, ac is-offeiriaid yn ymeiriach â'r llywodraeth—proctoriaid yn ymdaeru â phroctoriaid—a chyfreithwyr am ddiwrnodau yn ymgegu ar y mater yn llys y *Queen's Bench*. Afraid yw i ni gofnodi yn rheolaidd amgylchiadau yr helynt, gan fod ein darllenwyr oll, ni a dybygem, wedi dyfod yn hysbys o honynt trwy y newyddiaduron a'r cyhoeddiadau misol. Mae y cynhwrf blin, pa fodd bynag, wedi dadguddio yn y modd amlycaf gyflwr anhyfryd Eglwys Loegr, yn ei pheryglon oddiwrth haerllugrwydd milain y Puseyaid ar y naill law, ac yn ei chaethfyd o herwydd ei chysylltiad â'r llywodraeth ar y llaw arall.

Yr ydym yn methu peidio llygadu trwy y blyneddau ar "Dduwinyddion Rhydychain," ac wedi bod rai gweithiau yn dynoethi eu hegwyddorion anghristaidd yn y "Traethodydd." Mae dirgelwch yr anwiredd Puseyaidd yn gweithio o hyd, ac ar brydiau yn lluchio allan mewn ymdoriad trystfawr. Ac felly y dygwyddodd yn amgylchiad y Dr. Hampden. Gyda dichell anghyfiawnder, ymosodasant arno ef fel cyfeiliornwr dinystriol; ond yr heresi mewn gwirionedd ydoedd, ei fod yn Brotestant gwresog ac yn coleddu egwyddorion rhyddid gwladol a chrefyddol. Yr hyn oedd yn ddrwg y drygau ynddo gan gyffeswyr y Dduwinyddiaeth Newydd ydoedd ei fod, mewn llyfryn argraffedig, wedi dadleu dros dderbyn Ymneillduwyr i Brifysgol Rhydychain, megys y gwneir hyny yn Mhrifysgol Dublin. Dyma a'u ffyrnigodd yn ei erbyn, fel y profa y Duc o Sutherland yn ei lythyr, ac y dywed yr Archesgob Whately yn ei sylwadau ar y ddadl ddiweddar; ac nid ei afiachusrwydd yn y ffydd, er mai hyny oedd eu ffugesgus. Pechod echrys iawn mewn Eglwyswr, yn ol credo Duwinyddion Rhydychain, yw ymddwyn yn rhydd a charuaidd tuag at Ymneillduwr. Mr. Blanco White, yr hwn a gafodd bob mantais i ffurfio barn gywir am Pusey, Newman, a'u cymdeithion, a ddywedai mewn llythyr, er ys llawer o flyneddau bellach: "Mae efe [Newman] yn ŵr o ddylanwad mawr gyda'r rhan fwyaf o ddynion ieuainc darllengar yn Oriel, yr oll o ba rai a ennillwyd drosodd ganddo yn y pedair neu y pum mlynedd diweddaf i ragfarn bleidiol a Thorïaeth. Yr oedd yn athrawiaeth sefydledig yn mysg y blaid, pan y gadewais i Rydychain, na ddylid caniatâu i un Ymneillduwr fyw o fewn i lywodraeth Lloegr; ond y dylai pobl Lloegr, o anghenrheidrwydd, fod yn aelodau o Eglwys Loegr."

Ddarllenydd, sâf! Ai nid wyt yn cael yma ddeongliad ar ymdrechiadau diflin yr haid ddiweddar o bersoniaid yn Nghymru i niweidio Ymneillduwyr yn eu henwau a'u hamgylchiadau? Un o athrawiaethau sylfaenol Puseyaeth ydyw, "*na ddylid caniatâu i un Ymneillduwr fyw o fewn i lywodraeth Lloegr;*" hyny yw, mewn geiriau eraill, y dylid gwneyd pob peth ag a ellir, yn ol yr amgylchiadau presennol, i anghysuro, diraddio, a newynu y rhai oll sydd yn meddu cydwybod i ymneillduo oddiwrth yr Eglwys Wladol. Na rodder un gymwynas iddynt, na wneler dim masnach â

hwynt, cynhyrfer teimladau meistriaid gwaith a meddiannwyr tai a thiroedd yn eu herbyn; yn fyr, gan nad yw y gyfraith eto yn caniatâu eu lladd yn uniongyrchol, na adawer dim yn ol i ddwyn y gyflafan i ben mewn ffordd anuniongyrch. *Gwyddom* am wŷr a elwir yn Barchedigion sydd yn arfer eu holl ddylanwad i weithredu yn y modd hyn. "Nid yw yr Iuddewon yn ymgyfeillach â'r Samariaid." Maent yn edrych ar Ymneillduwyr, beth bynag fyddo eu rhinweddau, fel rhai â'r gwahanglwyf arnynt; adwaenir hwy yn unig i wylio rhagddynt. Ar y Nadolig diweddaf, mewn plwyf yn Ngogledd Cymru, lle yr oedd cymyn-rodd elusengar yn cael ei rhanu, hen wreigan dlawd a chlaf, yr hon nad oedd yn derbyn ond swllt o gynnorthwy plwyfol, a ddaeth ymlaen i dderbyn rhan, fel yr arferasai yn y blyneddau o'r blaen. Gofynwyd iddi gan olynwr yr apostolion, i ba le y byddai yn myned ar y Sabboth; hithau a atebodd, mai "i addoldŷ——." "Ymaith â chwi," meddai yr offeiriad gwir gristionogol; "nid oes dim i un o'ch bath chwi i'w gael yma." Ar ei hol, daeth gwraig ganol oed ymlaen, yr hon yr oedd ganddi annedd glyd, a'i gŵr a'i phlant yn ennill cyflogau mawrion, ac nad oedd mewn un modd yn wrthddrych elusen; ond nid oedd y bai o Ymneillduaeth i'w osod yn ei herbyn hi; cafodd hono o flaen wyneb yr hen wraig fethedig, dorth fawr a dryll o gîg eidion. Mewn lle arall, ar gyfryw achlysur, nacäwyd rhoddi "rhan" i wraig dlawd, yr hon yr oedd iddi "air da gan bawb, a chan y gwirionedd ei hun," am ei bod yn aelod mewn cynnulleidfa ymneillduol; ond pan ddaeth dynes o'r cymeriad gwaethaf ymlaen, a'r hon, mewn atebiad i'r cwestiwn mawr, I ba le y byddwch yn myned ar y Sul? a atebodd dan chwerthin, "Yn wir, ni byddaf fi yn myned i unlle," dywedodd y person cyfiawn, "Wel, wel, rhowch ran iddi hi." Fel yma y mae anghrefyddoldeb cyhoeddus yn llawer mwy diniwed yn ngolwg y Parchedigion hyn na chrefydd y capeli. Ai nid yw y pethau hyn yn profi eredíniaeth yn yr athrawiaeth a ddynoder gan Blanco White? Gwrandawer ar yr hanesyn hwn eto:—Ychydig wythnosau yn ol, aeth gŵr adnabyddus i ni at foneddiges oedranus, i ofyn am dŷ a darn bychan o dir oedd ar ei hetifeddiaeth. Yn mysg pethau eraill, dywedodd yr hen foneddiges wrtho, "Bydd yn rhaid i chwi, os cymerwch y tŷ a'r tir, fyned i'r eglwys ar y Sul." Yntau a ddywedodd ei fod yn arfer myned i le arall o addoliad. "Na," meddai yr hen *lady* gyda gonestrwydd mawr; "ni wna hyny y tro i mi: mae y personiaid, 'welwch chwi, yn dyweyd wrthyf fod y wlad wedi myned mor ddrwg, a'r *Dissenters* mor ddiffaith, fel na ddylwn mewn un modd osod tŷ na thir i neb ond i bobl yr eglwys." Dyma ffaith sicr; ond da genym ychwanegu, fod y gŵr, trwy sefyll yn gadarn at ei egwyddor, yn y diwedd wedi cael yr hyn a ddymunai gan y foneddiges, a chadw cydwybod dda hefyd. Gallem adrodd ffeithiau eraill, sydd yn arddangos ysbryd mwy erlidgar fyth. Ond caiff hyna ddigoni ar hyn o bryd. Eithr, dywed rhyw gyfaill bywiog wrthym, onid ydych wedi llwyr anghofio y Dr. Hampden a'r cynhwrf yn ei gylch? Cymer bwyll, anwyl frawd; yr ydym o hyd yn nghanol ein mater. Yr un ysbryd, yr un egwyddor, yr un syniad ag oedd yn gosod y frawdoliaeth Buseyaidd yn Rhydychain, a lleoedd eraill, ar waith yn erbyn y Dr. Hampden,—dyna sydd yn cymhell eu dysgyblion yn y Dywysogaeth i ormesu hyd eithaf eu gallu ar yr Ymneillduwyr Cymreig. Mae undeb perffaith rhwng y naill a'r llall. Yr un a'r unrhyw deulu ydynt. Ac, wrth gofio, yr oedd y periglorion a'r curadiaid o'r argraff hon yn ein cymydogaethau

mynyddig, yn arfer eu holl egni, er nad oedd eu hegni yn y diwedd, druain! ond ychydig ac aneffeithiol i hwylio ymlaen yr erlidigaeth ddiweddar yn erbyn yr Esgob Hampden.

Felly, yn ol tystiolaeth gadarn Duc urddasol Sutherland, gwreiddyn casineb Tractariaid Rhydychain, a'u pleidwyr, tuag at y Dr. Hampden, ydoedd ei ysbryd rhydd yn rhesymu ac ysgrifenu dros estyn manteision prifysgol y llywodraeth i bawb o'i deiliaid, heb wneyd dim gwahaniaeth o herwydd eu barnau crefyddol. Yn lle cydweithredu â hwy i geisio hwtio yr Ymneillduwyr allan o gylch pob cymdeithas gyfrifol, mynai y rhyfygwr gan Hampden eu derbyn i mewn yn eu hymneillduaeth yn bethau cyffredin ac aflan, i hen glasordai hybarch Rhydychain, yno i ymgymysgu â chreaduriaid glân yr Eglwys Lân Gatholig! Dyma anwiredd i'w gosbi gan y barnwyr: ond gan na thalai dyweyd ar gyhoedd mai hyny oedd ei drosedd, yr oedd raid dyfeisio rhywbeth arall i roi arliw o uniondeb ar eu gwrthwynebiad iddo. Yn debyg i'r dyn hwnw, a ddywedodd wrth ei gi, wedi iddo ei anfoddio, "Ni laddaf mo honot, ond mi a ddywedaf Ci cynddeiriog! am danat;" a chyda iddo waeddi felly, dyna bawb am ladd y ci: cyffelyb y gwnaeth y teulu Puseyaidd gyda Hampden. Gwaeddasant Heretic, heretic! a chyda'r waedd, dyma lu o ddallbleidwyr gwirion yn dyfod ar eu rhedeg i gynnorthwyo yr erlidwyr.

Yr oedd Dr. Hampden wedi traddodi ei *Bampton Lectures* yn 1833, ac wedi eu cyhoeddi yn 1834; ond ni chododd ei wrthwynebwyr un ystŵr yn eu herbyn hyd 1836, pan y penodwyd ef gan y weinyddiaeth Whigaidd i gader duwinyddiaeth yn Mhrifysgol Rhydychain. Cymerasant ddarnau o ymadroddion a hanner brawddegau yma a thraw allan o'r ysgrifeniadau, yn y modd mwyaf annheg, gan eu clytio ynghyd i beri iddynt ymddangos fel athrawiaeth gyfeiliornus, yn hollol groes i resymiad amlwg yr awdur. O herwydd ei fod yn profi goruwch-awdurdod Gair Duw ar gyfundraethau a ffurfiau dynol, darluniasant ef fel un yn gwadu athrawiaeth y Duwdod a phynciau mawrion eraill yn y ffydd gristionogol; a chawsant liaws nad oeddynt wedi darllen ond eu dyfynion hannerog hwy o waith y Doctor i bleidleisio yn ol eu hewyllys. Y gwirionedd ydyw fod hyd yn nod y dyfyniadau hyny, wrth chwilio iddynt yn deg, ynglyn â'r cyd-destun, yn amddifyn yr athrawiaethau y cyhuddid ef o'u gwadu. Mae yn hysbys fod rhai Sosiniaid, ar ol clywed cymaint am Sosiniaeth y darlithiau, wedi myned i'w darllen yn awyddus, ac addef eu syndod a'u siomedigaeth am eu bod yn methu cael ynddynt yr hyn yr arweiniwyd hwy i'w ddysgwyl gan Dduwinyddion Rhydychain. Heblaw hyny, mae rhediad cyffredinol ei areithiau trwy y blyneddau wrth gyflawni ei swydd fel dysgawdwr, a'i bregethau yn ei bulpud, yn hollol wrthbrofi haeriadau ei wrthwynebwyr creulawn. Wel, bob yn dipyn tawelodd yr ystorm gethin. Yr oedd Dr. Hampden yn ddiwyd yn ei swydd fel Darlithydd Duwinyddol; a'i boblogrwydd fel y cyfryw yn cynnyddu yn barhaus; ac yr oedd yr ymosodiadau arno yn 1836 ymron wedi eu llwyr anghofio. Ond, dyma efe o'r diwedd yn cael ei benodi yn esgob; ac yn ebrwydd wele yr hen lid yn ei erbyn yn adfywio. Er fod Mr. Newman, ac amryw eraill a gymerasant ran fawr yn y gwrthwynebiad blaenorol, wedi ymuno erbyn hyn âg Eglwys Rhufain, yr oeddynt wedi gadael lliaws o frodyr ar eu hol yn Eglwys Loegr; ac yr oedd dyrchafiad y fath ŵr a'r Dr. Hampden i urddas a dylanwad esgobawl, yr hwn oedd yn dal awdurdod yr Ysgrythyrau uwchlaw awdurdod

"yr Eglwys," yn cynnyrchu teimladau o'r fath anhyfrydaf yn mynwesau y personau hyny. Cynhyrfasant yn mhob rhyw fodd; ysgrifenasant, erfyniasant, gwrthddadleuasant, cyfreithiasant, rhoisant bob gewyn mewn ysgogiad i'w rwystro rhag meddiannu yr esgobaeth, neu i'w gwneyd yn wely dreiniog iddo. Llwyddasant i gael tri-ar-ddeg o esgobion i wrthdystio yn erbyn y penodiad, oddiar sail yr hen gyhuddiadau yn 1836, ac i ddymuno ar Arglwydd John Russell, fel prifweinidog pen gweledig yr eglwys, i alw yn ol y dewisiad. Yma nis gallwn wneyd yn well na rhoddi o flaen ein darllenwyr ddyfyniad pwysig o'r "*Oxford Protestant Magazine*," canys y mae hwnw yn dyfod o lygad y ffynnon:—

"Er ys dros ddeng mlynedd, mae rhyw weithrediad rhyfedd yn myned ymlaen yn Rhydychain. Mae corff yr athrawon o gam i gam yn myned nes-nes tua Rhufain. Mae athrawiaethau yr eglwys anghristaidd hono wedi cael eu derbyn a'u dysgu. Mae egwyddorion crefydd baganaidd, o darddiad Asiaidd, y rhai a fabwysiadwyd gan Eglwys Rhufain, pa rai sydd yn cyfrif meudwyaeth yn sancteiddrwydd a phenydiau yn iawn, *wedi eu cymeryd i mewn yn lle crefydd Crist.* Yn ddystaw, ie ymron mewn ffurf gyhoedd, mae yr efengyl wedi ei chau allan o Dduwinyddiaeth Rhydychain. Mae Buddhïaeth a Brahminiaeth wedi eu derbyn gan Rufain o eglwys lygredig y tadau, wedi eu cymeryd, yn drydedd llaw, o Rufain gan Dduwinyddion Rhydychain. Cannoedd o ddynion ieuainc, y rhai yn Rhydychain a ddysgwyd fel hyn i ymwrthod yn ymarferol â chrefydd y Testament Newydd, ydynt yn awr wedi eu hordeinio. Mae lliaws o honynt yn mhob esgobaeth; ceir hwy mewn uchel-leoedd yn yr eglwys a'r wladwriaeth. Y pen oll sydd glwyfus, a'r holl galon yn llesg; nid oes iechyd yn y corff eglwysyddol. *Pa le, yn nghanol y dirywiad dychrynllyd hwn, y mae gwrthdystiad difrifol yr esgobion?* Nid ydyw y cyfryw wrthdystiad i'w gael. Mae yr esgobion, mewn gwirionedd, wedi derbyn a rhoi eu cefnogaeth, i'r hyn a alwyd mewn ffordd o wahaniaethiad oddiwrth efengyl Crist yn "efengyl yr esgobion." Maent mewn gwirionedd wedi rhoddi gair da i'r Tractariaid; a thrwy feio yn wanaidd, maent yn hytrach wedi canmawl eu traethodau; ac yn unig pan yr oedd Rhufain fel corfforiaeth eglwysig wrthymgeisiol, athrawiaethau pa un a dderbyniasid o'r blaen, yn cael ar gyhoedd ei chyfrif yn rhagorach, a'r eglwys ar ba un yr oeddynt yn olygwyr yn cael ei chyhoeddi yn *felldigedig* gan ei phlant ei hun fel eglwys Brotestanaidd, y daethant i wneyd arddangosiad o wrthwynebrwydd, a gwnaethant hyny yn egwan ac anfoddog Mae hyd yn nod siarsau yr esgobion, y rhai sydd yn ymddangos yn beio y Rhufeinyddwyr, a'r rhai na thraddodwyd hyd nes ar ol i'r cyfeiliornad gyrhaedd i uchder ofnadwy, yn hytrach yn noddi y Tractariaid ac nid yn beio arnynt * * * * Na, nid oedd dim gwrthdystiadau oddiwrth yr esgobion; dim gocheliadau pwysig i'r llëygion yn erbyn athrawon llygredig ac anghristaidd. Mae gwrthdystiadau a rhybuddion yn cael eu cadw i'w harfer yn erbyn duwinydd Protestanaidd. Cynhyrfiad, dichell, enllib, a gwenwyn athrodiaeth creulawn a gydgrynhöwyd, ac a wnaed yn "llais yr eglwys" gan esgobion, pan yr ychwanegir un i'w rheng, yr hwn yn mysg yr anffyddloniaid a gafwyd yn ffyddlawn, a chyfeiliornad yr hwn yw ei fod yn Brotestant rhy uniongred"

Ond ofer a fu pob gwrthwynebiad; yr oedd raid i bob gelyn gilio draw o flaen penderfyniad gwrol Arglwydd John Russell. Rhoes atebiad tra sych i'w harglwyddi esgobawl, gan awgrymu eu bod yn anffyddlawn i'w heglwys, ac yn anghyson â hwy eu hunain. Aeth Dr. Merewether, Dëon Henffordd, i wingo yn dost yn erbyn *conge d'elire* y frenines, sef y rhyddid grasusol a roes ei mawrhydi iddo ef a'r offeiriadgor (*chapter*) i ethol yn esgob arnynt yr hwn a benodasai hi, ac nid neb arall. Ysgrifenodd yn wych dros ryddid i'w gydwybod, gan dystio fel yr apostolion mai rhaid oedd iddo ef ufuddhau i Dduw yn fwy nag i ddynion; a dywedai nas gallai ac nas gwnai efe bleidleisio dros y Dr. Hampden, bydded y canlyniad y peth y byddo. Cafodd nodyn bychan gwatwarus yn atebiad oddiwrth y prif-weinidog. Dydd yr etholiad, fel ei gelwir, a ddaeth; ac wedi ei holl ffrost, dyma Meistr Dëon yn y diwedd yn rhoddi ei sêl swyddol i sicrhau

i'r frenines, i Archesgob Caergaint, ac i Hampden ei hun, fod y dëon a'r offeiriadgor, ar ol ystyriaeth bwyllog, a gweddi ar yr Hollalluog Dduw, wedi ethol y Dr. Hampden fel person cymhwys i'r esgobaeth. Mae yn ymddangos fod y gŵr da wedi bod yn ceisio gan y frenines ei wneuthur ef ei hun yn Esgob Henffordd; ond wedi ei ommedd o'r esgobaeth, nid oedd ganddo ddim ond gwneyd y goreu o'r ddëoniaeth, canys gormod yn wir oedd aberthu hono. Daeth dydd y conffirmiad drachefn yn y *Bow Church*, Llundain; a phan aed i gyhoeddi, yn ol yr hen ffurf, os oedd gan neb wrthddadl yn erbyn conffirmiad y Dr. Hampden i fod yn Esgob Henffordd, ar iddynt ddyfod ymlaen gyda'u gwrthddadleuon yn ol y gyfraith, ac y gwrandewid hwy. Dyma wrthdystiad wedi ei lawnodi a'i selio gan dri offeiriad yn cael ei gyflwyno gan broctor. Ond penderfynodd y dirprwywyr esgobyddol nas gallent dderbyn y gwrthdystiad; fod gorchymyn y pen coronog yn eu rhwymo i fyned ymlaen i gadarnhau y penodiad: a hyny a wnaethant. Wedi eu siomi yn ngweithrediadau y swyddwyr eglwysig, y gwrthddadleuwyr a aethant i chwilio am gefnogaeth i'r brawdlys gwladol; ond trodd y fantol yn eu herbyn yno drachefn. Wedi colli y dydd yn llys y *Queen's Bench*, bygythiasant ddwyn yr achos i Dŷ yr Arglwyddi; ond dysgasant ddoethineb cyn iddi fyned yn rhy ddiweddar, a throisant yn ol. Marwolaeth y Dr. Howley, diweddar Archesgob Caergaint, a achlysurodd oediad ar gysegriad y Dr. Hampden hyd yn hyn; ond cwblhêir y ddefod yn fuan bellach gan yr archesgob newydd: yna yn y mwynhâd o bethau da ei esgobaeth, gall ganu yn iach i bob gwrthwynebiad mwy.

Tra yr ydym yn llawenychu yn ngoruchafiaeth y Dr. Hampden ar y brithrywiaid a ymdrechasant mor galed yn ei erbyn, mae yn rhaid i ni ddyweyd mai buddugoliaeth ydoedd ar draul dynoethiad anhyfryd o gyflwr caeth a darostyngedig ei eglwys. Yn awr y gwelwyd "yn ngwyneb haul a llygad goleuni" beth yw ansawdd y cysylltiad sydd rhwng Eglwys Loegr a'r llywodraeth wladol. Nid cysylltiad priodasol ydyw—nid cydraddoliaeth—nid cydgyfranogaeth; ond mae y llywodraeth yn arglwyddes, a'r eglwys yn gaethforwyn. Ydyw, fel gwasanaethyddes rwym i'r llywodraeth, mae yr eglwys yn gaeth, hi a'i phlant. Nis gwiw iddi ymsymud ond wrth ewyllys y neb a wisga goron Lloegr: yn llaw prif-weinidog y penadur—bydded hwnw grefyddol neu anghrefyddol, bydded 'gristion neu bydded anffyddiwr—y mae yr holl benodiadau esgobyddol; ac wedi i'r gair fyned allan o'r orsedd, ofer yw i'r holl wŷr llëen, o'r archesgob yn Lambeth hyd y curedyn yn ochr Berwyn, wrthdystio yn ei erbyn. Lledrith, ni a welsom, oedd yr etholiad yn Eglwys Gadeiriol Henffordd, a geudeb oedd y conffirmiad yn Eglwys Bow yn Llundain; yr oedd yr achos wedi ei benderfynu o'r dechreu gan Arglwydd John Russell; a da y gwyddai yr Arglwydd John beth yr oedd yn ei wneuthur. Nid oes genym ofod i ymhelaethu; onidê, da fuasai genym ddefnyddio y cyfle i ddyweyd ychydig eiriau trwy y bàrau wrth ein cyfeillion sydd yn eistedd yn nhŷ y caethiwed. Wrth reswm, y maent yno yn brysio am gael eu gollwng yn rhydd.

# Y CHWYLDROAD YN FFRAINC.

Y MAE cyfiawnder heb adael y ddaear eto. Y neb a hauo y gwynt a fed y corwynt. Y tŷ a sylfaenir ar dwyll a rhagrith nis gall sefyll yn hir. Yr ydym ni, o herwydd byrdra ein golwg, yn analluog yn fynych i weled uniondeb ffyrdd rhagluniaeth, ac felly yn dueddol i rwgnach ac anobeithio; ond pe ëangid cylch ein gwelediad, ni a ganfyddem, er na wneir barn yn erbyn gweithred ddrwg yn fuan, ac er fod calonau dynion oblegid hyny yn llawn ynddynt i wneuthur drwg, eto fod Duw a farna ar y ddaear, a bod gweithredwyr anwiredd yn parotoi dinystr anocheladwy iddynt eu hunain. Nid oes eisieu gwyrth i ddwyn hyn oddiamgylch; dyma drefn osodedig y Creawdwr. Y mae deddf rhagluniaeth a deddf moesoldeb wedi dyfod o law yr un Duw, ac y maent yn gweithredu mewn perffaith gysondeb â'u gilydd. Y mae pob celwydd a thrais o anghenrheidrwydd natur yn hunan-ddinystriol. Er hyny, nid yw ein rhwymau yn llai i gydnabod ei law Ef, ac i ymostwng yn barchus ger ei fron. Efe sydd yn gweithio yn y cwbl, a thrwy y cwbl: ac ar rai amserau, megys yn y byd naturiol, felly hefyd yn y byd moesol, y mae yr elfenau yn ymgynhyrfu, a nerthoedd ei ddeddfau Ef yn dyfod i'r golwg gyda'r fath eglurder, fel y mae yn rhaid i ddyn wadu ei hun cyn y gall gau allan y teimlad o ddwyfol bresennoldeb a goruwchreolaeth.

Rhyw syniadau fel hyn sydd yn ymgynnyg i'n meddwl wrth edrych ar y cyfnewidiadau annysgwyliadwy a ddygwyddasant yn ddiweddar yn Ffrainc. Ychydig o wythnosau yn ol, gallesid tybied mai un o'r gorseddau mwyaf diysgog yn yr holl fyd oedd gorsedd Louis Philippe. Yr oedd mewn heddwch â holl benaduriaid Ewrop. Yr oedd wedi amgylchu Paris â'r amddiffynfêydd cadarnaf a welwyd erioed, er mwyn cadw trefn ar y bobl oddifewn yn gystal ag i wrthsefyll byddinoedd estronol oddiallan. Yr oedd merch iddo yn Frenines Belgium; ac un o'i feibion wedi priodi chwaer i Frenines Spaen. Yr oedd ganddo weinidogion a senedd yn ewyllysgar i gyflawni pa beth bynag a ofynai. Ac yr oedd hefyd newydd gael goruchafiaeth a llonyddwch cyflawn yn Algiers. Ond yn nghanol ei rwysg a'i rodres, dyma ddarn llaw yn ysgrifenu ar galchiad y pared, "Ti a bwyswyd yn y clorianau, ac a'th gaed yn brin." Diffoddodd ei oleuni ganol dydd. O'i holl filwyr, ni chafodd neb i sefyll o'i blaid. Bu am wythnos yn ffoi heb neb yn ei erlid, ac heb neb yn Ffrainc yn gofalu lle yr oedd; a da oedd ganddo gyrhaedd rywsut i'r deyrnas hono ag yr oedd wedi gwneyd cymaint ag a allai yn ei herbyn am lawer o flyneddau. Fel y sylwodd un o newyddiaduron Paris, yr oedd yr enw, brenin, yn cario y fath ddylanwad yn y chwyldroad cyntaf, oddeutu triugain mlynedd yn ol, fel na fedrai y Ffrancod deimlo eu hunain yn ddiogel heb dori ymaith ei ben. Yn 1830, hebryngasant Siarl X. yn ofalus at lan y môr. Ond cafodd Louis Philippe fyned lle y mynai, heb neb yn holi i ba le yr aeth. Nid ydym yn hoffi dirmygu un creadur o ddyn mewn iselder a thrallod; ond o bawb erioed a gyfarfyddodd â siomedigaeth, ni fu neb yn llai teilwng o gydymdeimlad na Louis Philippe.

Gan fod Louis Philippe yn awr wedi dybenu ei oes gyhoeddus, a breniniaeth Ffrainc wedi marw yn ei berson ef, rhoddwn yma ychydig o hanes

ei fywyd. Ganwyd ef yn Paris, Hydref 6, 1772, mab hynaf ydyw i Louis Philippe Joseph, Duc Orleans—mwy adnabyddus wrth yr enw Philippe Egalite—a Marie, unig ferch ac etifeddes Duc Penthievre. Y gangen Orleanaidd o deulu y Bourbon, o ba un y mae Louis Philippe yn awr yn ben, a gafodd ei dechreu yn Philippe, un o feibion ieuangaf Louis XIII, yr hwn a wnawd yn Dduc Orleans gan ei frawd hynaf Louis XIV; ac orŵyr i ŵyr i hwnw yw y Louis Philippe presennol. Priododd Philippe, Duc Orleans, yr ail waith âg Elizabeth Charlotte, o Bohemia, ŵyres i Iago I, Brenin Lloegr. O'r foneddiges hon yr hanodd y teulu Orleanaidd, a thrwyddi hi mae yn dwyn perthynas uniongyrchol â llinach Stuart, ac â theulu breninol presennol Lloegr.

Pan yn lled ieuanc, cafodd ei osod mewn swydd filwraidd, yn yr hon swydd yr enwogodd ei hun yn 1792, yn y rhyfel ag oedd y pryd hwnw rhwng Ffrainc ac Awstria. Ond yn y cyfamser, tra yr ydoedd Duc Chartres, yr hyn oedd teitl Louis Philippe y pryd hwn, yn gwrthwynebu gelynion ei wlad ar faes y rhyfel, yr ydoedd yr amgylchiadau cartrefol yn addfedu yn gyflym at y chwyldroad mawr yn Ffrainc.

Rhoddwyd y brenin a'i deulu mewn dalfa, a dedfrydwyd y gweddill o deulu y Bourbon i alltudiaeth. Ar yr 21 o Ionawr, 1793, dienyddiwyd Louis XVI; ac yn fuan ar ol hyny daliwyd Duc Orleans, tad Louis Philippe, a rhoddwyd yntau i farwolaeth, a chafodd ei ddau fab eraill Montpensier a Beaujolais eu rhoddi yn ngharchar. Yn y cyfwng hwn ffodd Louis Philippe i Iseldiroedd Belgium, a chafodd dderbyniad croesawus gan awdurdodau Awstria; ond gwrthododd eu cais i gymeryd arfau yn erbyn Ffrainc gyda hwynt. Yn lle hyny aeth ymlaen fel teithiwr trwy'r wlad tua Switzerland, lle y cyfarfyddodd ei chwaer Adelaide, a'u hathrawes Madame de Sillery. Erlynwyd ef yn ddyfal ar ei ffoedigaeth, ac yr ydoedd ymchwiliad manwl yn cael ei wneyd am dano o hyd. Bu felly gyda ei chwaer am beth amser, gan geisio rhywle tawel a diogel i aros ynddo, ond yn methu a'i gael; ac heb ond ychydig o foddion cynnaliaeth ar eu helw. Ond yn y cyfwng hwn, trwy garedigrwydd M. de Montesquieu, cafodd ei chwaer a'i hathrawes dderbyniad i fynachesdy Saint Claire. Ac wedi ei ryddhau oddiwrth ofal am ei chwaer, dechreuodd restr o deithiau trwy wahanol wledydd Ewrop. Pan yn Basle, ar ei gychwyniad i'w deithiau, gwerthodd ei holl geffylau ond un. Mae yn debyg iddo gymeryd amryw o honynt gydag ef ar ei ffoedigaeth o Ffrainc. A chyda'r un ceffyl hwnw a'i was Baudain, yr hwn ni fynai ymadael â'i wasanaeth, cychwynodd i'w daith. Ond aeth ei was yn glaf cyn neu ar ei gychwyniad. Gosododd ef ar ei geffyl ei hun, a chan arwain hwnw yn ei law aeth allan trwy byrth y dref.

Teithiasant felly am amryw fisoedd; ond aeth mor gyfyng arno nes gorfod gwerthu y ceffyl hwnw eilwaith, ac felly bu rhaid iddynt deithio gyda chôd ar gefn Baudain, a ffyn yn eu dwylaw, yn lluddedig, a'r llogell yn aml agos yn wag. Ar un achlysur, ar ol taith flinedig, gwedi eu gwrthod o lety yn Ysbytty St. Gothard, bu raid iddynt ymofyn am gysgod o tan bendist gwastdy cyfagos. Yn y gororau mynyddig hyn, daeth mor gyfyng arno o'r diwedd nes y bu raid iddo i feddwl am fyned i weithio er ei gynnaliaeth; a thra yr ydoedd yn myfyrio yn mha ddull y rhoddai ei dalentau ar waith i ennill ei fara, cafodd lythyr oddiwrth gyfaill iddo, ei fod ef wedi gwneyd ei le fel athraw yn Athrofa Reichenau. Yn falch o'r

cyfleusdra i ennill ei damaid, cychwynodd ei daith tuag yno â'i ffon yn ei law, a'i sypyn ar ei gefn. Bu yno am ystod wyth mis, heb gael ei adwaen gan neb ond M. Jost, yn dysgu daearyddiaeth, hanesyddiaeth, yr ieithoedd Ffrengaeg a'r Saesoneg, a gwyddoniaeth. Yr ydoedd yn fedrus fel athraw. Yma y clybu am ddiwedd ei dad.

Bu yn grwydriad a gwybiad am dymmor gwed'yn, yn chwilio am le i orphwys yn ddiogel oddiwrth erledigaeth awdurdodau Ffrainc. Newidiodd ei enw amryw weithiau. Ond o'r diwedd, tua'r flwyddyn 1795, penderfynodd fyned i'r America; ond yr ydoedd yn fyr o foddion i ddwyn ei draul yno. Bu am dymmor yn symud o un lloches i loches arall, ond yr ydoedd yr ymchwiliad am dano yn dyfod yn fanylach o hyd; ac o'r diwedd cymerodd le mewn llong iddo ef a'i was i fyned drosodd i'r Unol Daleithiau. Caniataodd y cadben iddo gael myned i'r llong ychydig dyddiau yn flaenorol i'w gychwyniad i'r fordaith, am ei fod ef yn ofni cael ei adnabod yn y porthladd hwnw. Ni wyddai y llong-lywydd pwy ydoedd Louis Philippe; ond cyn tirio yn Philadelphia mynegodd iddo ei hun pwy ydoedd, a chyfaddefodd y llong-lywydd ei fod ef gwedi casglu oddiwrth yr amgylchiadau tan ba rai y daeth i'r llong, mai twyll-chwarëydd ydoedd, ac ar ffô o herwydd ei fod trwy ryw weithred gwedi gosod ei hun yn agored i afaelion y gyfraith.

Yn 1800, daeth Louis Philippe a'i frodyr drosodd i Loegr, ac ymsefydlasant yn Twickenham. Yma ymroddodd i astudio trefnidiaeth wladol a sefydliadau Brydain Fawr. Oddiyma ysgrifenodd lythyr at Esgob Llandaff, yn Gorphenaf 1804, yn yr hwn y sylwa, "Mi a adewais fy ngwlad enedigol mor foreu, fel nad oes genyf braidd ddim o arferion a moesau y Ffrancwr; a gallaf ddyweyd mewn gwirionedd fod genyf serch at Loegr, nid yn unig o ddiolchgarwch, ond o archwaeth a thuedd. Yr ydwyf yn attolwg o uniondeb fy nghalon, na byddo i mi byth adael y wlad letygar hon......Mae diogelwch Ewrop, diogelwch y byd ei hun, diogelwch ac annibyniaeth yr hil ddynol, yn ymddibynu ar ddiogelwch ac annibyniaeth Lloegr." Bu farw ei ddau frawd, ac aeth yntau yn ei alar am danynt i Sicily; a thrwy wahoddiad Ferdinand, Brenin Naples, talodd ymweliad â'i deulu, a phriododd ail ferch y brenin. Yn fuan ar ol hyny, aeth i wasanaethu fel swyddog milwraidd yn Spaen, ond ni bu yno yn hir, am nad oeddynt yn cyflawni eu haddewidion iddo. Ar ol ymsefydliad Louis XVIII. ar yr orsedd, dychwelodd o Loegr, lle yr ydoedd yn byw hyd 1817, i Ffrainc; ac yn y chwyldroad yn 1830, ar ol dïorseddiad Charles X, cafodd ei ddewis, trwy gydsyniad y bobl, i orsedd Ffrainc, dan yr enw Louis Philippe I, Brenin y Ffrancod; a chymerodd lŵ yr un amser i ymgadw at y cyfreithiau, i weinyddu cyfiawnder yn ddiduedd, ac i weithredu yn mhob peth er mwyn lles y bobl.

Ond nid cynt yr eisteddodd ar yr orsedd nag yr anghofiodd ei lŵ, ac yr efelychodd y breninoedd a fu o'i flaen. Caethiwodd yr argraffwasg. Gwnaeth ei waethaf i wywo pob rhinwedd ac egwyddor yn mysg pob gradd trwy lwgr-wobrwyon. Ei hoff orchwyl oedd pentyru arian, ac estyn terfynau ei awdurdod, er ei fod trwy hyny yn suddo y wlad i ddyled. Er ys yn agos i flwyddyn, yr oedd y llywodraeth yn Ffrainc yn ychwanegu miliwn o *francs* o ddyled newydd bob dydd. Hònir gan rai ei fod yn offerynol i gadw heddwch rhwng teyrnasoedd Ewrop. Ond y gwir yw, y buasai rhyfel heddyw rhwng Lloegr a Ffrainc, oni buasai fod y wlad hon

yn gwerthfawrogi mwy ar heddwch nag y dangosodd ef ei fod yn y ffrwgwd o barth i Spaen ychydig amser yn ol: ac nid hyny yn unig, ond yr oedd rhyfel eto yn ymddangos yn anocheladwy rhyngom, oni buasai y chwyldroad hwn; oblegid ni buasai Lloegr byth yn caniatâu i'w fab na'i ŵyr deyrnasu yn Spaen ar farwolaeth y frenines sydd yno yn awr. Ond ei brif bechod yn ddiammheuol oedd ei greulondeb ysgeler at Frenines Tahiti. Yr oedd yno ocheneidiau a gwaed yn llefain i'r nefoedd am ddîal. Yn ei wlad ei hun hefyd yr oedd yn gormesu ar ryddid crefyddol: ac o'r diwedd penderfynodd na chai ei ddeiliaid gynnal cyfarfodydd i areithio ar yr anghenrheidrwydd am ddiwygiad gwladol. Er mwyn rhwystro cyfarfod o'r fath yn Paris, llanwodd y dref â'i filwyr. Ymddifyrai yn ei balas wrth feddwl am ladd rhai miloedd o'r trigolion; ac ymogoneddai yn y fuddugoliaeth hawdd ac effeithiol oedd yn debyg o goroni ei ymdrech. Ond cafodd allan yn rhy ddiweddar fod ei wŷr arfog yn perchen ar gydwybod a theimladau dynol. Yn lle tanio ar y bobl, troisant o'u plaid; a syrthiodd y brenin a'i freniniaeth heb obaith cyfodi drachefn. Pan oedd y llong dan lawn hwyliau yn myned o flaen yr awel, heb un perygl yn agos, yn ol pob ymddangosiad, tarawodd wrth graig oedd o'r golwg dan y tonau, a diflanodd mewn ychydig fynydau, heb adael cymaint a darn o astyllen i gynnal y nofiedydd ar wyneb y dyfnder.

Y mae yn bryd i freninoedd y ddaear ystyried. Y mae yr amser yn nesu yn gyflym pan y bydd gwirionedd a gallu yn ogyhyd ac yn ogyfled a'u gilydd, a phan y bydd "*Nis dylem*" a "*Nis mynem*" yn arwyddo yr un peth. Er hyny, nid ydym yn tybied fod y tymmor dedwydd hwn wedi dyfod eto; ac y mae yn rhaid i ni gyfaddef, wrth edrych ar gyflwr Ffrainc y dyddiau hyn, fod ein pryder a'n hofn yn llawn cymaint a'n gobaith. Arswydus, bob amser, yw y canlyniadau, pan ddelo dynion i wybod eu grym, os na fydd yno egwyddorion tufewnol i'w llywodraethu. *Meddwl* sydd yn cadw y byd mewn trefn. Tra yr oedd y Ffrancod yn *meddwl* fod y brenin yn drech na hwynt, yr oeddynt yn weddol lonydd. Ond yn awr y mae pob parch i'r hen ffurflywodraeth wedi darfod, ac ofnwn yn fawr nad oes ganddynt ddigon o barch i ddim arall yn ei lle. Er hyny, y mae ganddynt lawer o fantais, ragor yr hyn oedd ganddynt yn y chwyldroad cyntaf. Heblaw yr addysg a gawsant oddiwrth y tro hwnw, y maent hefyd yn debyg o gael mwy o lonyddwch oddiwrth wledydd eraill. Yr achlysur o dywallt cymaint o waed yr amser hyny oedd, fod holl deyrnasoedd y cyfandir yn pleidio Brenin Ffrainc yn erbyn y bobl. Yr oeddynt wedi casglu eu byddinoedd ynghyd, mewn cynghrair â phendefigion Ffrainc, ac â'r brenin ei hun; ac yn dechreu ymosod ar y wlad, er mwyn darostwng y bobl, a gwneuthur y brenin mor annibynol ag o'r blaen. Y canlyniad fu iddynt roddi y brenin a'r frenines i farwolaeth, a chynnifer o'r pendefigion ag a fedrent gael gafael arnynt. Ond yn awr y mae gan holl lywodraethwyr Ewrop ddigon o waith i gadw heddwch o fewn eu terfynau eu hunain, heb gynnyg ymyryd â gwerin-lywodraeth Ffrainc. Trwy holl Itali a Germany y mae y deiliaid yn gwaeddi am ychwaneg o ryddid; a'r llywodraethwyr yn cael digon o waith i'w boddloni. Y mae genym hefyd gryn lawer o ymddiried yn rhai o lywodraethwyr presennol Ffrainc, yn enwedig Lamartine. Ond amser a ddengys.

---

DINBYCH: ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN T. GEE.

# Y TRAETHODYDD.

## HAD ABRAHAM YN FENDITH I'R BYD.

"Yn dy had di y bendithir holl genedloedd y ddaear."
*Gen.* xxii. 18.

Nid oes un genedl dan haul mor hynod a chenedl Israel. Mae iddi nodweddiadau na pherthynant i neb arall; a'r nodweddiad a ddyry yr hynodrwydd penaf arni ydyw ei pherthynas neillduol â Duw ac â'i enw. Codwyd enwau rhai dynion i fynu fel tadau celfyddyd, neu sylfaenwyr dinasoedd. Hynodwyd eraill gan faint eu cyfoeth, ëangder eu llywodraeth, neu helaethrwydd eu dysgeidiaeth. Ennillodd rhai enw a chlod trwy fedrusrwydd milwraidd a gwychder eu buddugoliaethau. Ond hynodwyd yr Hebreaid yn arbenig o herwydd eu cysylltiad â chyfammod Duw. Mae hanes y genedl hon, gan hyny, yn llawn dyddoreb ac addysg i'r cristion, ac i chwiliwr yr ysgrythyrau. Nid nad oes yn hanes y genedl hon lawer o bethau i ddifyru yr hynafiaethydd, ac i osod galluoedd yr hanesydd ar waith; eto, ar gyfrif ei chysylltiad â'r GWIR DDUW, ac â'i air, ac â GWAREDWR pechaduriaid, y mae yn fwyaf hynod;—oddi yma yr etifedda ei phrif enwogrwydd.

Mae yr holl Fibl, ymron, yn blethedig â hanes had Abraham. Os rhoddir hanes teuluoedd yn yr ysgrythyrau, teuluoedd yn Israel, gan mwyaf, a fyddant. Os am freninoedd a phrophwydi y sonir, breninoedd a phrophwydi yn Israel fyddant. Pan crybwyllir am wyrthiau, o'u plaid hwy, ond odid, y byddant; neu am farnedigaethau, arnynt hwy, ond odid, y disgynant, neu ar eraill *o'u hachos hwy.* Os prophwydoliaethau a draddodir, ni a gawn y bydd cyfeiriad neillduol ynddynt at Israel. Rhaid, gan hyny, y bydd dyddoreb neillduol yn hanes ac amgylchiadau y bobl hyn, tra y bydd parch i'r Bibl, a thynerwch at Dduw a'i air. Ganddynt hwy yr ysgrifenwyd llyfrau yr ysgrythyr, ac iddynt hwy yr ymddiriedwyd am ymadroddion Duw. Pwy na theimlai agosrwydd at yr Iuddew oblegid yr ystyriaethau hyn? "Caredigion ydynt oblegid y tadau." Mae enwau Abraham, Isaac, a Jacob ar ein gwefusau ac yn ein calonau. Mae llyfrau Moses, Salmau Dafydd, Diarebion Solomon, ac ysgrythyrau y prophwydi yn ymgordeddu yn ein serchiadau; yr un modd hefyd, hanesiaeth yr efengylwyr, a llythyrau yr apostolion; ac yn anad dim ni a deimlwn yn serchog tuag at yr Iuddewon, am mai o'r cyff hwn yr hanodd ein Harglwydd ni, "yr Hwn sydd Dduw bendigedig yn oes oesoedd."

Trwy y genedl hon yr amlygodd yr Arglwydd ei hun i ddynion. Hwynthwy oeddynt "ei dystion ef." Iddynt hwy yn gyntaf y rhoddes Duw ei

ddeddf, a thrwyddynt hwy i ninnau. Atynt hwy yr anfonai ei brophwydi. Yn eu mysg y sefydlai ei addoliad, ac y gosodai ei gysegr; a thrwy ei oruchwyliaethau tuag atynt hwy y dysgai efe y byd, a thrwy hyn y gwiriodd yr addewid i Abraham, "yn dy had di y bendithir holl genedloedd y ddaear." Corfforodd egwyddorion ysbrydol mewn defodau gweledig, ac amlygodd berffeithiau moesol ei natur mewn goruchwyliaethau hynod. Amlygai ei ffyddlondeb trwy gwblhau y llw a dyngodd efe wrth Abraham, a'r addewid a wnaeth efe i'r tadau; ei ddoethineb trwy arwain y genedl oddiamgylch, a thrwy ddyrysu eu gelynion; ei sancteiddrwydd a flodeua yn y ddeddf a roddodd efe iddynt, a'i gyfiawnder diblygu yn y barnedigaethau trymion a ddygodd efe arnynt. Gwnaeth ei ras, tiriondeb ei drugaredd, yn amlwg yn yr addewid a roddodd efe iddynt, yr hon a gwblhaodd trwy ddwyn y Cyntaf-anedig i'r byd, i'r hwn yr oedd yr holl brophwydi yn dwyn tystiolaeth. Hyd y dydd hwn y mae had Abraham yn wers fyw ac oesol o ffyddlondeb geiriau Duw, ac o'r drwg o'u hanghredu a chamddefnyddio breintiau crefyddol.

Yn ngoruchwyliaeth gras Duw tuag at fyd colledig, fe welodd yn dda gynnal ei enw a'i achos trwy *amrywiol ddulliau neu ffurfiau*, i gyfarfod â gwahanol amgylchiadau, ond oll yn gwasanaethu i'r un dyben gogoneddus. Y dull cyntaf a ddefnyddiwyd oedd y wedd hono ar grefydd a elwir yr oruchwyliaeth batriarchaidd; yn nesaf, yr un Lefiaidd; a'r olaf, yr un Gristionogol. Parhaodd yr un gyntaf am yspaid dwy fil a hanner o flyneddau; yr ail, tua phymtheg cant o flyneddau; a pharhâ yr oruchwyliaeth bresennol hyd ddiwedd amser. I'r tair nid oedd ond yr un egwyddorion ysbrydol a'r un amcan grasol, eto yr oedd i bob un ei ffurf briodol ei hun. Moddion oeddynt oll i ddynodi bwriadau grasol y Jehofa tuag at ddynion euog, ac i hyrwyddo eu cwblhad. Yn hyn yma, y mae perffaith gyffelybrwydd i'r dull a gymer y Goruchaf i ddwyn ei waith yn gyffredinol ymlaen. Nid yw yn arfer perffeithio dim ar unwaith. A rhagddo yn raddol; o'r hyn sydd lai i'r hyn sydd fwy perffaith. Fel hyn y gwnaeth efe y byd gweledig ar y dechreu. Yn gyntaf dygwyd y defnyddiau breision, dilun, i fod; wedi hyny rhoddwyd arnynt ffurf a threfn. Pethau difywyd a grewyd gyntaf, wedi hyny pethau tyfol, a thrachefn pethau teimladol, ac yn olaf oll y dyn—y creadur rhesymol, cymhwys i'w wisgo â delw Duw, ac i barhau byth. Yr un modd y ffurfheir yr esgyrn yn nghroth y feichiog. Yn raddol a chywrain y dygir yr anelwig ddefnydd i'r llun a'r prydferthwch a berthyn i'r dyn bach. Yn y greadigaeth lysieuol hefyd, a thyfol, yr un modd: trwy ysgogiad graddol y daw y fesen fach yn dderwen frigog, a'r gronyn gwenith yn ffrwyth addfed. Felly hefyd y mae mewn crefydd, o ran ei ffurf allanol, ac o ran ei dylanwad tufewnol. "Yn gyntaf yr eginyn, wedi hyny y dywysen, yna yr ŷd yn llawn yn y dywysen."[1] Yn y modd graddol hwn, tybygid, y mae yr Arglwydd wedi dewis dwyn ei achos ysbrydol ymlaen yn mysg dynion.

Am y ddwy fil a hanner cyntaf o oes y byd, nid oes genym nemawr o hanes: crynhöir y cwbl i lyfr cyntaf Moses, a elwir Genesis. Dyma yr hanes hynaf yn y byd; ac am y tymmor y perthyn iddo, nid oes genym ond hyn o hanes. Pa flys bynag a allwn deimlo am oleuni cryfach ar y cyfnod boreu hwn, nid oes dim mwy i'w gael. Am yr oruchwyliaeth batriarchaidd,

[1] Marc iv. 28.

gan hyny, nid oes genym ond darluniad byr ac anamlwg, eto cymaint ag a welodd doethineb a daioni Duw yn dda ei roddi, ac felly, cymaint ag a wir wasanaetha i'n lleshad, er nad cymaint ag a foddlona ein blys. Nid ydym yn awr yn bwriadu dyweyd nemawr am yr oruchwyliaeth batriarchaidd,[1] ond yn unig a ymddengys yn fuddiol i rwyddhau ein ffordd at yr un Lefiaidd, neu oruchwyliaeth Moses.

Yr oedd crefydd dan yr oruchwyliaeth gyntaf yn cartrefu yn hollol mewn teuluoedd. Ffurf deuluaidd oedd arni. Nid oedd iddi swyddwyr ond a wnaed yn benau teuluoedd gan ragluniaeth. Yr oedd ei holl hyfforddiant yn cael eu traddodi trwy addysgiad teuluaidd, a hyny trwy ymadrodd yn unig ac nid trwy lyfr. Yr oedd yr holl ddadguddiad a feddai yr hynafiaid hyny o feddwl Duw wedi ei dderbyn trwy draddodiad, yn disgyn o dad i fab, ond wedi ei gael yn wreiddiol trwy ddadguddiad digyfrwng oddiwrth Dduw, i bersonau neillduol. Nid oes sicrwydd fod saint y cyfnod hwnw yn cyfarfod i addoli mewn ffurf gorfforedig neu gynnulleidfaol mewn un man. Nid oes hanes am na phabell na theml yn eu plith. Cadwent y Sabboth, ac offryment aberthau; gweddïent ar Dduw, a hyfforddient eu teuluoedd mewn gwybodaeth o ewyllys Duw. Gwir nad oes crybwylliad amlwg fod y patriarchiaid yn cadw y Sabboth cyn nac wedi y diluw; eto gallwn feddwl yn gryf eu bod, ar y dybiaeth i'r Sabboth gael ei sefydlu gan Dduw ar ddechreu y byd. Mae y rheol a osodir i lawr gan Dr. Owen yn ymddangos yn un gywir, sef, fod gwaith y saint yn arfer peth yn brawf ei fod yn sefydliad dwyfol, a bod gwaith Duw yn sefydlu peth yn ddigon o brawf yr arferid ef gan ei bobl. Digon i fod yn rheol i ni ydyw ordeiniad Duw, neu arferiad cymeradwy ei saint. Yr ydym yn penderfynu fod aberthu yn ordeiniad o eiddo Duw, am fod hyny yn arferiad gan y saint wrth fodd Duw; ar y llaw arall yr ydym yn penderfynu fod y patriarchiaid duwiol yn arfer cadw y Sabboth, gan fod hyny yn osodiad Duw. At yr arferion crefyddol uchod, chwanegwyd yr enwaediad yn nyddiau Abraham, fel sêl cyfammod Duw âg ef. Hysbysasai yr Arglwydd ei feddwl yn ddiammheuol i dad dynolryw, ac fel yr oedd yr anghen yn galw, rhoes amlygiadau chwanegol i Enos, Enoch, a Noah. Cadarnhaodd yr amlygiadau hyny trwy gosbedigaeth Cain, trwy symudiad Enoch, a thrwy foddi y byd. Eto er hyn oll, yr oedd plant dynion yn dirywio fwyfwy, o enciliad Cain hyd ddyddiau Noah; ac weithian, yr oedd pob cnawd wedi llygru ei ffordd, a'r ddaear wedi ei llenwi â thrawsedd. "Aml oedd drygioni dyn ar y ddaear," ac i'r fath raddau yr ymlygrasai, nes edifarhaodd yr Arglwydd wneuthur o hono ddyn ar y ddaear; ac efe a ddywedodd, "Diwedd pob cnawd a ddaeth ger fy mron." Ar ol y diluw hefyd, rhoddwyd prawf adnewyddol fod "bryd calon dyn yn ddrwg o'i ieuenctid," gan i hiliogaeth Noah yn fuan ddirywio, er yr esiampl arswydus a roddasai Duw o'i ddigofaint yn nymchweliad y cynddiluwiaid. Ymdaenodd tywyllwch anfad dros y byd newydd, a hyrddiwyd y cenedloedd oll i eithafion ynfydrwydd a ffieidd-dra eilunaddoliaeth.

Yn yr adeg dywell hon y galwodd yr Arglwydd y cyfiawn o'r dwyrain, ac a'i neillduodd ef a'i hiliogaeth iddo ei hun. Dechreuodd y neillduad yn ei alwad o'i wlad, ac o blith ei genedl; cadarnhawyd y neillduad trwy

[1] Edryched y darllenydd i lyfr bychan, cryno, a elwir, "Y Patriarchiaid," newydd ei gyhoeddi gan Gymdeithas y Traethodau Crefyddol, ar yr oruchwyliaeth hon.

arwydd yr enwaediad; a pharhaodd y neillduad arno ef a'i deulu trwy beri iddo grwydro yn y wlad a addawsid i'w hiliogaeth, "heb gael dinas i aros ynddi," na chael etifeddiaeth ynddi, oddigerth meddiant beddrod, naddo, "led troed." Felly hefyd y bu Isaac a Jacob, cydetifeddion o'r un addewid. Gwnaed hyn â hwy er mwyn eu cadw ar wahan oddiwrth bobl y wlad. Yr oedd eu bywyd yn un symudol. Preswylient mewn lluestai, hawdd eu tynu i lawr, a hawdd eu codi i fynu. Caniatesid i saint y cynfyd ymsefydlu bob un yn ei gartref; ond dirywiasai crefydd yn y wedd hono; ymgymysgai pobl Dduw â'r byd, ac ymlithrent yn raddol i'w ffyrdd drygionus. Y fath gyfathrach rhwng meibion Duw a merched dynion a barodd y fath wedd lygredig ar y cynddiluwiaid. Ond er mwyn dynodi y neillduad yn fwy amlwg, a'i osod mewn ffurf mwy effeithiol a pharhaus, ni chaniatâwyd i Abraham, Isaac, a Jacob, "ddinas i aros ynddi," ond hwy a drigent, hwy a'u teuluoedd, mewn pebyll, ar wahan oddiwrth bobl y wlad, ac heb eu cyfrif gyda'r cenedloedd.

Cafodd y patriarchiaid hyn aml ddadguddiad o feddwl Duw; addawwyd iddynt wlad Canaan yn etifeddiaeth i'w hiliogaeth, a sicrhawyd iddynt, eilwaith ac eilwaith, mai yn eu had hwy "y bendithid holl genedloedd y ddaear." Yr oedd bendithion ac uchafiaeth daearol yn ddiammheuol yn gynnwysedig yn yr addewidion a wnaeth Duw i Abraham; eto, dyma oedd y cnewyllyn; nid oedd y gweddill ond plisg: bod yn Dduw iddo ef, a bendithio cenedloedd y ddaear trwy ei had ef. Nid oedd cael gwlad Canaan yn etifeddiaeth, a lliosogi ei had naturiol fel sêr y nef, ond pethau ysgeifn, mewn cymhariaeth i gael yr Arglwydd yn Dduw, ac i'r byd gael ei fendithio yn ei had.

Yn y modd yma fe neillduwyd had Abraham i'r Messiah hanu o hono, ac fe neillduwyd hefyd ei hiliogaeth yn ol y cnawd i fod, fel offerynau, yn fendith i'r byd. Yn eu mysg hwy bellach yr oedd yr Arglwydd ar fedr gosod ei enw a'i addoliad. Neillduid hwy i fod yn oleuni yn nghanol y byd tywyll, i fod yn dystion drosto yn nghanol eilunaddolwyr, yn gystal ag i fod yn hynafiaid i'r Gwaredwr Mawr. Cartrefle crefydd o'r blaen oedd teuluoedd, cartrefai bellach mewn cenedl. Yn lle bod pob penteulu yn offeiriad, yr oedd yr offeiriadaeth i gael ei gosod mewn llwyth neillduol. O'r blaen, yr oedd achos Duw a'i enw yn ngwahanol deyrnasoedd y byd, dan ddylanwad yr amgylchiadau a'r cyfreithiau a ddygwyddai fod ynddynt; bellach yr oedd yr Arglwydd ar fedr ffurfio gwladwriaeth arbenig iddo, bod yn frenin ar y wladwriaeth hono ei hunan, ei llywodraethu mewn modd anghyffredin a gwyrthiol, a gosod ynddi y fath ddeddfau a defodau ag a gadwai y genedl yn bobl briodol iddo ei hun, ar wahan oddiwrth holl genedloedd eilunaddolgar y byd.

Cyn y gallai had Abraham etifeddu y tir a roddodd yr Arglwydd iddo trwy lŵ, rhaid oedd iddynt liosogi a chryfhau llawer. Yr oedd y wlad yn meddiant cenedloedd lliosog a rhyfelgar, a rhaid oedd i Israel, cyn y gallent ei hennill na'i chyfanneddu, liosogi i fod yn genedl. Mynegodd yr Arglwydd i Abraham "na chyflawnwyd eto anwiredd yr Amoriaid;" na ddaethai dydd eu dymchweliad eto. Ond tra yr oedd y Canaaneaid yn addfedu i farn, yr oedd Israel yn lliosogi yn genedl, cymhwys i etifeddu eu gwlad. Yn y cyfamser, yr oedd had Abraham i fod yn ddyeithr mewn gwlad na fyddai eiddynt, lle y darostyngid hwy i wasanaeth caled a chystudd

trwm.[1] O roddiad yr addewid i Abraham hyd waredigaeth Israel o'r Aipht, yr oedd pedwar can' mlynedd a mwy. Yn yr yspaid hwn, aeth Abraham, Isaac, a Jacob at eu tadau. Dygwyd Israel i'r wlad ddyeithr trwy oruchwyliaeth hynod, a gofalodd yr Arglwydd eu cadw yno hefyd ar wahan oddiwrth bobl y wlad. Yr oedd cyfreithiau yr Aipht yn gwarafun pob cyfathrach â dyeithriaid, ac yr oedd bugeiliaid defaid, yn anad neb, yn wrthwynebol gan yr Aiphtiaid. "Ffieidd-dra yr Aiphtiaid yw pob bugail defaid;"[2] a hyny efallai, am eu bod yn offrymu ac yn bwyta yr hyn a addolid gan yr Aiphtiaid. Gan mai magu anifeiliaid a bugeilio defaid oedd prif orchwyl yr Hebreaid, yr oedd gwlad yr Aipht ar y cyfrifon a nodwyd yn dra manteisiol i'w cadw ar wahan. Tueddai y gorthrwm mawr y gosodwyd hwy dano i'r un perwyl. Ni fynai yr Aiphtiaid ymgyfathrachu â hwy, ac ni allent hwy ymgyfathrachu â'r Aiphtiaid. Ond yr oedd y pedwar can' mlynedd ymron ar ben. Yr oedd Duw yn cofio ei gyfammod âg Abraham, a nesasai amser gwaredigaeth y bobl orthrymedig. Ac â llaw gref y dygwyd hwy allan. Nid gwaredu Israel fel pobl orthrymedig oedd yr unig, na'r prif ddyben, ond gogoneddu eu Duw fel yr unig wir a bywiol Dduw. Yr oedd y dull a ddefnyddiwyd i'w gwaredu yn tueddu i ddarostwng duwiau yr Aipht, ac i gadarnhau meddyliau yr Hebreaid, y rhai oedd wedi eu lefeinio yn ormodol gan syniadau ac arferion eilunaddolgar yr Aiphtiaid, mai Duw eu tadau oedd y gwir Dduw.

Mae pob darllenydd o'r Bibl yn gwybod pa fodd y barnodd yr Arglwydd yr Aiphtiaid, a pha fodd y dygodd efe Israel allan o wlad eu hir gaethiwed yn fuddugoliaethus ac â chyfoeth mawr—y modd y gwaredodd efe hwynt wrth y Môr Coch, ac yr ymogoneddodd efe ar Pharaoh—y modd yr arweiniodd efe hwynt yn anialwch Arabia dros yspaid deugain mlynedd, nes cyfodi oes arall, na wyddai ddim am arferion yr Aiphtiaid;—oes wedi arfer byw ar ddaioni Duw yn uniongyrchol, heb ymarfer â dim addoliad ond addoliad y cysegr, nac ymgydnabod â dim deddfau, ond deddfau yr Arglwydd trwy Moses. Gŵyr ein darllenwyr hefyd y modd rhyfeddol y dygwyd hwy i'r wlad a addawsai Duw i'w tadau dan lywyddiaeth Josua —y modd y llywyddwyd hwy yno yn gyntaf gan farnwyr am bedwar can' mlynedd, hyd Samuel y prophwyd; ac wedi hyny gan freninoedd, hyd eu dymchweliad gan Nebuchodonosor;—y modd y dychwelwyd hwy wedi deng-mlynedd-a-thriugain o gaethiwed Babilon, ac y sefydlwyd hwy drachefn yn eu gwlad eu hunain. Nid anhysbys ychwaith i rai o'n darllenwyr y modd y bu arnynt o'r dychweliad hwn hyd ddyddiau Herod frenin, a'r trychineb arswydlawn a'u goresgynodd trwy ddwylaw y Rhufeiniaid, nes eu gwasgar yn grwydriaid digartref dros wyneb y ddaear. Eto, er i'n darllenwyr fod yn gydnabyddus â'r hanesiaeth, fe ddichon yr edrychir arni fel y gwneir ar hanes rhyw genedl arall—ac y bernir hynodrwydd yr holl amgylchiadau, bob un wrtho ei hun, heb eu golygu oll fel un gadwen gyfan, un restr gyson o oruchwyliaethau, wedi eu cymhwyso oll i ateb *un dyben mawr a goruchel;* sef, *bendithio holl genedloedd y ddaear*, a thrwy hyny gwirio yr addewid a roddasai Duw i dad y ffyddloniaid. Edrychir ar y genedl Iuddewig yn ormodol fel *gwrthddrychau* yr oruchwyliaeth ryfeddol, gyda y rhai yr oedd yn dybenu, yn lle edrych arnynt fel offerynau yr oruchwyliaeth ag oedd i effeithio trwyddynt hwy ar genedloedd y ddaear. Cadarnhau y golygiad olaf hwn a fydd amcan gweddill ein hysgrif; sef

[1] *Gen.* xv. 13—16. [2] *Gen.* xlvi. 34. [3] *Exod.* viii. 26. *Gen.* xliii. 32.

fod *had Abraham wedi cael eu neilldwo gan Dduw i fod yn fendith i'r byd.*

Gwrthddadleuir weithiau yn erbyn goruchwyliaeth Moses, o herwydd ei chyfyngu i un genedl fechan, ac felly yn hannerog a chyfyng; ac mai annheilwng i ddoethineb Duw oedd ei chadarnhau â'r fath wyrthiau rhyfeddol ag y dywedir iddo wneyd. Ond os gallwn ddangos na fwriadwyd yr oruchwyliaeth hon er mwyn yr Hebreaid yn unig, ond er lles dynolryw, a'i bod yn gwasanaethu, ac nid yn gwrthgyferbynu, yr oruchwyliaeth Gristionogol, fe ymddengys fod yn perthyn iddi ogoniant a doethineb ymhell uwchlaw a dybir gan y gwrthddadleuwr. Yn yr ymdriniaeth, fe ddichon yr ymddengys fod ëangrwydd, a chysondeb, teilwng i'r Duw mawr, yn ei ymddygiadau at y genedl hynod hon, nad yw yn amlwg ar yr olwg gyntaf. Gwelir cyd-darawiad ardderchog yr Hen Destament â'r Newydd, a chanfyddir, er nad oedd y rhan gysgodol a gwyrthiol o'r oruchwyliaeth hono i barhau, ei bod yn gysgod daionus bethau i ddyfod, a bod had Abraham yn awr, ac y byddant yn fwy eto, yn gwirio yr addewid, mai yn had Abraham y bendithid cenedloedd y ddaear.

Yr oedd yr Aiphtiaid, yn amser gwaredigaeth Israel, yn un o'r cenedloedd cryfaf a dysgedicaf yn y byd. Yr oedd eu cyfoeth a'u dysg wedi rhoddi iddynt uchafiaeth mawr ymhlith y bobloedd. Y mae yn rhaid, gan hyny, y byddai gwyrthiau y Jehofa ar yr Aiphtiaid, a'i ryfeddodau yn meusydd Soan, yn ddygwyddiadau cyhoeddus iawn, ac yn tueddu i beri effaith ddwfn ar genedloedd eraill. Enw Duw Israel oedd yn y drafodaeth. Yn ei enw ef y gofynai Moses am eu rhyddhad. Am dano ef y gofynai Pharaoh ffroen uchel, "Pwy yw yr Arglwydd, fel y gwrandawn i ar ei lais ef?"[1] Cyhoeddodd Pharaoh, nad adwaenai efe yr Arglwydd, ac na ollyngai efe mo Israel ymaith. Yr oedd yr ymryson yn sefyll rhwng y Duw byw a duwiau meirwon yr Aiphtiaid: a mynegodd Moses i Pharaoh mai amcan yr Arglwydd, trwy waredu Israel, oedd dadleu ei ddadl â duwiau y cenedloedd. "I hyn yma y'th gyfodais di, i ddangos i ti fy nerth, *ac fel y myneger fy enw trwy yr holl ddaear.*"[2] Yr oedd y pläau a osodwyd ar y wlad yn tueddu yn uniongyrchol i fwrw gwarth ar eu duwiau, ac i ddangos anfeidrol ragoriaeth Duw yr Hebreaid; a bu gorfod ar y swynwyr addef, "Bys Duw yw hyn."[3] Drachefn a thrachefn y dywedodd Moses, pa beth oedd amcan y cwbl: "Fel y gwypech nad oes neb fel yr Arglwydd ein Duw ni."[4] Yr un dyben oedd mewn golwg yn nymchweliad Pharaoh a'i lu yn y Môr Coch: "A mi a ogoneddir ar Pharaoh, ac ar ei holl fyddin, ac ar ei gerbydau, ac ar ei farchogion; a'r Aiphtiaid a gânt wybod mai myfi yw yr Arglwydd."[5]

Yr oedd caethwasanaeth Israel, yn ddiammheuol, yn adnabyddus i'r byd o amgylch; felly hefyd eu gwaredigaeth. Ni allai na fyddai troi y dyfroedd yn waed, a'r llwch yn llau; lladd yr anifeiliaid â haint, a llysiau y maes â chenllysg; ac yn enwedig lladd y cyntaf-anedig trwy yr holl wlad, yn bethau o'r fath amlygrwydd a phwys, ag i dynu sylw, nid yr Aiphtiaid yn unig, ond hefyd y cenedloedd cylchynol. Nid oedd modd na fyddai ymadawiad cynnifer a chwe' chan' mil o wŷr dros ugain oed, ac feallai dair miliwn o eneidiau, rhwng gwŷr, gwragedd, a phlant—cenedl gyfan—allan o wlad, gyda'u gilydd, mewn un dydd, ac heb yn waethaf i deyrnas fawr a balch, wedi bod yno gannoedd o flyneddau, yn peri syndod ac ym-

[1] *Exod.* v. 2. [2] *Exod.* ix. 16. [3] *Exod.* viii. 19. [4] *Exod.* viii. 10. [5] *Exod.* xiv. 16.

holiad trwy y byd adnabyddus. Ac os gofynid trwy ba foddion, ac o ba herwydd, rhaid y byddai yr ateb yn tueddu i gyhoeddi a dyrchafu enw y Jehofa yn mysg y cenedloedd. Nid trwy nerth arfau yr aethant allan, ac nid o wirfodd y brenin; yn unig trwy nerth a rhyfeddodau eu Duw y cawsant eu gwaredu,—nid trwy ddim moddion cyffredin ymhlith dynion, ond trwy gyfryngiad gwyrthiol y Goruchaf. Yn y modd yma, yr oedd, nid Israel yn cael eu rhyddid yn unig, ond duwiau yr Aiphtiaid yn cael eu gwaradwyddo, a thystiolaeth amlwg a diymwad yngŵydd y byd o uchafiaeth digyffelyb Duw Israel.

Yr oedd mynediad Israel trwy y môr, yr un ffunud, a'u cynnaliad a'u harweiniad gwyrthiol a rhyfeddol mewn anialwch gwag erchyll dros yspaid deugain mlynedd, heb âr na medi, ac heb un amddiffyniad drostynt ond braich eu Duw, yn tueddu i wneuthur ei enw a'i fawredd yn hysbys i'r holl bobloedd. Oddiwrth yr ystyriaeth yma y tynai Moses ei ddadl na leddid y bobl am eu grwgnachrwydd ar ddychweliad yr yspiwyr; "Felly," meddai, "yr Aiphtiaid a glyw, ac a ddywedant i breswylwyr y tir hwn—os lleddi y bobl yma fel un gwr; yna y dywed y cenedloedd *y rhai a glywsant son am danat*, gan ddywedyd, O eisieu gallu o'r Arglwydd ddwyn y bobl yma i'r tir y tyngodd efe iddynt, am hyny y lladdodd efe hwynt yn yr anialwch." Atebodd yr Arglwydd, "*Maddeuais yn ol dy air; ond os byw fi, yr holl dir a lenwir o ogoniant yr Arglwydd.*"[1] Cafodd Israel wybod, a chafodd cenedloedd eraill wybod, ïe, hyd heddyw, trwy iddo warafun i'r genedlaeth hono fyned i Ganaan, mai Duw eiddigus dros ei eirwiredd ydoedd, ac mai nid diberygl ydoedd i neb ammheu ei addewid ef trwy anghrediniaeth.

Yr oedd yr Arglwydd yn golygu y byddai i'w ymddygiadau ef tuag at Israel effeithio ar y byd cenedlig; am hyny y cawn ef yn dywedyd, "Gwasgaraf hwynt i gonglau, paraf i'w coffadwriaeth ddarfod o fysg dynion; oni bai i mi ofni dig y gelyn, rhag i'w gwrthwynebwyr ymddwyn yn ddyeithr, a rhag dywedyd o honynt, Ein llaw uchel ni, ac nid yr Arglwydd, a wnaeth hyn oll."[2]

Yr oedd y deddfau a'r barnedigaethau a roddodd yr Arglwydd i Israel yn tueddu, yr un modd, i ddyrchafu ei enw a'i bobl yn mysg tylwythau y ddaear. Am hyny y dywed efe, "Cedwch gan hyny, a gwnewch hwynt; oblegid hyn yw eich doethineb a'ch deall chwi *yn ngolwg y bobloedd, y rhai a glywsant yr holl ddeddfau hyn*, ac a ddywedant, Yn ddïau pobl ddoeth a deallus yw y genedl fawr hon."[3] I'r un dyben, hefyd, y gwasanaethai y trychineb a ragfynegai Moses a ddeuai arnynt, a'r galanastra a ddeuai ar eu gwlad am eu hanufudd-dod; neu eu llwyddiant, os ufudd fyddent. "*A holl bobl y ddaear a welant* fod yn dy alw di ar enw'r Arglwydd, ac *a ofnant rhagot*—a byddi yn syndod, yn ddïareb, ac yn watwargerdd ymhlith yr holl bobloedd.—Ië yr holl genedloedd a ddywedant, Paham y gwnaeth yr Arglwydd fel hyn i'r tir hwn? pa ddigder yw y digofaint mawr hwn?"[4] Pa brawf amlycach, a chryfach, ac ëangach, a ellid gael, i wahanol genedloedd y byd, hyd heddyw, ac i barhau felly hyd ddiwedd amser, o eirwiredd Duw?—o'i sancteiddrwydd a'i gyfiawnder yn erbyn pechod? Pa arwyddion cryfach a ellid roddi o'i ddigofaint ofnadwy yn erbyn halogwyr ei gysegr, a dirmygwyr ei awdurdod?

[1] *Num.* xiv. 13—16. [2] *Deut.* xxxii. 26, 27. [3] *Deut.* iv. 6—8.
[4] *Deut.* xxviii. 37; a xxix. 24.

Ar ddynesâad y genedl at wlad Canaan, ni a gawn fod dychryn a braw wedi meddiannu y Canaaneaid. Ebe Rahab wrth yr yspïwyr, "Canys nyni a glywsom fel y sychodd yr Arglwydd y Môr Coch o'ch blaen chwi—yna i'n digalonwyd, fel na safodd mwyach gysur yn neb rhag eich ofn; canys yr ARGLWYDD EICH DUW, efe sydd Dduw yn y nefoedd uchod, ac ar y ddaear isod."[1] Yr effaith a barai dymchweliad Israel ar y cenedloedd a roddai ddadl yn ngenau Josua, pan y tarawyd hwy o flaen Ai, "A pha beth a wnei i'th enw mawr?" Addefai y Gibeoniaid iddynt glywed clod Duw Israel, a pha beth a wnaeth efe yn yr Aipht, a chan ei ofn ef ymostyngent i fod yn gymynwyr coed, ac yn wehynwyr dwfr i'r gynnulleidfa, ac i allor yr Arglwydd.[2] Rhaid oedd iddynt hefyd, tybygid, ymwrthod âg eilunaddoliaeth, os mynent drigo yn y wlad. Nid annhebyg ydyw y cawsai cenedloedd eraill Canaan eu bywyd, pe 'r ymostyngasent i roi heibio eu heilunod, ac i fod dan iau i Israel; ond yn lle hyny, rhoisant eu goglud ar eu duwiau, a safasant yn erbyn lluoedd yr Arglwydd Jehofa. Parodd eu dymchweliad ddychryn arswydol ar y gweddill; dychryn Duw a syrthiodd arnynt, a pharhaodd y braw arnynt dros amser maith, ïe, hyd genedlaethau pell. Ni a gawn yn mhen tri chan' mlynedd ar ol hyn, fod arswyd alaethus wedi disgyn ar y Philistiaid, pan glywsant fod arch Duw wedi dyfod i wersyll yr Hebreaid, a llefarasant, "Gwae ni: pwy a'n gwared ni o law y duwiau nerthol hyn? Dyma y duwiau a darawsant yr Aiphtiaid â'r holl bläau yn yr anialwch."[3] Ar yr achlysur hwn goddefodd yr Arglwydd i Israel gael eu taro, ac i'r arch gael ei chymeryd, am iddynt hwy ddysgwyl amddiffyniad mewn cysylltiad â'u pechodau; ar yr un pryd cafodd y Philistiaid ddeall y medrai efe, heb gymhorth Israel, sarhau eu duw, a'u cosbi hwythau; a da fu ganddynt ar frys anfon yr arch i'w bro ei hun, gan "*roddi gogoniant i Dduw Israel*,"[4] fel yr ysgafnhäai efe, ysgatfydd, ei law arnynt. Eto, er hyn oll, wrth eu duwiau gwael yr ymlynent, ac ni wasanaethent yr Arglwydd.

Cawn brawf amlycach eto yn nyddiau Solomon fod goruchwyliaeth Duw tuag at Israel wedi ei bwriadu i lesâu y cenedloedd. Yr oedd gwlad Canaan yn gorwedd yn fanteisiol i'r dyben, yn nghanol y byd ag oedd y pryd hyny yn adnabyddus, yn y llygedyn yr oedd Asia, Affrica, ac Ewrop yn cyfarfod, ac yn gyfagos i'r cenedloedd mwyaf galluog ac enwog ag oedd ar y ddaear. Yr oedd Phœnicia a'r Aipht gerllaw iddi. Nid oedd Assyria, Persia, a Groeg ymhell. Yn nyddiau Solomon yr oedd Israel wedi cyrhaedd i rwysg ac amlygrwydd mwy nag erioed. Yr oedd terfynau y wladwriaeth wedi eu ëangu; yr oedd masnach y genedl wedi ymhelaethu, ac ennillasant fri mawr trwy fuddugoliaethau Dafydd, a thrwy ddoethineb Solomon. Yr oedd doethineb y brenin hwn yn "fwy na doethineb holl feibion y dwyrain, ac na holl ddoethineb yr Aiphtiaid, ïe, doethach oedd efe nag un dyn. Ac o bob pobloedd y daethpwyd i wrandaw doethineb Solomon, oddiwrth holl freninoedd y ddaear, y rhai a glywsant am ei ddoethineb ef."[5] Yr oedd maint ei gyfoeth, a gwychder y tŷ a adeiladasai efe i enw ei Dduw, yn chwanegu at ei uchafiaeth. "A'r brenin Solomon a ragorodd ar holl freninoedd y ddaear mewn cyfoeth a doethineb. A'r holl fyd oedd yn ceisio gweled wyneb Solomon, i glywed ei ddoethineb ef, a roddasai Duw yn ei galon ef."[6] Yn ei weddi ar gysegriad y deml, cyf-

[1] *Jos.* ii. 9—11. [2] *Jos.* ix. 9—11. [3] 1 *Sam.* iv. 5—9.
[4] 1 *Sam.* v. a vi. [5] 1 *Bren.* iv. 29—34. [6] 1 *Bren.* x. 23, 24.

eiriai Solomon at yr effaith a gynnyrchid ar feddwl y *dyeithr-ddyn* trwy oruchwyliaeth Duw tuag at ei bobl ddewisedig. "Ac am y dyeithr-ddyn," meddai, "ni byddo o'th bobl Israel, ond dyfod o wlad bell er mwyn dy enw di; (canys clywsant am dy enw mawr di, a'th law gref, a'th fraich estynedig) pan ddel a gweddio tua'r tŷ hwn: gwrando di yn y nefoedd, mangre dy breswylfod, a gwna yn ol yr hyn oll a'r a lefo y dyeithr-ddyn arnat am dano; *fel yr adwaeno holl bobl y ddaear dy enw di, i'th ofni di*, fel y mae dy bobl Israel:"—a thrachefn, "*fel y gwypo holl bobl y ddaear mai yr Arglwydd sydd Dduw, ac nad oes arall.*"[1]

Ni a welwn yn yr ymadroddion hyn, y rhai a lefarwyd gan yr enwocaf o freninoedd Israel, a chyda chymeradwyaeth amlwg y Jehofa, gogoniant yr hwn a lanwai y deml ar yr achlysur, mai amcan a dyben yr oruchwyliaeth Iuddewig oedd i roddi "gwybod i holl bobl y ddaear mai yr Arglwydd oedd Dduw, ac nad oedd arall;" ac hefyd fod annogaeth i'r dyeithr-ddyn, o eithafoedd y byd, weddio tua'r deml yn Jerusalem, ac ymuno â phobl Dduw yn eu haddoliad, a gobeithio am ffafr y gwir Dduw cystal a hwythau, ac eto heb fod yn ddinasydd o'r wladwriaeth hono, na dwyn yr iau seremonïol na gwladol a berthynai iddi.

Nid yw yn beth annhebyg fod llawer o bobl o wahanol wledydd a llwythau, yn y tymmor hwn, yn argyhoeddedig o ardderchogrwydd Duw Israel, ac oddiar hyny wedi llwyr ymwrthod âg eilunaddoliaeth; ac yn ol eu gwybodaeth a'u hamgylchiadau, yn ei wasanaethu yn eu gwlad eu hunain. Y fath ydoedd Naaman y Syriad, a brenines y deheu. Y mae yn anmhosibl i ni allu gwybod i ba raddau yr effeithiodd yr oruchwyliaeth Iuddewig ar y cenedloedd, mewn ffordd o'u dwyn hwy, mewn gwirionedd, i adnabod yr Arglwydd. Nid yw yr hanesion yn ddigon manwl i roddi hysbysrwydd i ni am amgylchiadau neillduol; ac nid oes lle i ni gasglu fod yr un genedl yn gyffredinol, neu bobl un wlad yn gyfan, wedi eu dychwelyd at y gwir Dduw. Wrth ystyried gafaelion tỳnion eilunaddoliaeth ar genedloedd y byd, yr hudoliaethau cryfion cysylltiedig âg ef i lithio dynoliaeth lygredig, ei rwysg cyffredinol ymhlith y bobloedd oll, ei hir ymwreiddiad yn y gwledydd, a'i fanwl ymblethiad â holl syniadau ac â holl arferion pob sefyllfa a gradd, nid syn a fyddai genym os aneffeithiol a fu y moddion hyn. Ac yn wir, pan yr ystyriom hanes yr Iuddewon eu hunain, eu llithriad gwastadol at eilunaddoliaeth, a'u gogwyddiad cryf a pharhaus at arferion y cenedloedd, er gweled cynnifer o ryfeddodau Duw, bydd ein syndod yn llai fyth, os gwrthod a wnai y cenedloedd bob amlygiad a roddid iddynt o'r gwir a'r bywiol Dduw. Ni a welwn yn hanes yr Iuddewon, nad oedd dim llai na goruchwyliaeth wyrthiol a goruwchnaturiol, o'r fath ag oedd yr eiddo Duw tuag at ei bobl ddewisedig, a allasai droi cenedloedd oddiwrth eu duwiau gau, ac oddiwrth y nwyfiant cnawdol, a'r rhysedd ffiaidd, ag oedd gysylltiedig. Pwy all ammheu hyn wrth ddarllen am Solomon ei hun, er ei ddoethineb a'i ddygiad i fynu, ac er yr holl uchafiaeth a roddasai Duw y nefoedd arno, ei fod ef wedi llithro ymhell i arferion eilunaddolgar y cenedloedd? Mae yma brawf diymwad o lygredigaeth y natur ddynol; ond nid oes yma brawf yn erbyn *tuedd* lesol a gogoneddus goruchwyliaeth Duw ymhlith yr Iuddewon, i fendithio holl deuluoedd y ddaear; a pha gan lleied bynag a fu yr effaith uniongyrchol

[1] 1 *Bren.* viii. 41—43, 60.

ar bersonau neu genedloedd estronol, sicr ydym i Dduw wneuthur yr Hebreaid yn warcheidwaid ei ymadroddion, ei air, a'i addoliad; a pha oleuni bynag oedd yn y byd, ei fod wedi ei wasgaru ymhlith y tywyllwch caddugol trwyddynt hwy. Hwynt-hwy hefyd oedd y cyff yr oedd y Blaguryn i darddu o hono, yr hwn mewn modd o enwogrwydd anfeidrol oedd i beri i fendith Abraham ddyfod ar y cenedloedd. Swp o rawn oedd y genedl, yr hwn a gadwyd heb ei ddifwyno, *am fod bendith ynddo.*

Ni a ddeuwn, bellach, at dymmor yn hanes Israel, gwahanol i'r hyn a fu. Hyd yma yr oeddynt yn cynnyddu mewn awdurdod a rhwysg; ond o hyn allan, ni a gawn arwyddion amlwg o adfeiliad, mewn pethau gwladol ac eglwysig. Ymranodd y genedl dan lywodraeth annoeth a gorthrymus Rehoboam, fab Solomon; a chyn hir iawn, dygwyd deg llwyth i gaethiwed gan Frenin Assyria. Eto fe fu yr amgylchiad hwn hefyd yn wasanaethgar i grefydd y gwir Dduw. Dysgwyd llawer ar y bobl ddyeithr a osodwyd gan Salmanezer yn ninasoedd Samaria. Anfonwyd i'w plith offeiriad, yr hwn a drigodd yn Bethel, *i ddysgu iddynt ddefod Duw y wlad,* neu, *pa fodd yr ofnent yr Arglwydd!*[1] Dygwyd copi o bum llyfr Moses i'w plith; codwyd teml ganddynt i'r gwir Dduw ar fynydd Gerazim; a chawn iddynt, ar ol enciliad Manasseh atynt, roi heibio addoli eilunod mor llwyr a'r Iuddewon eu hunain.[2] Mynegir i ni eu bod yn llawn mor gywir eu syniadau ag oedd yr Iuddewon am anfarwoldeb yr enaid a'r sefyllfa ddyfodol.

Defnyddiodd yr Arglwydd gaethgludiad Israel a Judah i wlad eu gelynion i hysbysu ei enw ymhlith cenedloedd nad adwaenent ef. Yr oedd prophwydoliaethau Jeremi mor gyhoeddus am ddarostyngiad y genedl a'u caethgludiad o'u gwlad, ag i dynu sylw brenin a byddin Assyria. Darllenwn fod Nebusaradan, penaeth y milwyr, yn addef wrth Jeremi, "Yr Arglwydd dy Dduw," meddai, "a lefarodd y drwg yma yn erbyn y lle hwn," ac o herwydd hyn, cafodd penaeth y milwyr orchymyn gan Nebuchodonosor, i beidio gwneyd dim niwed i Jeremi.[3] Gogoneddwyd enw Duw trwy hyn ymhlith y paganiaid. Drachefn, cododd rhagluniaeth Duw fechgyn yr Hebrëaid i sylw Brenin Babilon. Rhoddes yr Arglwydd dystiolaeth o hono ei hun, trwy ddadguddio i Daniel freuddwyd y brenin a'i ddeongliad, wedi i holl ddoethion y Caldëaid fethu. Parodd hyn i'r brenin balch hwnw addef, "Mewn gwirionedd y gwn mai eich Duw chwi yw y Duw byw, ac Arglwydd y breninoedd."[4] Drachefn yr argyhoeddwyd y brenin o uchafiaeth Duw yr Hebreaid trwy y waredigaeth ryfeddol a gawsai Sadrach, Mesach, ac Abednego, a gwasgwyd o hono ail gyfaddefiad mai y Duw Goruchaf ydoedd, a pharodd iddo osod gorchymyn, "Pob pobl, cenedl a iaith, yr hon a ddywedo ddim ar fai yn erbyn Duw Sadrach, Mesach, ac Abednego, a wneir yn ddrylliau, a'u tai a wneir yn domen: o herwydd nad oes Duw arall a wared fel hyn."[5] Wedi ei adferu i'w synwyr a'i orsedd, ar ol newid saith amser arno mewn gwylltedd anifeilaidd, ni a'i cawn drachefn, "yn moliannu ac yn mawrygu, ac yn gogoneddu Brenin y nefoedd, yr hwn y mae ei holl weithredoedd yn wirionedd, a'i lwybrau yn farn, ac a ddichon ddarostwng y rhai a rodiant mewn balchder."[6] Bernir, ac nid heb sail, fod Nebuchodonosor wedi cael ei wir argyhoeddi a'i ddychwelyd;

[1] 2 *Bren.* xvii. 24—28. [2] Gwel "*Prideaux's Connection*:" cyf. i. tudal. 407, 408.
[3] *Jer.* xxxix. 12; a xl. 2—4. [4] *Dan.* ii. 47. [5] *Dan.* iii. 29. [6] *Dan.* iv. 37.

ac iddo farw yn edifeiriol am ei falchder a'i draha; ond ni chafodd nemawr o seibiant i roddi amlygrwydd o'i edifeirwch, gan iddo farw, fel y tybir, yn mhen ychydig fisoedd ar ol ei adferiad. Rhaid fod y dygwyddiadau hyn, i ŵr mor fawr a Nebuchodonosor, yr hwn yr oedd ei lywodraeth mor ëang, a'i fuddugoliaethau mor liosog, yn dra chyhoeddus yn yr holl wledydd; ac yn peri cryn effaith ar feddyliau gwŷr ystyriol hyd ymhell. Yr oedd yma dystiolaeth wedi ei chael gan ymherawdwr penaf y byd, o oruchafiaeth Duw y nefoedd ar eilunod gwael y cenedloedd; a gosodwyd yr ardystiad breninol yn nghroniclau yr ymherodraeth, a gwnaethpwyd deddf freninol i ddynodi parch yr ymherawdwr i'r Duw byw, a'i ddymuniad ar fod i'w holl ddeiliaid yr un modd blygu iddo a'i addoli.

Cafodd y mil tywysogion, y gwragedd a'r gordderchadon, ag oedd yn gwledda gyda Belsazzar, ac yn yfed gwin o lestri tŷ yr Arglwydd, ac yn canmawl y duwiau o aur ac o arian, o bres, o haiarn, o goed, ac o faen—ddeall, trwy'r ysgrifen ar galchiad y pared, a thrwy ei chyflawniad yn nymchweliad y "dref aur," y noson hono, gan Cyrus y Persiad, mai Duw Israel oedd y gwir Dduw; ei fod yn Dduw eiddigus dros anrhydedd ei enw, ac na roddai ei ogoniant i arall, na'i fawl i ddelwau cerfiedig. Gallwn feddwl fod argraffiadau dymunol wedi eu gwneuthur ar feddwl Cyrus hefyd; gan ei fod yn addef—"Arglwydd Dduw y nefoedd," ebe fe, "a roddes i mi holl deyrnasoedd y ddaear, ac efe a orchymynodd i mi adeiladu iddo ef dŷ yn Jerusalem. Pwy sydd o honoch o'i holl bobl ef? bydded ei Dduw gydag ef, ac eled i fynu i Jerusalem, yr hon sydd yn Judah, ac adeiladed dŷ Arglwydd Dduw Israel (dyna y Duw), yr hwn sydd yn Jerusalem."[1] Nid oes un ammheuaeth na fu gan Daniel law yn hyn, trwy ddangos i Cyrus y brophwydoliaeth am dano, wrth ei enw, yn ngweledigaeth Esaiah y prophwyd. Yr oedd Daniel, ar y pryd, yn hen mewn dyddiau, ac yn anrhydeddus iawn ei gymeriad, fel trwyddo ef, ond odid, "y cyffrodd yr Arglwydd ysbryd Cyrus." Nid oes genym, yn hollol, gymaint o brawf i Cyrus adnabod yr Arglwydd, ag sydd genym am Nebuchodonosor; eto mae lle cryf i gasglu hyny; ac felly mae y ffaith yn nodedig, fod yr hwn a ddygasai Judah i gaethiwed, a'r hwn a'u gollyngodd i ryddid, wedi eu dwyn i blygu i Arglwydd Dduw y nefoedd a'r ddaear.

Daeth Daniel i uchafiaeth mwy fyth dan deyrnasiad Darius y Mediad. Gwnaed ef yn ben ar y rhaglawiaid oll. Yr oedd ei ddoethineb yn ddiareb trwy wledydd y dwyrain.[2] Yr oedd ei uniondeb mor bur, a'i fedrusrwydd mor fawr, fel na chaed ynddo, gydag achosion ei swydd uchel, nac "amryfusedd na bai." Goddefwyd i'w elynion, am dymmor byr, gael goruchafiaeth arno, trwy ei draddodi i ffau y llewod, o herwydd cyfraith ei Dduw; eto cododd o hyny yn uwch trwy y waredigaeth a roddwyd iddo. Argyhoeddwyd y Brenin Darius o uchafiaeth Duw yr Hebreaid, ac "ysgrifenodd y brenin Darius at y bobloedd, at y cenedloedd, ac at yr ieithoedd oll, y rhai oedd yn trigo yn yr holl ddaear; Heddwch," ebe fe, "a amlhaer i chwi; genyf fi y gosodwyd cyfraith, ar fod trwy holl lywodraeth fy nheyrnas, i bawb grynu ac ofni rhag Duw Daniel; o herwydd efe sydd Dduw byw, ac yn parhau byth."[3] Ar ol hyn, drachefn, dyrchafwyd Esther i fod yn frenines y wlad, trwy ddyfod yn wraig i Ahasferus. A thrwy ragluniaeth ryfedd y codwyd ei hewythr Mordecai i fod yn benaf

[1] *Ezra* i. 2, 3. [2] *Ezec.* xxviii. 3. [3] *Dan.* vi. 25—27.

gŵr yn y deyrnas, yn lle Haman ddrygionus, ar y pryd yr oedd hithau yn frenines. Rhaid fod yr amgylchiadau hyn, trwy gynnyrchu, fel y gwnaethant, waredigaeth i'r Iuddewon, a dinystr cyhoeddus ar eu gelynion, trwy holl daleithiau ëang y Brenin Ahasferus, yn gwasanaethu, mewn modd arbenig, i hysbysu enw yr Arglwydd yn mysg y cenedloedd. Gwiriwyd yma drachefn yr addewid gyntefig, mai "*yn had Abraham y bendithid holl genedloedd y ddaear.*"

Bu amryw gaethgludiadau ar Israel a Judah cyn eu llwyr wasgaru, a llosgi eu dinas a'u teml gan y Rhufeiniaid. Yn y caethgludiadau cyntaf a fu arnynt gan freninoedd Asia, gwasgarwyd niferi mawrion o honynt ar hyd taleithiau ëang Assyria, Caldea, a Phersia; ac yn mhob man yr ymsefydlent, dygent addoliad eu Duw gyda hwy. Nacäent gydymffurfio â delw-addoliaeth y cenedloedd yr ymdeithient yn eu mysg, byth ar ol eu dymchweliad gan Nebuchodonosor. Wedi iddynt ymdrefedigo, yn y modd yma, yn ngwahanol wledydd y byd, ac ymddyosg oddiwrth y bwriad o ddychwelyd i Judea, penderfynasant godi tai i addoli ynddynt, yn y rhai y darllenent gyfraith Moses ac ysgrifeniadau y prophwydi. Ni ddychwelodd i Judea, ar gyhoeddiad Cyrus, ond rhan fechan o'r genedl; gan mwyaf llwythau Judah a Benjamin a ddychwelodd, a rhyw gynnifer o'r deg llwyth gyda hwy. Nid oedd y nifer a ddychwelodd gydag Ezra ond tua deuddeng mil o deuluoedd. Dewisodd llawer, meddai Josephus, o'r holl lwythau aros yn y gwledydd y gwasgarwyd hwy iddynt, yn hytrach na dychwelyd. Yr oedd taleithiau y Brenin Ahasferus yn chwech ugain a saith o rifedi, ac yn cyrhaedd o Ethiopia i India; a honir gan Josephus fod rhai o'i gydgenedl ar wasgar trwyddynt oll. Gwasgarwyd llawer o honynt i'r Aipht, a thrwy holl wledydd Groeg, a chan belled i'r gorllewin a Rhufain. Wedi dechreu o honynt adeiladu synagogau yn yr amrywiol wledydd, rhaid oedd lliosogi copïau o'r gyfraith, i'w darllen yn yr addoliad. Yn y modd yma lledanwyd, i raddau helaeth, wybodaeth am y gwir Dduw, trwy holl wledydd eu gwasgariad. Gwelai y cenedloedd pa mor wahanol oedd eu haddoliad i'r eiddynt hwy; ni allent lai na chanfod rhagoriaeth yr egwyddorion a ddysgid yn eu cyfraith ar syniadau y paganiaid. Yr oedd eu Duw hwy yn anweledig, tra gwahanol i dduwiau gwael y bobloedd. Ni wnaent yr un ddelw i ymgrymu iddi. Yr oedd hyn oll yn tueddu i roddi syniadau newyddion a dyeithr i'r bobl yr ymdeithient yn eu mysg; ac yr oedd y mynych gyfeirio a wneid at ryw Un mawr ag oedd i ymddangos, wedi cynnyrchu dysgwyliad am Fessiah yr Iuddewon ymhlith llawer o genedloedd y ddaear.

Hysbysir i ni fod hen grefydd y Magiaid, neu "ddoethion y dwyrain," wedi disgyn oddiwrth Abraham, a bod hon wedi cael ei diwygio gan Zoroaster, yr hwn, meddynt, oedd yn cydoesi â Daniel y prophwyd. Hon oedd prif grefydd y Persiaid; ac yn ol tystiolaeth Lucian, yr hwn oedd yn byw yn fuan ar ol dechreuad Cristionogaeth, yr oedd y grefydd hon wedi ymledanu ymhlith y Parthiaid, y Bactriaid, y Mediaid, a llawer o genedloedd dwyreiniol eraill. Ac hyd y dydd hwn y mae corff lliosog o'r Magiaid yn aros yn Persia ac India. Yn ysgrifion Zoroaster, neu Zerdusht, fel y gelwir ef weithiau, y mae amryw bethau wedi eu cael allan o lyfrau Moses, megys crëadigaeth y byd; gwahanol ranau o Salmau Dafydd; a rhyw grybwylliad anamlwg am ymddangosiad y Messiah. Y mae yn deilwng o sylw arbenig hefyd, am gymaint ag sydd o wirionedd i'w gael ymhlith y

pentwr tryfrith o chwedlau gwael a dychymygion disail, ag sydd yn Alcoran Mahomet, ei fod wedi ei fenthyca allan o ysgrythyrau yr Hebreaid. Am bob peth arall sydd ynddo, mae argraff ei awdur arno; "daearol, anianol, a chythreulig yw." I'r ysgrythyrau sanctaidd, gan hyny, y mae y Magiaid a'r Mahometaniaid yn ddyledus am bob mymryn o wirionedd ag sydd yn eu cyffes. Ni chaed erioed yr un drychfeddwl cymhwys am y gwir Dduw, am natur a pharhad enaid dyn, nac am y sefyllfa ddyfodol, ond a gaed o'r ysgrythyrau. Mewn gair, nid oedd, ac nid oes, ymhlith dynion ddim gwir wybodaeth am bethau a berthyn i addoliad Duw, a dedwyddwch tragywyddol dynion, ond a lewyrchodd trwy air Duw. Ymddiriedwyd hwn er yn foreu i'r genedl Iuddewig. Hwynt-hwy oedd ei ysgrifenwyr a'i warcheidwaid. Dewiswyd hwy gan Dduw *i fod yn fendith i'r byd.* Feallai y temtir rhywrai, wrth glywed yr honiad fod had Abraham wedi bod o gymaint o fendith i'r byd, i ymofyn, pa fodd y gallai hyny fod, pryd yr oedd yr Iuddewon eu hunain fel cenedl, wedi troi allan trwy yr holl oesoedd, yn bobl anhywaith, cildyn, ac anghrediniol? I hyn yr atebwn, nad yw anghrefyddoldeb personol y bobl hyn yn gwanychu dim ar y gosodiad. Gwir fod yn perthyn iddynt lawer o ragfarn yn erbyn cenedloedd y byd, a llawer o falchder ar gyfrif eu huchafiaeth eu hunain. Yr oeddynt yn fynych dan gosbedigaethau eu Duw; a phan y gwawriodd Cristionogaeth, ni ddangosodd neb fwy o ffyrnigrwydd yn erbyn y grefydd newydd na hwy. Eto er hyn oll fe wiriwyd yr addewid i Abraham, y bendithid cenedloedd y ddaear yn ei had. Oblegid nid ar eu daioni personol hwy, nac ar eu llwyddiant yr oedd hyn yn dibynu. Nid trwy un amcan nac ewyllys da o'r eiddynt hwy y bu hyn. Ond bodd neu anfodd, da neu ddrwg, uchel neu isel eu gwedd, bwriadai Duw eu defnyddio fel offerynau i fendithio dynion. Y cyfryw oedd y gyfundrefn, neu'r oruchwyliaeth yr oeddynt hwy yn ddeiliaid uniongyrchol o honi, na allent lai, pa fath bynag a fyddai eu naws neu eu hamgylchiadau, na bod, i raddau, yn halen y ddaear.

Yr oedd y deddfau a roddes yr Arglwydd iddynt, y gwyrthiau a wnaeth efe erddynt, y cenadau a anfonodd efe atynt, yr amlygiadau a wnaeth efe iddynt, o bryd i bryd, a'r cosbedigaethau a osododd efe arnynt—oll yn tueddu, fel y gwelsom, i lesâu dynion, ac wedi eu hamcanu i'r dyben hyny; eto nid eu doethineb na'u daioni hwy oedd y ffynnonell. *Deiliaid* oeddynt hwy o'r oruchwyliaeth, ac *offerynau* (diamcan yn aml) yn llaw Duw. Duw oedd yn gweithredu trwyddynt hwy. Canwyllbren oedd y genedl, y gosododd Duw ynddo oleuni i oleuo y cenedloedd. Pe buasai llesoldeb yr oruchwyliaeth yn dibynu ar ewyllys neu ansawdd meddwl y genedl, diau mai yn ofer y troisai y gyfundrefn allan. Ond ni adawodd yr Arglwydd mo'i fwriad o gadw gwybodaeth o hono ei hun yn mysg dynion, ac o barotoi y ffordd i ddyfodiad y Messiah, a dygiad Cristionogaeth i mewn, ddim i bwyso ar fodd neu anfodd y genedl anhywaith hon. Ond efe a'i cymerodd yn ei law, ac a'i defnyddiodd fel y gwelai yn dda, i ddwyn o amgylch ei fwriadau anrhydeddus a mawreddig ei hun. Llesäent y byd weithiau yn ddiarwybod, ac weithiau heb yn waethaf iddynt. Duw oedd y gweithiwr, hwythau yr offerynau. Pa ddiolch iddynt hwy fod gwyrthiau yr Aipht, mynediad trwy y môr, rhyfeddodau yr anialwch, a'u gosodiad yn Nghanaan, yn gogoneddu enw Duw yn ngolwg y cenedloedd? Nid oedd na'u gwaredigaethau rhyfeddol mwy na'u cosbedigaethau trymion

ddim yn codi o'u hewyllys, nac oddiar eu rhinweddau hwy. Nid amcanu lles y cenedloedd yn nhaleithiau Assyria, a barodd i'r gweddill o'r Iuddewon aros yn nhir y gelyn; eto defnyddiwyd hyny i fendithio dynion. Nid o'u bodd hwy y cyfieithwyd yr Hen Destament i'r Groeg, ond er gwaethaf y genedl yn Nghanaan; cymaint felly nes iddynt gyhoeddi ympryd ar yr achlysur, eto troes hyny yn lles i'r byd. Bychan y tybient hwy, wrth groeshoelio ein Harglwydd ni, eu bod yn cyflawni cynghor Duw. Heb yn waethaf iddynt hwy, y troes eu gwaith yn erlid y Cristionogion yn Jerusalem yn elw i'r cenedloedd. Yr oedd yr offerynau yn y modd hyn yn rhai annheilwng ddigon, eto defnyddiwyd hwy i gyflawni pethau anhygoel.

Wedi hyn o ysgöad, dychwelwn eilwaith at amgylchiadau eraill ag y bu y genedl Iuddewig yn offerynau llesoldeb i'r byd.

Wedi eu dychwelyd i'w gwlad o gaethiwed Babilon, ymosodasant at y gwaith o adgyweirio Jerusalem, ac adeiladu y deml, ac adferu addoliad yr Arglwydd yn y lle y dewisasai i osod ei enw ynddo. Casglwyd llyfrau yr Hen Destament at eu gilydd gan Ezra, a chwblhâwyd yn raddol y gyfrol sanctaidd. Dychwelodd cynnifer o'r genedl i Judea ag oedd yn ddigonol i gyfanneddu y wlad, eto arhosodd lliaws mawr o honynt, fel y crybwyllwyd, yn wasgaredig ymhlith y cenedloedd. Ac heblaw y rhai a gaethgludwyd i wledydd y dwyrain, dygwyd niferi mawrion o honynt i wledydd eraill, yn enwedig i'r Aipht. Cyfieithwyd yr ysgrifeniadau sanctaidd, er mwyn yr Iuddewon a ddygwyd i breswylio Alexandria, i'r iaith Röeg, yr hwn gyfieithiad a elwir y *Septuagint*, neu y Deg-a-thriugain; a'r hwn hefyd a ddefnyddid amlaf gan yr Iuddewon eu hunain ar ol yr amser y gwasgarwyd hwy o'u gwlad gan Nebuchodonosor. Fe fu cyfieithiad y llyfrau sanctaidd i'r iaith hon yn foddion neillduol i wasgar gwybodaeth o Dduw ar hyd y gwledydd yr oedd gan yr Iuddewon synagogau ynddynt; gan mai hon oedd yr iaith fwyaf adnabyddus ar y pryd yn ngwledydd gwaraidd y ddaear. Yn y tymmor hwn hefyd y bu adfywiad nodedig ar ddysgeidiaeth a chelfyddyd dros holl wledydd Gröeg. Parai hyn fod yr iaith Röeg mewn bri mawr dros y dwyrain a'r gorllewin, trwy yr hwn y traddodai y dysgedigion eu meddyliau i'w cydoeswyr, a'u holynwyr. Yr oedd llyfr Duw bellach yn yr iaith hon: y llyfr hynaf a hynotaf yn y byd. Cafodd ddyfodfa yn y modd yma at feddyliau y dynion mwyaf eu cynneddfau yn y byd. Ac er nad oes genym hanesion i ddibynu arnynt i ba raddau y defnyddiodd cenedloedd y dwyrain y goleuni a dywynai fel hyn arnynt, eto gallwn sicrhau mai i'r ysgrifeniadau hyn, a berthynai yn wreiddiol i'r Hebrëaid, yr oedd y byd yn ddyledus am ba faint bynag o wybodaeth gywir am Dduw, ac o'i ewyllys, ag oedd y pryd hyny o fewn y byd. Yr oedd ysgrifeniadau y prophwydi, "fel canwyll yn llewyrchu mewn lle tywyll;" ac nid oes genym un sail i feddwl y buasai un llewyrch gwybodaeth iachawdwriaeth o fewn y byd, oni b'ai gwasanaeth y llyfrau, a'r defodau, a roddasid gan Dduw ymhlith y genedl hon: ac felly yn cadarnhau gwirionedd yr addewid, "*Yn dy had di y bendithir holl genedloedd y ddaear.*"

Nid ydym wedi son hyd yma pa fodd y gwiriwyd yr addewid uchod yn enwedigol trwy fod y Messiah wedi hanu o lwynau Abraham. Mewn cysylltiad âg efe yr oedd holl ogoniant plant Israel yn hanfodi—ato ef, fel eu sylwedd, yr oedd eu holl ddefodau cysgodol hwy yn cyfeirio, ac ynddo

ef y crynhöwyd y cyflawnder dihysbydd hwnw, trwy yr hwn y bendithir mewn modd effeithiol liaws dirif o holl genedloedd y ddaear. Gwnaed ef yn "felldith drosom, fel y delai bendith Abraham ar y cenedloedd.[1]"

Cafodd y genedl hon yr anrhydedd drachefn o fod yn wasanaethgar i ddychweliad y cenedloedd i ffydd yr efengyl. Fel yr oedd yr adeg yn agosâu i ddwyn i mewn oruchwyliaeth y Testament Newydd, yr oedd amrywiol amgylchiadau yn cydgyfarfod er mwyn gwasanaethu i'r dyben goruchel. Cyfieithwyd, fel y soniwyd, yr ysgrythyrau i'r iaith Röeg; yr oedd dysgwyliad cyffredinol am ryw Dywysog Mawr i ymddangos yn Judea wedi ymdaenu dros y dwyrain; yr oedd dysgeidiaeth yn ymadfywio; yr oedd ymherodraeth Rhufain wedi meddiannu y byd;—a'r cwbl yn tueddu i rwyddhau lledaniad yr efengyl. Eto er hyn yr Iuddewon oedd i fod yn brif offerynau: ac yn ol y caethiwed yn Babilon darparid hwy trwy oruchwyliaethau hynod, ac yn ddiarwybod iddynt hwy, i gymeryd eu rhan yn y cyfnewidiad ag oedd gerllaw. Yr oeddynt yn wasgaredig, fel y crybwyllwyd, a hyny yn niferi lliosog dros wledydd penaf y dwyrain, a thros rai o fröydd gorllewinol Ewrop. Noddid hwy gan ynadon, gan senedd, a chan ymherawdwyr Rhufain. Mae genym le i gredu hefyd, gyda bod eu sefyllfa wasgaredig yn fanteisiol er lledaniad eu hegwyddorion, fod eu hymddygiadau yn gyffredinol, o leiaf mewn cymhariaeth i'r paganiaid, yn rhesymol, diwyd, a heddychol. Dygai'r Iuddewon eu cyfraith gyda hwy i'r holl wledydd, codent synagogau yn mhob man, a chadwent eu Sabbothau. Dygent dystiolaeth yn y modd hwn i Undod y Duwdod, ei fawredd a'i ragluniaeth, yn erbyn ofergoeledd ac eilunaddoliaeth y cenedloedd. Dygai llawer o honynt dystiolaeth i anfarwoldeb yr enaid, a sefyllfa o gosb a gwobr yn y byd a ddaw, pryd y byddent oll o bob man yn dal cysylltiad cyson â Jerusalem. Aent i'r ddinas sanctaidd ar y prif ŵyliau, mor gyson ag oedd yn ddichonadwy; a mynwesent, gyda hyfrydwch, y dysgwyliad am ymddangosiad "y goleuni ag oedd i oleuo y cenedloedd, a gogoniant ei bobl Israel."

Yr oedd yr amgylchiadau hyn yn dra gwasanaethgar i ledaniad yr efengyl. Yr oedd y synagogau hyn yn agored trwy yr holl wledydd i genadau Crist. Cyfarfyddent yn mhob man, nid âg Iuddewon yn unig, ond â phroselytiaid cyfiawnder, y rhai a dderbynient ac a broffesent egwyddorion sylfaenol y grefydd Iuddewig, ac a ymostyngent i'r ddeddf foesol, er na chymerent eu rhwymo â iau eu seremonïau. Yn mhob man, yr oedd rhywrai, fel yr eunuch o Ethiopia, yn darllen yr ysgrythyrau; neu fel Cornelius ddefosionol, "yn ofni Duw, ac yn gwneuthur llawer o elusenau i'r bobl, ac yn gweddïo Duw yn wastadol." Yr oedd pregethwyr yr efengyl yn mhob man, yn y modd yma, yn cael gwrandawwyr, y rhai a ddëallent ac a deimlent eu pregethau. Mynych iawn y dywedir yn llyfr yr Actau fod yr apostolion yn arfer myned i'r synagogau i bregethu. Pan ddaethant i Antiochia yn Pisidia hwy "aethant i mewn i'r synagog ar y Sabboth, ac a eisteddasant,"[2] a galwyd arnynt i draethu gair wrth y bobl. Ac wedi i'r Iuddewon fyned allan, "y cenedloedd a attolygasant gael pregethu y geiriau hyn iddynt y Sabboth nesaf;" pryd y darllenwn fod yr holl ddinas agos wedi dyfod ynghyd, i wrandaw gair Duw. Yr un modd y crybwyllir am Iconium, ac am Thessalonica, ac am Berea; yn y manau hyn "lliaws mawr o Iuddewon a Groegwyr a gredasant—o'r Groegwyr crefyddol liaws

[1] *Gal.* iii. 13, 14. [2] *Act.* xiii. 15, 42, 44.

mawr, ac o'r gwragedd penaf nid ychydig." "Yr oedd hefyd yn trigo yn Jerusalem, Iuddewon, gwyr bucheddol o bob cenedl dan y nef," pan y disgynodd yr Ysbryd ar yr apostolion ar y Pentecost cyntaf wedi esgyniad yr Iesu i'r nef. Ymhlith y dyeithriaid, yr oedd "Parthiaid, Mediaid, ac Elamitiaid, a thrigolion Mesopotamia, a Judea, a Chappadocia, Pontus, ac Asia, Phrygia, a Phamphylia, yr Aipht, a pharthau Lybia, yr hon sydd gerllaw Cyrene, a dyeithriaid o Rufeinwyr, Iuddewon, a phroselytiaid, Cretiaid ac Arabiaid."[1] Yr oedd y gynnulleidfa gymysg hon megys yn cynnrychioli holl genedloedd y ddaear; a chan i filoedd o honynt gael eu dychwelyd i ffydd Crist, cyfansoddent gynnifer o genadau i ddwyn i'w gwlad eu hunain y "newyddion da," ac "i barotoi ffordd yr Arglwydd." Yma hefyd "y gyfraith a aeth allan o Sïon, a gair yr Arglwydd o Jerusalem."[2]

Mae y genedl annedwydd hon, er ys deunaw can' mlynedd ymron, yn wasgaredig trwy y byd; ac er eu hanwybodaeth a'u bydolrwydd, eu cyndynrwydd a'u hanghrediniaeth, y maent yn dystion byw ymhlith yr holl genedloedd o eirwiredd y prophwydoliaethau, ac o anfoddlonrwydd y Jehofa Mawr yn erbyn dirmygwyr ei Fab. Y mae eu gwasgariad hir a chyffredinol, ac eto eu parhad fel cenedl wahaniaethol, yn wyrth barhaus, trwy yr hon y profir, tuhwnt i ddadl, fod y prophwydi gynt yn llefaru dan ysbrydoliaeth yr Hollwybodol, a bod Messiah y Cristionogion yn anfonedig y Tad. Mae gwasgariad hynod yr Iuddewon yn dyrysu anffyddiaid. Mae y wyrth o flaen llygaid y byd. Ni ellir gwadu y ffaith fod eu trychineb a'u gwasgariad wedi eu rhagfynegi er oesoedd yn ol, ac eto na wneid pen arnynt, ond y parhäent yn genedl ar wahan trwy oesoedd eu gwasgarfa. Amlwg hefyd ydyw fod amgylchiadau eu gwasgariad yn gyfryw na allesid mo'u dyfalu megys ar antur, gan na fu amgylchiadau o'r fath erioed o'r blaen yn perthyn i'r un genedl. Nid oes anghraifft ar gael o genedl wedi parhau *cyhyd*. Mae cenedloedd llawer cryfach na'r genedl Iuddewig wedi eu llwyr golli, neu wedi eu cymysgu â chenedloedd eraill o oes i oes hyd onid yw eu hanfodiad cenedlaethol wedi colli yn llwyr. Ond am had Abraham, er lleied oedd eu dechreuad, ac er bod eu caethgludiadau a'u trychineb yn fwy na'r eiddo neb arall, y maent yn cadw eu hanfodiad gwahaniaethol trwy yr holl oesoedd. A'r hyn sydd ryfeddach fyth, y maent *yn bobl sy'n preswylio eu hunain, ac heb eu cyfrif gyda'r cenedloedd* yn yr holl wledydd y gwasgarwyd hwy iddynt.

Rhoddir ar ddëall i ni hefyd nad yw defnyddioldeb had Abraham ddim i derfynu gyda'u gwasgariad; ond y bydd eu hadferiad eto yn eu codi i'w lle a'u gwaith dechreuol, sef *i fendithio holl genedloedd y ddaear*. Fe ddadgan yr apostol mai fel hyn y bydd. "O herwydd paham, os ydyw eu cwymp hwy yn olud i'r byd, a'u lleihad hwy yn olud i'r cenedloedd; pa faint mwy y bydd eu cyflawnder hwy?" A thrachefn, "Canys os yw eu gwrthodiad hwy yn gymmod i'r byd, beth fydd eu derbyniad hwy ond bywyd o feirw?"[3] Nid yw yr apostol yn hysbysu i ni yn mha fodd y bydd yr Iuddewon, ar eu hadferiad i fwynhad cyflawn o'r rhagorfreintiau addawedig iddynt, yn lles i'r byd; eto y mae yn dadgan mai felly y bydd. Ac nid yn unig y byddant yn offerynau i lesâu y cenedloedd, ond hefyd y byddant felly i raddau helaeth iawn, ac mewn dull enwog iawn—"*Beth* fydd eu derbyniad hwy ond *bywyd o feirw?*" Mae y bobl hynod yma eisoes

[1] *Act.* ii. 1—11. [2] *Esay* ii. 3. [3] *Rhuf.* xi. 12, 15.

trwy eu gwasgariad yn adnabyddus o ieithoedd ac arferion y cenedloedd. Ac nid annaturiol ydyw i ni ddarogan, y byddant ar eu dychweliad i ffydd yr efengyl yn genadau parod trwy yr holl fyd; ac er y dychwel nifer helaeth o honynt i wlad Judea, eto y gadewir gweddillion lliosog o honynt yn ngwahanol wledydd y ddaear, wedi eu cymhwyso gan ragluniaeth Duw, eu hamgylchiadau eu hunain, a gwaith yr Ysbryd Glan i fod yn bregethwyr tanllyd ac anorchfygol o'r iachawdwriaeth sydd yn Nghrist. Fel yr arosodd nifer lliosog o honynt yn ngwledydd y dwyrain, lle y gwasgarasid hwy, pan ddychwelodd eu brodyr i Judea o Babilon, ac y buont yn dystion dros y gwir Dduw yn nghanol eilunaddolwyr paganaidd, felly y bydd pan y cesglir hwy o'r tiroedd ac y dygir corff y genedl i'w gwlad yn y dyddiau diweddaf; gadewir tyrfâoedd o honynt ar ol i osod y byd ar dân mewn cariad a mawl. Wedi agoryd eu llygaid ar oi dallineb cannoedd o flyneddau, wedi eu gollwng yn rhydd o gaethiwed maith a chaled, O! pa faint a fydd eu cariad at yr "Hwn a wânasant," a'u haidd am anrhydeddu ei enw. Ac os buont yn isel a dirmygedig o'r blaen, bydd eu dyrchafiad bellach yn gyfatebol. Yn gyferbyniol i'w caledwch presennol y bydd eu cariad y pryd hyny—yn ol y graddau y diraddiwyd y Gwaredwr ganddynt dros yr oesoedd a aeth heibio, y byddant yn offerynau i'w ddyrchafu y pryd hyny. A chyflawnir yn fwy helaeth nag erioed o'r blaen mai "YN HAD ABRAHAM Y BENDITHIR HOLL GENEDLOEDD Y DDAEAR."

---

# DAEARYDDIAETH.

Mae daearyddiaeth yn un o'r testunau mwyaf priodol i'r "Traethodydd" sydd mewn bod. Wrth ystyried dynion fel preswylwyr y ddaear hon, a rhaid ein hystyried felly tra y byddom yma, nid oes unrhyw gangen o wybodaeth mor gyffredinol fuddiol iddynt a daearyddiaeth. Mae hi yn drysor sylweddol yn gymaint, a mwy hefyd nag o addurn ymddangosiadol. Pa beth bynag fyddo galwedigaeth, sefyllfa, neu amcanion dyn, rhaid fod gwybodaeth o'r ddaear o'r hon y tarddodd, ac ar yr hon y preswylia, yn nerth a gallu ynddo, a'r diffyg o honi yn wirioneddol wendid. Gyda golwg ar ymdriniaethau y byd presennol, mae diffyg gwybodaeth ddaearyddol yn cau dyn mewn anhawsderau a dyryswch yn anad un anwybodaeth arall. Dywedir fod camddyfaliad daearyddol wedi achosi, yn fwy na phob peth arall ynghyd, ddymchweliad un o'r ymherodraethau hynotaf yn holl hanes y byd. Er anghraifft, mae yn annichon i neb fod yn gyfreithiwr trwyadl heb fod yn hyddysg mewn daearyddiaeth wladyddol. Mae iawn ddealltwriaeth o egwyddorion meddyginiaeth yn dibynu mwy nag a feddyliodd llawer un ar wybodaeth o wahanol drigolion, arferion, defnyddiau meddyginiaethol, a hinsoddau y byd. Bwlch pwysig yn addysgiaeth amaethwr ydyw ei adael i edrych *yn unig* ar y llanerch a sathra, heb wybod dim am amaethyddiaeth gwledydd eraill. Mae bron yn gywilydd i amaethwr esgeuluso y wybodaeth hon. Bod y bobl sydd yn byw ar drin y ddaear

yn esgeuluso daearyddiaeth, sydd yn swnio rywbeth yn debyg i wrthddywediad, yr hwn sydd gasach na sŵn hogi llif. Ac am y milwyr, y morwyr, a'r marchnadyddion, y mae pawb yn gwybod fod cysylltiad uniongyrchol rhyngddynt hwy â daearyddiaeth. Y llaw-weithyddion hefyd a ennillent beth rhyfeddol ar ddaearyddiaeth; canys galluogai hi hwy i ystyried a chymharu amrywiol ddulliau, moddau, ac amgylchiadau eu crefftau hwy eu hunain ac eiddo eraill â'u gilydd, ac felly taflai y naill oleuni ar y llall, fel y gwelent yn barhaus ryw ragoriaethau i'w cyrhaedd, yn gystal a diffygion a gwaeleddau i'w gadael a'u diwygio. Gellir dywedyd hefyd am y gwladgarwr, y dyngarwr, ac yn enwedig y cristion, y dylai y wybodaeth hon fod yn "llusern i'n traed ac yn llewyrch i'n llwybr" bob cam. Mae breninoedd a holl farnwyr y byd, y llywodraethwyr a'r seneddwyr, uwchlaw bod mewn anghen annogaeth i fyfyrio daearyddiaeth; canys nis gall un dyn byth mwy fod yn werth "pen botwm" fel y cyfryw heb fod yn ddaearyddwr, a bod yn un trwyadl hefyd—nis gellir ymddangos yn debyg i beth felly mewn oes a gwlad oleuedig hebddi. Bydd yr areithiwr hefyd, ac yn enwedig y pregethwr, os try efe i feusydd hon, yn sicr o'u cael yn rhai tra chynnyrchiol, nid yn unig o ddail a blodau yn addurniadau ffugyrol a chymhariaethau eglurhâol digyffelyb, ond hefyd o rawn a ffrwythau gwybodaeth a dëall sylweddol. Pa le y gall y pregethwr gael esboniad cystal ar drueni dyn drwy bechod, yr hyn yn ddïau a ddylai gael lle mawr yn ei fyfyrdodau a'i bregethau, ag yn hanes y natur ddynol yn ei chysylltiad âg amgylchiadau a sefyllfaoedd y byd hwn? A pha fodd y gall neb iawn ddëall a defnyddio hanes y natur ddynol wrth sylwi yn unig ar y cylch bach y mae efe ei hunan a'i blaid yn troi ynddo? Dylai y pregethwr edrych ar bob peth mor debyg i'r fel y mae Duw yn edrych arnynt ag y gall creädur wneyd. Edrych y mae efe ar yr holl ddaear ynghyd, ac ar holl ddynolryw fel un teulu; a'r ffordd unionaf i bregethwr, gystal a phob dyn arall, i ymdebygu iddo yn hyn, yw myfyrio daearyddiaeth yn dda. Buddiol iawn i'r pregethwr yw gwybod pa fodd y mae y natur ddynol yn gweithredu ac yn cael gweithredu arni yn mhob sefyllfa, amgylchiad, a gwlad; nid er mwyn pregethu daearyddiaeth yn lle yr efengyl, ond er gweled yn iawn na thal dim i'w bregethu ond yr efengyl; a gweithio ei feddwl ei hunan i synio a theimlo yn debycach i'r hwn y mae efe yn genad anfonedig drosto. Mewn gair, nid oes dim un peth y gallwn ni feddwl am dano a dueddai yn fwy i iachâu y byd crefyddol oddiwrth y culni a'r rhagfarn sectaidd sydd yn ei andwyo er's cymaint o amser, a gwybodaeth drwyadl o ddaearyddiaeth gyffredinol. Dywedasom gymaint mewn ffordd o arganmawl y wybodaeth hon, oblegid y credwn fod llawer o ddarllenwyr y "Traethodydd" yn lled hwyrfrydig i synio fel hyn am unrhyw gangen o wybodaeth gyffredinol; ac o herwydd hefyd ein bod yn galonog a didwyll gydsynio "nad oes i'r dyn duwiolfrydig unrhyw ffynnonell gyfoethocach na thrysordai gwybodaeth ddaearol i ddadlenu o flaen ei olygon wir nodwedd dyn, a chyson ragluniaeth yr Hwn 'na chreodd y ddaear yn ofer,' 'yr Hwn a wnaeth y ddaear, ac a grëodd ddyn arni.' Megys y dywedodd Cicero am Groeg, eu bod wrth roddi pob cam yn sathru ar hanes, y gellir dywedyd am yr holl bellen ddaearol, fod pob trem a fwrir arni yn gorphwys ar rywbeth teilwng o gael ei wybod—rhyw rybudd i'r byw mewn adgofion am y marw; rhyw gôfadail i'r natur ddynol—ei mawredd creëdigol neu ei darostyngiad trwy

bechod; rhyw amlygiadau gweledig ac anwadadwy o fodolaeth a holl-lywyddol ragluniaeth Duw, ei allu, ei ddoethineb, ei ddaioni, neu doster."

Yn enw pob rheswm, meddai rhywun, efallai, Pa beth gan hyny a all y ddaearyddiaeth hon fod?

Wele, nis gwyddom am neb a fedr roddi gwell ateb byr i'r cyfryw ofyniad na'r hyglod Ddoctor Johnson; a dewisodd efe ateb yn ngeiriau yr anfarwol Watts; a dyma hwy:—

"Geographiaeth,[1] yn yr ystyr gyfyng, a arwydda wybodaeth o amgylchau y bellen ddaearol, ei ffurf a'i maint, a sefyllfâau gwahanol fanau ar ei gwyneb. Mewn ystyr ychydig ëangach, cynnwysa wybodaeth o'r moroedd hefyd; ac yn yr ystyr ëangaf, cyrhaedda at amrywiol sefyllfaoedd, defodau, arferion, a llywodraethau cenedloedd."

Ond mae anghen am ateb mwy ymarferol i'r gofyniad uchod.

Daearyddiaeth gyffredinol a ddosberthir yn hynod o gyfleus a manteisiol fel y canlyn:—

1. Daearyddiaeth rifyddol (*mathematical*).
2. Daearyddiaeth naturyddol (*physical*).
3. Daearyddiaeth wladyddol (*political*).

Mae y flaenaf yn penderfynu maintioli a ffurf y ddaear, ei chysylltiad perthynasol â'r gweddill o'r gyfundrefn heulog, ynghyd â sefyllfa unrhyw lecyn a phob llecyn ar ei gwyneb, a'r cyffelyb.

Mae yr ail yn chwilio ac olrhain gwahanol ansoddion y ddaear, gan edrych arni yn un fel corff anianyddol.

Ac mae yr olaf yn ystyried y ddaear yn ei rhaniadau gwladyddol, ei gwahanol deyrnasoedd, cenedloedd, llwythau, a chyfundebau o ddynion, y rhai ydynt wedi rhanu ei harwyneb rhyngddynt, ynghyd â'u harferion, eu defodau, eu crefydd, a'u cyfreithiau, &c.

Gwybodaeth o'r gangen olaf o ddaearyddiaeth yn benaf o lawer sydd yn ateb y dybenion buddfawr a grybwyllwyd uchod, ac arni hi gan hyny y traethwn yn y llinellau canlynol. Ond cyn dechreu sylwi ar wahanol wledydd ar wahan, mae yn angenrheidiol dywedyd cryn lawer mewn modd cyffredinol fel rhagbarotôad; canys mae genym fwy mewn golwg na cheisio difyru ein darllenwyr am y tro. Yr ydym am eu gwneyd yn ddaearyddwyr da.

Mae daearyddiaeth wladyddol, fel y crybwyllwyd, yn edrych ar y ddaear fel y mae yn cael ei phreswylio a'i meddiannu gan wahanol gyfundebau o ddynion. Cymer yn ganiatâol fod dyn yn grëadur cymdeithasgar—fod ei dueddiadau cymdeithasol, fodd bynag, mor derfynol, ac yn gymaint dan

[1] Mae *geographiaeth* yn gystal Cymraeg bob mymryn ag ydyw *geography* o Saesoneg, neu *geographie* o Ffrengaeg; canys o ddau air mewn hen iaith a siaredid gynt ar dueddau Môr y Canoldir y tarddodd y cyfan, yr hon a arferwyd ar ddalenau y Testament Newydd, fel y gwna ei geiriau y tro yn mhob iaith well na'r cyffredin. A phaham, pe b'ai hyny yn rhywbeth hefyd, na wna terfyniad Cymreig roddi cystal hawl i Gymro ar y cyfryw eiriau ag a rydd un Seisoneg neu Ffrengig i'n cymydogion? Gyda hyny o wahaniaeth, bid wir, eu bod hwy druain mewn mwy o anghen am eiriau benthyciol o'r fath, oblegid nad yw eu hieithoedd mawrion hwy, os gwir y son, mor fanteisiol i gyfansoddi geiriau priodol ar bob achlysur a'r hen Gymraeg hoffus; ac o'r tu arall, nad ydyw hi yn sefyll mewn anghen am fenthyca oddiwrth neb. Y Gymraeg am y ddau air crybwylledig yw *daear* a *darlunio*, ac felly *daear-ddarluniaeth* yn llythyrenol yw *geographiaeth*; ond, fel pob gair arall, os na bydd newydd ei greu, mae ei ystyr arferol yn llawer ëangach na'i ystyr lythyrenol.

ddylanwadau allanol, fel y maent yn cynnyrchu, nid un cyfundeb cyffredinol o holl ddynolryw, ond niferi o wahanol gyfundebau, rhai mwy a rhai llai—fod y cyfundebau hyn yn cael eu gwahanu a'u gwahaniaethu oddiwrth eu gilydd ar y naill law trwy eu bod yn preswylio gwahanol barthau o'r byd, ac ar y llaw arall gan ryw briodolion neillduol sydd yn amrywio yn mysg y gwahanol gyfundebau, ond yn gyffredin i wahanol bersonau yn yr un cyfundeb. Gwahanol sefyllfâoedd ar wyneb y ddaear, a gwahanol arferion a defodau ei thrigolion ydynt fel hyn mor gysylltiedig â'u gilydd, fel y mae daearyddiaeth wedi cael hawl a meddiant yn y gorchwyl o ddarlunio yr olaf gystal a'r blaenaf. Digon priodol fyddai galw y rhan hon yn ddaearyddiaeth hanesiol.

Iaith.—O'r holl bethau sydd yn gwahaniaethu cyfundebau neu genedloedd o ddynolryw oddiwrth eu gilydd, iaith yw yr hynotaf. Dangosir i ni yn y Bibl fod yr amrywiaeth hwn yn nhafodiaeth dynion, yr hwn sydd mor effeithiol i'w dosbarthu, wedi ei ddechreu drwy ymyriad gwyrthiol Dwyfol Ragluniaeth, pryd yr oedd dynolryw yn dechreu ymwasgaru ar hyd wyneb y ddaear. Pa fodd y gwnaed hyn, sydd aneglur. Ymddengys, pa fodd bynag, nad cadw y iaith gyntefig, iaith Paradwys ac unig iaith y byd cyn y dylif, i un llwyth, a rhoddi rhai hollol newydd i'r lleill, a wnaed. Mae yn rhy anhawdd esbonio yr hanes felly, a hollol ofer ydyw pob chwilio am, a haeru pa un yw, y iaith gyntefig; oblegid nad ydyw i'w chael gan neb. Dylem gofio hefyd fod cyfnewidiadau graddol, ond mor effeithiol, wedi cymeryd lle yn barhaus, gan effeithiau gwahanol amgylchiadau a dygwyddiadau. Fel y mae holl helynt bywioliaeth, a gweithrediadau y meddwl i raddau helaeth hefyd, yn cael eu cyflawni trwy gyfrwng iaith, yr oedd pob amrywiaeth yn ngolygfëydd y gwledydd, yr hinsoddau, cynnyrch y tir, y dull o fyw, a phob peth o'r bron a ellir enwi, yn raddol gynnyrchu amrywiaeth cyfatebol yn yr ymadroddion a ddefnyddid i arwyddo y cyfryw bethau; ac yn ychwanegol at hyn oll, yr oedd gwahanol bobl yn sefydlu gwahanol enwau ar yr un pethau a meddyliau ac anghenion, &c. Yn fyr, ni fuasai dim llai nag ymyriad gwyrthiol o eiddo rhagluniaeth yn ddigonol i attal cynnydd amrywiaeth ieithoedd, *wedi* i ddynion ymsefydlu yn gyfundebau ar wahan hollol oddiwrth eu gilydd; canys nid ydoedd ddim amgen na chanlyniadau anocheladwy amgylchiadau y byd.

Pa fodd bynag, rhwng yr hyn a gymerodd le yn wyrthiol yn Babel, ac yn naturiol wedi hyny, daeth ieithoedd dynolryw i fod y peth ydynt yn awr, a'r blaned a breswyliant i fod mewn gwirionedd y peth a alwai hen fardd yn "ddaear aml-dafodog;" ac anfad yw yr anhylawwch a achosir gan hyn mewn llawer ystyr a modd.

Mae cymaint o debygolrwydd i'w gilydd rhwng llawer iawn o'r ieithoedd, fel y mae yn rhesymol tybied eu bod wedi tarddu o'r un gwreiddyn, a'u rhanu yn deuluoedd neu ddosbarthau. Y prawf o'r cyfryw yw y rhai canlynol:—

1. Yr Arameaidd, a elwir felly oddiwrth gyuenw Syria, ac a elwir hefyd Shemitic. Cynnwysa y dosbarth hwn yr Arabaeg, yr Hebraeg, y Pheniciaeg, a'r Syriaeg; yn cael eu siarad gynt neu yn bresennol ar dueddau dwyreiniol a deheuol Mor y Canoldir, yn Mesopotamia, Arabia, Abyssinia, ac ar dueddau Mor Persia a'r Mor Coch.

2. Yr Indiaidd, yn cynnwys y Sanscrit, mamiaith Hindostan, ynghyd â holl gangen-ieithoedd mwy poblogaidd y wlad hono; a'r Persiaeg yn ei

thair ffurf; sef, y Zend, y Pehlevi, a'r Parsi; a llawer o ynys-ieithoedd yr Archipelago Dwyreiniol a Môr y Deheu.

3. Yr Hellenaidd, yn cynnwys holl gangen-ieithioedd Groeg a'i threfedigaethau, o un o ba rai, wedi ei chymysgu â Celtaeg cyndrigolion yr Eidal, y cyfododd y Lladin; ac o'r Lladin drachefn, trwy gymysgiadau cyffelyb y tarddodd, mewn rhan fawr, gymysg-ieithoedd diweddar Ewrop—yr Italaeg, y Ffrengaeg, y Saesonaeg, yr Hispaenaeg, &c.

4. Yr Almaenaidd yn ei phrif ddwy gangen; sef, y Teutonic, yn cynnwys y Frank a'r Saxon, &c.; a'r Gothic yn cynnwys y Maesiaeg, y Swedaeg, a'r Danaeg.

Am yr aneirif dafod-ieithoedd eraill sydd yn ngwahanol barthau y byd, byddai yn hawdd olrhain tebygolrwydd rhwng rhyw niferi cymydogaethol o honynt, a lliosogi y dosbarthau uchod i unrhyw nifer o'r bron; ond mae y ieithoedd hyn naill ai mor anhysbys, megys rhai Affrica ac America, neu mor agos i ddiflanu, fel y mae yr ychydig weddillion sydd o'r Celtaeg, neu yntau mor ogydryw megys y maent yn China, fel nad gwiw dechreu eu holrhain mewn sylwadau cyffredinol o'r fath yma: ond daw y cyfryw i mewn yn naturiol yn y sylwadau ar y gwledydd ar wahân. Mae yn dra theilwng o sylw hefyd fod egwyddorion yn nghyfansoddiad cymdeithas, y rhai sydd i raddau mwy neu lai, ar wahanol amserau, ac yn enwedig yr amser presennol, yn tueddu yn rymus i wrthweithio ac attal lliosogiad ieithoedd. Pa bryd bynag y byddai trigolion rhyw gyfran o'r byd a gynnwysai amrywiol ieithoedd, wedi eu gwareiddio yn dda, neu wedi eu dwyn trwy drafnidiaeth neu ryw fodd arall i ystyried yr anghenrheidrwydd am gyweithasu â'u gilydd, byddai anhwylusdod yr amrywiaeth ieithoedd yn cael ei deimlo mor ddwys fel yr arweiniai i fabwysiadu rhyw iaith benodol i fod yn gyfrwng cyffredinol pob trafnidaeth a chyweithas rhwng y cyfryw genedloedd, er y daliai pob cenedl afael yn ei hiaith ei hun yn gartrefol. Bu y Groeg unwaith yn brif iaith y byd gwareiddiedig; a'r Lladin wedi hyny yn gyfrwng cyffredinol gwybodaeth a dysg i'r cenedloedd; a chafodd y Ffrengaeg hefyd, yn ei thro, eistedd yn y gader yn frenines yr ieithoedd fel cyfrwng cyffredinol negeswriaeth rhwng cynnrychiolwyr y cenedloedd, sef penau coronog a llywodraethau y byd, â'u gilydd: ac yn awr y mae y Saesoneg ar ben y ffordd i ddyfod yn fuan, os nad wedi dyfod eisoes, yn brif gyfrwng trafnidaeth y byd. Ac nis gall dim fod yn eglurach nag y bydd i'r egwyddorion gwrthweithiol hyn ennill llawer mwy o rym ac effeithiolrwydd eto, ac y cynnyrchant o'r diwedd yr hyn a ystyrid hyd yn ddiweddar yn ddim amgen na breuddwydion ambell athronydd, sef iaith gyffredinol.[1]

[1] Dywedasom o'r blaen nad oedd lliosogiad ieithoedd "ddim amgen na chanlyniadau anocheladwy amgylchiadau y byd," a dichon yr edrych rhai ar hyny yn anghyson â son am iaith gyffredinol, &c. Ond nid oes dim anghysondeb yn hyn; canys felly yn ddiau y lliosogid yr ieithoedd, ac mor wir a hyny ydyw mai "canlyniadau naturiol amgylchiadau y byd" a ettyl y lliosogiad hwn, ie, a dry y symudiad yn ei ol i leihau y nifer, ac uno y cenedloedd ynghyd. Mae yr amcan wedi ei gyrhaedd eisoes, mewn rhan fawr—mae gwybodaeth gyffredinol, a gwareidd-dra, ac yn enwedig gwybodaeth gelfyddol a thrafnidiol yn gysylltiedig â'u gilydd, wedi cynnyddu gymaint, fel y mae mwy o gydnabyddiaeth a chyweithas rhwng gwledydd sydd mor bell oddiwrth eu gilydd ag y gallant fod ar wyneb y ddaear hon, nag oedd gynt rhwng llawer dwy genedl a drigai un o bob tu afon neu grib mynydd. Ymlaen y mae hyn yn myned, yr ydym yn gweled; ie, ymlaen y *rhaid* iddo fyned eto. Os gwna y can' mlynedd nesaf gymaint

Nid rhyw ddychymygion gwylltion a phenboeth yw y pethau hyn. Meddyliwn beth mor ddyddim a distadl oedd y Saesoneg ychydig ganrifoedd yn ol, ac ystyriwn pa beth yw hi yn awr. Ni bu iaith er amser Adda yn trosglwyddo cymaint o ddylanwad ar y byd ag a wna hon yn bresennol. Y mae hi yn iaith yr ymherodraeth a'r genedl fwyaf ei hawdurdod ar wyneb y ddaear, ac yn cael ei siarad gan y deiliaid lliosog yn mhum dosbarth y byd—ydyw, y mae hi yn iaith y llywodraeth, yn iaith barn, yn iaith dysgeidiaeth, yn iaith cyfoeth, anrhydedd, a masnach; ïe, yn iaith pob peth sydd fawr, mewn gwledydd ëang yn Ewrop, Asia, Affrica, America, ac Awstralasia, neu Ynysoedd y Môr. Ac yn chwanegol at hyn oll, mae gwladwriaeth newydd a chadarn wedi blaguro megys mewn un dydd o gyff y genedl Seisonig, ac y mae hi eisoes, ar y cyfan, yn drydedd yn mysg teyrnasoedd y ddaear; a'r cenedloedd megys yn ymryson i ymdywallt i mewn iddi, fel y mae ei chynnydd heb ei gyffelyb yn holl hanes y byd; a pha beth bynag fydd iaith neb yn dyfod yno, Saesoneg fydd yn eu llywodraethu; a medru Saesoneg fydd un o'u prif ddymuniadau o hyny allan: a pha osgo bynag oedd ar dafod y tad neu y fam yn myned yno, Saesoneg fydd iaith y plant a'u hiliogaeth yn oes oesoedd. O'n rhan ni, tybiwn y gall y Saesoneg edrych i Unol Daleithiau Gogledd America am ei chyffredinoli mor hyderus ag i lys a senedd Brydain Fawr ei hunan. Hefyd, mae y cymdeithasau cristionogol Seisonig, y rhai sydd mor liosog ac effeithiol, yn enwedig y miloedd cenadon hedd a anfonir o Frydain ac America i blith cenedloedd y ddaear, yn dylanwadu yn rymus er cyffredinoli iaith, yn gystal a chrefydd, y rhai sydd yn eu hanfon. Ond pa beth bynag fydd tynged y Saesoneg, a pha iaith bynag a gaiff yr anrhydedd y soniwn am dano, annhraethadwy fydd y buddioldeb a ddeillia i'r byd pan ddelo hyn o amgylch.

CREFYDD.—Yn nesaf at ieithoedd, y peth sydd yn gwahanu a gwahaniaethu mwyaf ar blant dynion ydyw eu crefyddau. Mae rhywbeth cyffredinol yn y natur ddynol, yn reddfol neu draddodiadol, neu efallai bob un o'r ddau, am ymostwng i ryw allu uwchlaw iddi ei hunan; ac oblegid anwybodaeth a thywyllwch, ceir hi yn fynych a pharhaus yn ymostwng i bethau islaw iddi ei hunan. Mae dynion yn addoli yn mhob amgylchiad o'r bron. Mor gyffredinol yw hyn, fel y darfu i rai athronyddion alw dyn yn "*religious animal.*" Yr egwyddor hon, mewn cysylltiad âg amrywiaeth diduedd galluoedd, nwydau, dychymygion, ac amgylchiadau dynion, a'r cyfan dan ddylanwad tueddfryd bechadurus, a gynnyrchodd y fath amrywiaeth yn nghrefyddau trigolion y ddaear, ac a arweiniodd i'r fath ddirywiad oddiwrth y grefydd seml a dwyfol y gosodwyd dyn dani yn y dechreuad. Ond er hyn oll, gwirionedd tra theilwng o sylw ydyw, fod yr amrywiaeth sylweddol yn nghrefyddau y byd yn llawer iawn llai nag amrywiaeth yr ieithoedd.

Mae holl grefyddau y byd yn ymranu yn naturiol yn ddau ddosbarth; sef *undduwiaeth* ac *amldduwiaeth.* Y flaenaf a broffesir gan genedloedd gwareiddiedig yn gyffredinol yn yr oesau diweddaf; ond yr olaf er hyny

ag a wnaeth y diweddaf, (a bron na ddywedem mai *sicr* yw y rhagora y canrif nesaf ar y diweddaf, fwy nag a ragorodd y diweddaf ar ei ragflaenydd) tuag at ddyddymu pellder; bydd y ddau begwn wedi eu dwyn megys i ymyl eu gilydd, a'r dwyrain a'r gorllewin mewn cyrhaedd siarad.

oedd yn sefydledig yn mysg llawer o genedloedd y cynoesoedd. Y prif grefyddau undduwiawl, sef y rhai a gydnabyddant *un*, a dim ond un BOD goruchaf, fel crëwr, cynnaliwr, a llywodraethwr pob peth, ydynt dair o nifer:—

1. *Y grefydd Iuddewig;* yr hon a sefydlwyd o bwrpas, yn mysg cenedl neillduedig, i ddal i fynu y wybodaeth o'r "unig wir Dduw," ac o'i ewyllys, yn nghanol, ac mewn gwrthwynebiad hefyd i'r amldduwiaeth a orlifai dros y byd. "Fel y gwypont mai myfi yw yr Arglwydd," &c. yw y dyben a briodolir yn barhaus yn yr ysgrythyrau i ymyriad y Goruchaf dros, ac â'r genedl hono. Ac y mae y bobl hyn, er eu gwasgaru yn mysg holl genedloedd y ddaear o'r bron, yn glynu hyd heddyw wrth yr egwyddor sylfaenol, oruchel, ac anmhrisiadwy hon.

2. *Y grefydd Gristionogol;* yr hon sydd yn cynnwys cyflawniad o'r dadguddiad Iuddewig, ac yn cyffredinoli y wir grefydd, ac yn wynebu ar holl genedloedd y ddaear yn ddiwahaniaeth. Mae hon yn cael ei phroffesu yn awr, mewn rhyw ffurf neu gilydd, gan holl genedloedd Ewrop o'r bron; ac yn gyffredinol yn mysg trigolion y trefedigaethau Ewropaidd yn mhob man.

3. *Y grefydd Fahometanaidd;* yr hon a gyfansoddwyd gan Mahomet o ryw friwsion o'r credöau Iuddewig a Christionogol, wedi eu cymysgu â llawer o baganiaeth, ynghyd â thoraeth o'i ddyfeisiau ei hunan; yr hon a broffesir yn benaf yn ymherodraeth Twrci, ac yn Persia a'i hamgylchoedd.

Mae pob un o'r tair crefydd undduwiawl hyn wedi ymranu yn amrywiol bleidiau neu sectau, y rhai a gydunant i ddal y gwirionedd sylfaenol, ond a amrywiant lawer mewn pethau eraill.

Yr oedd Iuddewiaeth gynt yn dair sect; sef *Phariseaid, Saduceaid,* ac *Esseneaid.* Cydnabyddai y flaenaf ddwyfol awdurdod y cwbl o'r Hen Destament, yn gystal a thraddodiadau y tadau, y rhai oeddynt wedi cynnyddu yn raddol drwy ystod yr oruchwyliaeth Iuddewig. Yr ail a gydnabyddai yn ddwyfol ddim ond Pum Llyfr Moses, ac a wrthodai yn hollol y traddodiadau: ac a wadai hefyd fodolaeth yr enaid, yr adgyfodiad, a'r bywyd i ddyfod. Y drydedd a wahaniaethid, yn benaf, gan yr ymarferiadau o'r ymattaliadau corfforol llymdost a gyflawnent tuhwnt i ofynion y ddeddf. Yn yr oesau diweddaf, ymranai yr Iuddewon yn ddwy brif sect, sef y *Caraiteaid* a'r *Rabbiniaid.* Y flaenaf a gydnabyddant yr Hen Destament yn unig reol ffydd; ond mae yr olaf, yr hon yw y blaid liosocaf o lawer, yn priodoli i'r ysgrifeniadau Talmudaidd bron ogyfuwch awdurdod.

Gellid cryndi proffeswyr y grefydd Gristionogol i dri phrif ddosbarth, sef Eglwys Groeg, Eglwys Rhufain, a'r Protestaniaid. Nid yw Eglwys Groeg, er cymaint ei dirywiad, yn hòni y fath dräarglwyddiaeth ac anffaeledigrwydd ag Eglwys Rhufain. Pen hon yw Patriarch Caercystenyn; a hi yw crefydd sefydledig y Rwssia ëang, ac iddi hi y perthyna, bron, holl weddillion yr eglwysi Cristionogol yn Asia ac Affrica. Mae ganddi hithau ei sectau; o ba rai, yr *Orthodoxiaid* yw y cryfaf yn Ewrop, y *Nestoriaid* yn Asia, a'r *Monophystiaid* yn Affrica. Gwahaniaethir y sectau hyn, yn benaf, gan eu barnau am berson Crist.—Y flaenaf yn dal ei fod yn Dduw a dyn mewn un person; yr ail yn priodoli iddo ddau berson gystal a dwy natur; a'r olaf yn dal undod y ddwy natur mor bell ag i fod yn un natur yn gystal ag un person.

Mae Eglwys Rhufain yn hynodi ei hunan oddiwrth bawb mewn llawer

o bethau, ac yn enwedig trwy hòni hawl berffaith i benderfynu ystyr a chynnwysiad yr ysgrythyrau, ac i lywodraethu yr eglwys weledig, i faddeu pechodau am arian, a'i bod yn anffaeledig yn ei gweithredoedd. Ei phen yw Esgob Rhufain, dan yr enw Pab. Mae ei phleidiau yn lliosog, ac yn troi ar bethau rhy ddistadl i'w holrhain yn y fan hon.

Pabyddiaeth ydyw crefydd sefydledig yr Eidal, Awstria, Ffrainc, Hispaen, Portugal, rhai o daleithiau Switzerland, y Trefedigaethau Hispaenaidd, Mexico, ac amryw wledydd yn Neheudir America.

Mae yr Eglwysi Protestanaidd hefyd, er eu bod oll yn cyduno i wrthod honiadau träarglwyddiaethol a beiddfawr Eglwys Rhufain, yn amrywiol yn eu barnau yn eu plith eu hunain am athrawiaeth yn gystal a chyfansoddiad eglwysig, &c. Ond tybiwn fod darllenwyr y "Traethodydd" yn gwybod tua digon am y pethau hyn.

Mae Mahometaniaeth yn ymranu yn ddwy brif sect; sef y *Sunnateaid*, y rhai ydynt benaf yn Twrci; a'r *Shüteaid*, y rhai ydynt gryfaf yn Persia. Y gwahaniaeth penaf rhwng y ddwy sect hyn ydyw bod y flaenaf yn dal, a'r olaf yn gwadu, awdurdod y *Sunna*, neu Lyfr y Traddodiadau; a bod y flaenaf yn ystyried mai Omar a'i ddilynwyr yw y *Caliphs* gwirioneddol, sef olynwyr Mahomet, tra y mae yr olaf yn cydnabod Ali a'i ddilynwyr fel y cyfryw. Mae sect hynod arall a ellir ystyried fel cangen o'r *Islam*, sef y Drusiaid, llwyth yn cyfanneddu Mynyddoedd Libanus, y rhai a gydnabyddant fel eu prophwyd Mahomet Ben Ishmael, ac a ffurfiasant iddynt eu hunain grefydd, yr hon sydd gymysgedd hynod debyg i Fahometaniaeth.

Yn chwanegol at y tri dosbarth uchod o grefyddau undduwiawl, mae rhai yn cyfrif dwy sect neu dair o *Ddeistiaid*, sef y grefydd sydd yn cydnabod un Duw, ac heb gynnal un math na ffurf o addoliad cyhoeddus, ac yn cwbl wadu pob dadguddiad. Ychydig iawn o hysbysrwydd sydd genym am y rhai hyn. Y rhai a ddarlunir felly yn gyffredin ydyw crefydd Confucius, yr hon a broffesir gan y dosbarth mwyaf gwybodus yn China; a chrefydd y Sooffees yn Persia a'r India.

Yr ail brif ddosbarth ydyw y crefyddau amldduwiawl, sef y rhai a gydnabyddant fwy nag un duw. Mae y rhai hyn wedi ac yn bod yn dra lliosog ac amrywiol hefyd, yr hyn sydd yn esboniad effeithiol ar iselder cyflwr dynolryw. Y fwyaf golygus efallai o'r holl grefyddau amldduwiawl ydyw hono sydd yn sylfaenedig ar y dyb o fod dwy egwyddor, neu ddau allu llywodraethol, yn gwrthwynebu eu gilydd, sef gallu daioni a gallu drygioni. Ymddengys fod y grefydd hon wedi ffynu gynt ymhlith amryw o genedloedd y gogledd, ac yn enwedig y *Sclafoniaid* a'r *Scandinafiaid*, megys y mae hi eto yn mysg rhai o lwythau Gogledd America. Ond y decaf o'r holl ffurfiau a welwyd arni oedd crefydd y *Magi*, yr hon a sefydlwyd yn Persia. Galwai y Magi y galluoedd gwrthwynebol uchod yn *Oromastes* ac *Arimanes;* ac addolent y blaenaf, sef gallu daioni, dan yr arwyddlun o dân, a'r olaf dan yr arwyddlun o dywyllwch. Darlunient y galluoedd hyn mewn ymdrechfa barhaus, yr hon sydd i derfynu rywbryd yn ffafrol i'r daioni. Yr oedd hon yn uchel yn Persia hyd oruchafiaeth Mahomet; ac y mae rhai yn dal gafael ynddi eto, y rhai a elwir gan y Mahometaniaid yn *Ghebers*, neu anffyddwyr.

2. Ffurf arall sydd ar amldduwiaeth ydyw Buddhiaeth (*Buddhism*), yr hon mewn amryw ffurfiau sydd yn ffynu dros barthau ëang o Asia, i'r dwyrain a'r gogledd i Hindostan, gan belled a Japan. Egwyddor y gref-

ydd hon ydyw, Bod pob bodolaeth wedi deilliaw yn ddechreuol o'r Goruchaf Fod, mai ffurfiau o dduwdod ydyw holl wahanol ffurfiau bodolaeth, a bod tuedd holl fodolaeth i ddychwelyd eto yn ol i'r dwyfol hanfod. Mae y grefydd hon yn ei ffurf benaf yn ffynu yn Birmah, Siam, a Ceylon; ac yn China y mae hi yn gymysgedig âg arwr-addoliad, yn yr anrhydedd a gyflwynir i'r hen ddeddfwr Fo: ac yn Tartary, mae yr addoliad a orchymyna yn cael ei gyflwyno i offeiriad o'r enw *Lama fawr*, yr hwn, megys *Apis* yr Aiphtiaid, y tybir ei fod yn byw yn oes oesoedd.

3. *Sabeaniaeth* yw y nesaf, yr hon a gafodd ei henw oddiwrth lwyth Arabaidd, yn mysg yr hwn y bu yn ffynu am amser maith; ac yr oedd yn gynnwysedig mewn addoli llu y nef. Tybia rhai mai hon yw yr hynaf o'r holl ffurfiau eilunaddolgar, a'i bod hi, i raddau mwy neu lai, wedi ei chymysgu â'r ffurfiau eraill bron i gyd.

4. Un o'r ffurfiau gwrthunaf sydd ar amldduwiaeth ydyw *Braminiaeth*, sef prif grefydd Hindostan. Gan ddychymygu mai Duw ydyw enaid y byd, addolant ef dan bob ffurf dychymygadwy o'r bron, byw a difywyd hefyd, fel y mae eu duwiau neu eu delwau mor liosog ag y mae Mr. Ward yn dyfalu eu nifer ddim llai na 400,000!

5. Ond y fwyaf hudoliaethus, mae yn debygol, o'r holl grefyddau amldduwiawl oedd hono a fu yn ffynu yn mysg yr hen Roegiaid, ac a drosglwyddwyd oddiwrthynt hwy i'r Rhufeiniaid; egwyddor pa un oedd dyn-dduwio, neu wneyd duwiau o'r natur ddynol. Tybient fod galluoedd y bydysawd mor liosog a'r gwahanol ffurfiau a gweithrediadau sydd o'i fewn, a chynnrychiolid y galluoedd hyn gan ffurfiau, a nwydau, a nodweddau dynol; ond y mae hon, pa fodd bynag, wedi ei hymlid ymaith o flaen goleuni Cristionogaeth. Yr oedd llawer o debygolrwydd yn hon i grefydd yr Hindŵaid diweddar.

6. Yr olaf a grybwyllwn, a'r iselaf hefyd, o'r holl ffurfiau sydd ar amldduwiaeth ydyw *Ffetishiaeth*, yr hon a sefydlwyd gyntaf yn yr Aipht, ac sydd yn ffynu eto ymhlith llwythau anwaraidd Affrica. *Fetish* neu *Fetich* yw yr eilun-dduw. Yn mysg yr hen Aiphtiaid yr oedd hon wedi tyfu yn gyfundrefn genedlaethol, yn gysylltiedig âg eilunod cenedlaethol, megys yr ŷch, y ci, &c. Ond yn mysg llwythau presennol Affrica, mae hi yn fwy personol—pob un yn dewis ei *fetish*, neu ei eilun-dduw, o blith yr holl wrthddrychau o'i amgylch, ac yn ei addoli fel llywodraethwr ei dynged bersonol ei hunan. Gellid tybied fod yn annichon myned yn is na hyn mewn eilunaddoliaeth ac amldduwiaeth.

Wedi traethu cymaint a hyn yna, mor fyr ag y gallasem, ar brif ffeithiau y dosbarth crefyddol o ddaearyddiaeth gyffredinol, dymunwn goffâu nad ein hamcan yn hyn oedd dangos teilyngdod neu annheilyngdod cymharol y crefyddau a'r sectau a grybwyllasom; ond yn hytrach eu dangos fel pethau sydd yn gwahanu a gwahaniaethu trigolion y ddaear. Ond er hyny, nis gallwn ganiatâu i ni ein hunain roddi y pwnc hwn heibio heb draethu yr argyhoeddiad sydd yn ein meddwl er's blyneddau gyda golwg ar yr achos hwn o wahaniaeth ac ymbleidiaeth yn mysg dynolryw, yn gystal a chyda golwg ar ieithoedd y byd—mae arwyddion fod "pen gorllanw" wedi myned heibio. Y mae tueddiad cryf yn y byd yn awr, nid i liosogi crefyddau, ond i ddirwyn yn ol tuag at undeb ac unffurfiaeth: a choelio yr ydym y cynnydda y tueddiad hwn nes cyrhaedd yr amcan mawr ryw ddydd sydd yn nesâu—yr amcan o gael "Un Arglwydd a'i enw yn

un" drwy yr holl ddaear. Pa un o'r holl grefyddau sydd yn awr yn gwahaniaethu plant dynion a ennilla y fuddugoliaeth? sydd ofyniad nas gall y cristion betruso yn ei gylch. Os edrychwn i oraclau prophwydoliaeth, neu ystyried hanes Cristionogaeth, neu ynte fyfyrio ar yr ymdrechion a wneir i'w lledanu drwy y byd, a'r llwyddiant sydd arnynt, ac yn enwedig os edrychwn ar gymhwysder a digonolrwydd Cristionogaeth bur, (nid unrhyw sect) mae y cwbl yn cyduno i'n sicrhau ei bod hi, cyn hir eto, i "wnèyd dysgyblion o'r holl genedloedd," ac i dywallt ei dylanwadau gwareiddiol, moesol, ac achubol dros wyneb yr holl ddaear.

Llywodraeth.—Un arall o brif achosion gwahaniaeth yn mysg dynolryw ydyw ffurflywodraethau.

Mae gwreiddyn yr holl wahanol lywodraethau i'w ganfod yn y drefn deuluaidd a sefydlodd natur ei hunan. Y deyrnas gyntaf oedd y teulu, a'r brenin cyntaf oedd y tad. Pan ymunodd nifer o deuluoedd ynghyd yn un cyfundeb, ac y daeth yn angheurheidiol cael rhyw allu i lywodraethu eu helyntion, ymddengys fod y llywodraeth a sefydlwyd wedi ei ffurfio ar y cynllun teuluaidd, ac am hyny yn cael ei galw yn *batriarchaidd*. Ond fel yr oeddynt yn lliosogi, a'r berthynas yn myned ymhellach, ac yn fwy dyryslyd, yr oedd y cyfryw lywodraeth yn rhy egwan ac aneffeithiol i gadw trefn a thawelwch, fel yr oedd yn anghenrheidiol cysylltu y llywodraeth â digon o allu ac awdurdod i ofyn a mynu ufudd-dod. Sefyllfa cyfundeb heb gyfryw allu ac awdurdod, a elwir yn gyflwr o anllywodraeth neu *anarchy*. Ymddengys mai gochel y drygau cysylltiedig â'r cyfryw sefyllfa oedd amcan sefydliad cyntaf ffurflywodraeth. Ond canfyddwyd fod drygau cyferbyniol cynddrwg a'r lleill i'w gochelyd, sef drygau caethiwed a gormes. Ac o'r ddwy egwyddor hyn, sef ofn anllywodraeth ar y naill law, a chasineb at gaethiwed ar y llaw arall,—cariad at drefn, a dymuniad am ryddid,—y tarddodd holl wahanol ffurflywodraethau y byd.

Gellir olrhain holl ffurflywodraethau y ddaear i *dair* egwyddor sylfaenol.

1. Yr unbenaethol (*monarchial*), yn y rhai yr ymddiriedir y llywodraeth i un person, dan yr enw teyrn, brenin, neu ymherawdwr, &c.

2. Yr ychydig-benaethol (*oligarchial*), yn y rhai yr ymddiriedir y llywodraeth i ychydig nifer o bersonau mewn dosbarth neillduol.

3. Gwerin-lywodraeth (*democracy*), sef llywodraeth gan y bobl, yn yr hon y mae corff y genedl neu y cyfundeb yn llywodraethu. Cyfundrefn yw hon i'r bobl, trwy foddion ac wrth reolau sefydledig, i lywodraethu eu hunain a'u gilydd hefyd.

Ond tuag at gael cywir ddëalltwriaeth o wahanol ffurflywodraethau y ddaear, mae yn anghenrheidiol sylwi fod *dau fath* o wahaniaeth rhyngddynt a'u gilydd; sef y gwahaniaeth yn *ffurf y gallu llywodraethol*, ac hefyd y gwahaniaeth yn y *gyfundrefn weinyddaol*, neu y modd y mae yr awdurdod oruchel yn cael ei gweinyddu. Mewn rhai gwledydd hefyd mae y cyfreithiau yn cael eu gwneyd a'u gweinyddu gan wahanol alluoedd; ac mewn eraill y mae y ddeddf yn cael ei chreu a'i gweinyddu hefyd gan yr un ewyllys. Ac erbyn cymeryd y pethau hyn dan ystyriaeth, ceir fod tua chwech o wahanol ffurflywodraethau. Ac er na chawn yr awdurdodau sydd wedi, ac yn bod yn y byd yn cyfateb yn llythyrenol i'r dosbarthiad hwn, mae ei ystyried, er hyny, yn fanteisiol i ddeall egwyddorion "yr awdurdodau sydd."

Y gyntaf a enwn yw teyrniaeth unbenaethol (*monarchial despotism*), yr hon a fu drwy yr oesau yn sefydledig dros holl Asia, ac yn mysg

llwythau brodorawl Affrica; a'r hyn hefyd oedd cyfansoddiad yr Ymherodraeth Rufeinig, yn gystal a'r rhan fwyaf o'r teyrnasoedd cryfion a gyfodasant o'i hadfeilion yn Ewrop. Ond yn y rhai diweddaf yr oedd y ffurf hon wedi ei chymedroli i raddau mawr drwy yr hyn a elwir y *feudal system,* yr hon a sefydlai nifer o'r cyfryw ffurfiau, y naill megys yn y llall, trwy wneyd y pendefigion, yn eu taleithiau eu hunain, yr un peth i'w deiliaid ag a fyddai y teyrn cyffredinol i'r holl deyrnas. Fel hyn y dygwyd i mewn i'r unbenaethau Ewropaidd egwyddor o wrthweithrediad, yr hon yn raddol a gynnyrchodd ynddynt oll fath o ddeddf gyffredinol, yn ol pa un y dysgwylid i'r unbenaeth weinyddu yr awdurdod; ac o'r diwedd a sefydlodd yn rhai o honynt, megys Prydain Fawr, er y chwyldroad yn 1688, a Ffrainc er yr adferiad yn 1814 hyd y chwyldroad diweddar, gyfundrefn gyfansoddiadol o attaliad, a gallu gwrthgyferbyniol wedi ei osod mewn dwylaw eraill, heblaw y teyrn ei hunan.

Ac yn awr y mae y cyfryw wledydd yn anghraifft o'r *ail ffurflywodraeth,* sef unbenaeth derfynol neu gyfansoddiadol (*limited or constitutional monarchy*). Gellir dywedyd hefyd fod y tair egwyddor sylfaenol a enwasom wedi eu cysylltu yn y ffurflywodraethau hyn. Yn Brydain, er anghraifft, mae y frenines yn cynnrychioli yr unbenaeth, tŷ yr arglwyddi y bendefigaeth, a thŷ y cyffredin y weriniaeth.

Y drydedd ffurf ellir alw yn deyrnïaeth ychydig-benaethol (*oligarchial despotism*), yr hon, oblegid ei gwendid naturiol, nis gallwyd erioed ei sefydlu mewn gwledydd mawrion. Ond ffynodd, er hyny, yn amryw o fân-daleithiau Groeg yn yr hen amserau, ac yn rhai o daleithiau yr Eidal yn y canol oesau.

Gweriniaeth ychydig-benaethol (*oligarchial republicanism*) sydd ffurflywodraeth arall; ond prin y dangoswyd hon mewn gweithrediad, oddieithr yn ngwladwriaeth (*commonwealth*) Rhufain, wedi rhyddfreiniad y werin, ac yn un neu ddwy o gantrefi Switzerland.

Y bummed ffurf yw gweriniaeth sengl (*simple democracy*) yn yr hon y gweinyddid y llywodraeth gan y werin, neu y bobl yn gyffredinol, yn *gynnulledig,* ac nid yn *gynnrychioledig.* Yr anghraifft penaf o'r ffurf hon oedd Athen yn y cyn-oesoedd, a Florence yn y canol-oesoedd.

A'r chweched ydyw gweriniaeth gynnrychioledig, yn yr hon y mae y bobl yn llywodraethu drwy gynnrychiolwyr a swyddogion o'u dewisiad eu hunain, yn ol deddfau a rheolau gosodedig. Mae hon yn aros am gael ei dangos yn ei chyflawn weithrediad yn nhynged ddyfodol Taleithiau Gogledd a Deheudir America. Credwn mai yr anghraifft enwocaf o honi sydd yn bod ydyw Unol Daleithiau Gogledd America, yr hon, wrth ystyried ei hieuenctid fel llywodraeth annibynol, sydd wedi cynnyddu mewn modd digyffelyb yn holl hanes y byd. Mae yn debyg hefyd mai dyma y ffurflywodraeth fydd yn Ffrainc o hyn allan; a gellid meddwl mai tua'r un pwynt yr oedd tuedd y cyfnewidiadau diweddar mewn rhanau eraill o'r cyfandir. Ond wedi y cyfan, nid oes ond tair egwyddor sylfaenol, fel y sylwyd o'r blaen, yn rhedeg drwy yr holl ffurflywodraethau, sef *teyrniaeth* neu *unbenaeth, pendefigaeth,* a *gweriniaeth;* a'r holl wahaniaeth rhyngddynt oll ydyw fod mwy o'r naill a llai o'r llall. Ac ychydig efallai o lywodraethau y byd a gadwodd erioed *yn hollol* ar un o'r egwyddorion hyn, oddieithr rhai o deyrnasau unbenaethol y cynfyd, y rhai y gellid dywedyd yn briodol am danynt, "Y neb a fynai a laddai, a'r neb a fynai a gadwai yn fyw."

Gellir coffa un ffurflywodraeth eto, hollol wahanol i bob un arall a fu erioed, yr hon a fu yn sefydledig am amser maith yn mysg y genedl Iuddewig, ac a alwyd yn dra phriodol gan yr hanesydd Iuddewig, yn *Theocracy*, sef dwyfol lywodraeth. Ymostyngodd Duw ei hunan i weinyddu swydd brenin arnynt hwy. Ond ni bu, ac ni bydd chwaith, y cyfryw beth i neb arall.

Heblaw y prif achosion uchod, sef *iaith, crefydd, a llywodraeth*, y mae amrywiol is achosion eraill o wahaniaeth rhwng cenedloedd y ddaear; ond maent oll mor fychain mewn cymhariaeth i'r rhai uchod, ac mor gysylltiedig â hwy, fel na fydd peidio sylwi arnynt yma yn unrhyw anghyfleusdra na diffyg.

HANESIAETH.—Mae dybenion hanesiaeth a daearyddiaeth wladyddol yr un peth yn union, ond bod y flaenaf yn edrych ar y byd yn benaf yn ei gysylltiad âg amser a'i helyntion; a'r olaf yn edrych, yn fwyaf uniongyrchol, ar bob peth yn ei gysylltiad â lle. Yn gyson â'r egwyddorion hyn, ac âg arfer gyffredin daearyddwyr, pan ddelom ymlaen i sylwi ar wledydd neillduol, defnyddiwn *hanesiaeth*, bob amser y byddo hyny yn anghenrheidiol, er gosod ger bron ein darllenwyr y fantais oreu i edrych ar ddyn yn y naill a'r llall o'r cysylltiadau mawrion a dirgelaidd sydd yn terfynoli ac agweddu pob bod crëedig, sef cysylltiad â LLE, a chysylltiad âg AMSER.

---

# PHILIP HENRY, A'I AMSERAU.

Y MAE yn beth naturiol, gweddus, a chanmoladwy yn mhob Cymro diledrith, i ymdrechu amddiffyn a dyrchafu cymeriad ei genedl, yn enwedig yn y dyddiau hyn, pan yr ymegnïa ein cymydogion ein gwaradwyddo, megys y rhai mwyaf anwybodus, diddawn, ac anfoesol. Dïos mai ysgrifraint (*charter*) pob cenedl, yr hyn a ddiogela ei chymeriad, ei rhyddid, a'i breintiau, ydyw ei duwioldeb, ei dewrder, ei gwladgarwch, a'i moesau da. Pan y cyll unrhyw genedl y pethau hyn, ni waeth iddi pa ysgrifion na pha gyfreithiau fyddo ganddi am ei chymeriad a'i breintiau—y mae yn sicr o'u colli yn fuan. Ond os bydd y pethau hyn ganddi, ac yn aml hwynt, bydd ei henw da ganddi, a'i rhyddid a'i breintiau yn sicr iddi, er y dichon y bydd raid iddi eu henniil a'u cadw trwy ymdrech. Pa mor bell y mae y pethau genym ni fel cenedl y dyddiau hyn, sydd yn beth i ni ei ystyried yn bwysig, ac nid pa beth a ddywed ein cymydogion y Saeson am danom, ac ambell i Gymro bradychus i'w genedl. Nid digon gan y Saeson ein hyspeilio o'n tiriogaeth hyfryd, ac o ysgrifion ein hen deidiau, ond ymddengys cryn duedd parhaus, mewn rhai o honynt, i ein hyspeilio o'n cymeriad da. Dengys y tuedd hwn yn eu hysgrifenwyr pan yn ysgrifenu hanes am enwogion a gwroniaid yr oesau. Os dygwydd fod rhai o'r rhai hyn yn Gymry, neu yn hanu o ein cenedl, anfynych iawn y mynegant hyny, ac ânt heibio i hyn yn hollol ddystaw a disylw. Dïau na ddylem ni er dim

ymdebygoli iddynt hwy yn hyn. Ond ein dyledswydd ydyw cofrestru ein henwogion, dwyn allan eu cymeriad daionus, a gosod eu cofiant mor gyhoedd ag y medrom, er annogaeth a chalondid i eraill i ymgyrhaedd at yr unrhyw rinweddau. Y mae genym ni liaws mawr o'n cenedl a deilynga eu cofrestru gyda y rhai blaenaf o ddynion mewn llëenyddiaeth, gwladeiddwch, duwinyddiaeth, a phob rhinwedd arall. Heb i ni fyned yn ol i'r hen oesoedd tywyll, y pryd nad oedd gan neb cenedl nemawr y gallent ymffrostio o'u herwydd, y mae gan y Cymry yn yr oesoedd diweddaf amryw sydd wedi bod yn enwog yn y pethau uchod, yn wir ddiwygwyr mewn gwladwriaeth a chrefydd. Ymhlith eraill, gallem enwi y Dr. John Owen, yr hwn oedd yn Gymro cyflawn; Oliver Cromwell, oedd felly o ochr ei fam, yr hwn na bu neb yn fwy enwog nag ef dros ryddid a breintiau ei wlad; William Salisbury, Drd. Morgan a Davies, Cradock, Rowlands, Powel, a Harrisiaid yn ddau ac yn dri, Drd. A. Rees a Davies, Williamsiaid yn dri ac yn bedwar, a Jonesiaid yn bedwar a mwy, a Syr William Jones, yr hwn oedd yn Rabbi ei oes. Ac y mae genym hawl gyflawn a chyfreithlawn yn J. Williams, cenadwr diweddar yn Ynysoedd Mor y De; a Dr. Vaughan, prifathraw presennol yn yr athrofa ger Manceinion. A gwrthddrych yr hanesyn hwn, nid oedd y lleiaf o'r rhai a fu ac sydd yn enwogrwydd i ein cenedl.

Y Parch. Philip Henry oedd fab i Mr. John Henry, yr hwn oedd ŵr o Ddeheubarth Cymru, ag oedd mewn sefyllfa uchel yn ngwasanaeth Iarll Penfro, yr hwn oedd yn un o brif weinidogion Siarl y Cyntaf, Brenin Lloegr; a chymerwyd Henry, ar gymeradwyaeth yr iarll, i fod mewn gwasanaeth yn nheulu y brenin ei hun. Ganed P. Henry yn y Neuadd Wen (*White Hall*), yn y flwyddyn 1631, a dygwyd ef i fynu yn llys y brenin, a byddai yn arfer chwarau, pan yn blentyn, gyda Siarl a Iago, meibion y brenin, pa rai a fuant gwedi hyny yn gwisgo coron Lloegr. Philip, Iarll Penfro, a James, Iarll Carlisle, ac Iarlles Salusbury, oedd ei dadau a'i fam fedydd. Derbyniodd ei addysg ar y cyntaf gydag un Vincent yn Westminster, a chwedi hyny o dan ofal Dr. Busby, yr hwn a gyfrifid yn un o brif ddysgawdwyr yr oes hono. Cymaint oedd ei ymdrech a'i lwyddiant i gyrhaedd dysgeidiaeth, a'i gymeradwyaeth gyda ei athraw y pryd hwnw, fel y defnyddiai efe ef i'w gynnorthwyo i gasglu defnyddiau i ddwyn ymlaen ei Ramadeg Groeg rhagorol a gyhoeddodd efe y pryd hwnw. Yn mhen amser wedi hyn, pan ag oedd Henry wedi tori allan yn Anghydffurfiwr, cyfarfu â'r Dr., yr hwn a'i cyfarchodd yn y modd mwyaf cyfeillgar, gan ofyn, "Ha fab, pa beth a'th wnaeth di yn Anghydffurfiwr?" "Yn wir, syr," ebe yntau, "yr addysg dda a dderbyniais genych chwi a'm hattaliodd i fod yn gydymffurfiwr." Nid ydym yn gallu gwybod dim am grefydd a duwioldeb ei dad, eithr yr oedd ei fam yn rhagorol am ei duwioldeb; a dygai hi ei mab, pan yn blentyn, gyda hi i wrandaw yr enwog Mr. Case, a gweinidogion Puritanaidd eraill a wasanaethent y pryd hwnw yn Westminster Abbey, ac i'r ympryd misol a gedwid trwy osodiad y Senedd Hir, yn St. Margaret. Coffâai Mr. P. Henry, trwy ei oes, am y lles a'r hyfrydwch oedd wedi ei gael yn yr ymarferiadau hyn, a phriodolai ei waredigaeth rhag llygriad y llŷs llygredig hwnw i'r daioni a gawsai trwy y cyfleusderau hyn, ac ymddygiad ei fam.

Dewiswyd ef i fyned i Ysgoldy Eglwys Crist, yn Rhydychain, yn y flwyddyn 1647, pan nad oedd ond un-ar-bymtheg oed, ac anrhegwyd ef

gan Iarll Penfro â deg punt; fel rhodd-wobr ar ei fynediad yno. Gwedi ei dderbyn i'r ysgoldy hwn, ymroddodd mewn diwydrwydd diflino i gyrhaedd pob cangen o wybodaeth a dysgeidiaeth, fel y dygodd yn fuan sylw a chymeradwyaeth Dr. Hammond, ac eraill o flaenoriaid yr ysgoldy, a chyrhaeddodd y gradd o Athraw Celfyddyd. Yr oedd ar y pryd hyn yn amser enbyd a therfysglyd iawn trwy yr holl deyrnas gyfunol, pan yr oedd rhyfel cartrefol a gwaedlyd wedi tori allan rhwng y brenin a'r senedd. Yr oedd yr holl wladwriaeth mewn terfysg blin iawn o ben-bwy-gilydd; a phob dyn yn gorfod dangos ei ochr trwy ymfyddino, naill ai o ochr y brenin neu y senedd. Ac yr oedd y cleddyf wedi deffro, ac yn cynniwair mewn rhwysg echryslawn trwy bob cwr o'r wlad. Yn fuan wedi mynediad P. Henry i Rydychain, anfonwyd cenadau yno dros y senedd i ymofyn â phob athraw, ac â phob efrydydd, o ba du yr oeddynt, ac i droi allan bawb nad oedd yn foddlawn i gydnabod ac i ymostwng i awdurdod y senedd. Yr oedd prifysgolion Rhydychain wedi bod yn rhai o brif offerynau i ddwyn ar y wlad yr holl gamlwri hyn, a'r trallod, trwy y ddysgeidiaeth gyfeiliornus oeddynt wedi ei chyhoeddi i'r byd. Haerent fod pob brenin yn ei swyddogaeth yn annibynol ar y deiliaid, ac yn anghyfrifol iddynt; mai rhodd ddwyfol ac uniongyrchol oeddynt oddiwrth Dduw; a bod ar y deiliaid rwymau i roddi ufudd-dod goddefol iddynt yn yr oll a geisient. Credu yr egwyddorion hyn a lanwodd Charles o falchder, ystyfnigrwydd, a gormes anoddefol i'r deiliaid, nes y dygodd arno ei hun a'i hiliogaeth hollol ddinystr, ac yr arweiniodd y wlad i'r trallod mwyaf arswydus. Pan y gofynodd yr ymwelwyr i Mr. Henry a wnai efe gydnabod ac ymostwng i awdurdod y senedd, efe a atebodd "y gwnai, mor bell ag y goddefai ei gydwybod yn ngwyneb gair Duw iddo wneuthur." Derbyniwyd ei atebiad, a goddefwyd iddo fod yn ei le, a myned ymlaen gyda'i orchwyl. Parhaodd i gynnyddu yn gyflym mewn dysgeidiaeth a sobrwydd mewn pob ymarferiad, fel y daeth yn fawr yn ngolwg y rhai oedd yn arolygu yr ysgol.

Pregethodd ei bregeth gyntaf yn Henesley ddeheuol, yn y flwyddyn 1653. Tua'r pryd hwn, danfonodd boneddiges y Barnwr Puleston o Emerald, yn swydd Callestr, at un Palmer, o Ysgoldy Crist yn Rhydychain, am anfon o hono iddi wr ieuanc duwiol a dysgedig, i gymeryd gofal addysg ei meibion, ac i bregethu yn Worthenbury, eglwys a berthynai i blwyf Bangor-is-coed. Gosododd Mr. Palmer y peth at ystyriaeth Mr. P. Henry, yr hwn a addawodd dderbyn y cynnyg, ar yr ammod o fod iddo fyned yno mewn ffordd o brawf am chwe' mis, cyn y penderfynid dim ymhellach. Yn mis Medi, y flwyddyn 1653, efe a aeth yno, ac a arosodd am yr amser addawedig; gwedi hyny dychwelodd yn ei ol i Rydychain. Yn fuan gwedi hyn, y Barnwr Puleston, a'r rhan fwyaf o'i blwyfolion, a anfonasant iddo alwad daer a chalonog iawn, am iddo ddyfod i sefydlu yn eu plith fel eu gweinidog a'u bugail. Rhoddodd ateb cadarnhaol i'r alwad, a symudodd atynt. Eithr cadwodd ei le yn Ysgoldy Crist, yn Rhydychain, am amser, gan fyned yno unwaith bob blwyddyn, pan y cyfranai yn helaeth iawn o'i gyllid blyneddol, i gynnorthwyo ysgolêigion tlodion yn yr athrofa. Sefydlodd y barnwr, yn rhydd o bob gofynion, gan' punt y flwyddyn, yn lle degwm y plwyf, am ei wasanaeth. Urddwyd ef i gyflawn waith y weinidogaeth yn Prees, ar y 16eg o fis Medi, yn y flwyddyn 1657, trwy arddodiad dwylaw yr henaduriaid, yn ol trefn henaduriaethol.

Llafuriodd am o gylch wyth mlynedd yn y lle hwn, yn lled ddirwystr, mewn doethineb, astudrwydd mawr, a ffyddlondeb dibaid, er ennill eneidiau at y Gwaredwr, ac adeiladu y saint. Daliai afael ar bob cyfleusdra i bregethu efengyl y deyrnas; megys ar amser claddedigaeth y marw, heblaw ddwywaith bob Sabboth; ac arferai dreulio rhan o bob Sabboth i egwyddori yr ieuenctyd. Traddodai ddarlithoedd ar wahanol ranau o'r ysgrythyr bob wythnos, a chynnaliai gymdeithas gyfeillachol bob mis â'r rhai fyddai yn dyfod at fwrdd yr Arglwydd. Ymddengys ei fod yn weithiwr difefl, yn iawn gyfranu gair y gwirionedd, gan ymddysgleirio yn mhob rhinwedd a daioni, er esiampl i bobl ei ofal; ac yn un haelfrydig, yn llawn o gydymdeimlad â'r gwanaf a'r gwaelaf o honynt. Rhoddai o'r neilldu y ddegfed ran o'i gyllid blyneddol er ei gyfranu yn elusengar i'r tlodion a'r anghenus. Cyrhaeddodd y cymeriad hwnw, gan ei gydnabyddion yn gyffredin—"y duwiol a'r nefol Henry." Gwenodd yr Arglwydd yn helaeth ar ei lafur, fel y daeth yn lle drain, ffynnidwydd, ac yn lle mieri, myrtwydd, yn lled aml trwy yr ardal.

Ond buan y dechreuodd cymylau duon ymgasglu, a thymhestloedd cryfion ymgynhyrfu o'i amgylch, fel pe buasai uffern yn cyffroi wrth ei lwyddiant. Po fwyaf y bydd ffyddlondeb, defnyddioldeb, a llwyddiant neb o weision Iesu Grist, tebycaf yn y byd iddynt gael gwrthwynebiadau; a pho mwyaf cywir y pregethir y gwirionedd i ddynion, mwyaf y caseir ef a'r rhai a'i pregethant gan ddynion annuwiol. Y mae pregethu y gwirionedd yn ei burdeb, ac mewn ffyddlondeb, yn sicr o ysgar rhwng pechaduriaid a'u pechodau, neu i'w cynhyrfu i'w gasâu, a methu byw yn dawel o dan y weinidogaeth. Arwydd oreu o burdeb y weinidogaeth ydyw, fod dynion llygredig yn methu sefyll yn ei gwyneb, na byw yn dawel yn eu pechodau odditani.

Gwedi marwolaeth y Barnwr Puleston, daeth ei fab i'r meddiant o'i etifeddiaeth, yr hwn oedd wr tra gwahanol i'w dad. Dechreuodd yn fuan anfoddloni wrth weinidogaeth Mr. Henry, a thynodd oddiwrtho bob cynnaliaeth ac amddiffyn. Yn y flwyddyn 1660, dygwyd Charles yr Ail i orsedd Lloegr, pryd yr adferwyd un Dr. Bridgeman, i fywioliaeth Bangor, yr hwn a fwriasid allan o honi, oblegid rhyw anghymhwysder gweinidogaethol, gan ymwelwyr y senedd. Yr oedd efe ymhell o fod yn un â Mr. Henry yn ei syniadau am grefydd. Ymarddelwodd i hawl o Worthenbury, megys is-gapel i Bangor; ac o oddefiad yn unig y gadawodd i Henry i wasanaethu yno o gylch blwyddyn am ddim, yr hyn a gynnygiai ei wneuthur yn barhaus, pe goddefasid ef. Yn y flwyddyn 1661, syrthiodd y doctor a Mr. Puleston allan ynghylch y degwm, fel yr aethant i ddechreu ymgyfreithio â'u gilydd yn ei gylch. Ond trwy gyfryngaeth Syr T. Hanmer, gwnaethant heddwch â'u gilydd, ar yr ammod fod i Dr. Bridgeman droi Mr. Henry allan o Eglwys Worthenbury, yr hyn nid oedd yn un petrusder na gofid ar feddwl y doctor i'w wneuthur. Cynnygiwyd lawer gwaith i Mr. Henry well bywioliaeth na'r un oedd ganddo, yn yspaid yr amser y bu yno; ond nid oedd efe yn gweled ei lwybr yn eglur i ymadael â'r lle yr oedd yn cwbl gredu ei fod gwedi bod o wir leshad i lawer, a lle yr oedd yn cael ei garu yn fawr ganddynt er mwyn ei waith.

Yn yr amser hwn, yr oedd cynhyrfiad anghyffredin drwy yr holl deyrnas ynghylch cydffurfiad, ac anghydffurfiad, ac arosodiad y llywodraeth wladol mewn pethau crefyddol. Ac yr oedd pob arwyddion fod Charles

gwedi twyllo y rhan fawr o'i ddeiliaid, trwy y cyhoeddiad a roddasai o Breda o blaid rhyddid y deiliaid o barthed i'w crefydd. Yr oedd efe yn bresennol yn penderfynu gwrthweithio yr hwn gyhoeddiad, trwy ddwyn i mewn y deddfau mwyaf caethion dros unffurfiaeth, yr hon oedd ei ddelw ef, a'r Eglwys Sefydledig, i ba un yr aberthwyd miloedd o fywydau dynion. Gwnai yr Uchel-eglwyswyr bob ymdrech a fedrent gyda y brenin llygredig a'r senedd, i ffurfio a dwyn allan y gyfraith gaeth ag oedd yn rhwymo pob un ag oedd mewn sefyllfa a bywioliaeth eglwysig, neu yn cadw ysgolion, trwy y deyrnas, i ddwyn ymlaen eu gwaith yn ol "Llyfr y Gwasanaeth Cyffredin," a dim ond hwnw yn unig, neu eu bwrw allan o'u swyddau yn ddioed. Yr oedd i bob un a urddasid yn ol trefn henaduriaethol i waith y weinidogaeth gymeryd eu hail urddo gan ryw esgob neu gilydd, neu eu bwrw allan o'u swyddi, ac edrych arnynt fel rhai anghymhwys i un rhan o waith crefydd yn gyhoeddus, pa faint bynag fyddai eu dawn a'u cymhwysder moesol ac ysbrydol i hyny. Dygwyd y gyfraith hon trwy y senedd, a chadarnhâwyd hi gan y brenin gyda brys, ac yr oedd i gymeryd lle yn ei grym ar y 24ain o fis Awst, y flwyddyn 1662—dydd tywyll du Bartholomew i fyrddiynau o ddeiliaid goreu y Brenin Charles. Yr oedd yr amser mor fyr, o'r pryd y dygwyd y gyfraith allan hyd y pryd yr oedd i gymeryd lle, fel nad oedd yn ddichonadwy i filoedd, ag oedd i gymeryd eu llw, eu bod i gydsynio â'r gyfraith, ac â'r cwbl oedd yn "Llyfr y Gwasanaeth," neu eu bwrw allan o'u swydd, gymaint a gweled y gyfraith a'r llyfr, cyn i hyny gymeryd lle. Ni bu cyfraith erioed mwy anghyfiawn, creulawn, a gormesol mewn bod na hon; eto yr oedd yn gyfraith y gorfoleddai cannoedd o'r offeiriaid yn fawr ynddi, ac yn un ac sydd yn sylfaen i Eglwys Sefydledig ein gwlad hyd heddyw yn ei threfn bresennol. Rhoddodd Mr. P. Henry yr ystyriaeth mwyaf manwl i'r achos cyn penderfynu anghydffurfio, ac ymddyddanodd lawer â'r bobl mwyaf eu dysg ag oedd dros unffurfiad, yn enwedig Dr. Fel, yr hwn a ddaeth gwedi hyny yn Esgob Caer. Efe a'i hannogodd yn daer i gydffurfio, oblegid ei fod yn ddyn ieuanc, yn dechreu magu teulu, ac yn sefyll mewn rhagolygiad am fywioliaeth werthfawr, ac y gallasai wneuthur llawer o leshâd; ac na ddylasai er dim feddwl ei fod yn gwybod yn well na'r brenin. Ond gwedi ystyried y peth yn ddwys, a gweddïo yn ddyfal ar Dduw am ei gyfarwyddyd ef, fe benderfynodd fwrw ei goelbren ymhlith yr Anghydffurfwyr. Ymadawodd â Worthenbury, a daeth i fyw i'r Dderwen Lydan (*Broad Oak*), ger yr Eglwys Wen. Nid oedd neb ymhellach oddiwrth benboethni crefyddol a byrbwylldra na Mr. P. Henry, megys y mae ei holl fywyd yn dangos, na braidd neb â chanddo well rhagolygiad am ddyrchafiad yn y sefydliad gwladol nag ef, o herwydd ei ddysg, ei gymeriad, boneddigeiddrwydd ei ymddangosiad, a'i gydnabyddiaeth a'i gysylltiad o'i febyd â'r rhai oedd y pryd hwn ymlaenaf yn y llywodraeth, pe buasai yn cydffurfio. Eithr fel Moses gynt, dewisodd yn hytrach oddef adfyd gyda phobl Dduw, na mwyniant pechod, a dirmyg Crist na chael trysorau yr Eglwys Sefydledig, gan droi allan gyda'r ddwy fil o'i frodyr a ymadawodd â'r sefydliad gwladol o grefydd y pryd hwnw, ac a wynebasant y gwaradwyddiadau mwyaf a allai eu gelynion osod arnynt, a'r erledigaethau creulonaf a fedrent ddwyn yn eu herbyn. Sylw Mr. Henry ar y diwrnod hwnw sydd fel hyn:—"O! ddiwrnod tywyll du y mae ein pechodau fel gwlad gwedi ei ddwyn arnom; ei dywyllach ni bu er pan fu farw y Brenin Edward y Chweched; ond eto y mae er ein daioni, er na fedrwn ei ganfod yn awr."

Yr oedd Mr. Henry gwedi priodi unig ferch ac etifeddes Mr. Daniel Mathews o'r Dderwen Lydan (*Broad Oak*), er's ychydig o amser cyn iddo ymadael â Worthenbury; gyda pha un y daeth i feddiant o etifeddiaeth led helaeth, yr hon a fu yn gynnaliaeth iddo ei hun a'i deulu, ac a'i galluogodd ef i ymgeleddu a chynnorthwyo llawer iawn o'i frodyr ag oedd wedi eu hamddifadu o'r oll a feddent, trwy yr ormes oedd arnynt. Dywedir am Mrs. Henry, ei bod yn wraig rinweddol iawn, ac nad oedd yn amddifad o un ddawn ysbrydol er gwasanaethu ei theulu a'i chenedlaeth, er cysur i'w phriod, ac anrhydedd i grefydd Crist. Dechreuwyd erledigaeth yn erbyn Mr. Henry yn gynt na phryd; hyny ydoedd, cyn bod un gyfraith wedi ei gosod i'w ddwyn i gyfrif a'i gosbi am anghydffurfiad â'r drefn esgobawl. Canys yr ydym yn ei weled ef ac eraill o'i gyfeillion yn cael eu dwyn ger bron y llŷs sirol a gynnelid yn Ngwrecsam, am beidio darllen y "Llyfr Gweddi Cyffredin" yn eu haddoliad cyhoeddus, yn y flwyddyn 1660. Ond daethant yn rhyddion ar eu hymrwymiad personol i ateb bryd bynag y gelwid am danynt. Pan wnaethpwyd cyhoeddiad y brenin o Breda, dros ryddid cydwybod, yn adnabyddus, siomwyd eu gelynion am yr amser hwnw, ac aeth yr erlyniad hwn i ddim. Yn y flwyddyn 1663, cymerwyd ef, a Mr. Steel, gweinidog ffyddlawn a duwiol iawn, a Mr. Fogg, oedd wedi bod yn weinidog yn Mangor, yn amser Cromwell, yn garcharorion am fradwriaeth yn erbyn y llywodraeth, meddai eu gelynion. Ond trodd allan nad oedd y cwbl ond ffug a ddyfeisiai gwrthwynebwyr yr Anghydffurfwyr, er duo eu cymeriad, a chynhyrfu y llywodraeth wladol i fod yn ddigon gerwin yn eu herbyn. Llawer o'r fath bethau a ddyfeisiwyd y dyddiau hyny er cynhyrfu y wlad a'r llywodraeth i erlid crefydd, a llanw meddyliau y bobl yn erbyn y rhai a'i proffesai. Dywedai Mr. Henry, pan yn llaw swyddog gwladol y pryd hwn, "O mor werthfawr a hyfryd ydyw cydwybod dawel a heddychol yn y fath amgylchiad a hwn!" Daethant yn rhyddion y pryd hwn drachefn, ar eu hymrwymiad o ateb o fewn pedair-awr-ar-hugain i'r amser y gelwid am danynt. Mr. Steel, cydymaith Mr. Henry mewn cystudd, oedd wedi bod am flyneddau lawer yn weinidog duwiol, dysgedig, a dawnus, yn Hanmer, swydd Callestr, yn gymydog agos i Henry, yn gyfaill mynwesol iddo, ac yn un o'r rhai a weinyddai ar ei urddiad, a chwedi hyny yn urddiad ei fab, yr enwog Matthew Henry. Eithr nid oedd a'i diogelai rhag ei fwrw allan o'r weinidogaeth, er mawr golled a galar i bobl ei ofal, gan Ddeddf yr Unffurfiad, a chael ei wneuthur yn wrthddrych gwaradwydd ac erledigaeth greulawn gan yr Uchel-eglwyswyr. Dranoeth, gwedi y prawf uchod ar y gweinidogion ffyddlawn hyn, syrthiodd eu prif gyhuddwr yn farw mewn llewyg feddwawl, ac ni chododd mwy. Yn y flwyddyn 1665, gwnaethpwyd Henry a Steel yn swyddogion gwladol, i gasglu treth y brenin yn y dalaeth hono, er gosod arnynt sarhâd, a dangos nad oedd y llywodraeth yn eu hystyried yn weinidogion yr efengyl. Cymerasant y swydd arnynt, a chyflawnasant hi yn ffyddlawn.

Ymlynodd Mr. Henry wrth ei anwyl bobl yn Worthenbury hyd y gallai, ac aethai i ymweled â hwy yn fynych yn ddirgel gwedi symud i'r Dderwen Lydan, er eu cynghori, eu rhybuddio, a'u cysuro yn ngwyneb eu trallodion; eithr y fath oedd casineb yr Yswain Puleston a'r offeiriad yn ei erbyn, ac yn erbyn dadguddiad syml o'r gwirionedd, fel y gorfu arno eu cwbl adael, heb fod ganddo ddim, fel y dywedai, i wneyd ond gweddïo drostynt. Yr oedd y bobl o amgylch i'r Dderwen Lydan, yn gyffredin yn

dywyll a lled ddigrefydd, yr hyn a'i gofidiai yn fawr, ac ni allai wneuthur dim yn gyhoeddus er eu gwellâu; eithr ymdrechai yn anghyhoedd, trwy gyfeillachau personol, a myned o dŷ i dŷ yn y gymydogaeth, i gynghori a rhybuddio y teuluoedd am y pethau a berthynent i'w heddwch. Yr oedd yn hynod am haelioni a lletygarwch. Cyfranai yn helaeth o'i feddiannau bydol er llesâu y tlawd a'r anghenus. Cymaint oedd ymddiried y bobl yn gyffredinol yn ei wybodaeth, ei ddoethineb, a'i onestrwydd, fel y gwrandawent ar ei gynghorion mewn pethau cyffredin; ac os dygwyddai fod ryw anghydfod rhwng rhai o'i gymydogion a'u gilydd, rhoddai pawb dynion a garent heddwch yr achos i Mr. Henry i'w benderfynu rhyngddynt, a safent at ei benderfyniad. Er parch i addoliad cyhoeddus y Jehofa, efe a'i deulu a aent bob Sabboth i eglwys y plwyf i'r gwasanaeth cyhoeddus, er nad oedd yn ymhyfrydu yn yr athrawiaeth a'r oll a draddodid yno.

Yn y flwyddyn 1667, gwnaethpwyd Deddf y Pum Milltir, yr hon a elwir weithiau Deddf Rhydychain, am fod y senedd yn eistedd yno pan y gwnaed hi, oblegid fod y rhan fwyaf o ddinas Caerludd wedi ei llosgi gan dân. Y gyfraith hon yn ol ei hamcan drygionus a fu yn achos gofid a gwasgfa galed i lawer iawn o weinidogion ffyddlawn Iesu Grist, trwy ei bod yn gosod cosb drom ar bob un o honynt a ddeuai o fewn pum milltir i'r lle y buont yn gwasanaethu o'r blaen, ac o fewn pum milltir i'r un fwrdeisdref. Trwy hyn, gyrwyd llawer iawn o honynt ymhell oddiwrth eu cyfeillion, y rhai a weinyddent yn llawen o'r hyn oedd ganddynt er eu cynnaliaeth, ac amddifadwyd y bobl o'u gwasanaeth hwythau, yr hyn oeddynt yn ei fwynhau o'r blaen, er yn ddirgel. Symudodd Mr. Henry tua'r pryd hwn gyda'i deulu i'r Eglwys Wen (*Whitchurch*), ac yn unol â'i arferiad gwnai efe a'i deulu fyned i'r eglwys blwyfol i'r gwasanaeth y boreu, ac yn y prydnawn egwyddorai a phregethai yn ei dŷ ei hun i'w deulu, ac i eraill a chwennychai ymuno â hwy. Yma, y pryd hwn, y gweinyddodd yr ordinhâd o Swper yr Arglwydd gyntaf gwedi ei fwrw allan o Eglwys Worthenbury.

Nid arosodd efe ond dros ychydig o amser yn yr Eglwys Wen, canys cyn diwedd y flwyddyn 1668, yr ydym yn gweled ei fod ef wedi dychwelyd i'r Dderwen Lydan drachefn; oblegid dywedai ei fod yn ystyried mai ei ddyledswydd oedd gwneuthur a allai o ddaioni ymhlith y bobl lle y rhoddasai rhagluniaeth iddo etifeddiaeth. Tra yr oedd yn yr Eglwys Wen, anturiodd ef, a Mr. Laurence, cyfaill iddo, i fyned i bregethu i eglwys blwyfol Betley, yn swydd Stafford, trwy gais a chydsyniad pawb a berthynent i'r lle. Dygwyd cyhuddiad yn ddioed yn eu herbyn yn senedd-dŷ cyffredin Lloegr, a dywedwyd eu bod gwedi bwrw y "Llyfr Gweddi Cyffredin" allan trwy y ffenestr, a mathru y wisg wen o dan eu traed, a'u bod gwedi tynu yr offeiriad trwy orthrech i lawr o'r areithfa; yr hyn a brofwyd yn gwbl anwireddus. Ond er hyny, anfonodd y senedd anerchiad at y brenin am iddo osod y cyfreithiau yn erbyn yr Anghydffurfwyr mewn gweithrediad gyda mwy o erwindeb ac egni. Yn y flwyddyn 1670, dygwyd trwy y senedd gyfraith yn erbyn cyfarfodydd anghyhoedd a fernid yn anghyfreithlawn (*Conventicle Act*), yr hon a roddai benyd trwm iawn ar bawb a ddelid gwedi ymgyfarfod â'u gilydd mewn unrhyw le, mewn gwasanaeth crefyddol, heblaw eglwys y plwyf. Gorfu ar Mr. Henry a'i frodyr gadw yn fwy anghyhoedd gwedi hyn nag o'r blaen. Ond yn y flwyddyn 1672, rhoddodd y brenin gyhoeddiad allan ag oedd yn llarieiddio

ychydig ar Ddeddfau gerwin yr Unffurfiad, trwy gyhoeddi caniatâd i'w swyddwyr roddi trwydded i bregethu mewn lleoedd heblaw yr eglwysi plwyfol. Er fod yn eglur yr amcanai y brenin trwy hyn roddi cefnogaeth i Babyddiaeth, a rhyddid mwy i Babyddion, eto daliodd Mr. Henry afael ar y cyfleusdra, megys y gwnaeth llawer eraill, i gymeryd trwydded i bregethu yr efengyl, a gwneuthur daioni yn gyffredin i'w cyd-ddynion. Neillduodd ei ysgubor ei hun i fod yn lle o addoliad, i ba le y cyrchai lliaws mawr o bobl bob Sabboth i wrandaw gair Duw yn cael ei bregethu ganddo ef yn ei symledd priodol, am lawer o flyneddau. Pregethai nid yn unig yno, ond teithiai yn fynych trwy ranau o swyddi Caer, Callestr, a Dinbych, i gyhoeddi yr iachawdwriaeth i bechaduriaid truenus, a gwrandewid arno yn astud gan liaws mawr o ddynion yn mhob lle y byddai yn pregethu. Yn y flwyddyn 1681, pan yr oedd efe a'i gyfaill Mr. Bury, gweinidog a fwriasid allan o eglwys plwyf Bolas, yn swydd Callestr, yn cynnal dydd ympryd a gweddi, a gedwid yn achos sychder mawr oedd trwy yr holl wlad, a phrinder o ymborth dynion ac anifeiliaid, mewn tŷ annedd heb fod ymhell oddiwrth ei gartref—dau ustus heddwch a unasant i anfon yspïwyr i'r cyfarfod i gymeryd enwau pawb oedd yn bresennol. Cymerasant enwau cant-a-hanner o'r gwrandawwyr i lawr, a rhoddasant hwy i'r ustusiaid, pa rai a ddirwyasant ŵr y tŷ i ugain punt, a phum punt yn ychwanegol o herwydd ei fod yn heddgeidwad y pryd hwnw. Dirwywyd y gwrandawwyr i bum swllt bob un, Mr. Bury i ugain punt, a Mr. Henry i ddeugain punt. Cnaif go dda, onidê, i'r ysglyfaethgwn? Daeth gweision yr ustusiaid a chymerasant ymaith dri-ar-ddeg-ar-hugain o lwythi menau o ŷd newydd ei dori oddiar feusydd Mr. Henry, a gwair a glo lawer iawn yn lle y dirwy. Cadwodd efe ei dymher yn dawel, hynaws, a siriol, a gweddïai dros ei erlidwyr yn ngwyneb yr amgylchiad, gan ddywedyd, "ei bod yn llawer gwell i ddyoddef cam, na bod yn gwneuthur camwedd." Yr oedd Dr. Lloyd, Esgob Llanelwy, yn egnïol iawn y pryd hwn yn erbyn yr Anghydffurfwyr, yn Ngogledd Cymru, trwy annog a chynnal dadleuaeth â hwy, a phob moddion er eu darostwng, er na chyhuddir ef o arferyd unrhyw foddion creulawn. Gwedi iddo fod yn dadleu â'r Crynwyr yn Llanfyllin, ac yn ei dybiaeth ef, o leiaf, eu gorchfygu hwynt, danfonai hèr i'r Parch. James Owen, gweinidog yr eglwys ymneillduedig yn Croesoswallt, i ddadleu âg ef yn gyhoeddus ar y pwnc o Ymneillduaeth. Derbyniodd Mr. Owen ei hèriad. Cyfarfyddwyd ar y 27ain o fis Medi, 1681, yn llys-dŷ y dref uchod. Dygodd yr esgob y dysgedig Mr. Henry Dodwell gydag ef, a lliaws mawr o wŷr llëen i'r cyfarfod, o ochr y sefydliad gwladol o grefydd. A chyda Mr. Owen yr oedd y Parchedigion P. Henry, a Jonathan Roberts o swydd Dinbych, yr hwn a fwriasid allan o Eglwys Dinbych, ac oedd ŵr dysgedig a chyfrifol iawn. Daeth lliaws mawr ynghyd i'r cyfarfod o ustusiaid swydd Amwythig, ac eraill, a llawer iawn o wŷr mawr ac urddasol o'r gymydogaeth, ynghyd â phobl lawer o bob gradd. Ewyllysiai Mr. Henry fod y cyfarfod i'w ddwyn ymlaen ger gwydd ychydig nifer o wŷr dewisol; ond gwrthwynebai yr esgob hyny, gan sicrhau na byddai dim a ddywedai un ochr yno gael ei ddefnyddio mewn achos cyfreithiol yn erbyn y naill na'r llall. Dechreuodd y cyfarfod yn llys-dŷ y dref, am ddau o'r gloch, a pharhaodd hyd wyth o'r gloch y nos. Prif bwnc y ddadl oedd urddiad gweinidogion i waith y weinidogaeth. Dadleuai yr esgob a'i blaid nad oedd un urddiad yn

2 X

briodol ac ysgrythyrol ond yr un esgobacthol; a'r Anghydffurfwyr a ddadleuent mai y drefn henaduriaethol oedd yr unig un briodol ac ysgrythyrol. Dygodd yr esgob y ddadl ymlaen gyda llawer o foneddigeiddrwydd a hynawsedd, er nad yn gwbl yn ol rheolau dadleuaeth deg. A'r Anghydffurfwyr a amddiffynasant eu golygiadau gyda llawer o fedrusrwydd; ac ennillodd Mr. Henry lawer o barch a chymeradwyaeth y cyfarfod yn gyffredin, o herwydd ei ddoethineb a'i dymher hawddgar a boneddigaidd. Gwedi i lawer iawn gael ei ddywedyd gan y naill ochr a'r llall, nid oedd yr un o'r pleidiau fymryn nes at eu gilydd yn y diwedd nag yn y dechreu. Dywedodd Mr. Roberts yn ddystaw wrth Mr. Henry, "Er mwyn pob peth, gadewch i'w arglwyddiaeth gael y gair diweddaf." Un o'r ustusiaid a eisteddai ar y fainc a'i clywodd ef, ac a ddywedodd, "Yr ydych chwi yn dywedyd mai fy arglwydd sydd i gael y gair diweddaf; ond myfi a'i mynaf; diolch i Dduw, y mae y cleddyf genym ni, a'r gallu i'w ddefnyddio yn ein llaw; a thrwy ras ein Duw ni a'i cadwn, ac ni chaiff rydu yn ein llaw; ac mi a obeithiaf y bydd i bob ustus cyfreithlawn wneuthur megys yr wyf fi yn bwriadu gwneuthur. Edrychwch atoch eich hunain, foneddigion. Trwy ras y nef, mynaf eich diwreiddio yn hollol allan o'r wlad." Yna gwaeddodd rhyw ddyhiryn yn uchel o ganol y gynnulleidfa, "Bwriwch hwy i lawr y grisiau yn ddioed." Ond maer y dref a'u hamddiffynodd hwynt, fel y cawsant fyned oddiyno yn ddïanaf, a myned i'w cartrefleoedd yn ddiogel. Cynnaliodd yr esgob gyfeillach lythyrawl â Mr. Henry yn fynych gwedi hyn; a phan y deuai yn agos i'r ardal lle y preswyliai, gyrai am dano i'w gyfarfod, ac ymddyddanai âg ef megys brawd, ac nid ystyriai ef mwy yn *sismatic*, ond yn Ymneilldüwr cydwybodol.

Yr oedd Mr. Henry a'i frodyr yn gyffredin o dan anfantais fawr i ddadleu âg Eglwyswyr y pryd hwnw, oblegid yr oeddynt hwy eu hunain heb ddëall prif egwyddorion Ymneillduaeth, neu o leiaf ni allent sefyll yn deg ar egwyddorion yr efengyl; ond dadleuent ynghylch pethau amgylchiadol i grefydd. Addefent, a chydnabyddent fod gan ryw ddynion mewn ryw sefyllfa, hawl i drefnu crefydd i eraill, a llywodraethu cydwybodau eu cydgreaduriaid. Nid oeddynt yn dëall, nac yn sefyll dros, mai Iesu Grist ydyw unig ben a deddfroddwr ei eglwys, ac mai ei ewyllys dadguddiedig ef ydyw unig gyfraith ei dŷ, a bod gan bob dyn ryddid yn ngwyneb hon i farnu pa beth sydd iddo gredu ac ymarfer mewn crefydd, ac mai iddo ef yn unig y mae pob dyn yn gyfrifol am ei ymarferiadau crefyddol. Eithr pan oeddynt yn cydnabod fod gan freninoedd, neu ryw rifedi o ddynion mewn unrhyw sefyllfa, hawl i drefnu ac i arosod crefydd ar eu cydgrëaduriaid, a bod ar ddynion rwymau i roddi ufudd-dod i'r arosodiad hyn, a bod yn gyfrifol i'r arosodwyr hyny, pa fodd y gallent ar un ymresymiad teg wrthod ufuddhau i drefniad ac arosodiad llywodraeth Lloegr o berthynas i grefydd? Cydnabod yr hawl hon mewn unrhyw ddynion a fyddo yn ymhoni i awdurdod, sydd wadiad o benogaeth unigol Iesu Grist yn ei eglwys, yn wadiad o berffeithrwydd a digonoldeb yr ysgrythyr fel unig lyfr crefydd, ac yn wadiad o ryddid cydwybod i bob dyn i farnu drosto ei hun pa beth sydd wirionedd, a'i rwymau i weithio ei gred allan mewn gweithrediad crefyddol megys un cyfrifol i Dduw yn unig am ei gred a'i ymddygiad. Dywedir yn fynych, fod gan freninoedd da hawl i osod i fynu grefydd, neu wir grefydd i fynu trwy eu hawdurdod. Pwy sydd i farnu pa rai sydd o honynt yn dda, neu nad yw felly? Pe da fyddent, hwy a beidient ag

ymyraeth â gorsedd nad yw yn perthyn i'w swyddogaeth, a thrawsfeddiannu anrhydedd Crist fel unig frenin ei eglwys. Pa un o honynt erioed nad oedd yn meddwl eu bod yn gwneuthur daioni, ac yn gosod i fynu wir grefydd, pan yn defnyddio eu hawdurdod i arosod eu trefniadau crefyddol, ac i ormesu ac erlid y rhai ag oedd ganddynt gymaint hawl i farnu drostynt eu hunain a hwythau, am nad oeddynt yn cydymffurfio â'u gosodiadau crefyddol hwy? Os ydyw yr hawl o osod unrhyw grefydd yn awdurdodol er rhwymo dynion i gydffurfio â'u gosodiad, yn meddiant breninoedd y ddaear, neu yn meddiant unrhyw rifedi o ddynion fyddo mewn gallu a sefyllfa i arosod hyny, y mae yn rhaid ei bod yn meddiant pob un a ddichon fod yn y sefyllfa hono? Yr oedd gan Mari waedlyd, ac Elizabeth greulawn, gystal hawl er awdurdodi ac arosod eu gosodiadau crefyddol ag oedd gan Sior yr Ail, a'r Trydydd, i arosod eu gosodiadau hwythau. A phaham nad oes gan babau Rhufain gymaint hawl i arosod eu gosodiadau crefyddol o fewn eu holl diriogaeth ag sydd gan Victoria o fewn ei holl diriogaeth hithau? Ac o ganlyniad, nid yw ymneillduo oddiwrth eu gosodiadau ond bai a gwrthryfel, yn lle bod yn rhinwedd canmoladwy; a dyoddef sarhâd a merthyrdod o herwydd yr ymneillduad hwn nid yw ddim llai na mwy na chyfiawn gosbedigaeth am fai a gwrthryfel. Gyda phob dyledus barch i'r hen Buritaniaid, a Mr. P. Henry, a'i frodyr Anghydffurfiol, i ddysgleirdeb rhinweddau a daioni pa rai yr ydym yn rhwym o ddwyn ein tystiolaeth ganmoladwy iawn, am yr hyn a wnaethant ac a ddyoddefasant yn achos crefydd; eto yr ydym er hyny yn rhwym o ddyweyd fod eu gwaith yn cydnabod hawl breninoedd y ddaear, neu unrhyw ddynion mewn awdurdod, i lywodraethu cydwybodau dynion mewn pethau crefydd, ac yn gwadu hawl pob dyn i farnu drosto ei hun a dwyn allan ei farn ei hun mewn pethau ac ymarferiadau crefyddol heb fod yn gyfrifol i neb ond i'w Arglwydd yn unig, yn wendid mawr ynddynt; canys nid pa nifer o ddefodau crefyddol a arosodir, neu pa drefniad crefyddol a awdurdodir, yw yr egwyddor, neu bwnc y ddadl, ond yr hawl o arosod un ddefod neu unrhyw drefniad o grefydd i fynu trwy awdurdod dynion. Rhoddi i fynu yr egwyddor hon i'r Esgobaethwyr, y Pabyddion, ac eraill sydd dros awdurdod ddynol mewn crefydd—yw rhoddi i fynu rym Ymneillduaeth ar unwaith. A diammhau genym fod hyn gwedi bod yn wendid mawr yn nadleuaeth Mr. Owen a'i gyfeillion yn erbyn yr esgob y pryd hwn. Canys os oedd gan y llywodraeth wladol hawl i drefnu ac arosod crefydd i'w deiliaid, pwy a allasai ddyweyd, pa mor bell yr oedd eu hawl yn cyrhaedd, a pha nifer o bethau, defodau a gosodiadau, oedd o fewn cylch eu hawl i arosod ar y deiliaid? Bu rhoddi i fynu yr hawl hon i freninoedd gan yr hen Buritaniaid a'r Anghydffurfwyr, nid yn unig yn achos o aflwyddiant y ddadl hon, ond o aflwyddiant crefydd Crist yn y byd yn gyffredin, ac yn rhwystr mawr iddynt ddwyn allan ddylanwad crefydd yn deg ar y byd: canys ni lwyddodd crefydd ddwyfol erioed ond ychydig, ac ni lwydda byth yn ei hiachusrwydd, o dan gysgod aden unrhyw awdurdod ddynol.

Gwedi i Mr. P. Henry gael tawelwch i ddwyn ymlaen ei weinidogaeth am rai blyneddau yn y Dderwen Lydan a'i hamgylchoedd, gyda mesur helaeth o lwyddiant; yn y flwyddyn 1686 torodd gwrthryfel Monmouth allan yn y deyrnas, a drwg-dybiwyd fod yr Anghydffurfwyr yn gyffredin yn bleidiol iddo, a daliwyd a rhoddwyd Mr. Henry yn Nghastell Caer am ychydig amser. Ond rhyddhäwyd ef oddi yno yn fuan, heb gael yr un

lliw o achos yn ei erbyn. Pan gyhoeddodd Iago yr Ail gyflawn ryddid crefyddol i'w ddeiliaid, o dan rith o gydnabod iawnderau yr Anghydffurfwyr, ond mewn gwirionedd gyda'r amcan o ddyrchafu Pabyddiaeth i'r llywodraeth, fel y dangosodd yn fuan wedi hyn, dirmygwyd ei gyhoeddiad gan lawer o Ymneillduwyr. Eithr derbyniodd Mr. Henry ef, gan lawenhau mewn dychryn, trwy ei fod yn rhoddi mwy o gyfleusdra iddo wneuthur mwy o ddaioni dros achos Crist; ac unodd gydag eraill o'i frodyr i gyflwyno diolchgarwch i'r brenin am y cyhoeddiad, pan yr oedd wedi dyfod i'r ardal lle yr oedd yn byw, gan addaw iddo i wneuthur a allent o ddaioni yn y mwynhad o'u rhyddid, heb niweidio neb arall. Yn fuan wedi hyn, anfonodd Iago genadau i ymofyn pa faint o arian oedd wedi eu codi mewn ffordd o ddirwy ar yr Anghydffurfwyr yn y teyrnasiad o'r blaen, gan ymhòni mai gwneuthur cyfiawnder â hwy oedd yr amcan yn yr ymholiad. Ond yr oedd yn lled eglur mai dynoethi gwarth yr Eglwys Sefydledig, a gwneuthur y rhwyg yn fwy rhwng yr eglwys a'r Ymneillduwyr oedd y prif amcan, fel y gallai, trwy y rhwyg hwn, ddwyn Pabyddiaeth i fyny i fod yn grefydd lywodraethol trwy y deyrnas: canys yr oedd yr Anghydffurfwyr wedi cael eu hyspeilio o filiynau lawer o dan yr enw o ddirwyon, a miloedd lawer o'r rhai hyny heb fyned erioed i drysor-lys y deyrnas, lle dylasai pob dirwy fyned, ond wedi eu cadw yn nwylaw yr yspeilwyr gwancus. Pe buasai yr holl bethau hyn yn dyfod i'r amlwg yn fanwl, buasai raid ei fod yn warth anferth ar yr Eglwys a gefnogai y fath beth, ac a gyfranogai o'r yspail. Eithr darfu lliaws mawr o'r Ymneillduwyr nacâu rhoddi cyfrif o'r hyn a gollasant. Ymhlith eraill, Mr. Henry, pan ofynwyd iddo am yr hyn a gymerwyd oddi arno, a ddywedodd, "ei fod ef wedi llwyr faddeu er ys dyddiau lawer i'r goruchwylwyr a'r offerynau a fu yn achos o gymaint gofid a gorthrymder iddo, a'i fod yn benderfynol na byddai iddo byth gofio eu beiau iddynt mwyach.

Yn y flwyddyn 1688, penodwyd ef i fod yn ustus heddwch yn swydd Callestr, eithr gwrthododd weithredu fel y cyfryw, gan lwyr ymroddi i waith y weinidogaeth, a phregethu yr efengyl trwy yr holl ardaloedd o amgylch, hyd derfyn ei oes.

Y fath oedd gwylder Mr. Henry, fel na ddarfu iddo gyhoeddi dim o'i lafur trwy yr argraffwasg, oddieithr ychydig o bennillion prydyddawl yn yr iaith Ladinaidd, am y rhai y dywedir ei fod yn ymddangos ynddynt yn llawn cymaint fel prydydd ag yr oedd fel areithydd, pe buasai yn arfer y ddawn hono. Syr J. B. Williams, un, fel y tybygwn, o'r hiliogaeth, a gyhoeddodd amryw nodau o'i bregethau, mewn cysylltiad â hanes ei fywyd a roddwyd ganddo trwy yr argraffwasg, pa rai a ddengys ei fod yn bregethwr eglur, syml, profiadol, tarawiadol, ymarferol, a llawn iawn o feddyliau gwreiddiol. Yr oedd ei olygiadau ar athrawiaethau gras, yn nhrefn achubiaeth pechaduriaid trwy aberth ac iawn y Cyfryngwr, yn oleu a chyson, ac yn eu dangos yn eu cysylltiad a'u heffeithiad grymus ar fywyd sanctaidd y cristion. Y mae yr hyn a ganlyn, a gafwyd yn ei ddydd-lyfr ar ol ei farwolaeth, wedi ei ysgrifenu ganddo ef ei hun, yn dangos pa mor wyliadwrus oedd ef drosto ei hun. Y peth cyntaf ydyw ei gyfammod difrifol, yr hwn a gadwai gydag ef bob amser, ac a'i darllenai yn fynych er adnewyddiad i'w feddwl:—

"Yn gymaint a fy mod yn gwybod trwy brofiad am frad a mawredd twyll fy nghalon fy hun, a fy mod wedi dysgu mai fy nyledswydd ydyw dwyn fy nghalon i ymwneyd â

Duw yn mhob cyflawniad crefyddol, ac mai un ffordd o'i dwyn felly ydyw, ysgrifenu â fy llaw fy nghwbl ymroddiad i'r Arglwydd; gan hyny, bydded y papyryn hwn yn dyst i mi, fy mod yn ystyriol, yn wirfoddol, ac yn hollol wedi cymeryd yr Arglwydd i fod yn Dduw i mi yn Nghrist, a fy mod yn cwbl roddi fy hun yn eiddo iddo ef, i'w garu, i'w ofni, i'w wasanaethu, ac i ufuddhau iddo; a fy mod yn cyflawn ymwrthod â, yn casâu, ac yn ffieiddio pob pechod, gyda gofid dwys o'i herwydd. Yr wyf yn taflu fy hun yn gwbl ar rad drugaredd fy Nuw, trwy haeddiant Crist, am faddeuant o'm holl bechodau, ac am bob cymhorth o'r dydd hwn allan i ymarfer fy hun i dduwioldeb, ac i rodio yn holl ffyrdd crefydd, hyd eithaf fy ngalluoedd, gydag hyfrydwch a sirioldeb, yn gymaint a fy mod yn cwbl gredu na bydd fy llafur yn ofer yn yr Arglwydd."

Y pethau a ganlyn ydynt esiamplau o'i adolygiad misol ef arno ei hun:—

"Chwefror, 1657.—Yr ydwyf yn gweled fod y pechodau hyn wedi cael gormod o le gyda mi y mis hwn, o herwydd pa rai y dymunwn ymostwng ger bron fy Nuw: esgeulusdod o'm dyledswyddau yn gyffredin yn mhob perthynas a chylch, yr wyf wedi bod yn ol o wneyd llawer a ddylaswn ei wneyd: gormod o fyrbwylldra yn ngwyneb achlysuron, yr hyn sydd megys drain a maglau gofidus i mi yn barhaus: balchder ysbryd, yr hyn sydd megys gwythïen wenwynig yn rhedeg trwy fy holl ymarweddiad: hunan-gais, sydd yn fynych yn fy nwyn i edrych ar gymeradwyaeth dynion yn fwy ac o flaen gogoniant Duw: anwiredd fy nghalon sydd yn crychferwi o'm mewn, yn barod i dori allan mewn ymddygiad anaddas a beius. O Arglwydd, bydded i mi gael cywilyddio ger dy fron di oblegid y pethau hyn, a maddeu, attolwg, a glanha fy enaid oddiwrthynt, er mwyn aberth fy Iachawdwr bendigaid."

Wele yma ychydig o'i fyr ymadroddion, a arferai eu dyweyd yn fynych:—

"Euogrwydd pechod mewn cydwybod," meddai efe, "sydd megys brycheuyn mewn llygad; nid oes dawelwch nes ei symud ymaith.—Bydded i'r rhai hyny ofni marw, na chwennychai fyned i'r nefoedd.—Meddwl addas mewn amgylchiad ammheuus am ein dyledswydd, ydyw, gofyn pa fodd yr ymddygai Iesu Grist, pe b'ai yma yn bresennol yn yr amgylchiad hwn.—Drwg ydyw pob cystudd, os bydd anfoddlonrwydd Duw ynddo. —Er cymhell ein ffydd, o dan gystuddiau, y mae i ni gofio doethineb y Llywydd; ac er bod y môr yn arw iawn, y mae pob tòn yn ei lle.—Nid yw yn ddichon codi sefyllfa dyn at ei feddwl; ond y mae modd, trwy ras, ddwyn y meddwl at ei sefyllfa, pa mor iseled y byddo.—Boddlonrwydd ydyw bod meddwl dyn gyda'i sefyllfa.—Ni ddylai ein galar byth ein dwyn i esgeuluso ein hamser hau.—Mae rhagrithiwr yn yr eglwys megys ci y cigydd, yn dawel a llonydd, ond pan y byddo rhyw greadur ar y càr lladd, yna bydd yn llawn cyffro; felly bydd yntau yn llawn bywyd, os bydd rhyw ddrwg yn bod, neu rhywun o dan y ddysgyblaeth."

Ar y 24ain o fis Mehefin, 1696, y bu farw yr enwog P. Henry, yn gyflawn o dangnefedd o ran ei feddwl, er bod poenau y corff yn fawr iawn, gan glefyd y gareg, yn y chwechedd-flwydd-a-thriugain o'i oedran, pan yr oedd ei holl rasusau, doniau, talentau, a'i rinweddau, heb un cwmwl arnynt, ond yn eu llawn ddysgleirdeb. Ei gystudd diweddaf oedd yn fyr iawn, ond yn hynod o arw. Pan daeth ei unig fab, y clodfawr Matthew Henry, yr hwn oedd y pryd hwnw yn weinidog yn Nghaer, i ymweled âg ef ganol y nos, dywedodd wrtho, "O fy mab, y mae i chwi groesaw i weled eich tad yn marw, ac y mae yn llawen genyf eich gweled; canys yr wyf yn barod i'm hoffrymu, ac amser fy ymddattodiad sydd yn ymyl!" Ac yn y boreu, efe a hunodd yn dawel yn yr Arglwydd. Y geiriau diweddaf a ddywedodd, gyda lläis gorfoleddus, oedd "O angeu, pa le y mae dy golyn!" Heblaw ei unig fab, y Parch. Matthew Henry, yr oedd iddo amryw o ferched, pa rai a gyfranogasant yn helaeth o ysbryd a duwioldeb eu tad, a'u hiliogaeth ydynt barchus hyd heddyw.

Ni a adawn gymeriad a nodwedd Mr. Henry, o ran ei ostyngeiddrwydd, ei hynawsedd, ei dduwioldeb, ei wresogrwydd, a'i ffyddlondeb, yn ei holl gylchoedd crefyddol, i ystyriaeth ddifrifolaf darllenwyr yr hanes hwn.

Ond gallwn weled, oddiwrth yr hyn a fu o dan ein sylw, fod yr Arglwydd yn codi ac yn donio dynion, a'u cymhwyso i amgylchiadau y byddo ei achos ynddynt. Yr oedd dyddiau Charles y Cyntaf, a'r Ail, a dyddiau Iago yr Ail, y dyddiau mwyaf blinion, ac anhawddaf i ddal i fynu fywyd crefydd, a'i dangos yn ei dysgleirdeb, a fu ar achos Duw er y cynoesau. Nid yn unig, yr oedd y rhai hyn yn amseroedd llygredig iawn, a phob cefnogrwydd gan y llywodraeth a blaenoriaid y wlad yn cael ei roddi i bob anfoesoldeb ac annhrefn, ond teyrnasai creulondeb hefyd, mewn ysbryd erledigaethus i'r eithaf, fel y gorfyddai miloedd lawer o ddeiliaid ffyddlonaf y deyrnas ymgrwydro mewn newyn, noethi, a syched, a marw mewn carchardai yn achos eu crefydd. Nid oedd rhifedi y rhai a fu farw yn achos crefydd, yn amser Mari, ond ychydig mewn cymhariaeth i'r rhai a fuont feirw yn yr amseroedd hyn, na'u dyoddefiadau ond ysgafn mewn cymhariaeth i'r eiddynt hwy, oni ellir profi ei bod yn ysgafnach i ddyoddef oddiwrth rith Brotestaniaid, nag ydyw i ddyoddef oddiwrth Babyddion proffesedig. Yr oedd hefyd rith grefydd yn cael ei dal i fynu o dan enw Protestaniaeth, mewn awdurdod a pharch, a'i choethi mewn dysgleirdeb golud ac anrhydedd y byd hwn, a ffug-addewidion o ddiwygiad gwell, er denu dynion i wadu egwyddorion yr efengyl, yr hyn oedd yn ei gwneuthur yn amser enbyd a pheryglus, ac anhawdd iawn i gael allan y gwirionedd a glynu wrtho. Ond cododd Duw i fynu gewri yn yr amseroedd hyn, ac a'u llanwodd â dewrder a medrusrwydd yn ngwyneb yr amgylchiadau, megys y gwnaeth â Dafydd yn ngwyneb Goliah, ac hefyd âg ysbryd amynedd, hunan-ymwadiad, hynawsedd, ac addfwynder, i ddyoddef pob dim yn achos yr efengyl. A'u dyoddefiadau hwy ydyw achos ein rhyddid a'n breintiau ni, o dan ddoeth lywyddiaeth y Nef. Na ddigaloned Sïon Duw y dyddiau hyn, yn ngwyneb yr oll sydd, ac a fygythir i fod yn dyfod i'n herbyn. Cuddiad eu nerth hwy y pryd hwnw oedd eu ffydd yn Nuw eu hiachawdwriaeth ; felly mae eto i bobl yr Arglwydd; am hyny, bydded genym fwy o ffydd yn Nuw.

Gwelwn yr achos sydd genym i fod yn ddiolchgar am ein breintiau, ein rhyddid, a'n cyfleusderau, mewn cymhariaeth i eraill a fu o'n blaen. A chofiwn fod yr amgylchiad y bu achos Duw ynddo y dyddiau gynt, a'r modd y dygwyd yr eglwys trwyddynt yn llwyddiannus, yn ddefnyddiau addysg, ac yn gefnogrwydd i ffyddlondeb a diwydrwydd y dyddiau hyn. Ond y mae genym achos i alaru, oherwydd leied o ddefnydd yr ydym yn ei wneyd o'r pethau hyn, ac am fod can lleied o ymdrech ar ddynion eu gwybod er eu defnyddio.

---

## GOLWG AR DDIGON.

Edrychaf uwch ben, a gwelaf y Barnwr  
Yn hogi ei gleddyf i ladd y troseddwr:  
Y ddeddf a droseddais—ei melldith a glywaf:  
Pa beth ddaw o'm henaid ?—Ow ! derfydd am danaf!  
Edrychaf ar Iesu! mae 'r Barnwr yn foddlon;  
Câf fywyd a rhyddid, a'r ddeddf dan ei choron !

Edrychaf i lawr, a gwelaf y pydew,
Lle sudda 'r colledig, byth, byth mewn nos ddudew:
Mae f'enaid yn fynych, yn nghanol pob mwyniant,
Yn ofni myn'd yno, can's dyna fy haeddiant:
Edrychaf ar Iesu! mae 'n dal y deyrnwialen;
Câf ddianc rhag uffern o dan ei gref aden.

Edrychaf i fewn, a gwelaf anghenion,
I'w llenwi na byddai yr hollfyd yn ddigon;
Mae f' ysbryd heb nerth, na phrydferthwch, na chysur,
Yn debyg i farw gan angerdd ei ddolur:
Edrychaf ar Iesu! mae yno gyflawnder,
A galwad i dderbyn o'i ras yn ddibrinder.

Edrychaf o'm cylch, a gwelaf lu diriaid,
Heb rif yn rhyfela yn erbyn fy enaid;
Mae 'r cnawd a'i ddylanwad, mae satan a'i ystryw,
Mae 'r byd a'i wrthddrychau, yn ceisio fy nystryw:
Edrychaf ar Iesu! mae 'n gryfach na 'r cyfan;
Rhydd allan ei allu i achub yr egwan.

Edrychaf ymlaen, a gwelaf farwolaeth
Yn wahan du rhyngof a'r wiw etifeddiaeth;
Y dywell Iorddonen, lle boddodd myrddiynau—
Anturio i'w dyfroedd, rhaid, rhaid fydd i minnau:
Edrychaf ar Iesu! gŵyr Ef am yr afon;
Nes llwyr fyned trwodd fe'm tywys yn ffyddlon.

---

## ECHRYSLONRWYDD RHYFEL.

[*Aceldama; neu Faes y Gwaed. Sef Hanes alaethus o'r Anghyfanedd-dra gresynol sy 'n amgylchu trigfanau rhyfel. Gwedi ei gymeryd allan o ddau lythyr a 'scrifenwyd yn gyntaf yn y iaith Germanaidd (neu Dutch), gan y Parchedig Mr. Sorge yn Shilberg, yn Newmark, ar y* 13*a'r* 14 *o Hydref, yn y flwyddyn* 1758, *at ddau o'i gyfeillion. Wedi ei gyhoeddi yn Saesonaeg gan y Parchedig Mr. George Whitfield. A'i gyfiaethu i'r Gymroaeg gau y Parchedig Mr. Daniel Rowland. Ac ar werth gan y Parchedig Mr. Peter Williams. Argraphwyd yng Nghaerfyrddin, gan Evan Powell, yn y flwyddyn* 1759.]

Nid yn fynych y gwelir y fath gydgyfarfyddiad a hwn—George Whitfield, Daniel Rowland, a Peter Williams. Ac yr oedd y testun yn deilwng o'r dynion. Nid oes dim y dylai gweinidogion yr efengyl godi eu llais yn fwy unfrydol yn ei erbyn na rhyfel; ac ysywaeth y mae yn rhy amlwg fod yr anghenrheidrwydd am hyny heb ddarfod eto. Gallesid meddwl, wrth

ystyried y ddyled anorfod sydd bron llethu y deyrnas hon, y buasai Brydain wedi cael digon ar y gwaith; ond yn lle hyny y mae bob blwyddyn yn ychwanegu ei pharotoadau rhyfelgar, a thrwy wneuthur felly y mae yn annog teyrnasoedd eraill i ymddwyn yn gyffelyb. Fel mewn teuluoedd yn yr un gymydogaeth, os bydd y plant yn y naill wedi cael rhyw ddilledyn newydd, y mae yn rhaid i'r lleill gael yr un peth; felly y mae afradlonedd y naill deyrnas yn cynhyrfu yr un duedd mewn teyrnasoedd eraill. Er fod ein llywodraethwyr yn cadw dynion, er dirfawr gost, fel cenadon drostynt, yn holl brifddinasoedd y byd, dan yr esgus o amddiffyn heddwch; nid ydynt erioed wedi gwneyd cais na chynnyg i ddyfod i gyd-ddealldwriaeth a chydweithrediad heddychol â'u gilydd, er mwyn lleihau y byddinoedd a'r llongau rhyfel o bob ochr. Ond edrychant yn fanwl a fydd llong newydd yn cael ei hadeiladu yn rhywle, ac yna adeiledir dwy ar ei chyfer yn y deyrnas hon. Bydd hyny yn achlysur i'r deyrnas gyntaf wneyd parotoad ychwanegol, yr hyn a effeithia yn ol i beri mwy o draul drachefn yn Mrydain. Ac os dywed Cobden neu Bright ryw air yn y senedd o blaid gostwng y trethi, gwneir pob math o nadau anynad i geisio eu rhwystro. Ac fel hyn y bydd tra y gadewir yr etholiadau dan awdurdod ein pendefigion, a thra y bydd y fyddin yn lloches i'w plant. "Hael yw Hywel ar bwrs y wlad."

Os rhaid i'n pendefigion gael y difyrwch bwystfilaidd o ymladd, onid gwell fyddai iddynt gyttuno ar ryw gynllun fel hyn? Pa bryd bynag y caffont ar eu meddwl ymyryd âg achosion teyrnasoedd eraill, mewn ffordd o ymryson, fod y gwyr mwyaf rhyfelgar yn nau dŷ y senedd, dan lywyddiaeth Esgob Exeter, i gyfarfod â'r un nifer o'r rhai mwyaf urddasol yn y deyrnas wrthwynebol, mewn lle cyfleus; ac yno i ymladd yn ddiarbed nes penderfynu y ddadl. Pa reswm sydd mewn galw ar ddyn diniwed i adael ei wlad a'i deulu, a myned allan i ladd ei gyd-ddynion, y rhai ni wnaethant ddim erioed yn ei erbyn? Dyma filoedd o ddynion, y rhai ni welsant eu gilydd erioed o'r blaen, a'r rhai y bydd eu cyrff yn fuan yn ymgymysgu yn y pridd, yn sefyll ar gyfer eu gilydd, âg arfau dinystr yn eu dwylaw, ac yn amcanu at fywydau eu gilydd, heb un achos ar wyneb y ddaear ond fod ychydig bersonau ymhell oddiyno yn methu cydweled o berthynas i ryw bwnc o anrhydedd dychymygol, neu y meddiant, efallai, o ryw ddarn o graig ddiffrwyth yn nghanol y mor. Pe b'ai y lliaws yn gall, buan y rhoddent derfyn ar ystranciau rhyfelgar eu llywodraethwyr.

Ond ein dyben penaf y tro hwn yw galw sylw at y llyfr sydd yn awr ger ein bron, yr hwn nid yw i gyd ond pedwar-ar-hugain o dudalenau, mewn plyg bychan. Y mae yn ymddangos nad oedd golygydd y "Gwladgarwr" wedi clywed am ei enw, pan yn rhoddi cofrestr o'r hen lyfrau Cymreig yn y cyhoeddiad buddiol hwnw am y flwyddyn 1840; er fod y gofrestr hono yn profi gofal mawr yn y cyfansoddydd, a chydnabyddiaeth fanwl â hen drysorau y Cymry. Pan argraffwyd ef, nid oedd ond rhyfeloedd a son am ryfeloedd. Yn America, yr oedd Lloegr a Ffrainc yn ymladd am Nova Scotia. Yn yr India, yr oedd Clive yn cario y cwbl o'i flaen. Ar y cyfandir, yr oedd Ffrederic Brenin Prwssia, yr hwn a elwir yn gyffredin Ffrederic Fawr, yn ymladd ar unwaith yn erbyn Awstria a Rwssia. Yr oedd Ffrainc hefyd a Sweden yn pleidio ei wrthwynebwyr; ac nid oedd neb yn ei gefnogi ond Lloegr. Dechreuad y rhyfel hwn oedd, i Ffrederic gymeryd meddiant o Silesia, o'r hon wlad y cawsai ei hynafiaid eu difedd-

iannu yn anghyfiawn. Er i Ymherodres Awstria ar ol hyny wneyd cyttundeb cyhoeddus â Ffrederic, yn ol yr hwn yr oedd yn caniatâu iddo ef gadw Silesia, eto gwnaeth yn ebrwydd gynghrair âg Ymherodres Rwssia i adfeddiannu y wlad hono. Ar ol llawer o frwydrau alaethus â'r Awstriaid, y rhai nid oes anghenrheidrwydd i ni eu desgrifio, cyfarfu Ffrederic â byddin y Rwssiaid yn Zorndorff, gerllaw Custrin, y 25ain o Awst, 1758. Ar ol y frwydr hon yr ysgrifenwyd y llythyrau a gynnwysir yn y llyfr sydd dan ein sylw. Wrth roddi hanes rhyfeloedd yn gyffredin, teflir hug dros eu galanasdra, ac ni ddygir dim i'r golwg ond medrusrwydd y cadfridog, a dewrder y milwyr. Rhwng swn y cyflegrau a phrydferthwch mawreddus yr olygfa, yr ydym yn anghofio y trueni annhraethol sydd tu cefn i'r cwbl. Ond arweiniwn ein darllenyddion am ychydig i'r ochr arall i'r llen, fel y gallont weled y drwg yn ei echryslonrwydd. Yr hyn a ganlyn yw tystiolaeth yr ysgrifenydd hwn:—

"Y pymthegfed o Awst, y blaenor Rumantzow, a deuddeng mil o wyr, a ddaethant rhwng Soldin a Shildberg, a thranoeth ei filwyr a ymddygasant yn erwin iawn. Y dydd hwn fu yn ddydd o arswyd i ni. Yn foreu iawn, am dri ar y gloch, *hussars* y Rwssiaid a ymddangosasant yn y ddinas hon, i ddarparu lluniaeth iddynt eu hunain ac ebran i'w meirch; ac a'n cymhellasant trwy drais i roddi iddynt lawnder o fwyd a *brandi.* Pan ddigonwyd ugain o honynt, daeth deg-ar-hugain yn eu lle, ac arosasant hyd ddau o'r gloch prydnawn, pan nad oedd damaid o fara wedi ei adael yn yr holl dref; am hyny gorfu arnom bobi yn y nos, nid i ni ein hunain, ond rhag i'r Gwangcgwn yma ddyfod drachefn y boreu nesaf. Tri o'r *hussars* a ddaethant i'm stafell, dau yn cadw 'r drws, a'r trydydd yn cymeryd a fynai. Gofynais iddo, *pwy roddodd awdurdod i wneuthur felly?* Atebodd *mai ei ffrewyll oedd ei awdurdod.* Gofynodd am arian, minnau a'i naceais; ar hyn efe ymaflodd ynof fi, minnau a'i gwthiais (yn ddifwriad) i'r llawr; yn awr y tri a gwympasant arnaf, ac a'm tynasant yn aniben i lawr, a gymerasant fy arian trwy drais, ac a'm curasant mor erwin, na allaswn gerdded yn union dros yspaid chwe' diwrnod. Un hugan a adawsant i mi; ac myfi yw y dyn tylotaf yn yr holl Dref. Yna aethant ymaith. Eu hamcan oedd yspeilio 'r holl Dref, ond mi anturiais trwy boen dirfawr i fyned i letty ein milwyr ni i ddeisyf cael nodded, yr hyn hefyd a gawsom.

Mewn lleoedd eraill, yr *hussars* yma a ymddygasant eto yn fwy anifeilaidd.—Yn *Zernikow,* milltir a hanner oddi yma, dystrywiasant yr orsedd benaf, ac er i Lywydd y lle roddi iddynt yr hyn oll a fynent, curasant y Llywydd, y Goruchwyliwr, a'r Cogydd yn y fath fodd fileinig, fel gan ofn ac ing neidiasant i gwch tyllog, yr hwn a soddodd mewn ychydig o oriau, fel y boddasant hwy yn dosturus.—Yn *Liebenfelde,* llosgasant yr holl ysguboriau.—Yn *Kerkan,* fy mhlwyf i, cymerasant oddiwrth Ustus heddwch dri choffred o liain, ac ugain darn o arian, ac ymhlith pethau eraill cwpan arian y cymmun. Yr Ustus heddwch a aeth at yr Iarll *Rumantzow,* a deisyfodd arno fynu 'r Cwppan yn ol, canys gwyddai yn dda pwy a'i cymmerodd, eithr fe attebodd, Nid oes achos; nid rhaid wrth gwpanau arian mewn Eglwysi gwladaidd.

Yr unfed-ar-bymtheg o'r Mis, y Gwylltfilod hyn a symudasant oddi yma i *Schwedt,* ac a wnaethant y creulondeb mwyaf dieflig ymhob lle y daethant, fel nas gall un yn awr weled dim amgen na'r Dinasoedd llawnaf, a'r trigolion cyfoethocaf, wedi eu dwyn i'r tylodi mwyaf.

*Zeithen, Zollen, Dertz,* a ddinystrwyd yn gyfan. Yn y cyntaf o'r Trefi hyn, torasant welyau plu, ac â'r plu yn gymmysg â Llaeth crai a sur, Haidd, Ceirch, Blawd-ceirch, y gwnaethant Bastai i'r moch; a phan ddaethant i fwyta torasant eu penau, a gadawsant i orwedd yn eu gwaed. Anrheithwyd a llwyr ddifethwyd yr Eglwys lanaf yn yr holl amgylchoedd, briwiasant y cadeiriau a'r meinciau 'n chwilfryw; halogasant y gadair ymadrodd a'r allor; agorasant Feddau a choffiniau, a gwasgarasant esgyrn y meirw; yn fyr, sicr wyf nad yw can pin 'scrifenu yn ddigon i fynegu 'r ffieidd-dra wnaeth y fyddin hon. Mae genyf Dystion digonol i'r Rwssiaid ddywedyd (Gwadent hwy os gallent) 'Gweddiwch ar i ni orchfygu eich Etholwr, brenin Prwssia, onide ni a wnawn yn waeth eto: nid arbedwn y Plentyn ynghroth ei fam.'

Yn y cyfamser, yr uchelswyddog, *Fermer,* a warchaeodd ar Custrin; a chydag ef ddeng-mil-a-thriugain o wyr. Gwnaeth blaenor yr amddiffynfa hono fai mawr, trwy

beidio llosgi 'r Tai tu allan i'r caerau cyn i'r gelynion amgylchynu 'r dre'; canys *Fermer* a gyfododd Gurfanau wrth gefn y Teiau mawrion.—Ar y pymthegfed Dydd o'r Mis, yn y boreu, y taflodd efe allan o dair o honynt rifedi mawr o Belau tanllyd i'r amddiffynfa, yr hon a losgwyd yn ulw cyn naw o'r gloch; llawer o'r bobl gyfoethocaf a gollasant y cwbl, ac a ddycpwyd i drueni; trwy'r ddamwain annedwydd hon myfi a gollais y cwbl. Ond nis gallaf feddwl am fy hen rieni druain, heb y galar mwyaf, a gofid calon: ni achubasant ddim, dim yn y byd, canys syrthiodd dwy bellen danllyd ar eu tŷ yn olynol, fel braidd y cawsant amser i ddwyn fy mam o'r fflamiau, yr hon oedd yn cadw ei gwely er ys tair blynedd. Rhaid i'm rhieni druain orwedd yn awr ddydd a nos ar wellt mewn ogof dywell, yn fawr eu newyn a'u hanwyd; a'm gofid mwya' yw nas gallaf eu cynnorthwyo. Dygpwyd oddiarnaf bob peth, fy llieiniau a'm dillad, a dau cant o ddarnau arian: ni feddaf ond un hugan lom a dau grys yn y byd. Y trigolion eraill druain ydynt wasgaredig ar hyd y gwrthgloddiau mewn trueni mawr. Ond o'r diwedd, Duw a dosturiodd wrthym, ac a ddanfonodd atom ein *brenin*, yr hwn a ddaeth yr holl nos o'r pedwerydd ar ugain i'r pumed ar ugain o Awst, a chydag ef lu o ddeugain o filoedd. Ei holl wyr oeddynt lwyr flinedig gan eu taith, ac yn barod i syrthio i'r ddaear; ond pan welsant y gelyn yn agos i Zorndorff, a'r holl drefi oddiamgylch yn fflamio, yna nid oedd ond un yspryd yn bywiogi yr holl lu; yr oeddynt yn ennyn gyda 'r awch mwyaf i ymddial ar eu gelynion gerwin; ac yr oedd gruddfanau a gweddïau y gorthrymedig o'u hochr. Yn y boreu, hanner awr wedi wyth o'r gloch, ni glywsom Drystiau dychrynllyd gan arfau Tan; yr oedd y tai ugain milltir oddi yno yn crynu, a rhyw Hysmon a fanegodd i ni iddo ef weled y Brenin ddöe a'i holl lu. Ar hyn fy nghyd-drigolion a ddymunasant roi awr heibio i weddi: ni anghofiaf yr Odfa yn fy myw; pawb a gwympasant ar eu gliniau; ein Plant, ïe, o dair blwydd oed, a amgylchasant yr allor, ac a wylasant yn chwerw-dost gyda 'r hen bobl. Pan welais y plant, fe'm cynhyrfwyd gymmaint fel nas gallwn weddio gair dros rai mynydau; ïe, hen bobl gleifion a ddymunasant gael eu dwyn i'r eglwys: mor hawddgar oedd Ty Dduw y pryd hyn! Parhaisom mewn gweddi dros Awr a hanner, hyd ddeuddeg o'r Gloch; ac am un peidiodd y twrf. Minnau aethum ar draed i *Soldin* yn llawn gofid i gael gwybod pwy ennillodd y Dydd—tua 'r hwyr dyma saith cant o ffoaduriaid *Rwssia* ar un waith yn dyfod i *Soldin*—golwg resynol yn wir! Rhai yn codi dwylaw, yn tyngu a rhegu, eraill yn ymswyno ac yn canmol Brenin *Prwssia;* heb hetiau, heb ddillad, â'u gwallt o bobtu eu llygaid; rhai ar draed, eraill dau ar un ceffyl; eu penau a'u breichiau gwedi eu rhwymo â napcynau; rhai yn glynu wrth y gwartholion, eraill yn nghynffonau 'r meirch,—felly daethant i gyd i'r Ddinas, ac yn eu plith *Charles* Tywysog *Saxoni*, (y Ffaglwr hwnw ag oedd â llaw fawr ganddo yn llosgiad *Custrin* a *Zittau*); Tywysog *Dontleben* o *Saxoni;* a Thywysog St. Andrew o *Awstria;* heb ddim o'u holl ddodrefn perthynasol i'r gwersyll.

Am dri o'r gloch boreu y chweched dydd ar hugain, aethant allan o'r ddinas ar ffrwst gan gyfeirio tua Lansberg. Anrheithiasant yr holl bentrefi yr aethant trwyddynt; a'r gweinidogion Mr. Weinholt, o Burgge, a Mr. Smidt, o Nouenbourgh, a driniwyd yn flin. Yr oedd trwst a swn y rhyfel mor groch y diwrnod hwnw ag o'r blaen; ond ymhen pedair awr ar hugain ennillwyd y frwydr, a chyhoeddwyd buddugoliaeth ymysg lluoedd Prwssia. Fermer, blaenor y Rwssiaid, a giliodd i Lansberg, wedi iddo anrheithio yr holl wlad oddiamgylch, fel nad adwaener hi mwyach. Mewn ugain o bentrefi nid oes na dyn nac anifail, na dim ond anghyfanedd-dra gresyn;—teiau wedi eu bwrw i lawr, eglwysi wedi eu distrywio, ysguboriau wedi eu tori i lawr, a'r tir yn anial; Duw yn unig a wyr a adeiledir ac a drinir hwy byth; a'r trigolion mewn rhan a lysgwyd ymaith, ac mewn rhan a ddihenyddwyd.—Y chweched dydd ar ugain, am unarddeg o'r gloch, mi anturiais i fyned fy hun i'r lle bu yr ymladdfa; ac wedi i mi gerdded ynghylch deng milltir, march un o'r Cossacks a ddaeth i'm cyfarfod mewn brys mawr: myfi a'i deliais ac a'i marchogais, gan gyfeirio at swn y *cannon* a glywn o'm blaen: ond gallai un feddwl fod holl drueni bywyd dyn wedi cyfarfod yma ynghyd; canys saith milltir tu yma i faes y gwaed gwelais y meirw a'r clwyfus yn gorwedd ar y ddaear wedi eu tori yn druenus; a pha bellaf yr awn, mwyaf i gyd a welwn o'r creaduriaid truain yn gorwedd yn garneddau! nid anghofiaf byth o'r olwg—Y *Cossacks* archolledig, pan i'm gwelsant, a waeddasant, "Oh! weinidog anwyl, Dwfr, Dwfr! Dwfr!" Duw cyfiawn! pa fath olwg ydoedd! gwyr a gwragedd, plant, Rwssiaid, Prwssiaid, meirch, ychain, menni, cistiau powdwr, a phob celfi perthynol i ryfel, i gyd yn gorwedd yn un garnedd i uwchder dyn; saith o'r pentrefi mwyaf hardd a chyfoethog yn yr holl ardaloedd, i gyd ar dân, a'r trigolion naill ai wedi eu darnio neu wedi eu taflu i'r fflamau—a'r archolledig truain, ar hyd maes y gwaed, yn parhau i saethu

at eu gilydd gyda'r soriant mwyaf, ac yr oeddwn mewn perygl mawr am fy mywyd yn eu plith.

Maes y gwaed ydoedd wastadedd hyfryd, ynghylch dwy filltir a hanner o hyd, ac i gyd oll wedi ei orchuddio â'r meirw a'r archolledig, fel nad oedd le i mi osod fy nhroed i lawr heb sangu ar rai o honynt. Gwelais lawer o nentydd wedi eu llanw i fynu gan y *Rwssiaid* meirwon. Gallaf yn gywir ddywedyd eu crugio ar gefn eu gilydd i uchder dau ddyn; ac yn ymddangos fel bryniau ar dir gwastad. Prin y dadebrodd fy ysprydoedd oddiwrth y braw a gefais gan eirad grochlef y rhai oedd yn trengu yn eu gwaed. Swyddwr ardderchog o *Brwssia*, yr hwn a gollodd ei ddwy glun, a lefodd arnaf, "Syr, offeiriad ydych, ac yn pregethu trugaredd; attolwg, dangoswch drugaredd i mi; dygwch ymaith fy mywyd poenus ar unwaith." Hyn a gyffyrddodd yn ddwys â'm calon, a gyrais ymaith mor gynted ag y medrwn; ond nid yn ddiberygl, canys yr holl ffordd cyfarfum â rhai o'r *Cossacks* archolledig: pa fodd bynag ni wnaethant i mi niwed.—Y *Rwssiaid* eu hunain a'm haddefant yn eirwir, os cyfrifaf eu colled yn ugain mil o laddedigion, ac un fil ar bymtheg o archolledig. - Nid yw ein colled ni yn y cwbl, dros naw mil. Tân y *cannon* a wnaeth y lladdfa fwyaf; yr oeddynt yn gollwng megys un daran, yn ddigyfrwng, dros bedair awr. Bu y brenin yn y peryglon gwaethaf: gwelwyd ef yn marchogaeth i fynu ac i wared yn gyson rhwng y ddau dân, tra parhaodd y frwydr, i gefnogi ei wyr. Mae ei elynion yn dychrynu wrth yr olwg arno; maent yn brawychu pan glywont ei enwi. Mor ebrwydd gall y Goruchaf Dduw ddarostwng y balch. Cyn y frwydr, swyddogion *Rwssia* a ddywedent, 'Nid oes gan eich etholwr (*nid brenin mwyach,*) ond pedair mil ar ddeg o wyr; ac ni a'u bwytawn mewn un boreu, ac ni a'i darostyngwn ef mor isel, fel yr edrych arno yn anrhydedd gael bod yn lleiaf o swyddogion ein brenines; gweddïwch drosom, ar i ni gael y fuddugoliaeth, ac onide, nis dianc un dyn trwy holl *Newmark* rhag ein cleddyf ni.' Ond yn awr, pwy nas gwel fel y darostyngodd Duw y bobl hyn, ac a ddiddymodd fwriadau eu calonau? ac o herwydd y gwaith mawr hwn o eiddo Duw, yr ydym mor ddyddanus, fel yr anghofiasom yr holl ddrygfyd a welsom. Yr ydoedd yn ddigon agos o fuddugoliaeth i bob deiliad cywir, glywed ar ol y frwydr, swyddogion *Rwssia* yn gwaeddi allan, "O! pa fath frenin mawr yw Brenin *Prwssia!* Fe ddystrywiodd ein holl luoedd." *I Frenin y breninoedd y bo'r gogoniant.* Amen."

"Rho iddo nerth, O Dduw galluog,
Rhagflaena yrfa ei elyn arfog;
Dy ffyddlon Gyrus fyth y fytho;
Dy air a'i nertha, glyned wrtho."

---

# YR OLYNIAETH APOSTOLAIDD.

Buom yn hir mewn ammheuaeth ynghylch yr anghenrheidrwydd am ddwyn ein testun presennol dan sylw ein darllenwyr mewn modd mwy arbenig nag y gwnaethom rai prydiau eisoes.[1] Yr ydym yn addef yn rhwydd y buasai yn llawer mwy dymunol genym allu peidio. Nid hyfrydwch i ni yw dynoethi neb. Nid oes dim adgasach genym na phob peth tebyg i anghydfod â'n cymydogion; ac eto yr ydym braidd yn ofni, wrth ymaflyd yn y pwnc hwn, rhag nas gallwn ei drafod, fel ag yr ydym ni yn teimlo y dylid gwneyd, heb archolli rhywrai. Buasai, gan hyny, yn llawer gwell genym pe gallasem ei ysgoi. Ond dybygid fod amgylchiadau ein gwlad y dyddiau hyn yn gyfryw ag sydd yn galw arnom, mewn amddiffyniad i gymeriad a bywyd gweinidogaeth yr efengyl yn ein plith fel Ymneillduwyr, sylwi arno. Ffordd dra rhagorol ein hen dadau oedd yr hen ffordd dda apostolaidd—nid eu pregethu eu hunain, ond Crist Iesu yr Arglwydd; canmawl

[1] Gwel "Traethodydd." Llyfr i. tudal. 204—206, a 285—288.

eu Meistr, a'u cuddio eu hunain; cyfodi y groes a chymhell pechaduriaid ati, heb ryw lawer o drwst ynghylch eu hawdurdod i hyny. Dyma y dull a lwyddodd yn Nghymru i lenwi y wlad o'r naill gŵr i'r llall âg addoldai, ac i wneyd y genedl, ni a feiddiwn haeru, ar y cyfan, yn un o'r rhai goleuaf mewn gwybodaeth ysgrythyrol, a rhagoraf ei moesau yn yr holl fyd. Dymunem gymhell ein brodyr gweinidogaethol, o bob enwad yn ein plith, i gadw at y dull hwn; i beidio a chymeryd eu hudo gan un ystryw o eiddo gelyn mawr eneidiau dynion, i'w adael; i ofalu, er holl bwys cadwedigaeth eu gwrandawwyr, am gadw Crist a'i groes, fel y mae yn destun mawr yr efengyl, yn destun mawr eu pregethau; ac na byddo i ddim, ond anghenrheidrwydd hollol, eu harwain i siarad ond can leied ag a allont am danynt eu hunain. Na wawried y dydd byth ar Gymru y byddo tôn arall ar y pregethu o'i mewn. Yr un pryd, y mae yn amlwg wrth lythyrau Paul at y Corinthiaid, y dichon amgylchiadau gyfodi, ag a osodo y rhai mwyaf eiddigus dros ogoniant eu Meistr dan fath o orfodaeth i gymeryd arnynt y gorchwyl anhawddgar o'u hamddiffyn eu hunain. Os nad ydym yn camgymeryd, yr ydym ni yn awr yn yr amgylchiadau hyny. Y mae nifer mawr, ac y mae yn ddrwg genym eu bod yn cynnyddu beunydd, o weinidogion yr Eglwys Wladol, wrth weled nad ydynt yn tycio trwy un moddion arall i gael y bobl o'r capeli, a lle na feiddiant wadu cymhwysderau naturiol a grasol gweinidogion heb urddiad esgobawl, yn awr, wedi cymeryd yn orchwyl iddynt, yn ddirgel o dŷ i dŷ, ac yn gyhoeddus o'u pulpudau, i haeru nad oes ganddynt un awdurdod i'w gwaith; eu bod wedi rhedeg heb eu hanfon; eu bod heb yr hyn, pa beth bynag arall sy ganddynt, a allai eu cymhwyso a'u hawdurdodi i'r swydd,—YR OLYNIAETH APOSTOLAIDD. Y mae hyn yn cael ei gyhoeddi mor aml, ac mor benderfynol, a chan rai ag y gallesid dysgwyl, wrth y manteision a gawsant, eu bod yn gwybod cryn lawer, ac o ran eu sefyllfaoedd, yn gyffredin, yn gyfryw ag sydd yn rhoddi iddynt, oni b'ai fod rhyw beth arall yn ei wrthweithio, fwy o ddylanwad, yn enwedig ar ddyliaid, nag a fedd odid un o weinidogion yr Ymneillduwyr, fel ag yr ydym yn teimlo, y dylem, o barch iddynt hwy, pe na byddai genym ddim gofal am danom ein hunain, wneyd rhyw sylw arno. A dyma y gorchwyl yr ydym yn awr wedi ei dori allan i ni ein hunain. Yr ydym yn amcanu profi nad oes y fath beth yn bod a'r dychymyg y maent hwy yn dadleu drosto; ac os ydyw olyniaeth apostolaidd, yn eu hystyr hwy, yn hanfodol i weinidogaeth yr efengyl, nad ydynt hwy eu hunain, ac iddynt hwy fod yn farnwyr, ond gweinidogion diawdurdod.

Dymunem i'r darllenydd sylwi, mai nid yn erbyn *olyniad gweinidogaethol* yr ydym yn dadleu: sef bod i'r sawl a ymgymeront â'r gwaith o bregethu yr efengyl, a gweinyddu yr ordinhadau a sefydlodd Mab Duw yn ei eglwys, gael eu neillduo i'r swydd, gan rai eisoes ynddi, yn y dull a ymddangoso iddynt hwy yn fwyaf unol â meddwl Iesu Grist. Yr ydym yn credu fod hyn, fel rheol gyffredin, yn anghenrheidiol, er mwyn cadw at y cynghor apostolaidd, o wneuthur pob peth yn weddus ac mewn trefn yn eglwysi y saint. *Fel rheol gyffredin*, sylwer: oblegid yr ydym yn hollol yr un feddwl a Luther ar hyn, pan y dywedai, "Pe byddai i nifer o aelodau cyffredin yr eglwys, ac yn ddynion duwiol, wedi eu halltudio i rywle anghysbell, ac heb ganddynt yn eu plith yr un gweinidog wedi cael urddau rheolaidd, gyttuno i ddewis un o'u rhifedi, naill ai wedi ai heb briodi, i

wasanaethu iddynt mewn pethau sanctaidd, byddai y dyn hwnw yn weinidog mor wirioneddol a phe buasai wedi ei gysegru gan holl esgobion y byd."[1] Ni byddai hyn, dybygem, dan yr amgylchiadau a dybir yma, ond ymddygiad hollol gyson â'r gweddeidd-dra priodol i eglwysi y saint; pryd y byddai, dan amgylchiadau cyffredin, dybygem ni, yr un mor anghyson.

Nid yn erbyn *esgobyddiaeth* ychwaith, fel y cyfryw, yr ydym yn awr yn dadleu. Od oes rhywrai, fel yr oedd y diwygwyr cyntaf, a'u canlynwyr uniongyrchol yn Eglwys Loegr, ac y mae lliaws, yr ydym yn credu, o'i haelodau goreu y dydd hwn, yn methu gweled fod Iesu Grist wedi sefydlu yr un cynllun neillduol i'w ddilyn gan ei eglwys, yn mhob oes, a gwlad, a than bob amgylchiadau, ac yn golygu, yn gydwybodol, fod y ffurf esgobawl yn fwy manteisiol i amcanion Cristionogaeth, ac yn nes, ar y cyfan, nag yr un arall i'r ffurf apostolaidd, pa mor wahanol a phenderfynol bynag yn ein gwahaniaeth, y gallem fod yn ein golygiadau iddynt, nid ydym yn amcanu yn ein hysgrif bresennol, ormesu dim ar eu rhyddid.

Yr hyn yr ydym ni yn amcanu ymosod i'w erbyn, a'r hyn y mae cymaint ag sydd genym o barch i weinidogaeth yr efengyl, fel y mae yn gyffredin yn ein plith, yn ein rhwymo i'w wrthwynebu â'n holl egni, ydyw y golygiad hwnw sydd ganddynt hwy ar olyniaeth apostolaidd; ac y mae y golygiad hwnw, dybygem, yn cael ei wneyd i fynu o'r pethau canlynol:—

I. Fod esgob, yn ystyr bresennol y gair, yn ol gosodiad dwyfol, yn swyddog o radd uwch yn yr Eglwys Gristionogol na henuriad neu weinidog cyffredin yr efengyl; hyny ydyw, y mae yn olynwr i'r apostolion, ac yn sefyll yn yr un berthynas â gweinidogion eraill, ag yr oedd yr apostolion, ar ddechreuad Cristionogaeth, i'r deg-dysgybl-a-thriugain a anfonwyd gan Iesu Grist, ac i'r henuriaid a ordeinid ar bob eglwys.

II. Mai gan esgobion, yn ystyr bresennol y gair eto, yn unig, y mae hawl i neillduo eraill i wasanaeth cyffredin yr efengyl; ac nad oes neb yn weinidog cymhwys ac awdurdodedig y Testament Newydd, oddieithr ei ei fod wedi derbyn yr hawl trwy ddodiad dwylaw rhyw esgob arno.

III. Fod yr olyniaeth hwn wedi ei gadw yn ddifwlch yn yr eglwys, o oes i oes, o ddyddiau yr apostolion hyd y pryd hwn; fel nas gall fod dim petrusder yn meddwl neb a gafodd urddiad esgobawl, ynghylch ei berthynas â'r apostolion; a phe dygwyddai, ryw bryd, i'r olyniaeth golli, na byddai gan yr eglwys mewn amgylchiad aethus felly, ond aros nes cael dadguddiad newydd.

Dyma, dybygem ni, grynodeb cywir o athrawiaeth yr olyniaeth apostolaidd, fel y mae yn cael ei dysgu yn y deyrnas hon, gan filoedd o athrawon y genedl, y dyddiau hyn. Mae y darllenydd yn gweled ar unwaith, ei bod yn amcanu esgymuno allan o gylch yr Eglwys Gristionogol, holl Brotestaniaid y byd, oddigerth y rhai hyny o honynt sydd yn ymhòni perthynas â'r apostolion trwy ryw gysylltiad âg Eglwys Rhufain; a'i bod hefyd yn cyfyngu yr oll o wir Gristionogaeth y byd i'r eglwys hono a'i changenau, oddieithr i Eglwys Groeg, a rhai o'r eglwysi dwyreiniol, allu ymgystadlu â hwynt. Mae yr holl athrawiaeth ar y pwnc, o anghenrheidrwydd, yn cynnwys hyn; oblegid nid oes gan y nifer fwyaf o'r eglwysi

[1] *Cited with approbation, by Archbishop Whately:—"Kingdom of Christ Delineated." Note N.* Tudal. 339. Pedwerydd argraffiad. 1845. *Quoted also by Dr. Merle D' Aubigne:—"History of the Reformation."* Cyf. ii. tudal. 97. *Oliver & Boyd's Edition.* 1846.

Protestanaidd *eraill* ddim tebyg i ffurf esgobawl, ac nid yw y rhai o honynt y mae ffurf felly ganddynt yn gwneyd un ymhòniad am gysylltiad â'r apostolion o'r fath ag y dadleuir yma drosto, nac yn edrych ar yr hwn a alwant yn esgob, ond fel un o'r un radd a'i frodyr, yn unig ei fod wedi ei ddyrchafu, o barch i'w dduwioldeb, ei oed, a'i dalentau, i ofal mwy.

Ond hollol wahanol i hyn ydyw yr hòniadau a wneir gan bleidwyr yr athrawiaeth hon. Y mae yr esgobion ganddynt hwy yn lle yr apostolion, a pha ufudd-dod bynag a fuasai yn ddyledus i'r apostolion, yn ddyledus iddynt hwythau. Ond gadawn iddynt gael llefaru ychydig drostynt eu hunain, rhag dywedyd o neb ein bod yn eu camddarlunio. "Yr ydwyf yn ofni ein bod wedi esgeuluso y wir sail y mae ein hawdurdod wedi ei hadeiladu arni,—EIN HOLYNIAETH APOSTOLAIDD. Yr ydym wedi ein geni, nid o waed, nac o ewyllys y cnawd, nac o ewyllys gwr, ond o Dduw. Rhoddodd yr Arglwydd Iesu Grist ei Ysbryd i'w apostolion; dodasant hwythau eu dwylaw ar y rhai a'u dilynent; a'r rhai hyny drachefn ar eraill; ac felly y mae y ddawn nefol wedi ei dwyn i'n hesgobion presennol, y rhai a'n neillduasant ni yn gynnorthwywyr, ac mewn rhyw ystyr yn gynnrychiolwyr iddynt."[1] Eto: "Am lawer o flynyddoedd yr ydym wedi arfer gorphwys ein hawl ar y dyledswyddau cyffredin o ymostyngiad i awdurdod, gweddeidd-dra, a threfn, parch i arferion wedi eu hir sefydlu; yn lle cyfeirio at yr hawl hono, sydd yn ein nodi ni allan, *a ni yn unig* yn GENADON DUW."[2] Eto: "Paham y siaradwn gymaint am *sefydliad gwladol*, a chan leied am OLYNIAETH APOSTOLAIDD? Paham nad ymdrechwn yn ddifrifol argraffu ar feddyliau ein pobl y gwirionedd eglur hwn;—eu bod wrth ymwahanu o'n cymundeb ni, yn ymwahanu, nid yn unig oddiwrth gymdeithas weddaidd, drefnus, fuddiol, ond oddiwrth *yr unig eglwys yn y deyrnas hon sydd â hawl ganddi i fod yn eithaf sicr fod corff yr Arglwydd ganddi i'w roddi i'w bobl.*"[3] Eto: "Gellir gofyn, *Pwy* y pryd hwn ydyw olynwyr a disgynyddion ysbrydol yr apostolion? Efallai y synaf rai pobl â'r atebiad a roddaf, er ei fod yn dra eglur ac nad oes ammheuaeth yn ei gylch;—YR ESGOBION. Y maent yn sefyll yn lle yr apostolion o ran llywodraethu; a pha beth bynag a ddylasem ei wneuthur pe buasem byw pan oedd yr apostolion yn fyw, dylem wneuthur yr un peth i'r esgobion. Y mae yr hwn sydd yn eu dirmygu hwynt yn dirmygu yr apostolion."[4] Eto: "Geill dyn heb awdurdodiad esgob arfer geiriau bedydd, a thywallt dwfr ar un, neu ei drochi mewn dwfr, *ar y ddaear*, ond nid oes yr un addewid oddiwrth GRIST, y geill dyn felly ollwng eneidiau i *deyrnas nefoedd*. Geill dyn heb ei awdurdodi dori bara a thywallt gwin, a chymeryd arno (*pretend*) roddi Swper yr Arglwydd; ond nis gall derbyn o law y cyfryw gynnyrchu un cysur i neb, oblegid nid oes dim sicrwydd oddiwrth GRIST, i arwain cymunwyr i dybied y byddant, pan y gwnelo efe hyny *ar y ddaear*, yn gyfranogion yn nghorff a gwaed *nefol* y GWAREDWR. Ac am y dyn ei hunan, a gymero arno, heb yr un hawl, weinyddu mewn pethau sanctaidd, y mae yr holl amser hwn yn sathru llwybrau Corah, Dathan, ac Abiram, cosbedigaeth ddychrynllyd y rhai y darllenwch am dani yn llyfr Numeri."[5] Eto: "Dysgwch gan hyny werthfawrogi y fendith a roddodd Duw i chwi,

[1] "*Tracts for the Times.*" Rhif. i. tudal. 2. [2] "*Tracts.*" Rhif. iv. tudal. 1.
[3] "*Tracts.*" Rhif. iv. tudal. 5. [4] "*Tracts.*" Rhif. x. tudal. 3.
[5] "*Tracts.*" Rhif. xxxv. tudal. 3.

trwy roddi arnoch fugeiliaid wedi derbyn yr awdurdodiad hwn. *Nid ydyw athrawon yr Ymneillduwyr yn ei feddiannu.*"[1]

Dyma gynllun lled gywir ger bron ein darllenwyr o'r golygiadau y dymunem alw eu sylw atynt. Gallwn feddwl fod hyn yn *ddigon*, onide byddai yn hawdd i ni eu lliosogi yn ddeg cymaint.

Yn ngwyneb honiadau uchel fel hyn,—honiadau sydd yn dwyn canlyniadau mor bwysig, os ydynt yn wirionedd, â chadwedigaeth eneidiau dynion, un o'r pethau cyntaf sydd yn taro ein meddyliau ni ydyw, y dylai y *prawf* drostynt fod yn eglur ac yn benderfynol, y fath ag na byddo dim lle i ammheuaeth yn ei gylch. Ni ddylai yr un prawf llai ein boddloni na'r prawf sy genym o wirionedd yr efengyl ei hunan; oblegid y maent yn dal perthynas âg effeithioldeb yr efengyl a'i gwerth i bechadur. Y mae yr ymhonwyr hyn eu hunain, weithiau, yn addef yr anghenrheidrwydd hwn: "Eu hegwyddor," medd yr ysgrifenydd, wrth son am dadau y brif eglwys, esgobion a henuriaid y pum canrif cyntaf, "eu hegwyddor, yn fyr, oedd hyn:— Fod y wledd sanctaidd ar aberth y Gwaredwr, yr hon a addefir gan bawb yn 'anghenrheidiol yn gyffredin er iachawdwriaeth,' wedi ei fwriadu ganddo i'w drosglwyddo yn gyson trwy ddwylaw personau awdurdodedig. Oddieithr, gan hyny, y gallwn ni ddangos y fath hawl, nis gallwn fod yn sicr fod ein dwylaw ni yn trosglwyddo yr aberth; nis gallwn fod yn sicr fod eneidiau, er y byddont wedi eu parotoi yn deilwng, pan yn derbyn y bara yr ydym yn ei dori, a chwpan y fendith yr hon a fendigwn, yn gyfranogion o gorff a gwaed Crist."[2]

At y prawf, gan hyny, gadewch i ni ddyfod, gyda meddwl eithaf rhydd i dderbyn argyhoeddiad, os try allan yn gyfryw ag y dylid ymostwng iddo. Ni a ddechreuwn gyda y gosodiad cyntaf a nodasom uchod a gynnwysir yn y golygiad hwn:—

I. Fod esgob, yn ol gosodiad dwyfol, yn swyddog o radd uwch yn yr eglwys na henuriad neu weinidog cyffredin yr efengyl;—yn olynwr i'r apostolion, ac yn sefyll yn yr un berthynas â gweinidogion eraill ag yr oedd yr apostolion ar ddechreuad Cristionogaeth, i'r henuriaid a ordeinid ganddynt yn mhob eglwys.

Os nad yw hwn yn wirionedd, nid yw y cwbl o'r trefniant ond dychymyg. Dyma y sylfaen y mae yr holl adeilad yn gorwedd arno. Chwaler hwn, ac y mae y cyfan ar unwaith yn syrthio. Y mae yr haeriad yn cael ei wneyd mor fynych ac mor benderfynol, fel pe na byddai dim dadl, na lle i ddadl yn ei gylch. Ond pa le y mae y prawf drosto? A chan yr hônir hawl ddwyfol, dyger awdurdod ddwyfol. A oes rhyw ran o'r Testament Newydd yn dysgu hyn? A oes yno ryw awgrymiad am y fath beth? Ein meddwl penderfynol ni yw nad oes: mai y ddysgeidiaeth amlwg yno yw, nad ydyw esgob a henuriad ond *enwau gwahanol* ar yr *un* swyddog. Y mae ein prawf cyntaf dros hyn yn Llyfr Actau yr Apostolion, xx. 17, 18, 28. Yma y mae yr hanesydd yn hysbysu i ni ddarfod i'r Apostol Paul, pan yn dyfod heibio i Miletus, ar ei daith i Jerusalem, anfon oddiyno i Ephesus, a galw ato *henuriaid* yr eglwys. Wedi eu cael ger ei fron, fe draddododd iddynt un o'r anerchiadau mwyaf dwys a serchiadol a draddodwyd erioed. Ymhlith pethau eraill, dywedodd, "Edrychwch, gan hyny, arnoch eich hunain, ac ar yr holl braidd, ar yr hwn y gosododd yr Ysbryd Glan chwi yn *olygwyr*, i fugeilio eglwys Dduw, yr hon a bwrcasodd efe â'i briod waed."

[1] "*Tracts.*" Rhif. xxxv. tudal. 4. [2] "*Tracts.*" Rhif. iv. tudal. 2.

Hwyrach y dylem, er mwyn rhai o'n darllenwyr, hysbysu mai yr un gair a gyfieithir yma yn *olygwyr* ag a gyfieithir yn gyffredin yn *esgobion*. Y gair arferol am hyny ydyw. Dyma brawf, dybygem ni, mor amlwg a phenderfynol ag a all geiriau roddi, mai yr un personau oedd yr esgobion a'r henuriaid hyn. Y mae mor amlwg hefyd, nad esgobion yn ystyr bresennol y gair oeddynt; oblegid yr oeddynt oll yn perthyn i Eglwys Ephesus, ac fe ŵyr ein darllenwyr oll, bod mwy nag un esgob, yn yr un cylch, yn troseddu un o ddeddfau cyntaf y drefn esgobawl.

Eto. Y mae *Titus* i. 5, 6, 7, yn cynnwys prawf pendant o'r un peth. "Er mwyn hyn y'th adewais yn Creta, fel yr iawn drefnit y pethau sydd yn ol, ac y gosodit *henuriaid yn mhob dinas*, megys yr ordeiniais i ti. Os yw neb yn ddiargyhoedd, yn wr un wraig, a chanddo blant ffyddlawn, heb gael y gair o fod yn afradlawn, neu yn anufudd: canys rhaid i *esgob* fod yn ddiargyhoedd, fel goruchwyliwr Duw," &c. Nid ydym ni yn gweled yr un ffordd i ochel y casgliad oddiwrth yr adnodau hyn, mai yr un swyddog oedd yn ngolwg yr apostol wrth son am henuriaid yn y bummed adnod, ag am esgob yn y seithfed adnod. Pa beth allasai ei gymhell i ddynodi cymhwysderau hanfodol *esgob* wrth son am osod *henuriaid* yn mhob dinas, a chyfarwyddo Titus ynghylch eu hordeiniad, os nad ydoedd y naill a'r llall yn sefyll, yn ei feddwl ef, am yr un peth? Y mae hyn yn disgyn yn drymach ar y rhai sydd yn dadleu eu bod yn swyddogion gwahanol, a bod esgob o radd uwch na henuriad, yn gymaint ag nad ydyw yr apostol yn disgyn yn ei wrthddrych, ond, yn ol eu golygiad hwy, yn esgyn. Pe buasai yn dywedyd fod pwys mawr mewn cael y cymhwysderau a nodasai ynddynt, yn gymaint a bod "rhaid" am danynt mewn swyddogion *îs*, fe fuasai yn ymddangos yn naturiol felly fod anghenrheidrwydd am danynt mewn rhai uwch; ond yma, yn ol eu hòniadau hwy, y mae eisieu rhyw gymhwysderau arbenig mewn rhai mewn swydd *îs*, am fod "rhaid" am y rhai hyny yn y rhai sy mewn swydd *uwch*. A ydyw hyn yn debyg i Paul?

Ni a gawn brawf eto hollol benderfynol, yn 1 *Petr* v. 1, 2. "Yr henuriaid sydd yn eich plith, attolwg iddynt yr wyf fi, yr hwn wyf gyd-henuriad, a thyst o ddyoddefiadau Crist, yr hwn hefyd wyf gyfranog o'r gogoniant a ddadguddir: porthwch braidd Duw, yr hwn sydd yn eich plith, gan fwrw golwg arnynt," &c. Efallai y dylem eto hysbysu i'n darllenwyr, er mwyn iddynt weled cysylltiad y rhanau hyn â'r pwnc presennol, fod y gair a ddarllenir yma "bwrw golwg," yn arwyddo *esgobaethu, cyflawni gwaith esgob*. Pa fodd y camgymerodd yr hen apostol gymaint a rhoddi gwaith yr esgob i'r henuriaid, os nad yw y naill air yn cael ei arfer yn ddiwahaniaeth am y llall? Y mae yr apostol yma, y mae yn amlwg hefyd, yn edrych arno ei hunan, o ran y peth oedd barhäol yn yr eglwys, ar yr un tir a'r rhai a anerchir ganddo: "yr hwn wyf gydhenuriad."

Eto. Ni gawn yn *Phil.* i. 1, brawf hollol benderfynol o'r un peth; "Paul a Thimotheus, gweision Iesu Grist, at yr holl saint yn Nghrist Iesu, y rhai sydd yn Philippi, gyda'r esgobion a'r diaconiaid." Os ydoedd yn yr eglwys hon ddosbarth o swyddogion uwchlaw y diaconiaid, gwahanol i'r esgobion, a ydyw yn debygol y buasai yr apostol yn myned heibio iddynt heb eu cyfarch, ac yn nodi allan yn bendant ddosbarth îs? Heblaw hyny, y mae yn amlwg fod yn yr eglwys yma eto *esgobion*, nid *esgob*; ac y mae hyny, ar unwaith, yn penderfynu nad oeddynt yr un peth ag esgobion ein gwlad ni.

Drachefn. Y mae y cyfarwyddiadau a roddir gan yr Apostol Paul i Timotheus ynghylch y cymhwysderau anghenrheidiol i esgob a diacon, (1 *Tim.* iv.) pryd nad yw yn son dim am y cymhwysderau gofynol mewn henuriad, yn arwyddo yn gryf nad oedd yr apostol yn gwybod ond am y rhai hyn i fod yn swyddogion arosol yn yr eglwys dan oruchwyliaeth y Testament Newydd. Pa reswm arall ellir roddi am ei ddystawrwydd ynghylch y cymhwysderau i swydd uwch, yn y dewisiad i'r hon, y mae yn amlwg fod eisieu mwy o ofal, pryd y mae mor fanwl ar gymhwysderau rhai i swydd is? Ni allasai hyn ddygwydd o anghof, a rhoddi o'r neilldu ysbrydoliaeth ddwyfol yr ysgrifenydd; oblegid yr ydym yn ei gael yn y bennod ganlynol yn cyfeirio at yr henuriaeth; ac yn *pen.* v. 17, y mae yn galw sylw Timotheus mewn modd neillduol at yr henuriaid. Y rheswm, dybygem ni yn hollol, ydyw, nad oedd yr apostol yn gwybod ond am y ddau swyddog hyn i fod yn arosol yn yr eglwys.

Fel hyn, dybygid, fod y Testament Newydd yn gwbl ddystaw am y gwahaniaeth mawr rhwng y rhai hyn a'u gilydd, y dadleuir cymaint drosto y dyddiau hyn. Nid oes yma ddim crybwylliad am y fath beth. Y mae cymaint ag sydd yma o gyfeiriad at y swydd yn amlwg yn ei erbyn. Nid yw yr esgob yma byth yn arolygwr dros yr henuriaid; ond pa bryd bynag y sonir am dano, "un ydyw sy'n gofalu dros eglwys Dduw," "yn edrych dros yr holl braidd," "yn bugeilio eglwys Dduw." Y mae yr enwau yn cael eu harfer yn hollol ddiwahaniaeth o ran gwrthddrychau. Os bydd nifer o henuriaid ger bron, y maent yn cael eu galw yn esgobion; os mynir gwybod cymhwysderau henuriad, cyflwynir i ni restr o gymhwysderau esgob; pan annogir henuriaid i ddyfalwch yn eu swydd, gorchymynir iddynt gyflanwi gwaith esgob; heb yr un gocheliad ar neb rhag camgymeryd wrth hyny, a myned i feddwl mai yr un rhai oeddynt. Y casgliad naturiol a wna pob dyn diragfarn, dybygem ni, oddiwrth hyn ydyw, y rhaid fod yr ysgrifenwyr sanctaidd, onid oedd ganddynt wir fwriad i wawdio eu darllenwyr, wrth arfer y geiriau fel hyn yn ddiwahaniaeth, yn amlwg yn meddwl yr un peth.

Ond gwrthddadleuir nad ydyw hyn yn ddigonol i brofi fod eu swyddogaeth yr un: oblegid fod yr apostolion weithiau yn cael eu galw yn henuriaid, ac weithiau yn ddiaconiaid, pryd y mae yn amlwg nad ydyw y rhai hyn, fel enwau swyddol, yn perthynu i'r un personau. I hyn yr ydym yn ateb, nad ydyw yr enwau apostolion, henuriaid, a diaconiaid, byth yn cael eu harfer yn *ddiwahaniaeth*, fel yr enwau esgobion a henuriaid. Sonir am yr apostolion a'r henuriaid; yr apostolion a'r diaconiaid; yr hyn sydd yn profi yn amlwg fod gwahaniaeth rhyngddynt, gwahaniaeth mor fawr, fel nad oes perygl i neb byth gamgymeryd y naill am y llall; ond ni cheir o fewn y Testament Newydd son am esgobion a henuriaid, fel pe byddent yn enwau ar swyddogion gwahanol, ond bob amser y sonir am esgobion ni chrybwyllir dim am henuriaid, oddigerth, fel y gwelsom, mewn amgylchiadau y mae yn anmhosibl peidio gweled nad yw yr enwau wedi eu hamcanu i'w cymhwyso at yr un rhai.

Mor amlwg a phenderfynol ydyw y Testament Newydd ar hyn, fel y mae llawer o'r dadleuwyr cryfaf dros ddwyfoldeb y gwahaniaeth rhwng yr esgob a'r henuriad, yn rhoddi i fynu y tir hwn, ac yn cyfaddef fod yr enwau yn y Testament Newydd yn cael eu harfer yn ddiwahaniaeth. "Y mae rhai," medd y Dr. Hook, "yn tybied fod llywodraeth yr eglwys yn hollol

wahanol yn nyddiau yr apostolion i'r hyn ydyw yn awr, am nad ydynt yn cael enwau a thitlau y swyddogion eglwysig yn hollol yr un. Er anghraifft, fel y dywedais yn awr, gelwir yr hwn a elwir genym ni yn henuriad, yn fynych yn esgob yn y Testament Newydd. Ond nid am enwau yr ydym ni yn dadleu. Yr ydym yn gofyn beth oedd y ffaith, a'r ffaith oedd hyn— y gelwid y swyddog a alwn ni yn awr yn esgob ar y cyntaf yn apostol, ac wedi hyny ystyriwyd yn well cyfyngu yr enw apostol i'r rhai a welsent yr Arglwydd Iesu, pryd y darfu i'w holynwyr, yn arfer yr un hawliau ac awdurdod, er heb eu cyflenwi â doniau gwyrthiol, ymfoddloni ar yr enw esgobion."[1] "Cymhellir fi," medd Mr. Rose, un o dadau cyntaf yr ysgogiad diweddar yn Rhydychain, "gan yr anwybodaeth mawr sydd yn ffynu ar y pwnc hwn, i gyfleu o fewn ychydig linellau olygiadau esgobaethwyr arno. Y maent yn caniatâu yn rhwydd fod yr enwau 'Επίσκοπος (Esgob) a Πρεσβύτερος (Henuriad) yn cael eu harfer yn ddiwahaniaeth yn y Testament Newydd; ond y maent yn hòni fod gwahaniaeth amlwg mewn swydd i'w ganfod yno; hyny yw, y gellir profi o'r ysgrythyr fod swyddog eglwysig â hawl ganddo i ordeinio, yr hon hawl ni feddiannwyd erioed gan yr henuriaid yn gyffredin."[2] Fel hyn y mae tir newydd yn cael ei gymeryd ganddynt i godi eu hadeiladaeth arno. Addefir mai gweinidogion cyffredin yr eglwys, yr henuriaid, ydyw esgobion y Testament Newydd, a bod yr esgobion presennol yn olynwyr nid i *esgobion* yr oes apostolaidd, ond i'r apostolion eu hunain, yn y pethau oedd barhäol i'w swydd fel y cyfryw, tuag at hanfodiad a llwyddiant yr Eglwys Gristionogol yn y byd. Haerir yn gyffredin fod Timotheus a Titus yn swyddogion o'r fath yn nyddiau yr apostolion eu hunain, yn gwasanaethu fel esgobion, yn ystyr bresennol y gair, un o honynt yn Ephesus, a'r llall yn Creta. Y mae hyn yn cael ei gymeryd yn ganiatäol mor gyffredin gan y rhai y mae a wnelom yn awr â hwynt, fel y gellid meddwl na bu dim dau feddwl erioed ar y peth, ac nad oes lle i un ammheuaeth yn ei gylch. Ond ni a ddymunem i'r darllenydd sylwi, nad oes yn y Testament Newydd un gair o grybwylliad fod y gwyr hyn yn esgobion yn y lleoedd a nodwyd. Y mae yn wir eu bod yn cael eu galw felly yn yr ol-ysgrifen yn niwedd yr epistolau atynt; ond yr ydym yn hyderu fod ein darllenwyr oll yn deall nad oes i'r rhai hyny ddim awdurdod ddwyfol, nad ydynt ond chwanegiadau a wnaed at yr epistolau mewn oesoedd diweddarach. Y mae yn amlwg hefyd fod y gwyr hyn mewn awdurdod uchel yn y lleoedd uchod tra yr oeddynt yno;—yn ordeinio henuriaid a diaconiaid, yn arolygu eu hathrawiaeth a'u hymarweddiad, yn gweithredu, yn fyr, â holl awdurdod yr apostolion eu hunain. Yr ydym yn addef hyn oll. Ond y pwnc yw, yn mha gymeriad yr oeddynt yn gwneuthur hyny? Am Timotheus, y mae yn amlwg i ni, oddiwrth yr holl hanes am dano yn Llyfr yr Actau, a phob crybwylliad am dano yn yr epistolau, nad ydoedd yn sefydlog mewn un lle neillduol, ond yn symudol o fan i fan, yn ol anghenion yr eglwysi, fel cynnorthwywr i'r Apostol Paul. Weithiau yr ydym yn ei gael yn Ephesus, weithiau yn Corinth, weithiau yn Thessalonica; fel y byddai amgylchiadau yn galw am dano. Y mae yn amlwg iawn nad oedd

[1] "*Two Sermons on the Church and the Establishment.*" *Cited by Powell:—"Essay on Apostolical Succession.*" Tudal. 15, 16. Ail argraffiad. 1840.
[2] "*Rose's Commission and Duties of the Clergy.*" *Appendix, No.* iii. Tudal. 191. Ail argraffiad. 1831.

ei arosiad yn Ephesus, yn ol deisyfiad Paul (1 *Tim.* i. 3), ond dros dymmor, ac er mwyn amcan arbenig; oblegid yn yr ail epistol ato, y mae yr apostol yn hysbysu iddo ei fod wedi anfon Tychicus yno (2 *Tim.* iv. 12). Yn wir y mae iaith yr apostol ei hunan, dybygem ni, yn penderfynu nad oedd Ephesus yn esgobaeth iddo, yn ystyr bresennol y gair; oblegid felly, pa raid fuasai *deisyf* arno aros ynddi? Gallesid dysgwyl y buasai eisieu deisyf arno i ymadael â hi, os oedd galwad am ei wasanaeth mewn lle arall; ond y mae rhywbeth hynod o annaturiol yn ymddangos i ni yn y meddwl fod apostol dan anghenrheidrwydd i *ddeisyf* ar ŵr apostolaidd, ac un nad oedd ganddo neb o gyffelyb feddwl iddo, i aros yn y maes a benodasid iddo i lafurio ynddo!

Am Titus drachefn, y mae yn eithaf amlwg i ni, wrth y crybwylliad a wneir yn yr epistolau yn ei gylch, mai teithio y byddai yntau, o'r naill fan i'r llall, yn gynnorthwyol i'r apostol, i sefydlu eglwysi newyddion, neu i drefnu rhai wedi eu sefydlu eisoes. Gallwn ei ddilyn yn y gorchwyl hwn o Antioch i Jerusalem, oddiyno i Corinth, oddiyno i Philippi, yn ol drachefn i Corinth, oddiyno i Creta, oddiyno i Dalmatia, lle y mae yr hanes ysgrythyrol am dano yn colli; a pha un a ddychwelodd byth i Creta sydd hollol ansicr. Y mae yn eglur nad oedd yr arosiad yn Creta ond dros dymmor; oblegid yr ydym yn cael Paul yn y llythyr y crybwyllir am hyny, yn hysbysu iddo ei fod yn bwriadu gyru Artemas neu Tychicus yno yn ei le, ac yn ei annog yntau i frysio i'w gyfarfod ef i Nicopolis. Oddiwrth y cwbl, y mae yn ymddangos i ni yn ddiddadl am y ddau hyn, nad oeddynt yn esgobion mewn un lle neillduol, nac yn weinidogion cyffredin sefydlog, ond yn swyddogion anghyffredin, at amgylchiadau anghyffredin yr eglwys ar y pryd, yn gweithredu tan gyfarwyddyd a chydag awdurdod yr apostol Paul, yn y manau y gyrid hwynt iddynt ganddo. Y mae amryw o'r dadleuwyr cryfaf dros y drefn esgobawl yn cydnabod hyn. Y mae y Dr. Whitby, yn ei ragymadrodd i'r Epistol at Titus, yn ei esboniad ar y Testament Newydd, yn sicrhau i ni, "na fedrodd e gael un awgrymiad mewn un ysgrifenydd o'r tri chan' mlynedd cyntaf, fod Timotheus na Titus yn dwyn yr enw esgob." Y mae Dodwell hefyd, un o'r rhai mwyaf dysgedig yn ysgrifeniadau yr hen dadau, a dadleuwr brwd dros awdurdodiad dwyfol y drefn esgobawl, eto yn tystio "nad oedd Timotheus na Titus yn sefydlog mewn un lle neillduol, ond mai teithio y byddent o'r naill fan i'r llall, gan gynnorthwyo yr apostolion i blanu a sefydlu eglwysi."[1]

Y casgliad naturiol, dybygem ni, a'r unig gasgliad felly oddiwrth y cwbl yw, nad oes yn y Testament Newydd, yn ei dystiolaethau, nac yn ei anghreifftiau, un prawf o awdurdodiad dwyfol esgob uwchlaw henuriad fel swyddog yn yr Eglwys Gristionogol, ond fod cymaint ag sydd yma o gyfeiriad at y swydd yn benderfynol yn erbyn y dychymyg.

Ond wedi methu ar y tir hwn yn y prawf am hawl ddwyfol yr esgob, y mae pleidwyr y golygiad, yn lle rhoddi y pwnc i fynu, yn rhedeg i dir newydd, gan hòni, oddiwrth hanesyddiaeth eglwysig, yn gymaint a bod y drefn esgobawl wedi dyfod yn hollol gyffredinol yn yr eglwys yn yr oes gyntaf wedi yr oes apostolaidd, fod yn gwbl afresymol i ni dybied y buasai yn cael ei derbyn felly, oni b'ai ei bod wedi ei throsglwyddo i'r eglwys gan

[1] "*Dodwell de Nupero Schismate.*" *Sec.* 10. *Quoted by Powell:—"Apostolical Succession," page* 56.

yr apostolion eu hunain. Y mae y ddadl hon yn cael ei gwasgu gydag ymffrost mawr gan yr Esgob Hall,[1] a chyda medrusrwydd a grym anghyffredin gan Chillingworth,[2] ac yn enwedig gan y Dr. Barrow.[3] Dyma y ddadl fawr y mae esgobaethwyr yn gyffredin yn ymorfoleddu ynddi, a dyma yr unig ddadl a welsom ni, fel y cyflwynir hi gan yr awdwyr a nodasom, a barodd i ni deimlo dim tebyg i ddylanwad grym dros y pwnc. Y mae Mr. Milman[4] hefyd yn ei chyflwyno yn nodedig o rymus, ac mewn modd mwy swynol, efallai, nag yr un o'r rhai a enwasom eisoes. Dymunem i'n darllenwyr, a fynent weled cymaint ag a ellir ddywedyd dros y golygiad yr ydym yn ymosod i'w erbyn, ddarllen yn ofalus ac yn ddiragfarn, y naill neu y llall o'r awduron y cyfeiriasom atynt, ac yn enwedig yr olaf os cânt y cyfle. Yr ydym yn fwy awyddus am hyn oblegid ein bod yn gwbl argyhoeddiadol fod y ddadl yn methu yn hollol yn yr amcan y dygir hi ymlaen erddo ganddynt hwy. Y mae y tri pheth canlynol, dybygem ni, yn ei dirymu:—

1. Caniatâer fod sail y ddadl yn gadarn—fod y drefn esgobawl wedi dyfod yn drefn gyffredinol yn yr eglwys yn yr oes gyntaf wedi yr oes apostolaidd, nid ydym ni yn gweled fod hyny yn rhoddi lle i adeiladu dadl o'r fath ag a gyfodir arni—mai y drefn hono ydyw yr unig un gyfreithlawn ynddi, a bod pawb ag sydd heb fod mewn cysylltiad âg eglwys o ffurf felly, heb yr un hawl i'w golygu eu hunain mewn perthynas â'r apostolion, a thrwyddynt hwy âg Iesu Grist. Y cwbl, dybygem ni, ellir adeiladu ar y fath sail yw, *tebygoliaeth* ei bod wedi disgyn oddiwrth yr apostolion eu hunain;—tebygoliaeth mor fawr, dyweder, ag i wneyd dadl gref dros gyfreithlondeb y drefn esgobawl, ynddi ei hunan, oddigerth fod rhywbeth yn nhystiolaethau uniongyrchol y Testament Newydd yn milwrio yn ei herbyn. Dyma eithaf dadl o'r fath. Y mae yn ofer hollol er profi anghyfreithlondeb unrhyw drefn arall, oddigerth yn gynnorthwyol i brawf pendant ysgrythyrol am hyny: yr oll a ellir ddysgwyl oddiwrthi, ag iddi wneyd ei hegni, ydyw dwyn *tebygolrwydd* dros *gyfreithlondeb* esgobyddiaeth. I'r amcan yma y mae y ddadl yn cael ei defnyddio gan Barrow, Chillingworth, a Milman, a chan yr holl rai yn yr eglwys esgobawl sydd yn ei hamddiffyn fel sefydliad addas i amcanion Cristionogaeth, heb hòni iddi yr unig awdurdod ddwyfol.

2. Ond yn ail, yr ydym yn gwadu yn hollol wirionedd y gosodiad, a gymerir yma yn ganiatâol, fod y drefn esgobawl yn gyffredinol yn yr eglwys yn yr oes gyntaf wedi yr oes apostolaidd. Nid ydym yn gwadu, ac nis gallwn wadu heb gau ein llygaid ar hanes yr eglwys, ddarfod i'r ffurf hon ddyfod yn lled gyffredinol ynddi yn foreu iawn; ond y mae yn analluadwy i neb brofi ei bod wedi ei sefydlu mewn un man, heb son am gyffredinol, mor foreu ag y tybia y ddadl dan sylw. Ond gadewch i ni droi at y profion. Yr ysgrifenydd cyntaf, ag y gellir ymddiried dim iddo, sydd yn ein cyfarfod wedi i ni adael y Testament Newydd, ydyw Clement, yr un Clement, medd yr hynafiaid oll, ag y gwneir crybwylliad mor anrhydeddus

[1] "*Episcopacy by Divine Right.*" *Sec.* 4, 5, 6. "*Works,*" Cyf. x. tudal. 161—171. *Oxford edition.* 1837.

[2] "*Works.*" Cyf. ii. tudal. 531. 8vo. *edition.* 1820.

[3] "*Works.*" Cyf. iii. tudal. 391—394. *Hughes' edition.* 1831.

[4] "*History of Christianity from the Birth of Christ to the Abolition of Paganism in the Roman Empire.*" Cyf. ii. tudal. 63—72. *See also his edition of* "*Gibbon's Decline and Fall of the Roman Empire.*" Cyf. i. tudal. 495. Ail argraffiad. 1846.

am dano gan yr apostol Paul, (*Phil.* iv. 3) ac a ystyrir yn gyffredin, gan bleidwyr y drefn esgobawl, fel un o'r esgobion cyntaf ar Eglwys Rhufain. Y mae un llythyr o'i eiddo ef, yn enw yr eglwys yn Rhufain, at yr eglwys yn Corinth, yn cael ei dderbyn yn gyffredin fel cyfansoddiad sydd wedi disgyn i'n dwylaw ni, ar y cyfan, yn lled debyg i'r fel y daeth odditan ei law ef ei hunan. Tybir ddarfod ei ysgrifenu tua y flwyddyn 96. Yr amcan mewn golwg ganddo oedd terfynu rhyw ymrafaelion a gyfodasai rhwng yr aelodau eglwysig yn Corinth a'u gweinidogion. Ac y mae yn anhawdd meddwl am ddim cymhwysach i'r fath amcan na'r llythyr apostolaidd hwn. Ond y mae ei holl dôn yn hollol groes i'r dychymyg yr ydym yn dadleu i'w erbyn. Nid oes ynddo, o'i ddechreu i'w ddiwedd, gymaint ag un awgrymiad am fwy na dau fath o swyddogion yn yr eglwys, yr esgobion neu yr henuriaid, a'r diaconiaid. Yn wir, y mae yn cynnwys, dybygem ni, brawf pendant nad oedd e yn golygu fod mwy. Y mae, fel yr ysgrifenwyr sanctaidd, yn arfer y geiriau esgob a henuriad yn hollol ddiwahaniaeth. Y mae yn cyfeirio at hen brophwydoliaeth, a ystyriai efe, yn rhagfynegi gosodiad y ddau fath yma o swyddogion yn yr eglwys. Nid yw, i'r amcan sydd yn awr genym mewn golwg, o ddim gwahaniaeth pa un a oedd e yn gywir ai nid oedd yn ei olygiad ar y brophwydoliaeth hono. Ond a ydyw yn debygol y buasai efe yn cyfeirio at ragddywediad ysgrythyrol am sefydliad dau fath o swyddogion eglwysig, er annog ymostyngiad iddynt, pe rhyw drefn arall fuasai yn gyffredinol yn ei ddyddiau? Ond ni a adawn i'r darllenydd farnu, oddiwrth y dyfynion canlynol, drosto ei hunan. Wrth son am yr apostolion, dywed, ddarfod iddynt, "Gan bregethu trwy wledydd a dinasoedd, osod blaenffrwyth eu llafur, wedi iddynt eu profi trwy yr Ysbryd, yn esgobion a diaconiaid i'r rhai a gredent rhagllaw. Ac nid ydoedd hyn yn ddim newydd, oblegid rhagysgrifenwyd er's talm ynghylch esgobion a diaconiaid. Canys fel hyn, mewn rhyw fan, y dywed yr ysgrythyr, 'Mi a osodaf eu hesgobion mewn cyfiawnder, a'u gweinidogion (diaconiaid) mewn ffydd.'"[1] Eto: "Gwyddai yr apostolion, trwy ein Harglwydd Iesu Grist, y cyfodai ymryson ynghylch yr esgobaeth; a chan hyny wedi eu cyflenwi â rhagwybodaeth berffaith, ordeiniasant y swyddogion rhagddywededig, [esgobion a diaconiaid] a rhoisant rëolau ynghylch y swyddau hyn, y naill a'r llall ar wahan, fel pan y byddent hwy marw, y dilynid hwy gan wŷr profedig eraill yn eu gweinidogaeth."[2] Eto: "Canys nid camwedd bychan ynom fyddai bwrw allan o'u hesgobaeth y rhai a weinyddasant eu doniau yn ddifeius ac yn sanctaidd. Gwyn eu byd yr henuriaid hyny a'n blaenorasant, y rhai a gawsant ollyngiad llawn a pherffaith: canys nid rhaid iddynt hwy ofni cael eu symud o'r lle y gosodwyd hwynt ynddo, fel yr ydym yn gweled eich bod chwi wedi symud rhai gwŷr o fuchedd ddichlynaidd o'u swydd anrhydeddus."[3] Eto: "Y mae yn dra chywilyddus, anwylyd, ac yn annheilwng o'ch dysgyblaeth Gristionogol, fod Eglwys Corinth, yr hon sydd wedi ei hir sefydlu, oblegid un neu ddau o bersonau, mewn gwrthryfel yn erbyn ei henuriaid."[4] Eto: Y mae yn annog y gweinidogion hyny, a allasent fod wedi rhoi trwy eu hymddygiadau ryw achlysur i'r terfysg, i roddi eu swyddau i fynu, a dywedyd, "Os bum i yn achos ymrafael ac ymraniad, yr wyf yn rhoddi fy swydd i fynu, ac mi a wnaf yr hyn a benodo y bobl: yn unig bydded praidd Crist mewn heddwch â'u henur-

[1] "*Epist. ad Corinthios.*" *Sec.* 42. [2] *Ibid. Sec.* 44. [3] *Sec.* 44. [4] *Sec.* 47.

iaid gosodedig.[1] Unwaith eto: "Ymddarostyngwch chwi gan hyny, y rhai a fuoch wrth wraidd yr ymrafael hwn, i'ch henuriaid, a dysgybler chwi i edifeirwch.[2] Y mae yn ymddangos i ni fod yn analluadwy i un dyn diduedd beidio gweled yn eglur oddiwrth y dyfynion hyn, nad oedd yr hen dad hwn yn cydnabod ond dau fath o swyddogion yn yr eglwys. Y mae hyn mor amlwg, i ni, fel nad ydym yn gweled anghenrheidrwydd ymhelaethu arno. A'r casgliad naturiol oddiwrth hyny, mewn cysylltiad â'r hyn sydd genym dan sylw yn awr, yw, nad oedd y drefn esgobawl yn *gyffredinol*, beth bynag, yn yr eglwys, yn yr oes gyntaf wedi yr oes apostolaidd, ac felly bod y ddadl, oddiwrth hyny, dros ei sefydliad apostolaidd yn syrthio i'r llawr. Y mae hyn yn cael ei addef gan lawer o'r esgobaethwyr mwyaf dysgedig. "Y mae yn amlwg," medd y Dr. Waddington, dëon presennol Durham, gan gyfeirio at Eglwys Corinth pryd yr anfonwyd y llythyr hwn ati, "Y mae yn amlwg, yn ein tyb ni, nad oedd y ffurf-lywodraeth esgobawl eto wedi ei sefydlu yma; oblegid, efallai ei gwrthwynebiad i ysbryd gwerin-lywodraethol Groeg."[3] Y mae Dr. Hawkins, *Provost of Oriel College, Oxford, and Canon of Rochester*, yn gorfod cyfaddef yr un peth: "Os na allwn brofi, fel yr wyf i yn tybied nas gallwn, fod gan bob eglwys o ddim maintioli, tua diwedd y ganrif gyntaf, ei hesgob yn gystal a'i henuriaid a'i diaconiaid; oblegid fe ymddengys oddiwrth lythyr Clement fod Eglwys Corinth, am ba achos bynag yn eithriad," &c.[4] I'r un perwyl yr ysgrifena Dr. Whately, archesgob presennol Dublin: "Yr ydym yn gweled llythyr Clement yn amlwg wedi ei ysgrifenu megys oddiwrth Esgob Rhufain, at yr eglwys yn Corinth, mor amlwg heb fod dan esgob."[5] Nid ydym ni yn gweled fod gan yr archesgob ddim sail i'r casgliad a wneir ganddo yma, fod y llythyr yn amlwg oddiwrth Clement fel Esgob Rhufain. I'r gwrthwyneb, yn enw yr eglwys yn Rhufain at yr eglwys yn Corinth y mae y llythyr yn cael ei anfon; nid oes yma ddim awgrymiad ei fod yn esgob yno; dim ymhoniad o awdurdod;—dim ond ymresymiad Cristionogol â'r Corinthiaid oblegid y terfysgoedd a ffynent yn eu plith, heb un gair o grybwylliad fod un diffyg yn eu ffurf-lywodraeth eglwysig. Yr un pryd, y mae cyfaddefiad yr archesgob yn ddigon i'r hyn sydd arnom ei eisieu yn awr, sef prawf nad oedd y drefn esgobawl yn *gyffredinol* yn yr eglwys, yn yr oes gyntaf wedi yr oes apostolaidd. Addefir ganddo nad oedd esgob yn Corinth.

Y tyst nesaf a alwn ymlaen o blith yr hen dadau ydyw Polycarp. Yr ydoedd yn ddysgybl i'r Apostol Ioan, ac yn weinidog yr eglwys yn Smyrna. Tybir, gan lawer, mai efe oedd angel yr eglwys yno, y cyfeirir ato yn *Dad.* ii. 8. Dywedir gan Irenæus iddo ysgrifenu llawer. Nid oes, pa fodd bynag, o'i ysgrifeniadau, ond un llythyr at Eglwys Philippi, wedi disgyn i'n dwylaw ni. Y mae dadl ymhlith y rhai mwyaf manwl ynghylch y pryd yr ysgrifenwyd y llythyr hwn. Y mae y Dr. Lardner,[6] wedi cryn ymchwiliad, yn tybied ddarfod ei ysgrifenu tua y flwyddyn 108, pryd y mae eraill

[1] "*Epist. ad Corinthios.*" *Sec.* 54. [2] *Ibid. Sec.* 57.
[3] "*History of the Church.*" Cyf. i. tudal, 16. Ail argraffiad. 1835.
[4] "*Bampton Lectures.*" Tudal. 176. Ail argraffiad. 1841.
[5] "*Kingdom of Christ Delineated.*" *Essay* ii. *sec.* 20, *note*, tudal. 175. Pedwerydd argraffiad. 1845.
[6] "*Credibility of the Gospel History.*" Rhan. ii. Pen. vi. *Works.* Cyf. ii, tudal. 98. 8vo. *edition. London*, 1845.

yn penodi y flwyddyn 140, fel amser tebycach. Nid yw yr hen dad yma eto yn gwybod dim am y gwahaniaeth rhwng esgob a henuriad; yn wir, nid oes un gair o grybwylliad am esgob, dan yr enw hwnw, yn y llythyr o'i ddechreu i'w ddiwedd. Y mae y llythyr yn dechreu gyda y cyfarchiad cyffredin i'r eglwys y mae yn ysgrifenu ati, "Polycarp a'r henuriaid gydag ef, at eglwys Dduw yn Philippi," &c. Nid ydym yn gweled fod yma ddim lle i gasglu ei fod ef yn esgob uwchlaw i'r henuriaid hyn. Y mae, fel ysgrifenydd y llythyr, yn rhoddi ei enw ei hunan, ac fel, efallai, yr hynaf a'r blaenaf o'r henuriaid. Yn y llythyr a ysgrifenwyd gan Paul at yr eglwys hon, y mae, fel y gwelsom, yn anerch yr esgobion a'r diaconiaid. Y mae Polycarp, wrth ysgrifenu at yr un eglwys, yn hollol ddystaw ynghylch yr esgobion, ond yn crybwyll yn bendant yr henuriaid a'r diaconiaid. Od oedd yma dri gradd o swyddogion, y mae yn rhyfedd iawn fod Paul yn anghofio un, a Polycarp yn anghofio y llall, pryd y mae y ddau mor ofalus i nodi allan radd islaw iddynt. Y peth, dybygem ni, a ddywedai pob dyn, heb ddim ond y gwirionedd ganddo mewn golwg, ydyw, nad oedd yma ond dau fath; ac nad oedd esgobion Paul a henuriaid Polycarp ond yr un rhai. Y mae yn annog yr eglwys "i ymddarostwng i'r henuriaid a'r diaconiaid, megys i Dduw ac i Grist."[1] Yn ol pa ddeddf y gallasent hwy ddysgwyl ymostyngiad felly os oedd llywodraeth yr eglwys yn nwylaw esgob? Y mae Polycarp hefyd yn nodi yn y llythyr hwn rai o'r cymhwysderau anghenrheidiol yn y diaconiaid[2] a'r henuriaid;[3] ond nid oes ganddo gymaint ag un awgrymiad am gymhwysderau esgob. I ba beth y priodolwn y dystawrwydd hwn? I ba beth hefyd ond i'r ffaith nad oedd y gwahaniaeth rhwng esgob a henuriad yn cael ei gydnabod y pryd hyny yn yr eglwys, ac felly bod yr haeriad, fod y drefn esgobawl yn gyffredinol ynddi yn yr oes gyntaf wedi yr oes apostolaidd, yn hollol ddisail.

Yr awdur nesaf yn yr eglwys y mae ei ysgrifeniadau wedi ein cyrhaedd ni ydyw Justin. Yr oedd efe yn ŵr dysgedig; ar y cyntaf yn athronydd paganaidd, ond wedi ei ddychweliad yn gristion dysglaer, cadarn yn y ffydd, dros yr hon yn y diwedd y dyoddefodd ferthyrdod, tua y flwyddyn 165. Ysgrifenodd ddau draethawd yn amddiffynol i Gristionogaeth, y cyntaf o'r rhai a gyflwynwyd ganddo i'r Ymherawdwr Antoninus Pius, ac a fu yn llwyddiannus, ar y pryd, i osod terfyn ar yr erledigaeth; a'r llall i'r Ymherawdwr Marcus Aurelius Antoninus. Yn y blaenaf o'r rhai hyn y mae hyny o grybwylliad pendant sydd ganddo ef am swyddogion eglwysig. Ac y mae yn deilwng o sylw nodedig nad oes ganddo un rhith cyfeiriad at fwy na dau fath o honynt, y llywydd (ὁ προεστως) a'r diaconiaid. Nid yw yn son dim am nag esgob na henuriad, dan yr enwau hyny; ond y mae yn amlwg mai yr henuriad a olygid ganddo wrth y llywydd. Y rheswm, efallai, paham y mae Justin yn arfer y gair llywydd, yn hytrach nag esgob, neu henuriad, er dynodi y swyddog hwn yw, am y dymunai ysgrifenu yn y fath fodd ag y dëallid ef gan yr ymherawdwr yr hwn a anerchai. Nid ydym yn gweled yn anghenrheidiol i ni ddyfynu rhanau helaeth o'r ysgrifenydd hwn er prawf o'r hyn a haerwn. Cymered y darllenydd yr hyn a ganlyn:—y mae yn fyr ac yn ddigon pendant. "Ar y dydd a elwir Sul, y mae cynnulliad yn yr un lle o bawb o'r rhai sydd yn trigiannu yn y dref a'r wlad. Yna darllenir cofion yr apostolion

[1] "*Epist. ad Philippenses.*" *Sec.* 6. [2] *Sec.* 5. [3] *Sec.* 6.

neu ysgrifeniadau y prophwydi, cyhyd ag y caniatâo yr amser. Wedi i'r darllenydd ddarfod, y mae y llywydd yn gweddïo ac yn rhoddi diolch â'i holl egni. Yna eir ymlaen gyda chyfranu a derbyn yr elfenau i'r naill a'r llall; a gweinyddir hwynt trwy ddwylaw y diaconiaid i'r rhai a fyddont absennol.[1]" Yn un o'r adraniadau blaenorol[2] y mae yn dywedyd yn bendant, mai y llywydd fyddai yn gweddïo ac yn rhoddi diolch ar neillduad y bara a'r gwin yn y cymun, ac wedi hyny y byddai y diaconiaid yn eu dosbarthu i'r rhai oll a fyddent yn bresennol. Sylwer fod Justin yma yn darlunio i'r ymherawdwr drefn y gwasanaeth crefyddol ymhlith Cristionogion, er ei ddysgu yn eu harferion a'i ennill yn eu plaid. Y mae felly yn darlunio y drefn oedd gyffredinol yn eu plith; ac nid oes yma ddim i bleidio, ond pob peth yn erbyn, y dychymyg fod y drefn esgobawl yn gyffredinol yn yr eglwys yn yr oes gyntaf wedi yr oes apostolaidd.

Yr awdur nesaf sydd yn ein cyfarfod ymhlith yr ysgrifenwyr Cristionogol ydyw Irenæus. Groegwr oedd efe o Asia Leiaf. Buasai pan yn ieuanc yn ddysgybl i Polycarp, yr hwn yntau a fuasai yn ddysgybl i'r Apostol Ioan. Symudodd i Lyons, yn Ffrainc, lle y bu am lawer o flyneddau yn weinidog enwog a llwyddiannus. Bu farw tuâ dechreuad y drydedd ganrif, yn y flwyddyn 202, yn ol y golygiad cyffredin. Yn yr awdur hwn yr ydym yn cyfarfod gyntaf â dim tebyg i wahaniaeth yn cael ei gydnabod rhwng esgob a henuriad. Y mae y gwahaniaeth ganddo ef weithiau yn cael ei wneyd: megys pan y dywed fod yn gynnulledig yn Miletus yr esgobion a'r henuriaid y rhai oeddynt o Ephesus a'r dinasoedd eraill cyfagos.[3] A phan y mae yn ceisio rhoddi rhestr o'r esgobion yn Rhufain, o ddyddiau yr apostolion i'w ddyddiau ef, y mae yn amlwg, dybygem ni, fod yr un gwahaniaeth yn ei olwg.[4] Ond y mae mor amlwg drachefn, wrth ymadroddion eraill o'i eiddo, nad oedd y gwahaniaeth rhyngddynt, yn ei feddwl ef, ond bychan iawn; oblegid ni a'i cawn, fel ysgrifenwyr y Testament Newydd, a'r tadau apostolaidd, yn arfer y geiriau esgob a henuriad yn hollol gyfystyr a diwahaniaeth. Wrth son am rai cyfeiliornwyr, dywed, "Pan y cyfeiriwn hwynt at y traddodiad apostolaidd hwnw sydd yn nghadw yn yr eglwysi trwy olyniaeth yr henuriaid, gwrthwynebant y traddodiad, gan hòni eu bod yn ddoethach nid yn unig na'r henuriaid ond na'r apostolion eu hunain, eu bod wedi cael allan y gwirionedd anllygredig."[5] Yma, y mae'r olyniaeth a briodolir ganddo, mewn manau eraill, i'r esgobion, yn cael ei briodoli i'r henuriaid, ac y mae yr henuriaid, yn amlwg, yn cael cyfeirio atynt fel y dosbarth nesaf mewn awdurdod i'r apostolion eu hunain. Drachefn. Wedi honi fod olyniaeth gan swyddogion yr eglwys, y rhai a elwir ganddo weithiau yn henuriaid ac weithiau yn esgobion, oddiwrth yr apostolion eu hunain, dywed, "Dylem ufuddhau i'r henuriaid hyny yn yr eglwys, y rhai y mae ganddynt, fel y dangosasom, olyniaeth oddiwrth yr apostolion; y rhai, heblaw olyniaeth yr esgobyddiaeth, a dderbyniasant ddawn arbenig y gwirionedd, yn ol ewyllys da y Tad."[6] Yma, y mae yn amlwg iawn fod yr ysgrifenydd yn golygu fod olyniaeth yr henuriaid yn cynnwys olyniaeth i'r esgobyddiaeth; hyny ydyw, nad oedd esgob a henuriad yn ei feddwl ef ond enwau gwahanol ar yr un swyddog. Byddai yn

[1] "*Justini Martyris Opera.*" *Apologia* i. *sec.* 67. *Editio Otto. Jena,* 1842.
[2] *Sec.* 65.
[3] "*Adv. Haeres.*" *Lib.* iii. *cap.* 14. *Editio Grabe. London,* 1702.
[4] *Lib.* iii. *cap.* 3. [5] *Lib.* iii. *cap.* 2, *sec.* 2. [6] *Lib.* iv. *cap.* 26, *sec.* 2.

hawdd i ni liosogi anghreifftiau i'r un perwyl o'r awdur hwn; ond hyderwn fod hyny yn afreidiol, ac yr ystyrir y rhai hyn yn llawn ddigon. Y peth sydd yn ymddangos i ni debycaf, oddiwrth y gradd o gymysgedd sydd yn yr ysgrifenydd yma ar y pwnc rhagor y rhai a'i blaenorent, ydyw, fod y gwahaniaeth a ddaeth yn fuan wedi hyn yn gyffredinol yn yr eglwys, ac yr honir yn ein dyddiau ni, ac er ys oesoedd bellach, hawl ddwyfol drosto, yn dechreu dyfod i'r golwg, o leiaf mewn rhai manau, yn ei ddyddiau ef. Yr un pryd y mae mor amlwg, dybygem, nad oedd y gwahaniaeth ond yn dechreu ymddangos;—fod yr esgob a'r henuriad yn perthynu i'r un radd, ac yn ol hawl ddwyfol, beth bynag allasai fod arferion yr eglwys yn ei ddyddiau, yn meddiannu yr un awdurdod.

Wele ni yn awr wedi cyrhaedd dechreuad y drydedd ganrif, ac heb gael cymaint ag un prawf dros yr haeriad a wneir mor hyderus, gan y rhai a wrthwynebwn, fod y drefn esgobawl yn gyffredinol yn yr eglwys yn yr oes gyntaf wedi yr oes apostolaidd. Nid oes dim yn ysgrifeniadau y tadau cyntaf i bleidio yr haeriad, ond pob peth yn ei herbyn. Nid yw Clement, na Polycarp, na Justin, yn rhoddi dim rhith sail i neb wneuthur y fath honiad; ac er fod brawddegau braidd yn amwysawl gan Irenæus, eto y mae yn amlwg ei fod yntau yn ddigon pell oddiwrth wneyd dim gwahaniaeth gradd rhwng yr esgob a'r henuriad.

Y mae ein darllenwyr yn gweled nad ydym eto wedi gwneuthur un math o gyfeiriad at lythyrau Ignatius, ac efallai fod rhai o honynt yn synu tuag atom, gan ddechreu ein cyhuddo o annhegwch. Y gwirionedd yw nas gwyddom ni pa fodd i gyfeirio atynt. Y mae yn analluadwy i ni benderfynu pa ranau o honynt sydd yn eiddo iddo ef, a pha ranau nad ydynt. Yr oedd efe yn weinidog, neu yn iaith y rhai y mae a wnelom ni â hwynt yn awr, yn esgob yr eglwys yn Antiochia yn Syria. Yr ydoedd yn ddysgybl i'r Apostol Ioan, a dyoddefodd ferthyrdod dan yr Ymherawdwr Trajan, tua y flwyddyn 108. Y mae yn debyg ddarfod iddo ar ei ffordd o Antiochia i Rufain, lle, meddir, y merthyrwyd ef, ysgrifenu rhai llythyrau; ond pa berthynas sy rhwng y rhai sydd yn awr dan ei enw a'r rhai hyny sydd hollol ansicr. Y mae pymtheg o lythyrau yn dwyn ei enw. Gwrthodir, yn gyffredinol, yn awr, wyth o'r rhai hyn fel rhai ffugiol: ac y mae y saith eraill wedi bod yn destun mwy o ddadl nag odid ddim o'r fath y gwyddom ni am dano. Y maent i'w cael mewn dwy wahanol ffurf, a elwir yr hwyaf a'r feraf. Y mae rhai yn dadleu yn wresog mai y ffurf hwyaf ydyw y ffurf buraf, eraill yn gwrthod y cwbl, pryd y mae y cyffredinolrwydd yn addef fod y ffurf feraf yn llawer tebycach i fod yn bur na'r un hwyaf, ond eto yn dwyn profion luoedd, fod rhywrai wedi cymeryd rhyddid i ychwanegu at ysgrifeniadau yr hen ferthyr liaws o ddyfeisiau oesoedd diweddarach. Yr ydym yn addef yn rhwydd fod y llythyrau hyn, hyd yn nod yn y ffurf feraf arnynt, yn hòni hawl i'r esgob uwchlaw yr henuriaid hollol anghydweddol â'r hyn yr ydym ni yn dadleu drosto. Ond y mae eu hiaith ar hyn mor wahanol i bob peth yn yr oes hono, a'r oes ganlynol iddi, fel ag i daflu ammheuaeth, ar unwaith, i'n meddyliau ynghylch eu cywirdeb. Cymered y darllenydd yr hyn a ganlyn fel esiampl: "Cyhyd ag yr ymostyngoch i'ch esgob megys i Iesu Grist, yr ydych yn ymddangos i mi yn byw nid yn ol dyn, ond yn ol Iesu Grist, yr hwn a fu farw drosom, fel trwy ymddiried yn ei farwolaeth ef y galloch chwi ddianc rhag y farwolaeth. Y mae yn anghenrheidiol gan hyny, megys ag yr ydych chwi yn

ymddwyn, na wneloch chwi ddim heb yr esgob, ond ymostwng hefyd i'r henuriaeth, megys i apostolion Iesu Grist ein gobaith."[1] Eto. "Parched pawb y diaconiaid, megys Iesu Grist, a'r esgob fel Mab y Tad; a'r henuriaid megys Cynghor Duw a mintai yr apostolion. Heb y rhai hyn nis gellir ei galw yn eglwys."[2] Eto. "Nid yw yr hwn a wnelo ddim heb yr esgob, a'r henuriaeth, a'r diacon, yn bur yn ei gydwybod."[3] Wele ychydig ddyfynion o un o'r llythyrau; ac nid yw hyn ond cynllun o'r cwbl, oddigerth yr un at yr eglwys yn Rhufain; y mae hwnw heb gymaint ag un cyfeiriad o'r fath, ond yn unig ei fod yn ei alw ei hunan ynddo unwaith, yn esgob Syria;—ffurf arall o lefaru sydd yn hollol ddyeithr i'r Testament Newydd, ac i bob awdur yn y canrifoedd cyntaf. Y mae Cyprian unwaith yn nghanol y drydedd ganrif yn defnyddio yr un dull. Ond, am y llythyrau eraill, y maent yn llawn, hyd at ddiflasdod hollol, o bethau o'r un natur a'r cynlluniau uchod. Y maent yn cynnwys y fath honiadau cableddus am awdurdod yr esgobion, yr henuriaid, a'r diaconiaid; ac y mae y gwahaniaeth rhwng y rhai hyn yn cael ei nodi allan mor bendant, mor ddefodol, ac mor fynych, fel y rhaid, dybygem ni, fod cryn lawer o ragfarn yn meddwl y dyn hwnw dros ei olygiad ei hunan, a feddiannai ddim cydnabyddiaeth âg ysgrifeniadau y tadau eraill, nad ammheuai eu cywirdeb fel cyfansoddiadau merthyr cristionogol, mor foreu a dechreuad yr ail ganrif. Nid oes dim, i ni, yn fwy amlwg na bod yr holl gyfeiriadau hyn yn ffugiol;—yn ychwanegiadau rhywrai anonest, mewn amseroedd diweddarach, oddiar awydd *gwneyd hen* awdurdod dros beth, a deimlid ganddynt heb awdurdod *ddwyfol*. Ac nid ein barn ni yn unig yw hyn, ond barn lliaws o'r dynion mwyaf dysgedig a diduedd o bob plaid o Gristionogion. Cymered y darllenydd yr hyn a ganlyn er prawf:—"Y mae yr holl gwestiwn ynghylch epistolau St. Ignatius efo eu gilydd, yn ymddangos i mi yn dra thywyll ac yn ymglymedig â llawer o anhawsderau."[4] Eto: "Fel y mae y traddodiad ynghylch taith Ignatius i Rufain, lle yr ydoedd i'w fwrw i'r bwystfilod gwylltion, yn ymddangos i mi, am resymau a gyflwynwyd genyf eisoes, yn gwbl agored i ammheuaeth; felly nid yw ei lythyrau, y rhai sydd yn rhagdybied gwirionedd y chwedl hon, yn cynnyrchu ynof fi ond ffydd mor fechan yn eu dilysedd. Nas gallasai dyn a marwolaeth yn uniongyrchol ger ei fron, gael rhywbeth mwy cyfaddas i'w ddywedyd na'r cyfryw bethau ynghylch ufudd-dod i'r esgobion, sydd ry anhawdd genyf ei ddirnad; o leiaf pan y rhoddaf fy hunan yn yr amser y mae y llythyrau hyn yn proffesu eu bod wedi eu hysgrifenu."[5] "Y mae y llythyrau hyn, rhaid addef, yn cynnwys rhai rhanau sy trwyddynt yn dwyn delw hynafiaeth. Cyfryw, yn neillduol, ydynt y rhanau a gyfeirir yn erbyn Iuddewiaeth ac yn erbyn Docetiaeth; ond y mae hyd yn nod y ffurf feraf, yr hon yw y deilyngaf o ymddiried, wedi ei llygru yn fawr. Fel ag y gellir yn gyfiawn ammheu yr hanes am ferthyrdod Ignatius, felly nid yw y llythyrau sydd yn rhagdybied cywirdeb y chwedl ammheüus hono, mewn un modd yn dwyn delw unigolrwydd pendant cymeriad, a gwr o'r amserau hyny yn anerch yr eglwysi â'i eiriau diweddaf. Y mae bwriad uchel-eglwysaidd yn rhy

[1] "*Epist. ad Trallianos.*" *Sec.* 2. [2] *Ibid. Sec.* 3. [3] *Ibid. Sec.* 7.
[4] "*Mosheim's Church History.*" *Cent.* i. Rhan. ii. pen. ii. *sec.* 20.
[5] "*Neander's General Church History.*" *Torrey's translation.* Cyf. i. tudal. 261. *Edinburgh*, 1847.

amlwg ynddynt."[1] Eto, gan eglwyswr parchedig a dysgedig sydd yn awr yn fyw :—"Nid oes dim hen ysgrifeniadau wedi goddef mwy o gam a'u llygru yn fwy na'r rhai hyn.........Nid yw mewn un modd yn amlwg nad oedd y twyll a arferwyd ar y llythyrau yn y ffurf hwyaf yn ddim amgen nag ail ymgais i gario yn rhy bell, yr hyn a wnelsid yn fwy gochelgar, yn fwy medrus, ac yn fwy llwyddiannus, yn y ffurf feraf; a bod yr epistolau a elwir yn bur eu hunain wedi cael ymyryd â hwy. Yr oedd yr hudoliaeth i hyny yn gref, ac y mae yn ddiammhau arwyddion mewnol yn y llythyrau i hyny gael ei wneuthur."[2] Eto: "Yn yr epistolau hyn yr ydym yn cael yr un drefn—esgobion, henuriaid, a diaconiaid, yn cael ei gwneyd gyda manylder annhymmoraidd, a'i mynychu gyda phryder hollol glipanus. Y mae yma, heblaw hyny, gynnifer o arwyddion amcan, a'r fath unffurfiaeth gofalus mewn ymadroddi, fel, yn ddïau, na wna un pleidiwr galluog a diduedd i esgobyddiaeth y brif eglwys eu dwyn ymlaen o'i du, heb betrusder mawr; a chan lawer gwrthodir hwynt yn hollol. Nid wyf yn amcanu bwrw fod yr oll o'r epistolau hyn yn ffugiol. I'r gwrthwyneb, y mae rhanau lawer o honynt yn dwyn prawf mewnol o'u dilysedd; ond, gyda golwg ar y rhanau hyny sydd yn dal perthynas â'r ddadl bresennol, nid oes cymaint ag un frawddeg ag y gallwn ni ei defnyddio. Nid yw yr iaith, ar y boreuaf, yn gynt na'r bedwerydd ganrif."[3] "Y mae," medd Mr. Riddle, eglwyswr dysgedig iawn yn awr yn fyw, ar ol dyfynu rhai rhanau o Ignatius ynghylch esgobyddiaeth, "y mae ymadroddion fel hyn wedi cael eu hystyried, a hyny yn rhesymol, fel gwaith llaw diweddarach. Y mae yn analluadwy gosod dim pwys ar unrhyw ranau o'r epistolau hyn, yn y rhai, y mae yn dra thebygol fod brawddegau ffugiol wedi eu cymysgu yn gelfyddgar âg ymadroddion pur y tad apostolaidd."[4]

Dyma dystiolaethau rhai o'r dynion mwyaf dysgedig a diragfarn, yn nghylch y llythyrau hyn, dan y manteision oedd ganddynt hwy i ffurfio barn am danynt. Hyn oedd sefyllfa y ddadl yn eu cylch hyd yn ddiweddar. Ond yn y flwyddyn 1843, fe ddygwyd i'r deyrnas hon ar draul y llywodraeth, o hen fynachlog yn yr Aipht, lawer iawn o ysgrifeniadau Syriaeg, y rhai a ddodwyd yn y *British Museum*. Yn eu plith yr oedd hen gyfieithiad i'r Syriaeg o dri o lythyrau Ignatius. Fe gyhoeddwyd yn fuan gan Mr. Cureton, o'r *Museum*, y cyfieithiad hwn, gyda chyfieithiad o hono yntau i'r Saesoneg, a'r testun Groeg wedi ei gydweddu â'r cyfieithiad Syriaeg, ynghyda rhagdraethawd dysgedig a manwl ar hanes y ddadl ynghylch y llythyrau, dan yr enwad canlynol;—"*The Ancient Syriac Version of the Epistles of St. Ignatius to St. Polycarp, the Ephesians, and the Romans: together with extracts from his Epistles, collected from the writings of Severus of Antioch, Timotheus of Alexandria, and others. Edited with an English Translation and Notes. Also the Greek Text of these three Epistles, corrected according to the authority of the Syriac Version. By William Cureton, M.A. London*, 1845." Fe ymosodwyd yn haerllug

[1] "*Neander's General Church History.*" Cyf. ii. tudal. 443, 444.

[2] "*Hind's History of the Rise and Early Progress of Christianity.*" Tudal. 317, 318. Ail argraffiad. *London*, 1846.

[3] "*Christian Observer.*" Cyf. ii. tudal. 723. *Cited by Smyth in his "Presbytery and not Prelacy the Scriptural and Primitive Policy.*" Tudal. 350. *American edition.* 1843.

[4] "*Christian Antiquities.*" Tudal. 232. *Cited by Smyth:—"Presbytery and not Prelacy.*" Tudal. 350, 351.

ar y cyfieithiad hwn gan adolygydd uchel-eglwysaidd yn yr "*English Review*," yr hwn a haerai mai rhyw heretic a'i gwnaeth, gan dalfyru llythyrau yr hen dad, er pleidio syniadau croes i'r rhai a goleddid gan yr eglwys yn gyffredin. Dug hyn allan amddiffyniad medrus i'r cyfieithiad gan y gwr a'i cyhoeddasai, dan yr enw "*Vindiciæ Ignatianæ; or the Genuine Writings of St. Ignatius, as exhibited in the Ancient Syriac Version, vindicated from the Charge of Heresy. By the Rev. William Cureton, M.A. F.R.S., of the British Museum; late Sub-Librarian of the Bodleian Library. London*, 1846." Y mae yn rhaid i bawb addef fod y cyhoeddiadau hyn wedi dwyn y ddadl ynghylch y llythyrau i dir hollol newydd. Yr ydym dan anghenrheidrwydd i gyfeirio ein darllenwyr, a fynont weled ychwaneg ar hyn, at y llyfrau uchod, neu at adolygiad gwerthfawr ar y blaenaf, a sylw go dda ar yr olaf, yn y "*Biblical Review*," cyf. i. tudal. 15—23; 98—113; 443—449, gan na oddef ein terfynau, ac na byddai ychwaith yn hollol gydweddol â'n hamcan, i ni ymhelaethu arno. Cymaint a hyn a allwn ddywedyd; fod pob cyfeiriad at esgobion, henuriaid a diaconiaid, allan o'r llythyrau, yn y wedd sydd arnynt yn y cyfieithiad Syriaeg, oddigerth unwaith, yn y llythyr at Polycarp. Yno dywed: "Edrychwch at yr esgob fel yr edrycho Duw arnoch chwi. Byddaf dros eneidiau y rhai a ymddarostyngant i'r esgobion, a'r henuriaid, a'r diaconiaid; ynghyda hwynt bydded cyfran i minnau gyda Duw."[1] Y mae yma, fel y mae yn amlwg, gyfeiriad pendant at y tri gradd o swyddogion yn yr eglwys, y gwadwn ni eu bod ynddi yn yr oes gyntaf wedi yr oes apostolaidd. Ond y mae yr adolygydd uchod yn nodi dwy ffaith sydd, dybygem ni, yn profi nad oes yma eto ond ychwanegiad o eiddo ysgrifenydd diweddarach at y testun gwreiddiol: un ydyw, mai dyma yr *unig fan* yn y llythyrau y mae dim cyfeiriad o'r fath; a'r llall ydyw, y cysylltiad yn yr hwn yr ydym yn cyfarfod â'r cyfeiriad hwn; sef yn nghanol cyfarchiad at *un*, a hwnw, yn ol tybiaeth y rhai fyddent yn dueddol i wadu ein casgliad, yn esgob ei hunan. Ar ffrwst ac yn hollol ddirybydd, ar ganol gohebiaeth deilwng i ddau hen esgob, wele un yn tori allan yn ddisymwth, i waeddi ar y llall, sydd erbyn hyn yn lleill; "Edrychwch at"—ymostyngwch, ufuddhewch, perchwch, "yr esgob." Digon, dybygem ni, i beri i bob un a hanner agoro un llygad, weled troed traws yr hen dwyllwr. Y mae y llythyrau, yn ddiddadl, yn llawer nes yn y ffurf ddiweddaraf yma arnynt, i'r hyn oeddent pan y daethant oddi tan law yr awdur nag yn y ffurfiau eraill, ac eto y mae lliaws o nodau llygriad arnynt hyd yn nod yn y ffurf hon. Cymerer a ganlyn er prawf. Gan ysgrifenu at yr Ephesiaid, dywed, "Yr wyf yn llawenychu ynoch, ac yr wyf yn offrymu gweddïau drosoch chwi, Ephesiaid, eglwys sydd yn enwog trwy yr holl oesoedd."[2] Ydyw yn debygol y buasai Ignatius, yr hwn a ferthyrwyd tua y flwyddyn 108, yn llefaru fel hyn am eglwys nad oedd yn hanfodi ychydig fwy na dwy oes cyn hyny? Y gwirionedd yw, fel y mae yn ymddangos i ni, fod yn analluadwy dyfod i un penderfyniad hollol, oddiwrth y llythyrau hyn, ynghylch athrawiaeth na llywodraeth yr eglwys yn yr oes hono; oblegid y maent, yn amlwg, wedi eu llygru, a hyny i'r fath raddau ag i wneuthur yn ormod gorchwyl i neb allu penderfynu beth sy gywir a beth sy ffugiol. Yn wir, mor gymysglyd ydyw y cwbl am Ignatius, fel y mae llawer, fel yr Esgob Stillingfleet, yn

[1] "*The Syriac Version*." Tudal. 8, 9. [2] *Ibid.* Tudal. 13.

barod i ammheu yr holl chwedl yn ei gylch. "Yn ddiau," medd efe, "nid yw y chwedl am Ignatius mewn un modd yn ymddangos y debycaf. Oblegid, paham y dygid Ignatius o bawb eraill i Rufain i ddyoddef, pan yr ydoedd y rhaglawiaid a llywyddion y taleithiau yn mhob man, yn amser erledigaeth, yn defnyddio eu hawdurdod i gosbi Cristionogion ger bron eu brawdleoedd eu hunain, heb eu gyru ar daith mor bell a Rhufain, i'w merthyru yno? A pha fodd y goddefid i Ignatius grwydro cymaint, ac yn y fath fodd, ag y gwnaeth, yn ol y chwedl, od oedd y milwyr a'i gwylient mor greulawn wrtho ag y cwyna efe eu bod?"[1] Dyma y diwedd ynghylch Ignatius druan. Y mae yn amlwg iawn iddo gael ei ferthyru, nid yn unig yn ei gorff ond yn ei ysgrifeniadau. Ond ysywaeth! Yn y naill yr oedd yn ferthyr gwirfoddol dros y gwirionedd; ac yn y lleill yn cael ei lusgo at allor "mam puteiniaid a ffieidd-dra y ddaear," a'i offrymu yn aberth i'r "dyn pechod." Efallai fod rhai o'n darllenwyr yn teimlo ein bod wedi ymdroi gormod gydag ef; ond yr ydym yn sicr nad oes neb o honynt sydd yn gydnabyddus â'r ddadl, ac yn gwybod am y pwys mawr a roddir ar ei dystiolaethau ef gan esgobaethwyr, yn gweled dim amser yn rhy hir i gael gafael ar y gwirionedd yn ei gylch. Yr ydym yn dra hyderus fod hwnw, yn awr, can eglured, a chan fyred ag y gallasem ni ei gyfleu ger bron ein darllenwyr. Ni bydd y sawl o honynt, a ystyrio y profion a ddygwyd ymlaen yma, mewn un perygl, ni a obeithiwn, o gael ei hudo gan drwst neb ynghylch Ignatius i syrthio i freichiau y drefn esgobawl; ond y gwel fod y gwirionedd am hanes yr eglwys yn hollol groes i honiadau y rhai a ddadleuant dros y drefn hono, ac nad ydoedd mewn un modd yn gyffredinol yn yr eglwys yn yr oes gyntaf wedi yr oes apostolaidd.

3. Ond, yn drydydd, y mae y rhai sydd yn dadleu dros awdurdodiad dwyfol y drefn esgobawl, ar y sail o'i bod yn gyffredinol yn yr eglwys yn yr oes gyntaf wedi yr oes apostolaidd, yn dadleu felly, ar y dybiaeth fod esgob, yn y brifeglwys, *wedi* i'r gair ddyfod i arferiad am swyddog gwahanol i'r henuriaid yn gyffredin, yr un peth ag esgob, yn yr ystyr sydd i'r gair, yn ein gwlad a'n dyddiau ni. Nid rhaid i ni ddywedyd wrth yr un o'n darllenwyr sydd a chanddo ddim cydnabyddiaeth â hanes yr eglwys fod hon yn dybiaeth hollol ddisail. Cymerwch Esgob Ignatius ei hunan, yn y ffurf gyffredin sydd ar ei lythyrau; a pha faint a ennilla trefn esgobawl ein dyddiau ni o blaid yn y diwedd oddiwrth ei honiadau? Nid yw yr esgob, ganddo ef, ond prif swyddog un gynnulleidfa: rhai felly oedd y cwbl a enwir ganddo: y gweinidogion gosodedig dros ryw eglwysi neillduol. Yr oeddent i adnabod yr holl rai dan eu gofal wrth eu henwau, hyd yn nod y caethweision yn wryw ac yn fenyw; yr oeddent i ofalu am y gweddwon tan eu gofal; i arolygu y priodasau yn yr eglwys; nid oedd yr ordinhadau i'w gweinyddu ond yn eu presennoldeb, ac yn ol eu cyfarwyddyd; yn fyr, nid oedd dim i'w wneyd heb yr esgob. Nid yw arolygiaeth esgob, gan yr ysgrifenwyr cyntaf, byth yn cyrhaedd dros eglwysi neu gynnulleidfaoedd, ond eglwys neu gynnulleidfa. Yn mha le bynag yr oedd cynnulleidfa, yr oedd esgob. Yn Nghynghor Sardica, a gynnaliwyd yn nghanol y bedwerydd ganrif, fe luniwyd deddf i wneuthur yn anghyfreithlawn gosod esgob mewn treflan neu ddinas fechan: ac y mae yn deil-

[1] "*Irenicum.*" Tudal. 298. *Cited in Smith's "Presbytery and not Prelacy,"* &c. Tudal. 352.

wng o sylw nodedig, mai y rheswm a roddir yn y ddeddf dros y fath waharddiad yw, "rhag i enw ac awdurdod yr esgobion gael eu dwyn i ddirmyg."[1] Ond y mae Bingham ei hunan, yn yr adran ganlynol, yn cyfaddef na ddaeth y rheol hon byth yn gyffredinol; ond fod esgobion cyn ac wedi Cynghor Sardica, i'w cael mewn dinasoedd bychain a threflanau. Dinas fechan iawn oedd Nazianzum; ac eto yn niwedd y bedwerydd ganrif yr oedd un o'r dynion mwyaf yn yr oes hono yn esgob ynddi. Pan alltudiwyd Chrysostom i Caucasus yn Armenia, er nad ydoedd ond dinas fechan iawn, eto fe gyfarfu âg esgob yno; yr hwn a ymddygodd yn garedig iawn tuag ato yn ei alltudiaeth. Ni a allem, gan ddilyn Bingham, nodi llaweroedd o fân dreflanau cyffelyb yn eisteddleoedd esgobion; ac nid yn gartref iddynt, fel Bangor neu Lanelwy, &c. a gwlad fawr oddiamgylch dan eu harolygiaeth; ond cymaint o awdurdod ag oedd ganddynt wedi ei gyfyngu i'w cynnulleidfa eu hunain. Y mae Bingham, er ei fod mewn un man,[2] yn dadleu mai y rhaniad gwladol, ag oedd eisoes wedi ei wneyd gan yr Ymherodraeth Rufeinig, oedd yn penderfynu maint yr esgobaethau, gan gasglu oddiwrth hyny reswm digonol yn ei feddwl ef, paham yr oedd rhai o honynt yn fawr ac eraill yn fychain, eto yn gorfod cyfaddef yn yr adran ganlynol i'r un y cyfeiriasom ati gyntaf, fod yn Asia Leiaf ei hunan heb fod ynddi ond dwy o'r rhaniadau gwladol hyny, yn agos i bedwar cant o esgobaethau. Y mae yn cyfaddef hefyd fod esgobion yn Affrica yn amser yr ymrafaelion Donataidd, yn mhob tref a threflan yn y wlad, ac weithiau mewn manau nad oedd ganddynt ddim pobl. "Na fydded i neb," meddai Mosheim, "gymysgu esgobion yr amser boreuol ac auraidd hwn ar yr eglwys gyda y rhai y darllenwn am danynt yn yr oesoedd canlynol. Canys er eu bod yn dwyn yr un enw, eto yr oeddent yn gwahaniaethu yn ddirfawr, a hyny ar lawer o olygiadau. Nid oedd esgob yn y ganrif gyntaf a'r ail, ond un âg arno ofal un gynnulleidfa Gristionogol, yr hon, y pryd hwnw, a llefaru yn gyffredin, oedd ddigon bechan i ymgyfarfod mewn tŷ annedd cyffredin. Yn y gynnulleidfa hon yr oedd yn gweithredu, nid yn gymaint gydag awdurdod *meistr*, ac âg aidd a diwydrwydd *gwas* ffyddlawn. Addysgai y bobl, cyflawnai amrywiol ranau yr addoliad dwyfol, ymwelai â'r cleifion, ac arolygai amgylchiadau a chynnaliaeth y tlodion."[3] Y mae lliaws o'r eglwyswyr dysgedicaf yn addef yr un peth. Wele dystiolaeth yr Esgob Stillingfleet:—"Canys er, wedi i'r eglwysi gynnyddu, y byddai cyfarfodydd achlysurol yn fynych mewn amrywiol leoedd, eto nid oedd ond un eglwys, un allor, un bedyddfan, ac un esgob, a llawer o henuriaid yn ei gynnorthwyo; ac y mae hyn mor amlwg mewn hynafiaeth, o ran yr eglwysi a blanwyd gan yr apostolion eu hunain mewn amrywiol fanau, fel nas gall neb ond estron i hanes yr eglwys byth ei ammheu."[4] I'r un perwyl yr ysgrifena Dr. Burton, oedd yn flaenorol i'r Dr. Hampden yn *Regius Professor* Duwinyddiaeth yn Rhydychain. Wrth son am y drydedd ganrif, dywed, "Am y pryd sydd dan ein sylw yn awr, yr oedd yr esgobaeth yn debycach i'n plwyf ni, a dyna yr enw oedd iddi. Yr oedd i bob plwyf, gan hyny, ei esgob ei hunan, gyda rhifedi yn amrywio o hen-

[1] "*Bingham's Antiquities of the Christian Church.*" Llyfr ii. pen. xii. dos. xi. "*Works.*" Cyf. i. tudal. 163. *Pitman's edition. London,* 1843.

[2] Llyfr ix. pen. ii. dos. 1. Cyf. iii. tudal. 37, 38.

[3] "*Church History.*" Canrif i. Rhan. ii. pen. i. dos. 12.

[4] "*Sermon against Separation.*" Tudal. 27. *Cited by Coleman in his "Church without a Bishop.*" Tudal 204. *Boston.* 1844.

uriaid a diaconiaid."[1] Y mae Dr. Whately, archesgob presennol Dublin, yn hollol bendant yr un ffordd. "Y mae yn ymddangos," medd efe, "fod EGLWYS ac ESGOBAETH wedi bod am amser maith (*considerable time*) yn *ogymaint*, ac yn arwyddo yr un peth."[2] Fel hyn, y mae yn amlwg fod y rhai sydd yn casglu, wrth glywed son am esgobion yn y prifoesoedd, hawl ddwyfol eu hesgobion hwy, a hynafiaeth apostolaidd eu heglwys, yn adeiladu y cwbl ar *air*, ac yn gwneyd ffyliaid hollol o honynt eu hunain. Wrth ddilyn yn ol, nes dyfod at esgob y brifeglwys, yn lle cyfarfod â dyn yn byw mewn palas mawr, gwych, a darn o fyd o dan ei arglwyddiaeth, lle y mae yn gweithredu fel unbenaeth hollol, cannoedd o'i frodyr yn crynu gan ei ofn; yn hèrio gallu canghellydd teyrnas, a holl awdurdod gorsedd gwlad; yn gwneyd ei fympwy ei hunan yn rheol barn rhai annhraethol ddoethach nag ef ei hunan; yn cadw gwyr gonest, cydwybodol, ymroddedig i wasanaeth yr efengyl, am fisoedd oddiwrth bobl eu gofal, am feiddio barnu drostynt eu hunain, a gwrthod plygu i'w fympwy ef, can nad beth a ddaw o eneidiau y trueiniaid a ymddiriedwyd iddynt, tano ef; yn treulio y rhan fwyaf o'i amser yn y senedd yn dadleu, os na bydd yn cysgu, âg arglwyddi, ieirll, a duciaid, ynghylch helyntion llywodraethau pellenig, heb i bobl ei ofal, ei braidd, gael un olwg arno, oddigerth ambell un o honynt, unwaith yn y tair blynedd, a ddygwyddo fod yn trigiannu yn agos i ryw balas galluog, i gynnyrchu seigiau addas i foddhau ei ran anianol;—yn lle y fath hyn, yr ydym yn cyfarfod â dyn duwiol, isel, llafurus; "gwr Duw yn cynniwair heibio i'w bobl yn wastadol;" bugail gofalus i borthi ei braidd; yn ymweled â'r afiach, gan geisio rhoddi ei ofal i'r hwn a all ei nerthu ar ei glafwely; yn peri i galon y wraig weddw lawenychu, trwy gyfeirio ei meddwl at Brynwr byw; yn ceisio esmwythâu gofid y trallodedig, trwy dywallt olew yr efengyl i'w friwiau; yn ddyfal i wneuthur ei hun yn brofedig gan Dduw, yn weithiwr difefl, yn iawn gyfranu gair y gwirionedd; yn ymroddi i weddi a gweinidogaeth y gair. Y mae yr eglwys gadeiriol fawr wedi diflanu i dŷ annedd cyffredin; y mae y palas gwych wedi troi allan yn fwthyn tlawd, ond glanwaith a thangnefeddus; a'r arglwydd esgob yn dilyn rhyw gelfyddyd tebyg i fab y saer.

Fel hyn, y mae pob dadl sydd yn cael ei chyfodi i brofi awdurdodiad dwyfol esgob fel swyddog gwahanol i, ac uwchlaw, henuriad, yn yr Eglwys Gristionogol, erbyn chwilio ychydig arni, yn syrthio i'r llawr. Brithir tudalenau yr ysgrifenwyr yr ydym yn eu gwrthwynebu â dyfynion meithion o eiddo ysgrifenwyr o'r bedwaredd a'r bummed ganrif, yn hòni sefydliad dwyfol y swydd. Ond nid oedd ganddynt hwy, yn yr oesoedd hyny, ond ychydig iawn well mantais nag sydd genym ninnau i farnu pa beth oedd y drefn apostolaidd; ac ni a wyddom yn dda fod ysbryd mawrhau eu hawdurdod eglwysig yn wendid cyffredin ar ddynion goreu yr oesoedd hyny. Ond er holl duedd arglwyddaidd yr amseroedd, ar ran yr esgobion, ac er eu holl duedd gwasaidd ar ran y gweinidogion cyffredin a'r bobl, yr ydym yn cael rhai, o'r rhai diweddaf y gallesid dysgwyl hyny oddiwrthynt, yn ddigon gwrol i hòni cydraddoldeb gwreiddiol gweinidogion yr efengyl, ac i briodoli y gwahaniaeth a ffynai i'w wir achos. Y mae Jerome, un o'r rhai mwyaf dysgedig o'r tadau Lladinaidd, un o'r rhai a

[1] "*History of the Christian Church.*" Tudal. 264. *Cited by Coleman,* tudal. 202.
[2] "*Kingdom of Christ.*" Tudal. 172.

wnaeth fwyaf o blaid cynnydd egwyddorion yn ymylu ar eiddo y bwystfil yn yr eglwys, ac un y mae ei ysgrifeniadau yn cael eu hystyried agos o awdurdod apostolaidd gan Eglwys Rhufain a'r rhai a fynent ei dynwared, eto yn ymhyfhau i draethu y gwirioneddau canlynol i ymhonwyr uchel-eglwysig ei ddyddiau ef. Wedi gwadu yn hollol hawl ddwyfol yr esgob uwchlaw henuriad, a myned dros liaws o adnodau er prawf mai yr un oeddynt ar y cyntaf, dywed—"Ein hamcan yn y sylwadau hyn ydyw, dangos nad ydoedd yr henuriaid a'r esgobion ymhlith yr hynafiaid ond yr un rhai. Ond o fesur ychydig ac ychydig, fel y dadwreiddid planigion ymrysonau, fe drosglwyddwyd yr holl ofal ar un gwr: megys ag y mae yr henuriaid, gan hyny, yn gwybod eu bod yn ddarostyngedig, yn ol defod yr eglwys, i'r hwn sydd wedi ei osod drostynt; felly gwybydded yr esgobion eu bod uwchlaw yr henuriaid, yn fwy trwy ddefod na thrwy unrhyw osodiad gwirioneddol o eiddo ein Harglwydd, ac felly y dylent lywodraethu yr eglwys yn gyffredin."[1] Yr un modd y cyfaddefa Augustine, yr hwn oedd esgob, pan yn ysgrifenu at Jerome, yr hwn nad oedd ond yn henuriad,—"Er," meddai, "yn ol yr enwau o barch sydd yn awr wedi eu dwyn gan arferiad i'r eglwys, y dichon fod esgob uwchlaw henuriad; eto y mae Augustine, mewn llawer o bethau, islaw Jerome."[2] Y mae Gieseler yn dangos yn yr adran y cyfeiriasom ati eisoes, trwy brofion lawer, mai dyma y golygiad cyffredin hyd amser Cymanfa Trent, pryd y daeth dwyfol awdurdodiad yr esgob uwchlaw henuriad yn ddysgeidiaeth gyffredin Eglwys Rhufain: yr hon a ddilynwyd, yn y golygiad hwn, gan ddosbarth mawr o weinidogion Eglwys Loegr, ac yn wir, yn ormodol, gan gyfansoddiad yr eglwys ei hunan. Nad oedd y diwygwyr cyntaf, na'u canlynwyr uniongyrchol ychwaith, yn Eglwys Loegr yn pleidio y golygiad, sydd sicr. Y mae yr Esgob Burnet wedi cyhoeddi allan o'r copïau gwreiddiol amryw ysgrifeniadau sydd yn taflu goleu mawr a phendant ar olygiadau tadau y Diwygiad Protestanaidd yn Eglwys Loegr, ar y testun yn awr dan ein sylw. Oni bai ofn blino ein darllenwyr, dodasem i mewn yma ddyfynion helaeth o un o honynt;—mynegiad a wnaed ynghylch swyddau a gosodiad dwyfol esgobion a henuriaid. Arwyddwyd y papyryn hwn gan Cranmer, Archesgob Canterbury, Archesgob York, a chan un-ar-ddeg o esgobion eraill, ynghyd â lliaws mawr heblaw hyny o dduwinyddion. Gwnaed y mynegiad hwn yn y flwyddyn 1538. Digoned yr hyn a ganlyn fel cynllun o hono. Ar ol dywedyd fod y tadau, er mwyn harddu yr eglwys, wedi ychwanegu llawer o swyddau a defodau ynddi at y rhai oedd apostolaidd, dywed—"Eto y gwirionedd yw, nad oes un crybwylliad yn cael ei wneuthur yn y Testament Newydd am unrhyw raddau neu wahaniaeth mewn urddau, ond yn unig am ddïaconiaid neu weinidogion, ac am henuriaid neu esgobion: ac nid oes yno un gair o grybwylliad am unrhyw ddefod yn cael ei gweinyddu yn nghyflawniad y sacrament hwn, ond yn unig gweddi ac arddodiad dwylaw yr esgob."[3] Dyma oedd golygiad yr holl ddiwygwyr, ynghyd âg ardderchog lu y merthyron, a'u canlynwyr uniongyrchol yn Eglwys Loegr, yn nyddiau cyntaf y Frenines Elizabeth.

[1] "*Comment in Epist. ad Tit.* i. 7. *Cited by Gieseler in his* "*Ecclesiastical History.*" *Translated by Dr. Davidson.* Cyf. i. tudal. 188. *Edinburgh,* 1846.

[2] "*Epist.* 82, *ad Hieron.*" *C.* 33. *in Gieseler. Ibid.*

[3] "*History of the Reformation.*" *Collection of Records. Addenda.* Rhif. 5., cyf. iv., tudal. 176.

Y mae Mr. Keble, un o dadau cyntaf yr ysgogiad diweddar yn Rhydychain, yn cael ei orfodi i gyfaddef am Jewel, Whitgift, Cooper, a duwinyddion eraill yr oes hono—"mai digon ganddynt hwy oedd dangos fod y llywodraeth trwy archesgobion ac esgobion yn hen ac yn oddefadwy; nad ydynt byth yn anturio i wasgu ei hawl *unig* hi, neu i gysylltu yr olyniaeth âg effeithioldeb y sacramentau sanctaidd;" ac yn dadleu mai y rheswm am hyny oedd, "ystyriaethau o gyfeillgarwch personol; yn gyntaf trwy gysylltiad Cranmer â'r Lutheriaid, ac wedi marwolaeth y Brenin Edward, trwy drigiad Jewel, Grindal, ac eraill, yn Zurich, Strasburgh, a manau eraill, mewn cynnulleidfaoedd a roddasent i fynu yr olyniaeth apostolaidd."[1] A'r diwygwyr, a'u canlynwyr cyntaf, y cyttuna nifer fawr o'r Eglwyswyr duwiolaf a dysgedicaf o'u hamser hwy hyd y pryd hwn, yn gystal a'r rhai goreu sydd yn gweinidogaethu o fewn yr Eglwys Wladol y dydd heddyw.

Yn mha le, ynte, y mae y sail i'r hòniad a wneir am awdurdodiad dwyfol esgob uwchlaw henuriad? Y mae y Testament Newydd yn ei wadu; nid yw y tadau apostolaidd yn gwybod dim am dano; y mae y diwygwyr yn ei garthu allan fel llysnafedd y dyn pechod; y mae y merthyron yn tystioliaethu i'w erbyn, ac yn selio eu tystiolaeth â'u gwaed; y mae nerth dysgeidiaeth, barn, a duwioldeb yr Eglwys Esgobawl ei hunan yn cydgodi i'w daro; y mae yn rhaid, dybygem ni, i bob un a ofalo pa beth i'w gredu, addef, nad ydyw ond dychymyg hollol ddisail; ac felly bod yr holl adeilad fawr a gyfodir arno yn syrthio o anghenrheidrwydd i'r llawr.

II. Ond y mae gan bleidwyr y dychymyg yr ydym yn ymosod yn ei erbyn waith arall i'w wneyd cyn y gallwn gofleidio athrawiaeth yr olyniaeth fel y mae yn cael ei dysgu ganddynt hwy, pe byddai i ni ganiatâu yr hyn ydym eisoes wedi ei wadu, ac wedi, dybygem ni, ei brofi yn hollol ddisail, fod esgob a henuriad yn swyddogion gwahanol trwy awdurdod ddwyfol yn yr eglwys—rhaid iddynt eto brofi nad oes gan neb ond yr esgobion hawl i neillduo eraill i wasanaeth cyffredin yr efengyl; ac yn ganlynol, nad yw pob un sydd yn ymgymeryd â'r gwaith heb gael urddiad felly, pa gymhwysderau bynag eraill fyddo ganddo iddo, ond un wedi rhedeg heb ei anfon, un yn gweinidogaethu yn ddiawdurdod, un ar hyd ei oes yn cerdded llwybrau Corah, Dathan, ac Abiram. Dyma yr ail hòniad a nodasom sydd yn cael ei gynnwys yn y golygiad hwn. Y mae yn afreidiol i ni ddwyn profion o'u hysgrifeniadau eu bod yn hòni hyn. Gallem feddwl fod y rhai a gyflwynwyd genym eisoes yn llawn ddigon; onide, byddai yn hawdd i ni, heb ddim ond y drafferth o gyfieithu ac ysgrifenu, lenwi rhifyn o'r "Traethodydd" â'r cyfryw. Trwy arddodiad dwylaw yr esgob y mae y ddawn apostolaidd hon, mewn rhyw fodd dirgelaidd, a thrwy ryw ddylanwad annarluniadwy, yn dyfod, fel y mae y dyn a gafodd y cyffyrddiad, can nad beth fyddo ei gymeriad na'i gymhwysderau, ar unwaith yn weinidog awdurdodedig y Testament Newydd. Efe ydyw yr unig un o'r fath yn y plwyf. Nid yw pawb eraill ond gormeswyr dihawl ar ei diriogaeth ef; bleiddiau yn ngwisgoedd defaid, yn ysglyfio y praidd; lladron yn dringo dros y muriau i anrheithio y deml.

Yn awr, fel y sylwasom eisoes, yr ydym yn caniatâu fod rhyw fath o neillduad yn anghenrheidiol, oddieithr mewn amgylchiadau anghyffredin,

[1] "*Hooker's Works.*" *Keble's edition. Editor's preface.* Tudal. 59, 60. *Oxford,* 1841.

ar bob gweinidog cyn y gallai yn rheolaidd ymgymeryd yn swyddol â gorchwyl mor bwysig a dysgu meddwl Duw i ddynion. Y mae hyn, er mwyn gweddeidd-dra a threfn, dybygem ni, yn rheol sefydlog o eiddo Iesu Grist yn ei eglwys. Ond erbyn i ni droi i'r Testament Newydd, ni a welwn yn amlwg, ac ar unwaith, mai ar yr athrawiaeth y mae yr holl bwys yno. Nid oes yno gymaint ag un awgrymiad fod effeithiolrwydd yr efengyl a'i hordinhadau er iachawdwriaeth dynion yn cyfodi oddiar gymeriad ac awdurdod ei gweinidogion, ond oddiar ffydd yn ei gwirionedd ei hunan. Nid yw Paul yn petruso dim i annog y Galatiaid i ystyried pwy bynag a bregethai iddynt efengyl amgen i'r hon a ddysgasid iddynt yn anathema. Yr athrawiaeth ganddo ef oedd yn profi yr apostoliaeth; nid oedd ganddo ef un dychymyg am, hyd yn nod apostoliaeth, yn gyfnewid am yr efengyl. I'r un perwyl yr ysgrifena yr Apostol Ioan. Y mae yn annog y Cristionogion cyffredin "i brofi yr ysbrydion a ydynt o Dduw; oblegid fod gau-brophwydi lawer wedi myned allan i'r byd." A pha brawf a gyflwynir ganddo? Pwy a fedyddiodd y gweinidog? Pwy a'i hordeiniodd? A ddringodd efe y graddau cyffredin a rheolaidd i'r sefyllfa y mae ynddi yn bresennol? Dim o'r fath beth. Ond pa athrawiaeth sy ganddo? "Wrth hyn yr adnabyddwch Ysbryd Duw: pob ysbryd a'r sydd yn cyffesu ddyfod Iesu Grist yn y cnawd, o Dduw y mae," &c. (1 *Ioan* iv. 1, 2, 3.) "Od oes neb yn dyfod attoch," meddai, gan ysgrifenu at ryw wraig grefyddol a'i phlant, "ac heb ddwyn y ddysgeidiaeth hon, na dderbyniwch ef i dŷ, ac na ddywedwch Duw yn rhwydd wrtho." (2 *Ioan* 10.) Pa fodd y teimlai un o'r ymffrostwyr o'u holyniaeth apostolaidd, yn ein gwlad ni, pe ymddygid fel hyn tuag ato? Edrychwch, y mae yn myned i'r tŷ. Gwraig weddw foneddig, grefyddol, a'i phlant sydd yna yn byw. Y mae yn cedi ei chrefydd yn hollol o'r Testament Newydd, ac yn nodedig o hoff, fel gwragedd crefyddol yn gyffredin, o'r Apostol Ioan. Y mae y gwr dyeithr (yr wythnos ddiweddaf y daeth i'r gymydogaeth, a dyma y tro cyntaf iddo alw yma) yn dechreu yn arglwyddaidd iawn ar y gorchwyl y mae wedi ei dori iddo ei hunan yn y maes newydd sydd iddo i'w lafurio. Ond cyn cael dim croesaw, y mae y wraig foneddig yn gofyn iddo yn ostyngedig, am egluro ychydig iddi hi ar yr athrawiaeth oedd ganddo; gan led arwyddo fod y derbyniad a allai hi roddi iddo yn dibynu yn hollol ar hyny. "Athrawiaeth Ma'am? Edrychwch dyma lythyrau yr esgob, a'i seliau wrthynt, i sirchau i chwi fy mod wedi cael urddau rheolaidd; y mae dwylaw y gwir barchedig dad wedi bod ar fy mhen; yr wyf wedi cael fy awdurdodi i'ch dysgu, ac nid oes neb yn y plwyf hwn â'r olyniaeth ganddo ond myfi." "Llythyrau? seliau? urddau? dwylaw? pen? awdurdod? esgob? Nid oes yma air o grybwylliad am ddim o'r fath: yr hyn y mae yr apostol Ioan yn rwymo arnaf fi, a'r hyn a wnaf, bydded y canlyniad yr hyn a fyddo, yw, eich troi dros y drws, os ydych heb ddysgeidiaeth Crist." Gwelwch, mewn difrif, mor glust lippa y mae y dyn yn edrych; y mae yn cael ar ei galon regi yr hen apostol am roddi y fath awdurdod i'r fath un; ac yn prysuro ei egni i'r tŷ nesaf i edrych a gyferfydd â neb ffolach yno. Dyma gyfarwyddiadau y Testament Newydd. Y mae yn hollol amlwg, ar wyneb y llyfr hwnw, mai y cwbl sydd o bwys i ddyn yw, nid awdurdod y pregethwr, ond ei athrawiaeth, a'i ffydd yntau yn hono. Y mae ffydd yn yr efengyl yn cael ei harddangos yno, yn cysylltu ei pherchen â bywyd tragywyddol, heb gymaint ag un eithriad. "Cred yn yr Arglwydd Iesu

Grist a chadwedig fyddi." Nid os credi trwy weinidogaeth Paul; nid os bedyddir di gan Pedr; nid os derbyni y bara a'r gwin o ddwylaw Ioan, neu un o'r rhai sydd yn eu galw eu hunain yn olynwyr iddynt. Nage; nid oes un lyffethair o'r fath am yr efengyl—y pwnc i gyd yw, "cred,"—bydd sicr o hyny—"a chadwedig fyddi." Nid oes neb i gyfryngu rhwng Duw a'r pechadur ond Iesu Grist. Rhaid i bob un a fyno fod yn gadwedig ddyfod ei hunan at Dduw ynddo; ac ond dyfod felly, can nad gan bwy y clywodd am dano, y mae cymaint ag sydd o wirionedd yn y Duw digelwyddog yn sicrhau bywyd iddo trwyddo. Dyfais uffern i gymylu gogoniant Crist, a dinystrio eneidiau dynion, oedd rhwymo dim arall wrth yr efengyl. Nid oes yn y Bibl, o'i ddechreu i'w ddiwedd, gymaint ag un linell yn rhoddi y gefnogaeth leiaf i'r fath ystryw.

At yr athrawiaeth hon, yn ei heffeithiau sancteiddiol ar galonau ac ymddygiadau ei chredinwyr, y cyfeiriai Paul, yn un peth, yn amddiffynol i'w hawl ei hunan i'r apostoliaeth. Yr oedd llawer y pryd hyny am ei ddiraddio yntau; yn haeru nad oedd yn apostol; ei fod wedi rhedeg heb yr anfoniad—nad oedd yr olyniaeth ganddo. Ond pa fodd y mae Paul yn cyfarfod yr wrthddadl? "Sel fy apostoliaeth i ydych chwi yn yr Arglwydd." (1 *Cor*. ix. 2.) "Ai rhaid i ni, megys i rai, wrth lythyrau canmoliaeth atoch chwi, neu rai canmoliaeth oddiwrthych chwi?" Nid rhaid i mi fyned at Iago, a Phedr, ac Ioan, neu eraill o'r rhai sydd yn Nghrist o'm blaen i, am lythyrau cymeradwyaeth i'w dwyn gyda mi trwy y gwledydd a'u cyflwyno i'r eglwysi. "Ein llythyr ni ydych chwi.......yr hwn a ddeallir ac a ddarllenir gan bob dyn." (2 *Cor*. iii. 1, 2.) Os bydd rhywrai yn ammheu a ydwyf i yn apostol, nid rhaid i mi ond eu hanfon i Corinth, i weled fy ngwaith yn yr Arglwydd; i weled y rhai aflan wedi eu golchi, y rhai meddwon wedi eu sobri, yr hen gybyddion yn hael, yr hen ladron yn bobl gyfiawn, yr hen ymladdwyr yn dangnefeddwyr; ac fe wel pawb fod genyf fi ddigon o awdurdod i bregethu Iesu Grist.

Ond eto. Pan y mae y Testament Newydd yn cyfodi oddiwrth yr efengyl at ei gweinidogion, y mae yn analluadwy i neb ei ddarllen heb weled mai y peth mawr y mae yn sefyll arno, fel yr unig beth o bwys, ydyw eu cymhwysderau. Ychydig a ddywedir yno ar eu neillduad, can leied, yn wir, fel y mae llawer nad ydynt yn addef yr un awdurdod arall mewn pethau crefyddol yn gwadu fod hyny yn anghenrheidiol oll;—pwy sydd i weinyddu ar yr achlysur, a pha fodd y maent i wneyd?—prin iawn ydyw yn ei gyfarwyddiadau ar hyn: ond ar y cymhwysderau y mae yn eglur, yn benderfynol, yn awdurdodol. "Y mae yn rhaid" yno "i esgob fod" yn llawer o bethau; ac y mae, ysywaeth, holl hanes yr Eglwys Gristionogol yn profi fod y nifer fwyaf o lawer o'r rhai sydd yn hòni eu hunain yn unig olynwyr yr apostolion, ac yn unig weinidogion awdurdodedig Iesu Grist yn y byd, yn fwy diffygiol ynddynt na'r cyffredin o blant dynion: ond nid oes yno air o son am y peth sydd yn ol eu hathrawiaeth hwy yn unig o bwys, y "rhaid" iddo fod wedi cael ei urddo gan esgob; ac onidê, pe byddai mor dduwiol a Brainerd, mor ymroddedig a Pearce neu Payson, mor hyawdl a Robert Hall neu Dr. Chalmers, mor ddysgedig a Pye Smith, mor lwyddiannus a Howell Harris;—pe byddai pob cymhwysderau naturiol a grasol yn cydgyfarfod ynddo—y mae diffyg cyffyrddiad y gwir barchedig dad yn andwyo y cwbl—nid yw yn y diwedd ond *quack* dïawdurdod—un yn gormesu ar swydd, i'r hon nid oes ganddo un hawl—un wedi rhedeg heb ei anfon—olynwr i Corah,

Dathan, ac Abiram: pryd y mae y creadur meddw, anllad, cybyddlyd, lladronllyd, anwybodus, fu mor ddedwydd a chael dwylaw yr esgob ar ei ben, yn weinidog awdurdodedig y Testament Newydd; a rhaid i'r bobl, dan berygl iachawdwriaeth eu heneidiau, ddirmygu ucheledd Howe, a threiddgarwch Edwards, myned heibio i'r capeli, yn y rhai y mae Williams o'r Wern yn lluchio ei berlau, Christmas Evans yn byrlymu meddyliau allai synu angelion, a John Elias yn taranu hyawdledd hollol seraphaidd, er mwyn gwrandaw gyda'r astudrwydd dyfalaf a gostyngeiddiaf ar gynnyrchion myfyrdod ei ddeall treiddgar, a thywalltiadau teimladau gwresog ei galon sanctaidd ef!

Ond eto. Yn hynod o annedwydd i'r ymhonwyr hyn, yn yr ychydig grybwylliadau sydd yn y Testament Newydd am neillduad gweinidogion, priodolir hyny, yn y cyffredin, i'r henuriaid. Y neillduad cyntaf yr ydym yn darllen am dano, wedi neillduad yr apostolion eu hunain gan Iesu Grist, ac olynwr Judas, ar ol esgyniad Iesu Grist, gan yr un-ar-ddeg, ydyw neillduad Barnabas a Saul, y cawn hanes am dano yn *Act.* xiii. 1, 2, 3. Heb fyned yn awr i'r ddadl pa un ai bod hyn yn neillduad arnynt i'r weinidogaeth, ynte i ran neillduol o'r gwaith,—yn gymaint a'i fod yn cael ei ystyried, yn gyffredin, gan y rhai yr ydym yn dadleu i'w herbyn, yn anghraifft o neillduad i'r weinidogaeth, a chan ei fod, y mae yn amlwg, wedi ei fwriadu i ateb yr un dyben ag a olygir yn gyffredin i neillduad cyflawn i'r weinidogaeth,—ni a allwn yn hawdd ei gymeryd i holl amcan ein hysgrif bresennol, fel cynllun o neillduad ysgrythyrol. Oes yma ynte rywbeth i bleidio yr haeriad nad oes gan neb hawl i urddo un i wasanaeth yr efengyl ond esgob? Ystyried y darllenydd yr hanes. "Yr oedd hefyd yn yr eglwys ydoedd yn Antiochia, rai prophwydi ac athrawon; Barnabas, a Simeon, yr hwn a elwid Niger, a Lucius o Cyrene, a Manäen, brawd-maeth Herod y tetrarch, a Saul. Ac fel yr oeddynt hwy yn gwasanaethu yr Arglwydd, ac yn ymprydio, dywedodd yr Ysbryd Glân, Neillduwch i mi Barnabas a Saul i'r gwaith y gelwais hwynt iddo. Yna wedi iddynt ymprydio, a gweddïo, a dodi eu dwylaw arnynt, hwy a'u gollyngasant ymaith." Wele yn yr eglwys hon bump o wŷr, a elwir yma prophwydi ac athrawon. Nad oedd y rhai hyn yn esgobion, yn ystyr bresennol y gair, sydd amlwg, oblegid yr oeddent oll yn perthynu i'r un eglwys. Gweinidogion cyffredin yr eglwys yn Antiochia oeddynt,—yr henuriaid; neu wŷr yn meddiannu doniau anghyffredin fel pregethwyr, ac yn arfer y doniau hyny yn achlysurol fel y gelwid hwynt i hyny. Y blaenaf sydd yn ymddangos i ni fel y golygiad tebycaf. Felly y golyga Dr. Blomfield, esgob presennol Llundain, yn ei "Ddarlithiau Eglurhaol ar Lyfr yr Actau." Y mae yn sicr, modd bynag, nad oeddent yn esgobion. Yr oedd y pump hefyd cyn hyn, y mae yn amlwg, yn yr un gradd. Nid oes yma ddim i awgrymu fod y rhai oedd yn gweinyddu yn y neillduad, yn flaenorol i hyn, yn perthynu i radd uwch na'r ddau a neillduid. Y casgliad naturiol, dybygem ni, oddiwrth yr hanes yma yw, fod y neillduad hwn, yr unig un y mae genym goffâd pendant am dano wedi y rhai a wnaed gan Iesu Grist a'r apostolion eu hunain, yn un nad oedd ynddo neb yn gweinyddu ond gweinidogion cyffredin yr eglwys yn Antioch. Y mae hyn yn cael ei addef gan lawer o'r rhai mwyaf dysgedig yn perthynu i Eglwys Loegr. Cymerer a ganlyn gan Dr. Hinds, er esiampl:—"Gweithred yr eglwys felly ydoedd, yn yr hon y gorweddai yr hawl i ordeinio esgobion, fel ag yr oedd yr eglwys o'r blaen wedi

ei gorchymyn i fyned trwy ffurf neillduad y ddau apostol anghyffredin at y cenedloedd. Wrth yr eglwys, fel yr eglurwyd o'r blaen, y deallir cynnrychiolwyr yr eglwys; pa un ai, fel yn neillduad Paul a Barnabas yn Antiochia, henuriaid yn unig fyddent, ai fel yn neillduad Timotheus, fod yno un uwchlaw i'r henuriaid hefyd yn gweinyddu."[1]

Neillduad arall y cyfeirir ato yn y Testament Newydd, ydyw neillduad Timotheus; ac fe ddywedir, yn bendant, fod hwn wedi ei weinyddu gan yr henuriaeth. "Nac esgeulusa y ddawn sydd ynot, yr hon a roddwyd i ti trwy brophwydoliaeth, gydag arddodiad dwylaw yr henuriaeth." 1 *Tim.* iv. 14. Y mae yn eithaf amlwg, dybygem ni, oddiwrth gysylltiad y geiriau, mai dawn y weinidogaeth oedd y ddawn y cyfeirir ati yma—"Glŷn wrth ddarllen, wrth gynghori, wrth athrawiaethu. Nac esgeulusa y ddawn, &c. Myfyria ar y pethau hyn, ac yn y pethau hyn aros. Gwylia arnat dy hun, ac ar yr athrawiaeth," &c. Nid oes modd camgymeryd ynghylch y ddawn yn ngolwg yr apostol yma: ac fe ddywedir, yn eithaf pendant, ei bod wedi ei rhoddi "gydag arddodiad dwylaw yr henuriaeth," gweinidogion cyffredin, efallai, yr eglwys yn Lystra.

Ond fe ddadleuir oddiwrth 2 *Tim.* i. 6: "Oherwydd pa achos yr ydwyf yn dy goffâu, i ail ennyn dawn Duw, yr hon sydd ynot, trwy arddodiad fy nwylaw i;"—mai Paul a neillduodd Timotheus, ac felly nad oes dim grym yn y casgliad a dynir genym oddiwrth yr adnod flaenorol dros ei neillduad gan yr henuriaeth. Ar hyn ni allwn sylwi, (1.) Fod yr adnod y cyfeiriwyd ati eisoes, o'r llythyr arall, yn cynnwys gwirionedd hollol, yn gwbl annibynol ar bob agweddiad ellir roddi arno gan yr adnod hon neu unrhyw adnod arall. Fe ddywedir yno yn bendant fod y ddawn, ac ni a feddyliem fod yn eithaf eglur mai dawn y weinidogaeth ydoedd, wedi ei rhoddi i Timotheus "gydag arddodiad dwylaw yr henuriaeth." (2.) Y mae yn hollol annhebygol y buasai Paul yn hòni iddo ei hunan yr holl anrhydedd o neillduo Timotheus, ac o gyflwyno dawn y weinidogaeth iddo, wedi iddo unwaith ddywedyd yn bendant fod y ddawn wedi ei rhoddi "gydag arddodiad dwylaw yr henuriaeth." (3.) Nid oes dim yn y testun, na'r cyddestun, i'n rhwymo i feddwl mai dawn y weinidogaeth yw y ddawn y cyfeirir ati yma. Gyda golygiad ar y ddawn yn yr adnod flaenorol, ni a welsom fod y cysylltiad yn penderfynu pa ddawn ydoedd. Ond nid oes dim o'r fath yma. Fe allai hon, o ran dim sydd yma i'r gwrthwyneb, fod yn rhyw ddawn arall, od oedd dawn arall. Yn wir y mae yr annogaeth i'w *hailennyn* fel yn cyfeirio at rywbeth gwahanol. (4.) Ni a wyddom fod dawn anghyffredin yr Ysbryd Glân yn galluogi y rhai a'i derbynient i wneuthur gwyrthiau, yn cael ei gweinyddu ar ddechreuad Cristionogaeth, trwy ddwylaw yr apostolion, a thrwy ddwylaw yr apostolion yn unig, a'r hon, y mae yn dra thebyg, a roddwyd trwy ddwylaw Paul i Timotheus. Y mae yn sicr y gall fod yr apostol yn cyfeirio at y ddawn hono yn yr adnod hon. O'n rhan ein hunain, yr ydym yn hollol benderfynol mai dyma ydyw yr ystyr. Y mae y ddwy adnod fel hyn yn hollol gydweddol â'u gilydd: ac nid oes dim yn yr epistolau yn milwrio yn erbyn y golygiad. (5.) Ond pe byddai i ni addef mai dawn y weinidogaeth a olygir yma eto, yr oll a ellid gasglu oddiwrth y testun, mewn cysylltiad â'r testun blaenorol, yw, fod yr apostol yn cydweithredu â'r henuriaeth ar yr achlysur o neillduo Timotheus; ac nad oedd gan y naill ddim mwy o awdurdod na'r llall yn y

[1] "*History of the Rise and Early Progress of Christianity.*" Tudal., 293, 294. Ail argraffiad.

gorchwyl; yn gymaint ag y dywedir unwaith ddarfod ei wneyd gan yr henuriaeth, a thrachefn ddarfod ei wneyd gan yr apostol. Fel hyn y deallir yr adnodau gan lawer o'r Eglwyswyr mwyaf dysgedig, megys y Dr. Hinds, yn y dyfyniad a roisom o hono eisoes. Y cyfeiriadau eraill a gawn at neillduad yn y Testament Newydd, heblaw y rhai a weinyddid gan yr apostolion eu hunain, ydynt y rhai a weinyddid gan Timotheus a Titus. Ond yr ydym wedi dangos eisoes am y gwyr hyn, nad oeddynt ond swyddogion anghyffredin mewn amgylchiadau anghyffredin, yn gweithredu tan gyfarwyddyd a chydag awdurdod yr apostolion: ac nas gellir casglu dim oddiwrth eu hymddygiadau hwy, dan yr amgylchiadau hyny, yn mhlaid ymddygiadau tebyg dan amgylchiadau hollol wahanol.

Fel hyn, yr ydym yn gweled nad ydyw y Testament Newydd yn rhoddi cymaint a chysgod rhith sail i'r hòniadau a wneir mor hyderus gan bleidwyr y golygiad y dadleuwn i'w erbyn, ynghylch yr olyniaeth apostolaidd. Athrawiaeth y gweinidog ydyw yr hyn a ystyrir yma fel yr unig beth o bwys; pan y mae yn cyfodi oddiwrth hono at y gweinidog ei hunan, y cymhwysderau yn unig sydd yn cael eu nodi allan, heb air o son am ei neillduad; a phan y mae yn cyfeirio yn gynnil at rai neillduadau, y mae y rhai hyny yn amlwg yn rhai henaduriaethol.

Erbyn i ni adael y Testament Newydd, a throi at hanes yr eglwys, y mae y prawf am neillduad esgobawl, yn enwedig yn yr oesoedd cyntaf, mor ddiffygiol yma ag ydyw yn y Testament Newydd. Nid oes yn y tadau cyntaf, fel y gwelsom, ddim cydnabyddiaeth yn cael ei wneuthur o'r gwahaniaeth y dadleuir drosto rhwng esgob a henuriad, ac felly nis gellir cael ynddynt hwy ddim prawf dros yr hawl y dadleuir am dani i'r esgob, yn unig, i neillduo rhai i'r weinidogaeth. Ond wedi i ni ddyfod i'r amseroedd ag yr oedd y gwahaniaeth yn cael ei gydnabod, yn ymarferol, yn lled gyffredinol, y mae genym dystiolaethau digonol i benderfynu y pwnc, y byddai yr henuriaid yn ordeinio yn gystal a'r esgobion.

Y tyst cyntaf a alwn ydyw Firmilian, yr hwn oedd esgob yn Cæsarea, yn Asia Leiaf, tua chanol y drydedd ganrif, ac yn wr enwog iawn yn ei ddydd. Y mae llythyr maith o'i eiddo ef at Cyprian, wedi ei gadw i ni yn ysgrifeniadau Cyprian, yn rhoddi golwg ar ansawdd ac arferion yr eglwys yn y gwledydd hyny y pryd hwnw. Yn y llythyr yma dywed—"Y mae pob awdurdod a dawn yn gorwedd yn yr eglwys; lle y mae yr henuriaid yn llywodraethu; y rhai hefyd sydd â gallu ganddynt i fedyddio, i arddodi eu dwylaw, ac i ordeinio."[1]

Y mae Jerome eto yn dwyn tystiolaeth i'r un peth. Wedi myned dros y prawf am gydraddoldeb gwreiddiol esgobion a henuriaid, dywed, "Am y ffaith, fod wedi hyny, un yn cael ei ethol i lywyddu dros y lleill, gwnaed hyny er gochel ymraniad, rhag i neb trwy dynu ato ei hunan rwygo eglwys Crist. Canys yn Alexandria, o ddyddiau Marc yr Efengylwr hyd at yr Esgobion Heraclas a Dionysius, yr henuriaid, bob amser, a ddewisent un o'u plith eu hunain, gosodent ef mewn lle mwy dyrchafedig, a chyfenwent ef yn esgob; megys ag y dewisa y fyddin ymherawdwr; neu y dewisa y diaconiaid un o'u plith eu hunain, adnabyddus iddynt fel un llafurus, gan ei alw yn arch-ddiacon. Canys heblaw ordeinio, beth a wneir gan yr

[1] *Cyprian, Epist.* 75. Tudal. 145. *Cited by Coleman :—" Church without a Bishop."* Tudal. 176.

esgob, nas gellir ei wneyd gan henuriad?"[1] Y mae yn amlwg iawn fod yr eithriad yn niwedd y dyfyniad gan Jerome yn cyfeirio, nid at hawl wreiddiol yr esgob, oblegid y mae wedi gwadu hono yn hollol yn y dechreu; nac at hir arferiad yr eglwys, oblegid y mae yn y dyfyniad ei hunan yn dangos fod cyfodiad yr esgob i'r gader, yn Alexandria, am rai oesoedd yn waith yr henuriaid yn unig; ond at arferiad yr eglwys yn ei ddyddiau ef,—mai yn hyny yn unig, y pryd hwnw, y gwahaniaethent y naill oddiwrth y llall.

Yr oedd y Diwygwyr Protestanaidd yn Eglwys Loegr yn gyffredinol yn addef hawl henuriaid i neillduo eraill i'r weinidogaeth. Y mae y prawf a gyflwynwyd genym eisoes o'u golygiad ar gydraddoldeb gwreiddiol esgob a henuriad o anghenrheidrwydd yn cynnwys hyn. Ond ni a allwn ychwanegu yr hyn a ganlyn. Yn y flwyddyn 1543, fe gymeradwywyd gan ddau dŷ y senedd, lyfr oedd wedi ei gyfansoddi â gofal mawr, yr hwn a gyhoeddwyd dan yr enw, "Y Ddysgeidiaeth anghenrheidiol i Gristion,"[2] neu fel y gelwir ef weithiau, "Llyfr y Brenin," oblegid fod ei ragymadrodd wedi ei ysgrifenu gan y brenin ei hunan; yn yr hwn y dysgir "nad oes dim gwahaniaeth yn ol deddf Duw rhwng henuriaid ac esgobion; a bod y gallu i urddo ac i esgymuno yn perthynu yr un modd i'r naill a'r llall."[3] A'r diwygwyr hyn y mae y dynion goreu o fewn Eglwys Loegr o'r pryd hwnw hyd y pryd hwn yn cyttuno. Y mae hyd yn nod Hooker ei hunan yn caniatâu y dichon amgylchiadau wneyd neillduad henuriaethol yn hollol gyfreithlawn. "Yn awr," meddai, wedi son am hawl yr esgobion i neillduo, "yn gymaint a bod rhai oddiar hyn yn casglu nad oes un neillduad yn safadwy ond yr hwn a weinyddir gan esgobion, y rhai a gawsant eu neillduo yr un modd gan esgobion o'u blaen hwynt, nes y deuwn at apostolion Crist eu hunain; megys ag y gofynwyd i Beza yn Poissie, 'Trwy ba awdurdod yr oedd yn gweinyddu y sacramentau sanctaidd, yn gymaint ag nad oedd wedi ei neillduo i hyny gan neb heblaw Calvin, neu rai nad oedd y gallu i neillduo yn perthynu iddynt, yn ol hen drefniadau a defodau yr eglwys; yn gymaint ag nad oedd Calvin a'r rhai a gyttunent âg ef yn y weithred hono yn esgobion:' ac y mae Athanasius yn sicrhau y ffaith am un Macarius, henuriad, yr hwn a ddadymchwelodd y bwrdd sanctaidd, pan oedd un Ischyras yn myned i weinyddu y sacrament bendigaid, heb ei gysegru i'r gorchwyl trwy arddodiad dwylaw rhyw esgob, yn ol y canonau eglwysig; megys y mae Epiphanius hefyd yn tuchan yn dost yn erbyn amryw am wneuthur yr un modd pan nad oeddynt wedi cael neillduad esgobawl. I hyn yr ydym yn ateb, y dichon fod weithiau reswm eithaf teg a digonol dros oddef neillduad heb yr un esgob."[4]

Y mae Whitaker, duwinydd dysgedig o Gaergrawnt, a'r un a ystyrid yn amser Elizabeth fel prif amddiffynydd Protestaniaeth, yn tystiolaethu, "yn gymaint ag nad yw esgobion yn ol hawl ddwyfol ond yr un rhai a henuriaid, y mae gan yr henuriaid awdurdod i osod henuriaid eraill dros yr eglwysi."[5]

[1] "*Epist. ad Evangel.*" 101 *alias* 85. Tudal. 802. *Cited in Coleman.* Tudal. 185.
[2] "*The Necessary Erudition of a Christian Man.*"
[3] *Cited by Coleman.* Tudal. 192.
[4] "*Hooker's Ecclesiastical Polity.*" Llyfr vii. pen. xiv. dos. 11. "*Works.*" Cyf. iii. tudal. 230, 231. *Keble's edition.* Oxford, 1841.
[5] *Cited by Coleman.* Tudal. 192.

Dywed yr Esgob Stillingfleet: "Cyfaddefid gan amddiffynwyr cadarnaf esgobyddiaeth, cyn yr ymraniadau diweddar hyn, fod ordeiniad a weinyddid gan henuriaid, mewn amgylchiadau o anghenrheidrwydd, yn safadwy."[1]

Yr Esgob Forbes a ddywed: "Y mae gan henuriaid yn ol hawl ddwyfol allu i urddo yn gystal ag i bregethu a bedyddio."[2]

Ni a allem yn hawdd liosogi tystiolaethau dros hyn o ysgrifeniadau gwŷr o egwyddorion rhydd yn yr Eglwys Wladol sydd eto yn fyw: ond rhag myned i feithdra anghymedrol ni a ymattaliwn. Y mae y darllenydd yn gweled erbyn hyn, ni a obeithiwn, fod yr ail osodiad a nodasom sydd yn cael ei gynnwys yn athrawiaeth yr olyniaeth apostolaidd yn hollol ddisail. Nid yw yn derbyn dim grym oddiwrth yr ysgrythyr; y mae yn methu yn hollol o'i brofi wrth ddysgeidiaeth ac arferiad y brifeglwys; yn cael ei wrthwynebu yn egnïol gan ddiwygwyr a merthyron Eglwys Loegr, yn gystal a chan ei hysgrifenwyr galluocaf o'u dyddiau hwy hyd y dydd hwn.

III. Ond y mae yr athrawiaeth yr ymosodwn i'w herbyn yn cynnwys gosodiad arall anhaws, os ydyw hyny yn alluadwy, ei brofi nag yr un o'r ddau y cyfeiriasom eisoes atynt, sef fod yr olyniaeth hwn wedi ei gadw yn ddifwlch, yn yr eglwys, o oes i oes er dyddiau yr apostolion, fel nad rhaid i neb a gafodd urddau esgobawl fod mewn un pryder ynghylch ei gysylltiad â'r apostolion, a thrwyddynt hwy âg Iesu Grist; a phe dygwyddai, rywbryd, i'r olyniaeth golli, na byddai gan yr eglwys mewn amgylchiad aethus felly, ond dysgwyl yn amyneddus am ddadguddiad newydd.

Y mae hyn yn cael ei gyhoeddi mor aml, mor uchel, ac mor ymffrostgar, fel y gallai ymddangos braidd yn gabledd yn neb ei ammheu. "Am ffaith yr olyniaeth apostolaidd, hyny ydyw, fod ein hesgobion presennol yn etifeddion ac yn gynnrychiolwyr yr apostolion trwy drosglwyddiad olynol yr hawl o fod felly, y mae hyn yn rhy amlwg fel y gŵyr pawb (*too notorious*) i'w brofi. Y mae pob dolen yn y gadwen yn adnabyddus, o St. Pedr i'n hesgobion presennol."[3] Eto: "Yr esgobion sydd yn awr yn llywodraethu eglwysi y gwledydd hyn, a ordeiniwyd yn gyfreithlawn gan eraill, y rhai, trwy ddisgyniad ysbrydol difwlch neillduad, a gawsant eu hanfoniad oddiwrth yr apostolion ac oddiwrth ein Harglwydd. Y mae y disgyniad parhaus hwn yn eglur i bob un a ddewiso chwilio i mewn iddo. Darllened daflenau ein hesgobion yn esgyn i fynu i'r amser boreuaf. Y mae ein hordeiniadau ni yn disgyn mewn llinell uniongyrch ddifwlch oddiwrth Pedr a Phaul, apostolion yr enwaediad a'r cenedloedd. Yr apostolion mawrion hyn a neillduasant yn olynol Linus, Cletus, a Clement, yn Esgobion Rhufain; a throsglwyddwyd yr olyniaeth apostolaidd yn rheolaidd oddiwrthynt hwy i Celestine, Gregory, a Vitalianus, yr hwn a neillduodd Patrick yn esgob i'r Gwyddelod, ac Augustine a Theodore i'r Saeson. Ac o'r amseroedd hyny y mae rhestr ddidor o ordeiniadau cyfreithlawn wedi dwyn i lawr yr olyniaeth apostolaidd yn ein heglwysi hyd y dydd hwn. Nid oes nag esgob, na henuriad, na diacon, yn ein mysg, yr hwn nas gall, os myn, olrhain ei âch ysbrydol oddiwrth St. Pedr neu St. Paul."[4]

Yn awr, y mae yn ymddangos i ni mai yr atebiad cyntaf a wnai synwyr cyffredin i ymffrostwyr fel hyn fyddai—Gwnewch. Profwch eich disgyn-

[1] *Coleman.* Tudal. 193. [2] Eto. Tudal. 193.
[3] "*Tracts for the Times.*" Rhif. 7. Tudal. 2.
[4] *Dr. Hook's "Two Sermons on the Church and the Establishment," quoted by Powell. "Essay on Apostolical Succession."* Tudal. 16.

iad oddiwrth Pedr a Phaul. Dygwch allan daflenau eich achau ysbrydol. Na chollwch ddim amser. Gadewch i ni weled pa mor hawdd y gellwch ddyfod trwy y gorchwyl. Gan y gall y sawl a fyno o honoch ei wneuthur, oes neb o honoch a fyn? Pwy a ymeifl ynddo? Fe ymosododd yr anrhydeddus a'r parchedig A. B. Perceval, B.C.L. capelwr i'r frenines, ar y gwaith, mewn llyfr a elwir ganddo, "*An Apology for the Doctrine of Apostolical Succession, with an Appendix on the English Orders.*" Cyflwynwyd y llyfr hwn ganddo i Dr. Howley, diweddar Archesgob Canterbury. Y mae wedi dodi i mewn yn y llyfr amrywiol dafleni i egluro a chadarnhâu athrawiaeth yr olyniaeth. Y mae wedi rhoddi un daflen ynddo i ddangos achau ysbrydol Dr. Howley, yn llawn, am bedair cenedlaeth; "Trwy yr hon," meddai, "yr ymddengys fod yn nhrosglwyddiad yr awdurdodiad apostolaidd i archesgob presennol Canterbury bedwar esgob yn perthynu i'r gris cyntaf, deuddeg i'r ail, dau-ar-bymtheg-ar-hugain i'r trydydd, a thua hanner cant i'r pedwerydd. Y mae ganddo daflen arall o gysegriadau Seisonig oddiwrth yr Archesgob Cranmer, yn gystal a'r rhai a'i cysegrent ef. Y mae yn y daflen hón bedwar cant a deunaw-ar-hugain o enwau. Ond yna ychwanegir, "Yma y mae yn dilyn enwau rhai esgobion a adawyd allan o'u lleoedd priodol, am fy mod yn gobeithio dyfod o hyd i'w cysegriad yn *Registry* York. Y mae yn ddrwg genyf ddywedyd mai o ran ychydig y llwyddais yn y gobaith hwnw." Y mae yr esgobion canlynol ymhlith y rhai nad oes un prawf eu bod wedi eu cysegru erioed. Dichon eu bod: ond nid oes un *prawf* o hyny. William Downham, Caer, yn 1561; J. Stanley, Sodor, 1573; J. May, Carlisle, 1577; G. Lloyd, Sodor, 1600, o'r lle y symudodd i Gaer, 1604; B. Potter, Carlisle, 1628; William Leorster, Sodor, 1633; R. Parr, Sodor, 1635; H. Ferne, Caer, 1666; E. Rainbow, Carlisle, 1644; J. Wilkins, Caer, 1668; H. Bridgman, Sodor, 1671; T. Smith, Carlisle, 1684; N. Strafford, Caer, 1689. Y mae yr enwog Pearson, Esgob Caer, awdur y gwaith ar y Credo, ac amddiffynydd mawr llythyrau Ignatius, heb un prawf am ei gysegriad. Lake hefyd a symudwyd yn 1684 o Sodor i Bristol, ac yn y flwyddyn ganlynol i Chichester. Y mae rhai diweddarach eto na'r rhai hyn nad oes un prawf o'u cysegriad; megys William Dawes, Caer, yn 1707, a C. Crigan, Sodor, 1784.[1] Yn wir, y mae Whately, archesgob presennol Dublin, yn sicrhau i ni fod esgob yn y deyrnas hon, yn dra diweddar, âg ammheuaeth mawr oedd e wedi ei neillduo erioed. "Hyd yn nod yn nghôf rhai yn awr yn fyw, yr oedd esgob ynghylch yr hwn y ffynai y fath ddirgelwch ac ansicrwydd o ran pa bryd, pa le, a chan bwy, y cawsai ei ordeinio, fel yr oedd ammheuaeth yn meddyliau rhai, pa un a ordeiniasid ef erioed ai peidio. Nid wyf yn dywedyd fod sail gadarn i'r fath ammheuaeth: ond y mae bod, hollol, neu alluadwy, y fath ammheuaeth—cyd-darawiad, hollol, neu alluadwy amgylchiadau o'r fath ag i ddangos posiblrwydd y fath afreoleidd-dra—yn ddigon gyda golwg ar y ddadl bresennol."[2] Yn awr, y mae yn amlwg nad oes gan neb a urddwyd gan yr un o'r gwŷr hyn ddim *prawf* o'i fod mewn urddau oll. A pha faint allai hyn ddyrysu ar yr olyniaeth? Y mae un camwri yn dyfetha y cwbl. Os nad oedd yr esgob wedi ei gysegru yn

[1] Gwel "*Stratten on Apostolical Succession.*" Tudal. 22. Llundain, 1845. A'r "*Presbyterian Review,*" am Ebrill, 1842. Tudal. 30.
[2] "*Kingdom of Christ,*" &c. Tudal. 233.

briodol, neu heb ei ordeinio yn rheolaidd, y mae pob ordeiniad o'i eiddo ef yn hollol ddirym, a holl wasanaeth y rhai a ordeiniwyd ganddo felly hefyd. Os dygwydda un o honynt gyfodi i'r esgobaeth, ni bydd pob ordeiniad o'i eiddo ond ffug. Y mae y methu cyntaf wedi andwyo yr oll. Ac eto, er y cwbl, y mae y gadwen yn ddifwlch: nid oes yr un gweinidog yn Eglwys Loegr nas gall olrhain ei achau, pan y myno, hyd at Pedr ei hunan.

Os fel hyn y terfynodd ymchwiliadau Mr. Perceval i'r tri chan' mlynedd diweddaf, pa fodd y buasai yn ymdaro, druan! pe gorfodasid ef i grwydro holl ddiffeithleoedd tywyll y pymtheg cant a'u blaenorodd? Pa le y mae dyn digon gwrol i ymosod ar yr anturiaeth? Rhaid iddo brofi fod pob un o'r miloedd offeiriaid fu yn gwasanaethu yn Eglwys Rhufain hyd y Diwygiad Protestanaidd wedi ei fedyddio yn rheolaidd a'i urddo gan esgob; a phob esgob wedi ei fedyddio yn rheolaidd, wedi ei urddo yn esgobawl, ac wedi ei gysegru yn yr unig drefn a sicrhâ iddo yr olyniaeth apostolaidd. Rhaid iddo wneyd hyn yn yr olwg ar "esgobaethau o'r urddas uchaf yn cael eu gwerthu yn gyhoeddus—eu troi yn ol ac ymlaen gan gynhwrf gwerinawl—weithiau yn cael ei rhoddi gan fenyw anllad i'w dihiryn—weithiau gan iarll rhyfelgar i'w gyfnesaf, eto yn blentyn;" rhaid iddo wneyd hyn yn yr olwg ar "esgobion deng mlwydd oed—esgobion pum mlwydd oed—ar lawer o babau yn fechgyn hollol, ac yn ymgystadlu mewn drygioni â Caligula" ei hunan.[1] Rhaid iddo wneyd hyn a gwrandaw ar y Brenin Alfred yn cwyno, am ein teyrnas ein hunain, nad oedd cymaint ag un offeiriad ar y tu deheu i'r Afon Thames, nac ond ychydig iawn ar y tu gogleddol, allai ddarllen na Lladin na Saesoneg.[2] Rhaid iddo wneyd hyn yn yr olwg ar yr anghenfilod gwaethaf a droediodd y ddaear erioed, rhai yn ymroddi i bob drygioni, yn gwneuthur pob aflendid yn un chwant—cythreuliaid hollol yn nghrwyn dynion—yn eistedd yn nghader Rhufain, ac yn trosglwyddo y ddawn nefol iddo ef. Gadewch i babydd zelog, un o amddiffynwyr galluocaf Pabyddiaeth, y Cardinal Baronius, adrodd ychydig o hanes agwedd Rhufain yn nechreuad y ddegfed ganrif. "Beth oedd agwedd eglwys sanctaidd Rhufain y pryd hyny! mor aflan pan oedd y puteiniaid galluocaf a ffieiddiaf yn rheoli yn Rhufain! yn ol ewyllys y rhai y gwneid ac y dadwneid esgobaethau, y cysegrid esgobion, ac, yr hyn sydd yn ddychrynllyd ac yn ofnadwy i'w adrodd! y gwthid i mewn i gader Pedr au-babau, eu dihirynod hwy, y rhai nid ydynt i'w cyfrif yn babau, oddigerth er llenwi rhestr pabau Rhufain; oblegid pwy a eill honi fod rhai wedi eu gwthio i mewn heb yr un reol, gan buteiniaid o'r fath hyn, yn babau cyfreithlawn Rhufain? Nid oes dim crybwylliad fod gan yr Eglwyswyr lais yn y dewisiad, nac am eu cydsyniad yn y canlyniad. Gorfodid yr holl ganonau i ddystawrwydd, maeddid deddfau pabau eraill, bwrid ymaith yr hen draddodiadau, yr hen ddulliau yn etholiad y pab, a'r defodau cysegredig, a'r prif arferion, oll a gleddid. Fel hyn yr oedd chwant wedi ei chyfnerthu gan allu gwladol, a'i chynhyrfu i wallgofrwydd gan awydd arglwyddiaethu, yn llywodraethu pob peth at ei gwasanaeth ei hunan."[3] Dyma yr anialwch y rhaid i'r dyn grwydro trwyddo cyn y gall

[1] "*Edinburgh Review.*" Ebrill, 1839. Tudal. 265. [2] *Ibid.*

[3] "*Ann. Eccles.*" *Tom.* 10. Tudal. 679, 1603. *As cited by Dr. Southey,* "*Vindiciæ Ecclesiæ Anglicanæ.*" Tudal. 389. Llundain, 1826. *Quoted by Powell,* "*Apostolical Succession.*" Tudal. 211.

obeithio cyrhaedd y Ganaan y mae yn breuddwydio yn ei chylch. Y mae yn ëang ac yn ddisathr, ac mor llawn o seirff tanllyd ac ysgorpionau fel had oes genym ni yr un gobaith y daw allan o hono byth. Ond gadewch i ni dybied ei fod wedi hwylio ei lwybr trwy ei holl droellau dyrys a heibio ei holl beryglon yn agos i'r pen,—pa sut byth y daw allan o hono? Yn mha le y daw allan? Pwy oedd esgob cyntaf Rhufain? A oes rhywun yn y byd a ŵyr? Ni a wyddom fod y Pabyddion a'u brodyr yn dywedyd ddarfod ei sylfaenu gan Pedr. Ond pa le y mae y prawf? Y mae yn ammheüus iawn a fu efe erioed yn Rhufain; yn fwy ammheüus fyth iddo fod yno yn aros am ddim amser; ac mor sicr ag y gall dim o'r fath fod na bu efe erioed yn esgob yno. Ond pwy oedd yr ail? Linus, medd Irenæus. Ond ni a wyddom oddiwrth y Bibl fod Irenæus yn cyfeiliorni am un peth a ddywedir ganddo yn y frawddeg flaenorol i'r hon y mae yn haeru hyn ynddi. Fe ddywed fod Eglwys Rhufain wedi ei sylfaenu gan yr apostolion Pedr a Phaul. Y mae yn sicr oddiwrth Epistol Paul at y Rhufeiniaid fod eglwys gref yn Rhufain cyn iddo ef fyned erioed yno. Ac y mae braidd yn benderfynol, oddiwrth yr un epistol, nad oedd Pedr, y pryd hyny, beth bynag, erioed wedi bod yno. Y mae Tertullian, oedd â chanddo gystal mantais ag Irenæus i wybod y gwirionedd, yn haeru mai Clement a ddilynodd Pedr. Pa un o'r ddau a goeliwn ni? Nid oedd Clement ond y pedwerydd oddiwrth Pedr, medd Irenæus. Nage: efe oedd yr ail, medd Tertullian. Gadewch i'r naill daeru â'r llall; a gadewch i ninnau gredu nad oedd yno yr un. Fel y dywedodd yr Esgob Stillingfleet, "Y mae yr olyniaeth yn Rhufain mor gymysgedig a'r Tiber ei hunan; canys yma y mae Tertullian, Rufinus, ac amryw eraill, yn gosod Clement yn nesaf at Pedr; y mae Irenæus ac Eusebius yn gosod Anacletus o'i flaen ef; Epiphanius ac Optatus yn gosod Anacletus a Cletus; Augustine a Damasus, ac eraill, Anacletus, Cletus, Linus, oll o'i flaen ef. Pa ffordd a gawn i ymddadrys o'r tribini hwn?"[1]

Ond, er y cwbl, y mae pob dolen yn y gadwen yn adnabyddus. Ond gadewch i ni edrych ychydig ar y dolenau adnabyddus. Ystyrir, yn gyffredin, gan olynwyr y dyddiau presennol fod bedydd, gan weinidog wedi cael urddau esgobawl, yn hanfodol er perffeithiad y cymeriad gweinidogaethol. Y maent amryw weithiau wedi nacau claddu plant nad oeddent wedi cael ond bedydd y pleidiau ymneillduol: ac y mae rhai o honynt wedi bod mor garedig ac ailfedyddio babanod a phlant a fedyddiasid o'r blaen gan weinidogion dïawdurdod. Yn y ganrif ddiweddaf yr oedd Secker yn Archesgob Canterbury, mab ydoedd i Ymneillddüwr, wedi ei fedyddio gan un o weinidogion yr Ymneillduwyr. Oedd efe yn weinidog awdurdodedig? Un felly hefyd oedd yr enwog Butler, Esgob Durham, tua'r un amser. Oedd grym yn yr urddau a gyflwynwyd gan y gŵyr hyn? Erbyn i ni fyned ychydig yn ol, ni a ddeuwn at archesgob arall yn Canterbury, Tillotson, yr hwn ni chafodd, yn ol dim sydd yn ymddangos, ei fedyddio erioed. Yr oedd ei dad yn weinidog i'r Bedyddwyr, ac felly ni chafodd ei fedyddio pan yn blentyn; ac nid oes dim un prawf ddarfod iddo gael ei fedyddio wedi dyfod i oedran. Edliwiwyd iddo yn fynych gan y *Non-jurors*, pan oedd yn archesgob, ei fod heb fedydd, ac ni wadodd y cyhuddiad

[1] *Irenicum.*" Rhan 2, pen. 6, tudal. 322. *Cited by Alexander:—"Anglo-catholicism not Apostolical.*" Tudal. 223.

erioed. A ydyw cadwen yr olyniaeth yn gyfan er hyn oll? Os na all pethau fel hyn ei thori, beth a all? Ond os ydyw bedydd gan un wedi cael urddau esgobawl yn hanfodol, fel sail yr urddau eu hunain, y mae genym brofion laweroedd fod yr anhawsderau, yn ffordd un gweinidog yn Eglwys Loegr i brofi ei gysylltiad â'r apostolion, yn lliosogi yn aneirif. Tuag amser y diwygiad, ac wedi hyny, yr oedd yn arferiad hollol gyffredin gan fydwragedd fedyddio plant, yn yr hyn a elwid ganddynt yn amgylchiadau o anghenrheidrwydd. Y mae Hooker[1] yn amddiffyn y cyfryw fedyddiadau fel yn eithaf cyttunol, dan yr amgylchiadau, âg amcan Cristionogaeth a dyben bedydd. Y mae Strype wedi cadw copi i ni o *licence* a roddwyd gan yr Archesgób Parker, yn y flwyddyn 1567, i fydwraig o'r enw Eleanor Pead i weinyddu bedydd felly. Wedi cymeryd llŵ ufudd-dod canonaidd, derbyniodd y *licence*, rhan o'r hon sy fel y canlyn:—"Hefyd, bydd i mi yn ngweinyddiad sacrament bedydd, arfer geiriau priodol ac arferol y sacrament hwnw, hyny yw, y geiriau canlynol, neu rai o'r un ystyr; 'Yr wyf yn dy gristeiddio di yn enw y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glan,' ac nid dim geiriau halogedig eraill."[2] Y mae yn debyg mai y peth nesaf fydd cael olyniaeth bydwragedd. Pa henuriad, pa esgob, yn Eglwys Loegr y dydd hwn, sydd yn gwybod nad yr Eleanor Pead yma, neu un o'i chwiorydd cysegredig, a fedyddiodd un o'i deidiau ysbrydol ef? Ond ni a wyddom fod llaweroedd wedi bod yn gweinyddu yn Eglwys Loegr o bryd i bryd heb fod mewn urddau oll. Y mae Strype yn hysbysu i ni ddarfod dyfod o hyd yn 1567, mewn ymweliad âg eglwys gadeiriol Norwich i ddau, un yn archddiacon, ac un yn *prebendary*, heb gael un math o urddau erioed. Yn 1568, ysgrifenodd Esgob Gloucester at Parker, ei fod wedi cael yn ei esgobaeth ddau, y rhai a fuasent yn gweinyddu yn holl wasanaeth yr eglwys heb eu hurddo erioed. Yr oedd un o honynt wedi ffugio sel yr esgob, a'r llall wedi tyngu anudon. Yn 1574, yr oedd un Lowth, yn Carlisle-side, wedi bod am bymtheg neu un-ar-bymtheg o flyneddau yn gwasanaethu, eto fe brofwyd nad oedd erioed wedi cael urddau henuriad na diacon. Ysgrifenodd Esgob Tŷ Ddewi at Walshingham, ysgrifenydd y llywodraeth, dan Elizabeth, ei fod wedi dyfod o hyd i amryw yn ei esgobaeth a gymerent arnynt fod yn weinidogion, ac wedi ffugio seliau amryw esgobion; megys, Gloucester, Henffordd, Llandaf, a'r rhai a'i blaenorent yntau, heb eu galw erioed i'r weinidogaeth, er hyny wedi bod yn gwasanaethu wyth, deg, deuddeg, a rhai o honynt bedair-blynedd-ar-ddeg. "Ond y gwaethaf yn ddiammhau," medd Strype, "o holl Eglwyswyr gwarthus y dyddiau hyn (1571), oedd un Blackall.....Yr oedd ganddo bedair o wragedd yn fyw.....Gwthiasai ei hun i'r weinidogaeth am ddeuddeng mlynedd,.ac eto nid oedd erioed wedi ei alw yn gyfreithlawn, na'i wneyd yn weinidog gan un esgob.....Yr oedd yn wanciwr ac yn gyfnewidiwr bywioliaethau, heb ofalu ond ychydig trwy ba ffyrdd a moddion, am y gallai e gael arian gan rywun. Rhedai o wlad i wlad, ac o dref i dref, gan arwain oddiamgylch gydag ef fenywod diffaith, megys yn swydd Gloucester yr arweiniai oddiamgylch y wlad buten ddyhir a ddifenwid *Green Apron*. Newidiai ei enw i ba le bynag yr ai, gan fyned wrth yr amrywiol gyfenwau hyn, Blackall, Barthall, Dorel, Barkly, Baker."[3] A ydyw ein

[1] Llyfr v. pen. 62.
[2] *Cited in the "Presbyterian Review."* Ionawr, 1843. Tudal. 520.
[3] *Cited in "Presbyterian Review."* Ionawr, 1843. Tudal. 522, 523.

holynwyr yn hollol ddiofal eu bod hwy wedi diane heb gael dim niwed er yr holl bethau afreolaidd hyn?

Y gwirionedd amlwg, sydd yn ymddangos i ni, ydyw, pe buasai y fath beth a'r olyniaeth yma rywbryd wedi bod, ei fod erbyn hyn wedi ei golli, a'i golli yn anadferadwy byth. "Nid oes dim un gweinidog," meddai Archesgob Whately, "trwy yr holl fyd Cristionogol yn alluog i olrhain gyda dim tebyg i sicrwydd ei âch ysbrydol."[1] Y mae cadwen yr olyniaeth wedi ei thori a'i dolenau wedi eu gwasgar fel nad oes modd yn dragywydd eu casglu ynghyd a'u dodi wrth eu gilydd drachefn. Yr ydym yn cofio yn dda fod plant y lle y cawsom ni ein dwyn i fynu ynddo, fel plant yn gyffredin, yn ofni bwganod yn fawr. Yr oeddent, modd bynag, wedi clywed, gan rywun call y mae yn debyg, mai y ffordd i'w trin, os delent, oedd rhoddi iddynt rywbeth i'w wneyd a'u cadwai yn ddigon prysur, fel na ddelent i'w blino mwy. Y gorchwŷl addewid iddynt yn gyffredin oedd gwneyd rhaff o'r tywod. Byddai arnom ofn myned heibio i le a elwid, Tywyn y Capel, am fod traddodiad ymhlith y plant fod yno hen fwgan wrth y gorchwyl o weu y rhaff; wedi ei yru yno er ys oesoedd cyn hyny, ac mewn tymher ddrwg anghyffredin, erbyn hyn, am fod ei waith yn ymddryllio dan ei ddwylaw. Cynghorem blant Caergybi, os bydd yr hen ellyll yn eu trechu gyda 'r tywod, i'w yru i gasglu dolenau yr olyniaeth apostolaidd ac ail gyfanu y gadwen; ac yna yr ydym yn dra hyderus y cânt lonydd gan yr hen was byth. Y mae yr amgylchiad alaethus wedi dyfod—y mae yr olyniaeth wedi colli—"nid oes dim i'w wneyd mwy ond dysgwyl am ddadguddiad newydd, a pheidio gormesu ar yr hawl ddwyfol trwy sefydlu gweinidogaeth o'r eiddom ein hunain."[2] Cauer yntau ddrysau y llanau; na therfysged eu clychau ein Sabbothau mwy; na sonier eto am offrwm pasc na threth eglwys; adferer y degwm i'w berchenogion gwreiddiol; ac eled pobl ac offeiriaid, na, nid oes ond pobl yn awr, gyda'u gilydd i ddysgwyl am ddadguddiad newydd. Y mae y byd wedi ei adael heb wylwyr i'w rybuddio, a'r eglwys heb fugeiliaid i'w phorthi. Y mae dynion heb efengyl, heb ordinhadau, heb iachawdwriaeth, heb obaith. Ah! y mae yn dda genym feddwl fod darllenwyr y "Traethodydd" yn gwybod gwell pethau. Bydded iddynt fawrhau eu braint a'i hiawn ddefnyddio; a byw yn y fath fodd, ag a wasanaetho i'w gweinidogion yn well prawf nag a all neb lusgo trwy fudreddi Rhufain o'u bod heb golli y gwir olyniad apostolaidd.

[1] "*Kingdom of Christ*," &c. Tudal. 231.
[2] *Brett's* "*Lay Baptism Invalid.*" *Appendix.* Tudal. 125. *Cited by Rose*:—"*Commission and Duties of the Clergy.*" Tudal. 32.

## CYWYDD HELYNT Y BYD.

GAN Y PARCHEDIG EDMWNT PRYS, ARCHDIAGON MEIRIONYDD.[1]

GWELAIS eira glwys oerwyn,
Ir, heb un brisg, ar ben bryn.
Gwelais haul teg gloyw sail twyn,
Yn ei doddi, nod addwyn.
Yr un modd, wedi toddai,
O'r fron i'r afon yr ai;
A'r afon yn union nod
I 'mryson â'r mor isod.
Pawb a'i bwys fel pe bai ball,
A roi orig ar arall.
Fal hyn fryn gwyn ni fyn faich;
Ni ddoi afon yn ddifaich;
Hithau a'i llwythau lleithiawn,
A fwriai 'i llwyth i for llawn.
Ar y mor mae 'r ymyrud,
Y mor yw 'r cyffredin mud.
Ni all symud, mae 'n fud fo,
Y bwrn a roi bawb arno.
Y mor ni chyraedd goryn,
I ddïal brad ddul y bryn.
Y bryn yw gwedd bonedd byd;
Bryn bonedd bwriai 'n benyd.
Swyddogion yw 'r afonydd
Rhy esgud yn symud sydd:
Ar i wared y rhedant,
Llwybr pawb yw y lle bo'r pant.
A'r eira sydd mor erwin
Yw aml treth, nid anaml trin:
Wrth ranu treth ar weiniaid
Trwm yw'r llwyth yn tramwy 'r llaid.
I ranu hon ar onest,
Ni cheir cydwybod na chwest.
Nid llwf na deall hefyd,
Ond ffafr ag anffafr ei gyd.
Aeth y byd diffaith heb wedd,
Ar olwyn afreoledd.
Bonedd a fwriant benyd
Ar bawb o wrengwyr y byd.
Pawb a gaid fel pe bai gwr,
Drwsio geiriau diraswr.
Y trechaf trawsaf treisiant,
Ochenaid gweiniaid a gant.

[1] Cymerwyd y cywydd hwn o hen ysgriflyfr yn meddiant Robert Lloyd, Ysw., Ffestiniog.

Gwyllt yw byd, gwell ytyw bodd
Yr ynfyd na'i wir anfodd.
Chwiliwr blin, o choelir blaidd,
Ydyw 'r oenig druanaidd.
Diriaid yw pob aderyn,
A goeliwch chwi 'r gwalch ar hyn?
Mawr yw y cae y'mrig gwydd,
Y man isaf mae 'n uswydd.
Lle mae'r siâs llym aros hwy,
Llwm yw 'r yd lle mae 'r adwy.
Nid annodd y diffoddan'
A dwr wreichionen o dân.
Taer yw, a hawdd y tyr rhai
O groen gwirion gryn garai.
Rhydd Howel rodd dda haelwych
O bwrs y wlad barsel wych.
Y ci llawn mewn cell yna,
Nis cwyn er dwyn ascwrn da;
Ag ni wel pam (ganel pall)
Y ciriai y ci arall.
Rhyfedd am nen tŷ enwir
Na thyf post aur o waith hir:
Ni thyf i'w nyth fyth e fo,
Nid hawdd, ni ad Duw iddo.
Dedwydd a pharod ydych
I brynu tir â braint wych:
A'ch aur eich hun, o chyrch hynt,
A'i gwerth, ag ni thrig wrthynt.
Ef a rydd, ofer oeddych,
Urddas a braint ar ddis brych.
Ar *novem* yr anefir
Heb les da ei blas a'i dir.
A wnelo gam ac amharch,
Mal un fodd a malen farch,
Dan ei dor, doniau dirwydd,
Dyna lwyth, medd Duw, ni lwydd:
Ond dwys mae 'r byd yn pwysaw,
Dyn a lwydd pawb dan ei law:
Rhaid i'r gwan ddal y ganwyll,
I'r dewr i wneuthur ei dwyll;
Ag ni lyfys gwan lefain
Gwaedd ar help, ond godde' rhain.
Bu yn rhydd fynydd a'i fin,
A'r ffrydoedd, i'r cyffredin;
Yr awr'on am yr yri
Mae cwest a fforest a ffi.
Fe aeth yn gaeth faeth o fyd,
A thiroedd aeth wrth wryd;
Gwryd i bob gwr gorir,
A'i dwg i ddigon o dir.

Diriaid iawn y drudaniaeth
Yn y byd gwael enbyd gwaeth:
Yn y Nef lle 'n dyrchefir,
Oen Duw a brynodd i'n dir.
Dysgwn hyn dasg anhunedd,
Gasau 'r byd, agos yw 'r bedd.
Cawn yn gartref wlad nefawl,
Lle da hardd oll a di hawl.
Y traws a gaiff tir is gwern,
Waelod effaith wlad uffern.
Ni chaiff enwir wych ffyniant;
Tynir, diblennir ei blant.
Od eir â'th dir drwy waith dyn,
A'th dda eilwaith i'th elyn,
Tir a gei 'n rhan dragywydd,
Da yw 'r hawl, a Duw a'i rhydd.

---

## CREFYDD YN LLYDAW.

Yn ein rhifyn diweddaf, gwnaethom nodiadau cyffredinol ar wlad, iaith, hanes, ac amgylchiadau y Llydawiaid; a dichon y bydd yr hanesydd, yr ieithydd, a'r dyngarwr yn foddlawn ar y crybwylliadau hyny; ond prif bwnc y cristion goleu ydyw,—cyflwr ysbrydol y Llydawiaid; a'i ofyniad fydd, Beth sydd yn cael ei wneyd er lleshad ein cydgenedl? Drwg genym ddywedyd fod y ddarpariaeth efengylaidd ar gyfer y bobl yn brin, ac annigonol. Nid oes gan yr Eglwys Brotestanaidd Ddiwygedig ond pump o weinidogion, a phedair o eglwysi, ymhlith dwy-filiwn-a-hanner o bobl! Mae dwy o'r eglwysi hyn yn Nantes, un yn Rennes, ac un yn Brest. Yn holl dalaeth Finisterre, sydd yn cynnwys mwy o drigolion na Gogledd Cymru, nid oes ond un gynnulleidfa, ac un gweinidog yn perthyn i'r Eglwys Brotestanaidd, a hono yn Brest, ar derfyn eithaf y dalaeth. I wneyd y drwg yn waeth, mae y gweinidogion hyn yn llafurio ymhlith y boblogaeth Ffrengaeg yn unig. Mae y Parch. Le Fourdrey yn preswylio ac yn llafurio yn nhref Brest; ond y mae holl deuluoedd Protestanaidd y dalaeth yn cael eu hystyried dan ei ofal, ac oblegid hyny mae dan yr anghenrheidrwydd o deithio ymhell ar achlysuron i weini bedydd a phriodasau.

Un o gymdeithasau goreu Ffrainc, ydyw y Gymdeithas Efengylaidd (*Société Evangélique*); ond er fod hon yn llafurio hyd eithaf ei gallu, nid oes ganddi yn bresennol gymaint ag un orsaf yn Llydaw, nac un cenadwr yn pregethu yr efengyl yn iaith y brodorion.

Mae 'r Fibl Gymdeithas Frytanaidd a Thramor wedi gwneuthur cymwynas i'r Llydawiaid yn barod, ac yn bwriadu gwneuthur mwy nag erioed o hyn allan, yn yr unig ddosbarth o ddefnyddioldeb sydd yn gydunol â'i chyfansoddiad a'i hamcan.

Y dyfeisiad cyntaf erioed i ddarparu Bibl ar gyfer y Llydawiaid, a dderbyniwyd oddiwrth ysgrifenydd Cymdeithas o Hynafiaethwyr, yn Paris,

yn y flwyddyn 1814. Yn 1819, anfonwyd y cyffelyb gais gan y Parch. T. Price (Carnhuanawc), ac yn mhen pum mlynedd wedi hyny, derbyniwyd llythyr i'r un pwrpas oddiwrth ysgrifenydd Cymreigyddion Caerludd. Yn y flwyddyn 1824, gwnaethpwyd casgliad gan Gymreigyddion Aberhonddu, ar Ddydd Gŵyl Dewi, ar ol pregeth gan y Parch. T. Price, tuag at ddwyn y draul o wneyd cyfieithiad o'r ysgrythyrau i'r Frythonaeg. Yn fuan ar ol hyn, ymwelodd y Parch. David Jones (gweinidog Capel Arglwyddes Huntingdon, yn Abertawy), â Llydaw, a gosododd yntau hefyd achos ein cydgenedl ger bron y gymdeithas ar ei ddychweliad. Yn y cyfwng hwn ysgrifenodd y diweddar Barch. J. Parry, o Gaer, yn dra bywiog ar yr un pwnc. Y canlyniad a fu, i'r cyfeisteddfod awdurdodi Mr. D. Jones i fyned drosodd i Lydaw i edrych a oedd cyfieithiad o'r Bibl, neu ranau o hono, mewn bod; ond ar ol chwilio i'r llyfrgelloedd, a holi personau gyda manylrwydd, daeth i benderfyniad nad oedd un i'w gael, mewn argraffiad nac mewn ysgrifen. Awdurdodwyd ef ymhellach i fyned yr ail waith i Lydaw, i chwilio am berson cymhwys i wneuthur cyfieithiad ar draul y gymdeithas. Cyfarfu â'r diweddar Le Gonidec, yr ysgolâig Brythoneg goreu yn Ffrainc, a'r unig ddyn cymhwys at y gorchwyl y pryd hwnw. Gorphenwyd yn gyntaf y Testament Newydd, ac argraffwyd mil o honynt yn Angouleme. Barnwyd yn addas i gyfieithu yr Hen Destament hefyd, ond nid yw hwn wedi ei argraffu eto. Gan i'r cyfieithiad hwn gymeryd i fynu rai blyneddau o amser y cyfieithydd, costiodd cyfieithiad y Bibl oll, ac argraffiad y Testament Newydd, gannoedd o bunnau i'r gymdeithas. Dygwyd y gwaith hwn trwy 'r wasg dan arolygiaeth Mr. Jones, ac wedi ei farwolaeth ef, cymerwyd y gwaith mewn llaw gan Mr. Price. Bu raid i Mr. Price fyned i Ffrainc fwy nag unwaith yn yr achos hwn; a theilwng yw dyweyd, iddo wneyd y gwasanaeth yma yn hollol ar ei draul ei hun;—y fath oedd ei frwdfrydedd yn achos Cymry Ffrainc. Yr oedd cryn ammheuaeth mewn perthynas i'r priodoldeb o argraffu yr ysgrythyrau yn y Llydawaeg, oblegid fod yr offeiriaid yn elyniaethol, y bobl yn rhagfarnllyd, prinder offerynau i ddwyn y gwaith ymlaen, ynghyd â'r sicrwydd nad oedd ond ychydig o'r trigolion a fedrai ddarllen yn eu tafodiaith eu hunain. Fe gafwyd prawf digonol o hyn yn y blyneddau y ceisiwyd lledanu yr argraffiad cyntaf o'r Testament Newydd. Yn y cyfamser, ac wedi hyny, mae goruchwyliwr y gymdeithas yn Paris wedi anfon *colporteurs* i drefydd Llydaw yn achlysurol, i ledanu yr ysgrythyrau Ffrengaeg yn benaf; ac nid yw yr ymdrechion wedi bod yn ddilwyddiant, fel y byddai yn hawdd dangos trwy ffeithiau credadwy.

Mae yn llawn bryd i ni bellach ymholi pa faint o lafur cenadol sydd yn Llydaw, a phwy yw yr offerynau a ddefnyddir i ddwyn y gwaith ymlaen? Rhaid i ni ddechreu gyda Chenadaeth y Bedyddwyr. Gosodwyd sylfaen y genadaeth hon i lawr gan bersonau ac eglwysi yn perthyn i'r Bedyddwyr yn Morganwg a Gwent, yn y flwyddyn 1834, ac anfonwyd Mr. John Jenkins fel cenadwr i Morlaix, un o borthladdoedd Finisterre. Llwyddodd y brawd hwn i ddysgu 'r Ffrengaeg a'r Frythonaeg; ac o'r pryd hwnw hyd yn awr mae wedi cyfansoddi neu gyfieithu tua deg-ar-hugain o draethodau crefyddol. Argraffwyd yn agos i gan' mil o'r rhai hyn ar draul Cymdeithas y Traethodau, yn Llundain a Paris, ac y mae y rhan fwyaf o honynt wedi eu gwasgaru ar hyd y wlad. Mae capel wedi ei adeiladu yn Morlaix, a phregethir ynddo i gynnulleidfa fechan o Ffrancod a Brython-

iaid, yn y ddwy iaith. Am y pedair blynedd diweddaf, mae Mr. Jenkins wedi bod yn ddiwyd iawn yn y gwaith o barotoi cyfieithiad diwygedig o'r Testament Newydd, i'r dyben o'i wneuthur yn fwy dëalladwy i'r werin. Cyflwynodd ei gyfieithiad i'r Fibl Gymdeithas; ac wedi cael boddlonrwydd mewn perthynas i'w deilyngdod, gosodwyd ef yn y wasg yn Brest, ac y mae tair mil o honynt wedi cael eu hargraffu a'u rhwymo, ac yn cael eu dosbarthu trwy wahanol ranau o'r wlad. O fewn y blyneddau diweddaf, mae Cenadaeth y Bedyddwyr yn Llydaw wedi ei chysylltu â chymdeithas gyffredinol yr enwad yn Llundain, ac y mae y mesur hwn wedi chwanegu ei grym a'i sefydlogrwydd. Anfonwyd cenadwr arall allan i gynnorthwyo Mr. Jenkins; ac er cymaint yr anfanteision, mae lle i gredu fod yr ymdrechion hyn wedi eu coroni â gradd o lwyddiant.

Mae Llydaw yn rhan o faes cenadol y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig hefyd; ac yn y flwyddyn 1842, anfonwyd Mr. James Williams, o Athrofa'r Bala, i lafurio fel cenadwr yn y wlad hono. Wedi aros am beth amser yn St. Servans, gerllaw St. Malo, symudodd i Fauet, ac oddiyno i Bontivy, ac o'r diwedd fe gafodd arch y genadaeth orphwysle yn Quimper, prif ddinas Finisterre. Mae y brawd Williams wedi dysgu 'r ddwy iaith a ddefnyddir yn y wlad, ac yn medru pregethu yn mhob un o honynt. Mae teml Brotestanaidd wedi ei hadeiladu gan y gymdeithas, ynghyd â thŷ annedd cysurus i'r cenadwr. Agorwyd yr addoldŷ cyfleus hwn ar y nawfed o fis Mai, yn y flwyddyn ddiweddaf;—dydd i'w gofio gan bawb ag oedd yn bresennol. Ac er pob digalondid, mae lle i gredu nad yw 'r llafur a'r draul wedi bod yn ofer yn yr Arglwydd. Mae aelod o'r gynnulleidfa fechan yn Quimper wedi ymroddi at waith efengylwr; ac er mwyn iddo fod yn fwy cymhwys o ran gwybodaeth a dysg, anfonwyd ef am ryw gymaint o amser i Geneva i fod dan ofal yr enwog Dr. Merle D'Aubigné. Mae un arall, gŵr ieuanc a ddygwyd i fynu i'r offeiriadaeth Babaidd, brodor o'r wlad hono, wedi ymadael âg Eglwys Rhufain, a chofleidio Protestaniaeth. Gan ei fod yn ymroddi i fod yn wasanaethgar i'w genedl ei hun, mae cyfeisteddfod y genadaeth wedi ei dderbyn ar brawf, ac wedi ei osod dan ofal ac addysg y cenadwr Williams, yn Quimper; ac yr ydym yn gobeithio na siomir hwynt yn eu dysgwyliadau. Hyd yn ddiweddar yr oedd y cenadon dan anfantais fawr iawn yn eu llafur cenadol, o ddiffyg yr ysgrythyrau yn iaith y brodorion. Mae 'r diffyg hwn wedi ei wneyd i fynu bellach, ac y mae 'r cenadau yn awr yn gweithredu fel *colporteurs*, gan gludo llwythi trymion o Destamentau ar eu cefnau, a'u cynnyg i'r bobl am lai na hanner y pris, yn ol gosodiad y Fibl Gymdeithas yn Llundain.

Nid yw yn bosibl i ni ddysgwyl gormod oddiwrth yr Arglwydd mewn atebiad i weddïau ffyddiog; eto mae yn anghenrheidiol i ni ystyried amgylchiadau neillduol Llydaw er mwyn rhagflaenu unrhyw siomedigaeth gyda golwg ar nifer y dychweledigion yn y wlad hono. Yn ein gwlad ni, beth sydd yn fwy hawdd na sefydlu addoliad mewn tŷ annedd—pregethu yr efengyl y pryd, a'r lle, y mynom, ac adeiladu temlau i'r Duw goruchaf, heb fod yn gyfrifol i neb am faint na dull yr addoldŷ? Nid felly yn Llydaw! Rhoddwn yma ddyfyniad o lythyr oddiwrth Mr. Jenkins:—

"Yn awr, nodaf wrthych ein hymdrechion a'n rhwystrau i sefydlu addoliad cyhoeddus yma. Yn Ebrill, 1836, cymerais ystafell i'r dyben o bregethu yr efengyl yn y Frythonaeg. Rhoddais i'r *maer* y *declaration* gofynol yn ol y gyfraith. Fe'm gwrthwynebwyd gan y *maer* ar sail cyfraith 1834, yn erbyn cymdeithasau uwchlaw ugain, a'm bod

innau yn ddyeithrwr. Gyda hyn, dywedai, fy mod yn gosod perchen yr ystafell yn agored i ddirwy o ddau cant o *francs* (8*p.* 6*s.* 8*c.*) am osod yr ystafell i'r fath ddyben heb ganiatâd. Heblaw hyn, gwrthodwyd yr ystafell i mi, hyd yn nod pan yr oeddem wedi myned i'r draul o osod eisteddleoedd ynddi; ac felly, tra yr oedd Mr. Le Fourdrey mòr garedig a dyfod ymlaen yn ei awdurdod fel gweinidog o'r Eglwys Ddiwygedig, i'r dyben o symud y rhwystr, ni feddem ystafell fel y medrem adnewyddu ein cais......

"Buom hyd Mehefin, 1838, cyn medru cael ystafell arall. Yr oeddem i gael meddiant o honi yn niwedd y mis Medi canlynol. Yn mis Awst, dechreuasom ddarparu i gael rhyddid i bregethu. Y tro hwn penderfynasom, mewn trefn i ochelyd anhawsderau, i agoryd y lle mewn cysylltiad â Mr. Le Fourdrey, gweinidog yr Eglwys Ddiwygiedig. Eithr, er syndod, darfu i'r *maer* ei wrthwynebu yntau ar sail deddf 1834;—cyfraith ddyfeisiol a thwyllodrus, yn y cymhwysiad o honi at gyfarfodydd crefyddol. Y rhwystrau hyn a barhasant yn ddiattal hyd fis Mawrth, 1841, a phryd hyny trwy hir gynnorthwy *consistory* Nantes, a chyfeillion galluog yn Paris, y symudwyd hwynt. Rhy anhawdd fyddai i mi roddi i chwi ddarluniad o'n hymdrechion yn ystod y tymmor hwn. Bu yr achos ddwy neu dair gwaith dan sylw y llywodraeth, yr hon o'r diwedd a derfynodd y ddadl o'n tu. Eithr erbyn hyn yr oeddem wedi colli yr ystafell, wedi i ni ei chadw am ddwy flynedd, ac nid oedd wedi costio i'r gymdeithas lai na deg punt y flwyddyn, er yn hollol ddiddefnydd. Ni fynai y perchenog ei gosod i ni ymhellach i'r dyben mewn golwg. Yr oedd hwn yn dymmor maith o brofiad, a digalonai dwysged ar gynnalwyr y genadaeth yn Nghymru. Dylwn sylwi, ein bod yn cynnal cyfarfodydd bychain yn ein hannedd-dy er y flwyddyn 1840. Yr oedd ein cenadaeth mewn sefyllfa dra isel, ac fel ymron diffygio pan gymerwyd hi i fynu gan ein cymdeithas genadol, ac y penderfynwyd adeiladu addoldŷ yma. Y cyfnewidiad hwn a ddygodd i ni 'gymhorth cyfamserol.' Pan oedd muriau yr addoldy wedi eu codi yn agos i'r hanner, y *maer*, ar dderbyniad llythyr oddiwrth brif-offeiriad y lle, a wrthwynebodd i ni roddi dull allanol addoldŷ i'r adeilad! Gorfu i'r mater hwn hefyd gael ei derfynu gan y llywodraeth! Wele, y fath amddiffynwyr rhyddid crefyddol yw anffyddiaid, oblegid nid yw y swyddogion gwladol yma yn ddim amgen. Dyma yr helbulon a'r rhwystrau a gawsom am amser hir, heb fod y bobl ar yr un pryd yn dangos dim teimladau drwg yn ein herbyn. Nid yw llwyddiant yr efengyl, hyd yn hyn, wedi bod yn helaeth yn Llydaw; er hyny, mae ychydig wedi profi ei heffeithiau. Mae y Llydawiaid yn dra llesg yn dyfod i wrandaw—nid ydynt eto wedi eu deffroi. Er hyny, y mae gwaith mawr wedi ei ddechreu yn eu gwlad, a meddwyf hyder gref y llwydda. Nid yw yr offeiriaid yn hollol esmwyth. Y maent wedi argraffu llyfryn drygionus a thwyllodrus yn ein herbyn, er y flwyddyn ddiweddaf, yn yr hwn yr ergydiant ar y Bibl ei hun."

Beth sydd yn fwy hawdd, yn ein gwlad ni, na myned oddiamgylch i ledanu yr ysgrythyrau, ac i annog dynion i ddarllen gair Duw? Nid felly yn Llydaw. Rhaid i'r cenadau a'r Bibl-gludwyr gael trwydded gan y llywodraeth; ac er mwyn i gyfeillion y cymdeithasau Biblaidd a chenadol gael cyfle i ffurfio barn gywir, rhoddwn yn nesaf anghreifftiau o lafur, a phrofedigaethau, ac annogaethau ein brodyr yn y wlad hono. Mewn llythyr a dderbyniwyd yn ddiweddar oddiwrth Mr. Jenkins, dywed fel y canlyn:—

"Mae y gwaith o ddosbarthu'r Testament Newydd yn myned ymlaen yn y wlad hon mewn mwy nac un parth o honi; oblegid y mae Mr. Williams a Le Bescont yn llafurio yn ardaloedd Quimper, minnau a Ricon yn amgylchoedd Morlaix; Mr. Carre, fel efengylydd yn ardal Landerneau, a Mr. Arpin, *colporteur*, yn nghymydogaeth Guingamp. Yr ydym yn yr ardal hon yn dosbarthu'r Testament Newydd yn ngwyneb gwrthwynebiadau penderfynol a chyhoedd yr offeiriaid. Yr oeddent mewn rhai plwyfau wedi gwahardd prynu ein llyfrau cyn i ni ymweled â hwynt i'r dyben hwnw; ac yn ganlynol, maent yn gyffredin wedi pregethu fod ein llyfrau yn ddrwg, fod yn rhaid eu llosgi, neu eu rhoddi i fynu iddynt hwy, onidê na chant *absolution* na chymun. Mae yr ymosodiad hwn ar air Duw mor bwysig, fel yr wyf wedi barnu yn rheidiol ysgrifenu at un o'r offeiriaid lythyr difrifol yn yr achos, gyda bwriad i'w gyhoeddi, a'i wasgaru, ynghyd â'r atebiad, os caf un. Nid wyf yn hoffi dadleuon yn gyffredin, eithr byddai tewi yn yr achos hwn yn peri i ni fod yn euog o beidio gwneyd yr hyn a allem i amddiffyn cymeriad a hawliau yr ysgrythyrau sanctaidd ymhlith pobl

tra anwybodus yn eu cylch. Er hyn oll, mae y teimlad cyffredin yn fwy ffafriol i'n gwaith nag oeddwn yn dysgwyl. Nid ydym wedi gweled nemawr o amlygiad noeth o deimlad chwerw tuag atom—gwelsom un *ffermwr* mewn drwg nwyd yn gorchymyn i ni fyned allan, ac yn dyweyd y gallasai ein saethu;—un wraig yn dryllio y Testament a brynasai ei gwr;—ac un arall a ddywedai, pe meddasai ar fodd y prynasai ein holl lyfrau i'r dyben o'u taflu i'r tân. Ond o'r tu arall, ymddengys rhai yn ffafriol i'n gwaith, a derbyniant y Testament gydag hyfrydwch, a gwn fod rhai yn darllen gydag astudrwydd."

Chwanegwn ddarnau o lythyr a dderbyniwyd yn ddiweddarach na'r un uchod, oddiwrth Mr. Williams, o Quimper; a gwasanaetha i roddi golwg ar y moddion a ddefnyddir i efengyleiddio Llydaw.

"Bydd yn llawen genych glywed fy mod wedi llwyddo i werthu llawer o gopïau o'r Testament Newydd; wrth ddywedyd *llawer* yr wyf yn meddwl 150. Mae hyn yn llawer yn Llydaw, mewn amser mor fyr ac ar dywydd mor ddrwg. Mae ein cyfaill Mr. Le Beck o Scäer, wedi bod yn gymhorth mawr i ni. Nyni a aethom i ymweled âg ef yn ddiweddar gan gludo gyda ni amryw o Destamentau. Derbyniodd ni yn dra charedig, ond cynghorodd ni i beidio gwerthu yn mhlwyf Scäer, am ei fod ef yn adnabod pawb a fedrai ddarllen yn y plwyf, ac y gwnai gymeryd arno y gorchwyl o werthu yno. Yn mhen ychydig o ddiwrnodau derbyniais lythyr tra dyddorawl oddiwrtho. Rhoddaf i chwi ddyfyniad bychan o hono:—

"'Yr oeddwn yn meddwl nad oedd eich dyfodiad i Scäer yn adnabyddus; ond er fy mawr syndod, pan aethum i'r eglwys ar y Sabboth, mi glywais bregeth danllyd yn eich erbyn chwi a'ch llyfrau. Yr oedd yr offeiriad yn bwgwth yn ddychrynllyd, ac yn annog pawb i rwystro yr hereticiaid i ledanu eu llyfrau gwenwynig yn eu plith. Er hyny, ni ddarfu i'w bregeth danllyd rwystro gwerthiad amryw o gopïau yr wythnos ganlynol; ac yr wyf yn dymuno arnoch anfon i mi ugain yn ychwaneg.'

"Mae yn hawdd i chwi feddwl i'r llythyr hwn oddiwrth Babydd roddi i mi bleser mawr. Mae y gwr hwn wedi gwerthu 36 o gopïau. Yr oedd rhai o'm cyfeillion yn meddwl, am fy mod yn ddyeithrwr, na fuaswn yn llwyddo i werthu Testamentau ymhlith y werin bobl. Mae yn dda genyf hysbysu i chwi fy mod wedi lledanu mwy na neb arall. Yn wir yr oeddwn yn meddwl hyny fy hun, ond y mae'r annogaethau a gefais wedi adfywio fy ysbryd i'r fath raddau, fel ag yr wyf yn ei chyfrif yn fraint i gerdded ugain, a phump-ar-hugain yn y dydd, â llwyth o Destamentau ar fy nghefn. Chwi ryfeddech, pe dywedwn wrthych y pethau yr wyf yn eu gweled a'u clywed ar fy nheithiau Biblaidd. Nid wyf yn cyfarfod â llawer o wrthwynebiadau agored. Mae yn wir fod rhai gwragedd Brythonaidd wedi cyhoeddi eu hanathema uwch fy mhen, wedi attal eu gwŷr rhag prynu, ac wedi fy ngyru allan o'u tai. 'O!' meddai un o honynt wrthyf yn ddiweddar, gyda hyawdledd gwir Frythonaidd, 'Yr ydych yn gwerthu llyfrau, onid ydych? Pa fath lyfrau, dymunaf wybod? Llyfrau wedi eu hysgrifenu yn erbyn y Forwyn?' Atebais, 'Nage! ac os gwrandewch mi ddarllenaf i chwi y cwbl ynghylch y Forwyn.' Nid oedd wiw ceisio ymddyddan â hi; yr oedd yr offeiriad wedi dyweyd hyny y Sabboth o'r blaen, ac anghredwyd yr heretic. Yr ydym wedi ein cyhuddo yn gyhoeddus, yn y rhan fwyaf o'r pulpudau; ac am fod yr offeiriaid dïegwyddor yn gofalu dyweyd mai llyfrau Protestanaidd sydd genym, nid rhyfedd eu bod wedi llwyddo i'n rhwystro i werthu mewn rhai lleoedd. Yn wir, y rhyfeddod yw, ein bod wedi gwneuthur cymaint: ac yr wyf yn barnu oddiwrth rai amgylchiadau y dèlir rhai o'r offeiriaid yn eu rhwyd eu hunain. Ar ddydd Gwener diweddaf mi ymwelais â phump o dai ffermydd, ac a werthais Destament yn mhob un o honynt. Ar fy nychweliad cyfarfyddais â dyn o'r wlad, ac ymddyddenais âg ef yn y Frythonaeg. Wedi hyny, efe a edrychodd i mewn i'r Testament. Gofynodd i mi, paham yr oeddem yn ceisio gosod y Testament yn nwylaw'r bobl? Cymerais beth amser i ateb y gofyniad. 'Wel,' meddai ef, 'yr ydym ni yn cael ein gwahardd yn yr eglwys i edrych ar y llyfr; ond yr ydwyf fi wedi penderfynu cymeryd hwn gyda mi, i gael gweled pa athrawiaethau sydd ynddo; a chwi ellwch fod yn sicr y dywedaf wrth fy nghyfeillion pa un ai drwg ai da ydynt.' Minnau a atebais fod yn dda genyf i mi gyfarfod âg ef, ac a'i cynghorais i farnu drosto ei hun, gan ychwanegu, fod yn bosibl y dywedai rhywrai wrtho fod y llyfr wedi ei lygru. 'Fe allai hyny,' ebe yntau, 'ond pryd bynag y byddaf fi yn cyfarfod â rhywbeth da, nid wyf yn credu pan ddywedir i'r gwyrthwyneb.' Ymadawsom ar delerau da, ac addawodd ymweled â mi pan ddeuai i Quimper. Y dydd canlynol, pan yn dychwelyd o'r wlad, mi synais wrth weled trôl (*cart*) yn sefyll wrth fy nrws. Wedi

myned i mewn, gwelais amaethwr ag oedd wedi dyfod o gryn bellder i brynu dau Destament. Ymddyddenais âg ef, a dywedodd wrthyf yn y Frythonaeg fel y canlyn:—

'Y Sabboth diweddaf, fe bregethodd ein hoffeiriad yn eich erbyn chwi a'ch llyfrau; dywedodd fod rhai yn y plwyf wedi bod mor ddrygionus a phrynu rhai o honynt. Yn awr, dygwyddodd fod fy mrawd wedi prynu un genych, ac yn ddïoedi dechreuasom ei chwilio. Synasom yn fawr nad oedd yn cynnwys dim ond yr efengylau, ac ysgrifeniadau yr apostolion, a barnasom fod yr offeiriad wrth lefaru yn erbyn y llyfr hwn yn dywedyd yn erbyn crefydd Iesu Grist. Yr wyf wedi dyfod heddyw i gael dau yn ychwaneg o honynt, fel y gallom wybod beth ydyw credo y Protestaniaid. Os clyw yr offeiriad am fy ymweliad â chwi, mi gaf niwed; ond nid wyf yn gofalu am hyny, rhaid i mi gael y llyfrau.'

"Yr wyf wedi cyfarfod âg eraill o gyffelyb feddwl. Nid wyf yn dywedyd fod y bobl hyn wedi cael tröedigaeth, ond y mae'r pethau hyn yn parotoi'r ffordd."

Oddiwrth y crybwylliadau blaenorol, yr ydym yn gweled fod efengyleiddiad Llydaw wedi dechreu—fod temlau Protestanaidd wedi eu codi yn Morlaix a Quimper—fod hâd anllygredig gair Duw wedi ei hau ar ranau o'r maes, a bod blaenffrwyth y cynhauaf wedi ei gasglu eisoes. Bydd enwau Le Gonidec, Le Fourdrey, Jenkins, Jones, a Williams, yn adnabyddus yn Llydaw yn nyddiau y mil-flwyddiant. Cyfeiria bys hanesyddiaeth atynt, fel diwygwyr y genedl yn y dyddiau diweddaf.

Pwy o honom ninnau sydd yn teimlo yn achos ein cydgenedl? Pwy o honom fedr fabwysiadu geiriau y prydydd?

"Gwir ddymuniad ein calonau,
  Dros ein brodyr 'nol y cnawd;
Sydd er iachawdwriaeth gyflawn
  Yn yr Oen ein hynaf frawd."

Os ydym yn teimlo mewn gwirionedd, dangoswn hyny, trwy ymweled â'n brodyr sydd yn y llafur. Nid yw'r daith ond bèr, nid yw'r môr ond cul, nid yw'r draul ond bychan, ac fe fyddai yr olwg ar gyfeillion o Gymru yn adfywiad i'w hysbryd; derbynient ni â chalonau a breichiau agored, a gwasanaethai'r cyfryw ymweliad yn gynnaliaeth i'w breichiau yn yr ymdrech â galluoedd y tywyllwch. Lle nad yw hyn yn bosibl, dangoswn ein teimlad trwy gyfranu yn haelionus tuag at anfon iddynt Fiblau, traethodau, a chenadau. Ar lwybr ein dyledswydd tuag atynt, mewn gweddi a llafur, gobeithiwn am ddydd eu gwaredigaeth o dywyllwch coel-grefydd a phechod, i ryfeddol oleuni yr efengyl sanctaidd. Llawenhawn yn y mesur o lwyddiant sydd wedi ei ganiatâu yn barod, a dysgwyliwn am bethau mwy a gwell, dan fendith yr Hwn a ddichon roddi'r cynnydd.

---

# BUTLER AR GREFYDD NATURIOL A DADGUDDIEDIG.

Nid oes un llyfr ar grefydd, ar a wyddom ni am dano, yn gofyn am gymaint o amynedd ac o feddwl, ag ydyw "Cyfatebiaeth Butler," ac nid oes yr un yn gwneyd y fath ad-daliad cyfoethog am danynt. Llyfr i feddylîwr ydyw, ac nid oes ond efe a all ei werthfawrogi; ond iddo ef y mae yn llyfrgell. Mor ddwfn oedd teimlad Dr. Chalmers o'i werth, fel y dywedai,

pe na wnaethai y miloedd sydd yn myned yn flyneddol i gynnal un o esgobaethau cyfoethocaf Lloegr, sef Durham, ddim lles ond cadw Butler am yr ugain mlynedd y bu yn ysgrifenu y llyfr hwn, eu bod wedi cynnyrchu llawer mwy na'u gwerth. Dywedwn ninnau nad oes unrhyw lafur yn ormodol i'w roi i feddiannu y cyfoeth meddwl sydd ynddo. Wrth ddyweyd nad oes un llyfr o fewn cylch duwinyddiaeth, hen a diweddar, yn cynnwys cymaint o "hadau pethau," nid ydym ond yn adrodd yr hyn a ddywedwyd lawer gwaith gan y barnwyr cymhwysaf. Nac ofned y darllenydd gyfarfod â golygiadau cywreinddoeth, dychymygol, aneglur; nac â gwahaniaethau tywyll, anfoddhâol; nac ychwaith â thybiau golygus, ond o ddiffyg sail yn troi allan yn siomedig. Nodweddiad meddyliau Butler ydyw eu mawredd, eu cyffredinolrwydd, eu cadernid; maent yn cymeryd meddiant o'r meddwl ac yn ei lenwi. Nid oes ynddynt ddim arwydd trais, na chloffni, na dyeithrwch. Mae ei ymresymiadau yn meddu grym a dysgleirdeb dur. Mae ynddo dawelwch sydd yn dangos meddwl ëang a chryf, yn gydnabyddus â'i fater, yn llwyr argyhoeddedig o'i wirionedd a'i bwysigrwydd; ac fe deimla yr hwn a'i astudia yr un argyhoeddiad yn cymeryd meddiant o'i feddwl yntau.

Am y gwirioneddau dyfnaf a phellaf a ddygir i'r amlwg o natur dyn, y mae bron pawb, pa mor analluog bynag i'w canfod gyntaf eu hunain, wedi eu canfod a'u dangos iddynt gan eraill, yn synu na buasent yn eu gweled eu hunain; teimlant eu bod mor naturiol, eu bod yn gorwedd mor llwyr o fewn cylch eu gwybodaeth, fel y buasai ychydig o ymchwiliad pellach, ac o ystyriaeth fanylach, yn eu gwneyd hwy y darganfyddwyr cyntaf o honynt. Er eu newydd-deb, yr ydym yn teimlo eu bod yn hen, a'r teimlad hwn ydyw y prawf o'u gwirionedd. Ond yn y dadguddiad a roddir i ni o ras yn teyrnasu trwy gyfiawnder i fywyd tragywyddol, mae y cwbl yn newydd. Er teimlo ei addasrwydd i anghenion yr enaid, y mae teimlad hefyd ei fod uwchlaw dyfais dyn. Er derbyn ei wirioneddau, ar sail dadguddiad y tu allan i ni ein hunain y derbynir hwynt, heb unrhyw deimlad eu bod fel gwirioneddau moesol yn berlau a ddygwyd i'r wyneb o waelodion ein natur ein hunain. "Ni welodd llygad, ni chlywodd clust, ac ni ddaeth i galon dyn, y pethau a ddarparodd Duw i'r rhai a'i carant ef." Er nad oedd y dadguddiad hwn yn gynnwysedig, fel y goedwig yn y fesen, mewn egwyddorion, a deddfau, a threfniadau blaenorol, ond yn ddadguddiad newydd o feddwl Duw, "dirgelwch ei ewyllys ef;" eto nid yw yn anghyson âg egwyddorion a threfniadau blaenorol. Y mae yn ëangiad ar bob goruchwyliaeth naturiol, yn gadarnhâd i bob deddf, yn sel ar gyfiawnder pob egwyddor blaenorol, yn rhagdybied holl ffeithiau llywodraeth naturiol a moesol Duw, ac yn cymeryd meddiant o'i orsedd, ac yn teyrnasu yn berffaith gydweddol â hanfodiad ac effeithioldeb y cwbl.

Yma y daw cyfatebiaeth i fewn i ddangos i ni gysondeb gweithredoedd y Duw unig ddoeth, trwy ddefnyddio y naill i egluro y llall—yr hyn sydd yn ddiammheüus i gadarnhau yr hyn a all ymddangos felly—yr hyn a gredir ac a dderbynir yn ddibetrus i agor y ffordd i'r hyn a all fod yn faen tramgwydd i rai—yr hyn sydd yn agos ac yn bresennol i gynnorthwyo ein syniadau am yr hyn sydd ymhell ac yn absennol. Nis gall gweithredoedd ac athrawiaethau Duw fod yn anghyson â'u gilydd, mwy nag yn anghyson â'r gwirionedd. Ac yn hyn y mae nerth cyfatebiaeth, i ddangos nas gellir dymchwelyd dwyfoldeb crefydd ddadguddiedig, heb sathru dan

draed holl addysgiadau synwyr a phrofiad. Os bydd i rywun, yn nghynddaredd ei elyniaeth, ddewis gwrthod goleuni rheswm, a rhyfela yn erbyn y trefniadau sydd o'i gwmpas ac yn ei amgau, trwy gondemnio a melldigo y cwbl fel rhwydwaith o dwyll ac anghyfiawnder, yn hytrach na derbyn goleuni crefydd; eto gwybydded nad yw trwy ei gyhuddiadau a'i regfêydd yn cyfnewid dim ar y gyfundraeth y cyfeiriwyd hwynt yn ei herbyn, na chwaith wedi bod yn foddion gwaredigaeth iddo ei hun o'r gyfundraeth hono; ynddi y mae er ei waethaf. Nid crefydd na'i dadguddiad sydd wedi ei wneyd felly. Nid y Bibl sydd wedi dyfod â phechod a thrueni i'r byd; yma yr oeddynt; a lle nid yw, yno y maent yn eu ffieidd-dra a'u chwerwder mwyaf. Yr unig gyhuddiad a ellir roi yn erbyn crefydd, ydyw iddi ddadgan fod yr afiechyd yn bod, a pharotoi meddyginiaeth ar ei gyfer; dyfod â goleuni i'r byd fel yr argyhoedder gweithredoedd anffrwythlawn y tywyllwch, ond goleuni ydyw sydd â "meddyginiaeth yn ei esgyll;" cyhoeddi fod y byd yn gorwedd yn ei waed, ond â llais sydd yn amddiffyn ei hun oddiwrth afresymoldeb wrth drosglwyddo yr hyn y mae yn ei beri, trwy ddyweyd "Yn dy waed bydd fyw."

Ond mae yn bryd i ni ddychwelyd at Butler. Yn y bennod gyntaf, y mae yn defnyddio cyfatebiaeth i brofi sefyllfa ddyfodol, trwy ddangos er cymaint ydyw y cyfnewidiad a wneir gan angeu, er ei fod yn ddinystr ymddangosiadol i'r galluoedd a'r teimladau sydd yn rhoddi i ddyn ei ragoriaeth, ac yn ffurfio sail ei gyfrifoldeb, ac er ei fod yn ein hamddifadu o'r prawf gweledig fod ysbryd mewn dyn, eto y dengys ystyriaeth fanylach i ni, nad oes un sail i ofni y bydd angeu yn ddyddymiad ac yn hollol ddinystriad i'n "galluoedd byw."

I. O herwydd deddf gyffredinol natur ydyw i'r un creadur hanfodi mewn sefyllfäoedd tra gwahanol, a mwynhau graddau tra gwahanol o fywyd, ac o'r galluoedd hyny sydd yn cyfansoddi ei berffeithrwydd. Mae cyfnewidiadau pryfed i wybed, adar yn newid eu hwyau am fyd newydd, llawn o bob darpariadau ar eu cyfer, yn anghreifftiau o'r ddeddf hon. Mae sefyllfa dyn yn y groth ac mewn mabandod bron mor wahanol i'r hyn ydyw mewn cyflawn fwynhad o'i alluoedd, ag a all dwy sefyllfa fod; ac felly y mae yn gyson â chyfatebiaeth natur i ddyweyd yr hanfodwn ar ol hyn mewn sefyllfa mor wahanol oddiwrth yr un bresennol, ag ydyw yr un bresennol oddiwrth yr un y buom ynddi o'r blaen.

II. Un o ddeddfau natur dyn ydyw dysgwyl parhad yr hyn sydd wedi bod ac sydd yn bod, os nad oes rheswm sicr i gredu yn wahanol. Ein hunig reswm naturiol dros gredu y bydd trefn natur yfory yr un fath a heddyw, ydyw, ein bod wedi ei chael heddyw yr un fath a doe. Mae dysgwyliadau yn cael eu ffurfio a'u llywodraethu gan brofiad. Mae y plentyn sydd yn synu ac yn difyru ei hun y tro cyntaf ar y swn a wna trwy guro y bwrdd â'i lwy, yn dysgwyl am yr un pleser wrth guro eilwaith. Ac er wrth dyfu i fynu y teimla lawer siomedigaeth yn ei ddysgwyliadau, eto ni chyll y ddeddf hon ei llywodraeth ar ei grediniaeth a'i ymddygiadau; ond fe ddaw i ddëall yn raddol mai o'i anwybodaeth ei hun, ac nid o'i haneffeithioldeb hi, y tarddodd ei siomedigaethau. Y mae bod genym alluoedd i ddirnad a gweithredu, i fwynhau a dyoddef yn awr, yn debygolrwydd y byddant yn ein meddiant ar ol angeu, os nad oes reswm pendant yn erbyn y fath debygolrwydd. Os oes, mae yn rhaid iddo darddu naill ai oddiwrth *angeu ei hun*, neu *oddiwrth gyfatebiaeth natur*.

Ond nid oes dim yn angeu i'n gorfodi i gredu y bydd iddo lwyr ddinystrio ein galluoedd eneidiol. Y cwbl a wyddom am angeu ydyw ychydig o'i effeithiau—ymddattodiad y tŷ o bridd. Nid ydyw hyn yn cynnwys difodiad y preswylydd byw. Ac er gallu angeu i falurio y babell, nis gwyddom nad ydyw y trigiannydd allan o gyrhaedd brenin dychryniadau. Dengys cwsg a llewyg.i ni fod yn bosibl i ni feddiannu galluoedd pan nad allwn eu rhoi mewn gweithrediad. Mae yn wir nas gallwn edrych tu draw i angeu i weled pa beth sydd wedi dyfod o'r rhan a gredir sydd yn anfarwol; ond mae yr anghreifftiau lliosog o alluoedd meddwl yn parhau yn eu grym arferol, pan mae afiechyd marwol ar fin myned i roi terfyn ar alluoedd y corff, yn ein gogwyddo i obeithio mai unig effaith angeu ar yr enaid ydyw symudiad y prawf gweledig o'i fod.

III. Mae y dybiaeth y bydd angeu yn ddinystr i'n galluoedd byw yn cymeryd yn ganiatâol fod yr enaid yn gyfansoddedig fel y corff. Ond mae ymwybyddiaeth pawb yn ddigon o brawf iddynt nad ydyw eu teimladau yn meddu ar briodoliaethau corff, sef llun, lliw, pwysau, estyniad, &c. Mae y priodoliaethau hyn yn hanfodol i sylwedd corfforol; ond nis gallwn ddyweyd fod lliw yn perthyn i ewyllysiad, na llun i lawenydd, na phwysau i ddychymyg, ac nis gallwn adranu teimlad a meddwl, a son am y drydedd ran o dristwch, nag am y ddegfed ran o gydwybod. Gan fod ansoddau meddwl ac ansoddau corff mor groes ac anghyson â'u gilydd, onid rhesymol ydyw casglu fod y sylweddau yr hanfoda yr ansoddau hyn ynddynt, yn hollol wrthwynebol i'w gilydd ?—un yn gorfforol a'r llall yn ysbrydol; un yn gyfansoddedig, a'r llall yn anghyfansoddedig; ac o ganlyniad un yn ddarostyngedig i ymddattodiad neu farwolaeth, a'r llall yn anfarwol.

IV. Mae y corff yn myned trwy gyfnewidiadau parhaus. Mae yn debygol nad oes ond ychydig, os oes dim, o'r gronynau yn ein cyrff yn bresennol ag oedd ddeng mlynedd yn ol; eto mae y meddwl yn parhau yr un, yn meddu yr un cof, yr un ymwybyddiaeth, a'r un unoliaeth bersonol ag o'r blaen. Mae y meddwl eisoes wedi goroesi cyfnewidiadau llwyr, neu fel y dywedir yn gyffredin, hollol ddinystr y corff. Paham nas gall oroesi y cyfnewidiad a elwir angeu ? O herwydd nid ydyw angeu yn dadgyfansoddi, yn dattod elfenau y corff oddiwrth eu gilydd, ac yn eu rhyddhau i ail-ymuno mewn cyfansoddiad newydd, yn fwy sicr, nac yn fwy llwyr nag ydyw byw ugain mlynedd, neu lai, yn gwneyd yr un peth, i'r un corff, yn llawn mor effeithiol.

Credai pawb fod yr enaid yn byw yn hwy na'r corff, pe gellid gwneyd ei hanfodiad ar ol marwolaeth y corff yn amlwg. Mae y ffeithiau dan sylw yn profi fod yr enaid yn newid ei gorff amryw weithiau cyn bod yn driugain oed; ac felly fod pob un sydd wedi tyfu i gyflawn oed, yn dwyn yn ei berson ei hun brawf fod yr enaid yn byw ar ol hollol ymddattodiad y corff y bu mewn undeb âg ef. Onid ydyw hyn yn profi fod yn bosibl i'r enaid hanfodi wedi ymadael â'i gorff yn llawn mor effeithiol a "phe cyfodai un oddiwrth y meirw."

V. Nid ydyw ein cyrff ond offerynau canfyddiad a symudiad. Nid y llygad sydd yn gweled, ac nid y glust sydd yn clywed; nid ydynt hwy ond offerynau i'r enaid weled a chlywed; a'r unig wahaniaeth rhwng y llygaid a gwydrau a ddefnyddir i'w cynnorthwyo, ydyw, fod y naill yn offeryn naturiol, a'r llall o wneuthuriad celfyddyd. Felly hefyd am y

gallu i ymsymud, wedi colli aelod y mae y gallu hwn yn parhau yn ddileihad, ac ni a allwn gerdded â choes gelfyddydol, fel ag y gallwn ddefnyddio ffon i estyn at rywbeth y tuhwnt i gyrhaedd y llaw naturiol. A chan fod y berthynas sydd rhwng yr enaid a'r corff yn berthynas rhwng sylwedd byw, a chydgasgliad ac ymgorfforiad o offerynau gweled, clywed, symudiad, &c. o'r un natur—ond o wneuthuriad cywreiniach, am eu bod o wneuthuriad y Crëawdwr, a'r chŵydd-wydr ac offerynau i gynnorthwyo y synwyrau eraill;—y casgliad ydyw nad yw dinystr y llygad, mwy na dinystr y spïenddrych, yn ddinystr y *gallu* sydd yn gweled trwy y naill fel y llall; a'r un modd nad yw ymddattodiad yr holl gorff yn ddim mwy i'r enaid na chymeryd oddiarno y peiriant oedd yn ei gysylltu â phethau gweledig.

VI. Mae genym alluoedd a theimladau sydd hyd yn nod yn y fuchedd bresennol yn ymddibynu ar y corff ond i fesur bychan iawn. Nid o'r byd allanol trwy synwyrau y corff y mae y meddwl yn cael y syniadau sydd yn ei ddyrchafu uwchlaw yr anifel, yn rhoddi yn ei feddiant wirioneddau nad ydynt yn ymddibynu am eu cymeriad ar amser a lle, yn ei alluogi i anfon ei fyfyrdodau o'i flaen i dragywyddoldeb, ac yn ei godi i gymdeithasu â'i Dduw. Cyffyrddiad â'r byd allanol sydd megys yn deffro y meddwl, yn cyffroi ei alluoedd, yn gosod ei fyfyrdodau ar waith; ond yn y meddwl ei hun y mae y syniadau cyntaf, gwreiddiol, elfenol hyny a elwir gan rywun yn "hadau gwirionedd," megys bod neu hanfodiad, amser, y cysylltiad rhwng achos ac effaith, gwirionedd, sicrwydd, tebygolrwydd, &c., ac y maent yn codi yn naturiol yn y meddwl yn ngweithrediad ei wahanol alluoedd. Mae yr enaid, yn y mwynhad a'r gweithrediad o'i alluoedd adfyfyriol, yn teimlo nad caethwas pethau gweledig ydyw. Nid yn unig y mae yn medru ymddyrchafu at syniadau uwchlaw natur, megys gwirionedd, rhinwedd, Duw; nid yn unig y mae ei alluoedd yn estyn at yr hyn sydd ymhell tu draw i gylch offerynau a synwyrau corfforol; ond hyd yn nod yn nghanol gwrthddrychau y synwyrau, fe ddengys y meddwl ei arglwyddiaeth arnynt oll. Fe dremia y meddwl o'r ddaear i'r nefoedd; fe wna i natur amlygu iddo ei dirgelion dyfnaf, a mwyaf cyfrinachol; fe fyn warogaeth gan dân a dwfr, gan oleuni a mellt; fe amgylcha holl oesoedd y ddaear, ac a drefna eu defnyddiau cymysglyd yn y fath fodd ag a'i galluoga i ddarllen y dyfodol yn yr hyn a basiodd.

Mae yr holl ystyriaethau hyn yn myned i brofi fod yr enaid yn ysbrydol, ei fod i fesur mawr yn annibynol ar y corff, a'i fod hefyd yn parhau yr un yn nghanol cyfnewidiadau mwyaf ei gydymaith daearol. Mae hyn yn hanfodol er profi anfarwoldeb yr enaid, er nad ydynt ynddynt eu hunain yn brawf o'i anfarwoldeb. Pe gwrthbrofid hwynt, ni byddai sefyll faddyfodol yn bosibl, ond gyda hwynt y mae y posiblrwydd yn amlwg. Mae Butler yn myned ymhellach na hyn, ac yn defnyddio yr ymresymiad dan sylw yn brawf penderfynol o anfarwoldeb. Yr unig ddefnydd cyfreithlawn a ellir wneyd o gyfatebiaeth ydyw, i ateb gwrthddadleuon, parotoi lle i roddi i lawr brofion o natur benderfynol: ac mae gwthio yr ymresymiad ymhellach na hyn, yn hytrach yn crëu rhagfarn yn erbyn y gwirionedd y dadleuir drosto, trwy beri ammheuaeth ynghylch cadernid y rhesymau cryfaf a ddefnyddir, o herwydd eu cysylltiad â rhai gwanach; ac hefyd trwy roddi lle i ddynion gamgymeryd y gwahaniaeth rhwng gwrthddadl yn erbyn prawf, a gwrthddadl yn erbyn y gwirionedd yr

amcenir ei brofi. Mae Butler trwy roddi pwys cadarnhäol i'r ymresymiad oddiwrth gyfatebiaeth, wedi codi yn ei erbyn ei hun y gwrthddadl—y gellir profi rhan anfarwol yn yr anifel direswm, trwy ddangos fod rhywbeth ynddo yntau fel mewn dyn yn alluog i oroesi cyfnewidiadau ac anafau mawr yn ei gorff. Teimlodd Butler rym yr wrthddadl hon, a'i atebion iddi ydyw y rhan fwyaf anfoddhäol yn ei holl lyfr. Nid rhaid gwadu fod yr ystyriaeth hon ynddi ei hun yn profi cymaint i'r anifel ag ydyw i ddyn. Os defnyddir hi i brofi anfarwoldeb dyn, mae yn rhaid cyfaddef nas gellir yn deg wadu anfarwoldeb i anifel. Ond os cyfyngir hi o fewn ei therfynau priodol i brofi y *posiblrwydd* i ddyn oroesi angeu wedi goroesi cymaint o gyfnewidiadau cyn angeu, nid oes achos i ofni dros anrhydedd y natur ddynol, trwy addef ei bod yn profi yr un faint i'r anifel. Mae y dyn hwnw sydd yn cenfigenu wrth yr anifel, ac yn gwadu fod yn ei feddiant yr hyn sydd, yn dangos nad yw fawr uwch na'r anifel ei hunan. Mae llawer o arddangosiadau meddwl yn yr anifel. Yn mhob anifel mae rhywbeth sydd yn cyfateb i feddwl; y mae yn penderfynu, ac yn dewis rhwng anhawsderau—y mae yn cofio, yn caru, yn casâu, yn gobeithio, ac yn ofni. Nid ydyw eu galw yn *reddf* yn esbonio y ffeithiau, nac yn eu symud ymaith; yno y maent; ac er taflu gorchudd gair diwerth trostynt, mae tebygolrwydd rhyngddynt a gweithrediadau meddwl dyn yn parhau. Ond er addef tebygolrwydd, nid ydyw hyn yn ein rhwystro i weled dirfawr wahaniaeth. Er addef fod y gallu sydd gan anifel, yn gystal a dyn, i fyned trwy lawer o gyfnewidiadau heb suddo danynt, yn profi cyn belled ag y mae yr addefiad hwn yn myned, yr un posiblrwydd i'r ddau fedru myned trwy y cyfnewidiad olaf heb ddiffodd ynddo; er hyny posiblrwydd tir uchaf anifel ydyw tir isaf dyn. Meddyliwch am feddwl dyn; y mae gagendor mawr rhyngddo a phob ffurf ar allu meddyliol y creadur direswm. Nid yw meddwl yr anifel byth yn ymgodi uwchlaw bywyd anifeilaidd. Maent yn glymedig â'u gilydd. Nid yw y meddwl ond yn arweinydd ac yn was i'r bywyd, ac yn briodoledd o hono. Ond nid felly meddwl dyn. Mae hwn yn codi uwchlaw ac yn dïystyru y bywyd corfforol anifeilaidd sydd ynglyn âg ef; mae am ehedeg y tuallan iddo ei hun; mae yn sychedu am fyd arall i fyw; mae amser yn rhy fŷr, a'r greadigaeth yn rhy gyfyng i gynnwys ei ddymuniadau; fe deimla ei fod yn bererin nes cael "myned y tufewn i'r llen," a'i fod heb gyrhaedd canolbwynt ei fod nes cael bod yn Nuw. Nid ein hamcan ni ydyw profi anfarwoldeb yr enaid, ond dangos gwerth a phwys cyfatebiaeth fel prawf. Mae ei llais hi yn ddigonol i ddystewi gwrthddadleuon anffyddiaeth; ond nid yw yn ddigon penderfynol, nac yn ddigon croew i greu yn yr enaid y gobaith ansefydlog, a'r ofn anmhenderfynol sydd yn tarddu o deimlad o dynged anfarwol; llawer llai y galluogai y cristion i obeithio am "etifeddiaeth anllygredig, dihalogedig, a diddiflanedig" pan y byddai ei galon yn pallu, curiad y gwaed yn arafu, oerchwys angeu ar ei wynebpryd, a'i gyfeillion o'i ddeutu yn dysgwyl am ei anadl olaf. Y mae sylfeini cedyrn i osod y grediniaeth mewn anfarwoldeb arnynt, y tuallan i gylch y dadguddiad sydd wedi dyfod â "bywyd ac anllygredigaeth i oleuni." Mae y rhai'n i'w canfod yn ei gyfansoddiad meddyliol, ac yn ei berthynasau moesol. Mae bod dyn yn medru ymgodi at y syniad o anfarwoldeb yn brawf mai anfarwol ydyw. Nis gall creadur goleddu meddwl uwchlaw terfyn a thynged ei natur; ac mae bod sefyllfa ddyfodol yn ei dedwyddwch

a'i thrueni yn syrthio o fewn cylch myfyrdodau dyn, yn awgrymiad dealladwy a phenderfynol o eiddo "Tad yr ysbrydoedd," yr hwn ni phlanodd na theimlad na gallu yn ei ysbryd heb fod iddynt wrthddrychau cyferbyniol, y bydd y naill neu y llall yn etifeddiaeth dragywyddol iddo. Ond cydwybod, yr elfen foesol, y teimlad o gyfrifoldeb, yr euogrwydd sydd yn taraw y drwgweithredwr â chosb yn ei fynwes ei hun, ac yn ei lenwi ef â dychryn wrth feddwl am frawdle uwch; yr hunan-gymeradwyaeth, y wledd wastadol, sydd yn dilyn rhinwedd diwyrni, ac aberth haelioni; y tawelwch siriol, a'r hyder gobeithiol yn nghanol anghof, dirmyg a gormes, fod Un a farna yn gyfiawn, ac a ddadleua achos y truan—y teimladau hyn sydd yn gwneyd fod bron yn anmhosibl i ddyn suddo islaw y teimlad o fyd arall, ac mai ei ddedwyddwch uchaf ydyw medru edrych yn obeithiol tuag yno. Ond y prawf mwyaf sylweddol a roddwyd i ddyn, ac unig sylfaen gobaith bywyd i'r euog ydyw, edrych ar Dywysog y bywyd yn gorwedd dan "ofidiau angeu" yn lle y benglog, yn cyfodi foreu y trydydd dydd, gwisgoedd y bedd yn syrthio oddiamdano, ac yntau yn esgyn at ei Dad i ganol gogoniant y nef.

PENNOD II. Yr hyn sydd yn gwneuthur yr ymofyniad ynghylch sefyllfa ddyfodol yn un o annhraethol bwys i ni ydyw, ein cymhwysder creadigol i ddedwyddwch neu drueni. Yma y mae golygfa dibendraw yn cael eiagor o flaen gobaith ac ofn. Ac heb son am y goleuni y mae y dadguddiad dwyfol wedi ei roddi am y farn a'i phenderfyniadau, y nefoedd a'i mwynderau, ac uffern a'i chosb; os ydyw cyfatebiaeth natur yn dangos mai nid afresymol nac annhebygol ydyw y bydd gwobr a chosb yn cael eu dedfryd yn ol ein hymddygiadau yn y corff; nis gall dim gyfiawnhau yr afresymoldeb, ïe y gwallgofrwydd, o beidio cymeryd y dybiaeth yna yn egwyddor i lywodraethu ein holl fywyd. Ac y mae holl gyfatebiaeth natur yn llefaru yn eglur a diamwys ar hyn.

Yn y byd hwn y mae ein holl fwynhad, a rhan fawr o'n trueni, wedi cael eu rhoi yn ein cadwraeth ein hunain, o herwydd y mae pleser a phoen yn ganlyniadau ein gweithredoedd, ac yr ydym wedi ein cynnysgaethu â galluoedd i ragweled eu canlyniadau. Hyn ydyw trefn Awdur natur. Y mae profiad yn ein dysgu nad ydyw rhagluniaeth yn cynnal ein bywyd, nac yn rhoddi i ni y gwrthddrychau hyny sydd yn briodol i'w fwynhau, yn annibynol ar ein gofal a'n llafur ein hunain. Trwy ddoethineb a gwyliadwriaeth, ni a allwn dreulio ein dyddiau mewn gradd helaeth o lonyddwch a thangnefedd; ar y llaw arall, trwy fyrbwylldra, nwydau aflywodraethus, ystyfnigrwydd, neu hyd yn nod esgeulusdra, ni a allwn wneyd ein hunain mor druenus ag y mynwn. Gŵyr pawb mai hyn ydyw trefniad a gosodiad pethau yn y fuchedd bresennol. Nis gwyddom paham y mae y Creawdwr yn gwrthod ein gwneyd yn ddedwydd heb olwg ar ein hymddygiadau, a chadw trueni draw beth bynag fyddo ein gweithredoedd. Nid yw Butler yn cynnyg ateb y cwestiwn Paham? mewn modd penderfynol. Y mae yn rhoddi amryw dybiau, pob un o ba rai a all fod yn wir, ac a all fod yn ateb am a wyddom ni. Teimlai yn rhy ddwys mai rhyfyg fyddai i greadur gynnyg ei dybiau ei hun yn agoriad ar ddirgeledigaethau Duw. Ond gan fod y gwrthddadleuon a ddygir yn erbyn dirgeledigaethau llywodraeth Duw wedi eu sylfaenu ar dybiau, ac yn fynych ar dybiau rhyfygus ac ansanctaidd dynion o feddyliau cul, mae Butler yn eu cyfarfod ar eu tir eu hunain, ac yn dymchwelyd eu gwrthddadleuon trwy

ddyfod âg amryw bethau ymlaen a allai fod yn rheswm i'r Meddwl Anfeidrol dros gysylltu pleser wrth weithredoedd da, a phoen wrth weithredoedd drwg. Ond beth bynag am ddyben y Creawdwr yn sefydlu y fath gysylltiad, mae dau beth yn amlwg—yn gyntaf, fod y fath gysylltiad wedi ei sefydlu; ac yn ail, fod gan ddyn alluoedd i ragweled canlyniadau ei weithredoedd. Y ddau beth hyn sydd yn cyfansoddi hanfod llywodraeth. Felly y mae profiad yn ein dysgu ein bod dan lywodraeth Duw yn y byd hwn. Nid oes eisieu cadwen hir o resymau i brofi hyn; mae pob dyn, pa mor anwybodus bynag, yn gwybod fod pleser wedi ei gysylltu â rhyw weithredoedd, a phoen â gweithredoedd eraill, ag sydd yn ein gallu i'w cyflawni neu eu gochelyd; a'u bod hefyd yn gwybod ymlaen llaw am y cysylltiad hwn. Ac o ganlyniad yr ydym dan lywodraeth Duw mor wirioneddol ac mor amlwg ag yr ydym dan lywodraeth llywodraethwyr gwladol, ac mor wirioneddol, ac yn yr un ystyr, ag y mae plant dan lywodraeth eu rhieni, a gweision dan lywodraeth eu meistriaid. Ac felly y mae holl gyfatebiaeth natur, holl drefn bresennol pethau, yn dangos gyda'r eglurdeb mwyaf nad oes dim yn anghredadwy yn yr athrawiaeth y gwobrwyir ac y cosbir dynion am eu gweithredoedd mewn byd arall. Mae holl gyfansoddiad pethau yn bresennol yn anghraifft nodedig a theimladwy o'r fath lywodraeth. Nis gall un dyn ochelyd y penderfyniad hwn, heb yn gyntaf wadu ei fod un amser yn edrych o'i flaen, yn darbodi dros dranoeth, yn casglu rheolau i'w lywodraethu yr amser dyfodol oddiwrth yr hyn a brofodd yr amser a aeth heibio. A pha beth yw hyn ond gosod y cwestiwn yn y fath fodd fel nas gall dyn wadu ei fod dan lywodraeth Duw, heb drwy hyny wadu ei fod yn greadur rhesymol? Nid oes dim y mae dyn yn ei wybod yn fwy trwyadl, ac yn ei deimlo yn fwy dwfn, na bod ei ddedwyddwch yr awr nesaf, y mis nesaf, neu y blyneddau nesaf, yn ymddibynu ar ei ymddygiadau presennol. Fe ŵyr fod y cysylltiad agosaf rhwng yr hyn y mae yn ei wneyd a'r hyn a fydd. Ar y berthynas naturiol ac anammheuadwy hon y mae holl beiriant cymdeithas yn ymddibynu; hebddo darfyddai cyfammodau, cynghreiriau, addewidion, rhwymweithredoedd; ni byddai gobaith nac ymddiried yn awr, na theimlad o lwyddiant ar ol hyn.

Y ddau beth hyn, sef fod cysylltiad rhwng yr amser presennol ac amser dyfodol; ac yn nesaf, fod gan ddyn allu naturiol i wybod fod y fath gysylltiad, ydynt sylfeini llywodraeth, a phrawf o'i dechreuad. Mae pob dyn yn meddu gallu sydd yn ei gymhwyso i fod yn ddeiliad llywodraeth; y mae ei holl natur wedi ei chyfaddasu i'w chymhelliadau; y mae pob trefniad y tuallan iddo ei hunan yn cyfarfod y gallu hwn, ac yn gweinyddu y cymhelliadau hyn.

Gan mai yn erbyn cosb ddyfodol y mae dynion yn gwrthwynebu fwyaf, priodol ydyw enwi rhai o'r amgylchiadau sydd yn perthyn i gosbedigaethau naturiol yn y fuchedd bresennol ag sydd â thebygolrwydd ynddynt i'r hyn a ddywedir wrthym yn y Bibl am gosb mewn byd arall. Y maent yn aml yn dilyn gweithredoedd sydd yn dwyn mantais dros amser, ac yn cynnyrchu pleser ar y pryd, fel y mae afiechyd a marwolaeth anamserol yn dilyn anghymedroldeb. Maent yn fynych yn fwy na'r fantais a'r pleser sydd yn dilyn y gweithredoedd a gosbir. Oedir hwynt yn fynych nes y bydd y gweithredoedd wedi eu hanghofio. Ar ol hir oediad fe ddaw y gosb, nid yn raddol, ond yn ddisymwth a chyda rhuthr. Yn fynych ni

feddylir am y gosb tra y cyflawnir y weithred, er hyny hi ddaw yn anocheladwy. Mae arferion a ffurfir pan yn ieuanc yn troi allan yn ddinystr pob cysur a llwyddiant. Ond ymbellach na hyn, y mae cyfleusderau naturiol, megys y tymhorau, y rhai os na chymerir mantais o honynt ar y pryd, y maent wedi colli am byth; ac mewn llawer o amgylchiadau y mae gwir edifeirwch a diwygiad yn analluog i symud ymaith y trueni a barodd annoethineb blaenorol; mae esgeulusdra anfwriadol, ac o ddiffyg ystyriaeth, mor niweidiol yn fynych ag ydyw gweithredoedd allanol dan lywodraeth y nwydau mwyaf aflywodraethus; mae llawer o gosbedigaethau naturiol yn farwol, ac yn cael eu gweinyddu, fel yr ymddengys, naill ai i symud ymaith y troseddwr, fel nas gall wneyd niwed, neu ynte fel esiampl i eraill.

Nid yw yr amgylchiadau hyn, sydd yn hynodi cosbedigaethau naturiol, yn ddamweiniol; y maent yn syrthio o fewn profiad beunyddiol, ac yn tarddu o ddeddfau cyffredinol trwy ba rai y mae Duw yn llywodraethu y byd; ac y maent mor debyg i'r hyn y dywedir wrthym am gosbedigaethau yr annuwiolion mewn byd arall, fel y mae 'r un geiriau yn gymhwys i osod allan y ddau: *Diar*. i. 24–33. Nis gall dim roi y fath arddangosiad agos a theimladwy i'r meddwl o gosb ddyfodol, a sylwi, ar ol i ddynion gael llawer o rybuddion mewn gwahanol ffyrdd, ac iddynt oll gael eu hesgeuluso a'u diystyru, ac i ganlyniadau eu ffolineb gael eu hoedi am hir amser; o'r diwedd fe dyr eu cosb arnynt fel rhyferthwy—mae edifeirwch yn rhy ddiweddar; ond i ychwanegu at eu trueni, mae eu sefyllfa yn anobeithiol; mae tlodi, afiechyd, cnofëydd cydwybod, ing, cywilydd, ac angeu, yn eu gorddiwes, fel cosb am eu gweithredoedd eu hunain tuhwnt i bosiblrwydd meddyginiaeth na dïangfa. Ni ddywedir fod dynion bob amser, yn y byd hwn, yn cyfarfod â chanlyniadau eu gweithredoedd; ond y maent felly yn fynych, digon mynych, i ddangos pa beth a ganiatâ deddfau llywodraeth Duw, ac i ateb pob gwrthddadleuon yn erbyn cosb mewn byd arall, oddiwrth y dyb fod gwendid ein natur, a nerth temtasiwn yn dilyn euogrwydd pechod.

Fe ddichon y gwrthddadleuir yn erbyn yr ymresymiad hwn, trwy ddyweyd, fod y cysylltiad rhwng gweithredoedd a'u canlyniadau i'w briodoli i "drefn neu gwrs cyffredin natur." Gwir. Hyn yw yr hyn y dadleuir drosto; ond nid i'r geiriau nac i'r syniad *cwrs natur*, ond i'r Hwn a'i sefydlodd, ac a osododd bethau ynddo: neu i gwrs o weithrediad, yr hwn oddiwrth ei sefydlogrwydd a'i unffurfiad a elwir yn naturiol, a'r hwn sydd o angenrheidrwydd yn cynnwys gweithredydd, neu fod yn gweithredu.

Gan fod pleser cysylltiedig â gweithred yn wobr naturiol, a phoen yn gosb naturiol, nid anmhriodol ydyw gofyn, A ydym i gyflawni pob gweithred sydd yn dwyn pleser i unrhyw nwyd neu chwant o'n natur? I hyn yr ateb diammheuol ydyw, na ddylem. Gwnaed ein llygaid i weled, ond nid yw yn canlyn oddiwrth hyn eu bod wedi eu bwriadu i edrych ar bob peth, pa un ai niweidiol ai peidio. Nid yw ein natur anianol yn ei dymuniadau na'i gwrthodiadau i fod yn safon yr hyn sydd ŵyrgam neu yn uniawn, yn bechadurus neu yn rhinweddol. Mae egwyddorion uwch yn ein natur na nwydau anifeilaidd, sef barn a chydwybod, y rhai sydd wedi eu bwriadu a'u cyfaddasu i gadw ein chwantau dan lywodraeth. "Mae y ddeddf yn uniawn, yn sanctaidd, ac yn dda." Yr hyn sydd yn uniawn sydd yn dda, a'r hyn sydd yn gam sydd yn ddrwg. Mae pleser yn wobr rhinwedd, ond nid ei hanfod. Mae dedwyddwch yn gydymaith annattodol sancteiddrwydd, ond nid sancteiddrwydd ei hunan. Mae y rhan

hono o ddyn sydd yn adsain ac yn cymeradwyo egwyddorion cyfiawnder ac uniondeb, yn meddu awdurdod ar bob rhan arall o'i natur. Mae cydwybod yn sefyll megys mewn cyffyrddiad uniongyrchol â'r ewyllys, ac â holl elfenau nodweddiad—mae hi yn sefyll rhwng pob teimlad arall a'i wrthddrych. Ond nid oes yr un teimlad arall yn sefyll rhyngddi hi a'i gwrthddrych; mae cydwybod yn gwahardd i'r ewyllys wasanaethu chwant, ond nid oes un chwant yn gwahardd i'r ewyllys wasanaethu cydwybod. Ei gwrthddrychau hi ydyw tueddiadau a gweithredoedd; ac felly y mae ei hawdurdod yn gyffredinol yn cyrhaedd at bob rhan o'r dyn, ac mae ei pherthynas neillduol â'r ewyllys yn gwneyd mai ei hanfod ydyw gorchymyn a gwahardd, cymeradwyo a chondemnio. Dan lygad cydwybod a chyda ei chymeradwyaeth hi y mae yr holl deimladau is i fwynhau eu gwrthddrychau priodol.

Pa un ai i weithrediad parhaus y Llywydd Mawr, ai ynte i'w drefniadau blaenorol y mae y pleser a'r boen sydd yn dilyn ein hymddygiadau i'w priodoli, nid yw o bwys gyda golwg ar ymresymiad y bennod hon. Mae edrych ar holl effeithiau natur yn dyfod yn uniongyrchol oddiwrtho ef, yn fwy cydnaws â thymher duwiolfrydig. Ond nid yw Butler yn meddwl fod desgrifio pob peth fel effeithiau trefniad a sefydliad cyntefig y Crëawdwr yn ei ddiorseddu, o herwydd ei drefniad ef ydyw. Pe medrai llywodraethwyr gwladol wneyd i'w deddfau weinyddu eu hunain, heb iddynt hwy wisgo arwyddion llywodraeth, na myned gyda rhwysgfawredd i'r llŷs, na chymeryd eu heisteddleoedd yn weledig ar y fainc, na dal cleddyf cyfiawnder yn noeth uwchben y troseddwyr, na rhoddi y ddedfryd mewn grym yn mhresennoldeb miloedd o edrychwyr cyffröus; neu pe medrent wneyd i'r troseddwyr weinyddu y gyfraith arnynt eu hunain, a tharo eu hunain â'r gosb ddyledus; ni a fyddem felly dan eu llywodraeth mor wirioneddol ag ydym yn bresennol, ond mewn ystyr llawer uwch a pherffeithiach. Yn yr ystyr berffeithiach hwn yr ydym dan lywodraeth y Goruchaf. "Ni ddaw teyrnas Dduw wrth ddysgwyl." Nid mewn ymddangosiad a rhwysg y mae ei nerth. Mae hi yn gwneyd i'r meddwl droi arno ei hun, a gweithio cosb o'i deimladau a'i alluoedd ei hun. Mae gwenwyn saethau yr Hollalluog yn yfed yr ysbryd. Mae y gosb wedi dechreu cyn i'r troseddwr gael amser i feddwl am ffoi. Er na wneir barn yn erbyn gweithred ddrwg yn fuan, mae y weithred ei hun yn fustl chwerwder a rhwymedigaeth anwiredd. Mae gwobr a chosb yn llechu yn y gweithredoedd eu hunain. Yn moment yr ufudd-dod y dechreua y wobr ddyferu i'r fynwes, a dim cynt yr anufuddhêir nag y mae tân yn dechreu cynneu yn y gydwybod. O gadw barnau yr Arglwydd y mae gwobr lawer; a "ffordd troseddwyr sydd galed." Prin y medrwn ganfod y gwahaniaeth rhwng y ddeddf a'r gweinyddiad o honi. Mae y naill mor ëang a'r llall. Pa ystorm mwy ofnadwy na nwydau aflywodraethus—pa dân mwy treiddgar na chenfigen yn pydru yr esgyrn—pa golyn mor wenwynig ag uchelgais *siomedig*—pa ddur mor finiog a balchder wedi ei ddiystyru—pa beth sydd yn taro yr enaid â'r fath wendid, ac yn ei wisgo â'r fath gywilydd llosgadwy a theimlad o euogrwydd? Mae yn nheimladau, yn arferion, yn nghymeriad pechadur, elfenau uffern. Rhaid creu nefoedd o'i fewn, cyn y gall fwynhau nefoedd oddiallan. Rhaid ei ddwyn i ymddigrifo yn nghyfraith yr Arglwydd yn y dyn oddimewn, cyn y gall ymbleseru yn yr arddangosiad allanol gogoneddusaf o ogoniant Duw. "Teyrnas Dduw o'ch mewn *chwi*

y mae." "Heb sancteiddrwydd ni chaiff neb weled yr Arglwydd." "Gwyn eu byd y rhai pur o galon, canys hwy a welant Dduw."

---

# CYHOEDDIADAU CYFNODOL Y CYMRY.

## "YR EURGRAWN CYMRAEG."

"YN awr am dipyn o ddadleuaeth. Y mae Cymru y dyddiau hyn yn rhy lonydd o ddim rheswm. Y mae meddyliau y bobl wedi myned mor ferfaidd a hen ferddwfr. Gwir fod y "Dysgedydd" yn llafurio yn ffyddlawn a pharhaus i godi rhyw gynhwrf yn mysg y gwahanol bleidiau crefyddol; ond, fel y mae gwaethaf yr helynt, nid oes neb yn edrych ar hwnw, druan, yn werth hanner mynyd o sylw. Ond yn awr, dyma y "Traethodydd" yn cymeryd y misolion mewn llaw; a gwyddom fod gair o'i eiddo ef yn diasbedain o Gaergybi i Gaerdydd." Tebyg i hyn, ond odid, fydd iaith rhai o'n darllenwyr, pan welant yr enwad sydd uwchben yr erthygl hon. Ond rhaid iddynt ganiatâu i ni hysbysu, cyn myned ymhellach, nad ydym y tro hwn yn bwriadu cyflawni eu dysgwyliad. Pa fodd y bydd pan ddeuwn i sylwi ar fisolion yr oes hon, nis gallwn eto benderfynu. Daw hyny i'r golwg, fel pob peth arall, yn ei amser priodol. Ond yn gyntaf, er mwyn parchu henaint, y mae genym rês o hen gyhoeddiadau i'w dwyn ger bron, y rhai oeddynt wedi gwneuthur eu hymddangosiad hanner can' mlynedd neu ragor o flaen y rhan fwyaf o'r planedau sydd yn awr yn goleuo yn ffurfafen lëenyddol y Dywysogaeth.

Y mae talm o amser bellach er pan gawsom afael ar hen lyfr, heb un ddalen enwol, yr hwn oedd wedi bod yn perthyn i ddiacon tra pharchus gyda'r Methodistiaid Calfinaidd yn sir Feirionydd: a mawr oedd ein llawenydd wrth ddëall ein bod wedi dyfod o hyd i'r cyhoeddiad cyfnodol cyntaf a argraffwyd erioed yn yr iaith Gymraeg. Y mae yn ammheüus genym a oedd gorfoledd Columbus yn fwy pan ddarganfyddodd America. Yn mhen enyd ar ol hyny gwelsom yr un llyfr ymhlith lliaws o lyfrau da eraill oedd wedi bod unwaith yn feddiant i un o'r diaconiaid mwyaf dëallus a ffyddlawn gyda'r un enwad yn sir Ddinbych. Ac yma, nis gallwn fyned heibio heb sylwi mai darllenwyr mawr oedd yr holl grefyddwyr goreu yn yr oes a aeth heibio heb un eithriad. Yr oedd y ddau hen frawd a grybwyllwyd yn hynod mewn duwioldeb a defnyddioldeb; ac yr oeddynt mor hynod mewn ysbryd darllengar. O ganlyniad, yr oedd eu meddyliau yn ymëangu; ac er nad oeddynt ond dynion isel o ran sefyllfa fydol, yr oeddynt yn rhagori mewn gwybodaeth gyffredinol, ac mewn tymher foneddigaidd. Pe buasent byw yn y dyddiau hyn, diau y buasent, fel y mae pawb sydd yn debyg iddynt, yn bleidwyr gwresog i'r "Traethodydd." Ond pa fodd bynag am hyny, cofied ein cyfeillion ieuainc, os ydynt am ddilyn yr hen bobl fwyaf duwiol, fod yn anghenrheidiol anhebgorol iddynt *lynu wrth ddarllen*. Nid oes achos i ni ofyn maddeuant am droi cymaint a hyn o'r

llwybr i ddyweyd gair o blaid llafurio am wybodaeth. Nid ydym byth yn hoffi teithio mor gyflym trwy unrhyw barth o wlad, fel na cheir hamdden i edrych oddeutu ar brydferthwch y grëadigaeth, ac i ymddyddan ychydig yn achlysurol â'r trigolion. Hyn ydyw un rheswm cryf sydd genym yn erbyn y cerbydau tân. Ond dyma ni o'r diwedd yn dychwelyd at y pwnc.

Y mae yn ymddangos na argraffwyd dalen enwol i'r llyfr, oblegid iddo gael ei adael yn anorphenedig. Ond yn yr un y buom mor ffodus a tharaw wrtho yn sir Ddinbych y mae amlen yr ail rifyn wedi ei chadw yn ofalus: a rhoddwn yma ail-argraffiad o honi, gan ei bod yn cynnwys darluniad mewn rhyw radd o ansawdd y cyhoeddiad. Ni adewir allan y llyfrwerthwyr yn ngwaelod y ddalen; oblegid yr ydym yn ystyried pawb oedd yn dwyn y berthynas leiaf, pe na bae ond y nawfed âch, â'r gwaith hwn, yn deilwng o'u cofnodi: ac nid annifyr fydd gweled enwau y rhai oedd yn gwerthu llyfrau yn mhrif drefydd Cymru yn yr oes hono.

TRYSORFA GWYBODAETH,

NEU,

# EURGRAWN CYMRAEG.

[Pris Tair Ceiniog yn unig] yr II. RAN,

*O ddydd* Sadwrn, Mawrth 3, *hyd ddydd* Sadwrn, Mawrth 17, 1770.

I. Wyth tudalen o HANES CYMRU, o amser Cadwaladr Brenin Prydain, hyd at Lewelyn y diweddaf o Dywysogion Cymru, a 'sgrifenwyd gan Caradog o Lancarfan, dan yr enw, *Brut y Tywysogion*.—Yr ystori hon a drefnir yn y cyfryw fodd ag y gellir ei rhwymo wrthi ei hun, pan ei gorphenir.

II. Wyth tu-dalen arall fydd yn cynnwys Ymresymiadau ar amrywiol Destunau, sef, HOLIAD, A fyddwn ni yn adnabod ein gilydd yn y nefoedd?—Taith Obida.—Cyngor rhag y Peswch.—I wybod, pan y bo dyn wedi cael ei gnoi gan gi, pa un ai bod y ci yn gynddeiriog, neu nad oedd.—Y modd i wellhau tir.

III. Wyth tu-dalen o Brydyddiaeth, yn cynnwys, Hunan-Ymddyddan wrth rodio ar hyd y nôs.—Y xix. Salm, gan y diweddar Barchedig Mr. *Risiart Rhys*, o'r Gwernllwyn, ym Merthyr Tydfil.—Cân o alarnad ar ol arlwyddes hawddgar a defnyddiol, yr hon a ymadawodd yn ddiweddar er mawr dristwch a gofid i laweroedd, ac yn gosod allan rai o'i rhinweddau penaf.—Canmoliaeth i'r *Trysorfa Gwybodaeth*, ar rai o'r pedwar-mesur-ar-hugain.—Englynion at y Cyhoeddwyr, ac at y CYMRY.

IV. Wyth tu-dalen o Newyddion cartrefol a phellennig,—yn cynnwys, Gwrthryfel yn llywodraeth y Twrc; Hanes hynod am Mungo Cambel, yr hwn a farnwyd i farw am ladd arlwydd Eglinton; Hysbysiad byrr o'r aflonyddwch presennol yn Llundain, —Nodau ar bregeth Methodist, &c. &c. &c.

---

*Omne tulit Punctum, qui miscuit utile dulci,*
*Lectorem delectando, pariterque monendo.* HOR.

---

Argraphwyd gan I. Ross; ac ar werth gan R. Rhydderch, yng Nghaerfyrddin; Mr. Williams, o Fleet-street, Llundain; Mr. Cadel, ym Mristo; Mr. Eddowes, yn y Mwythig; Mr. Thomas Bowen, yn Llanfair-muallt; Mr. I. Hughes, yn Niwbwrch, sir Fôn; Mr. W. Jones, yn y Bala; Mr. C. Lloyd, yn Aberystwith; Mr. Rogers, yn y Fenni; Mr. Jones, yn Aberhonddu; Mr. Savus, yng Nghaerdûdd; Mr. Beedles, Pont-y-pŵl; Mr. Rees, yng Nghastell Nedd; Mr. Awbry, yn Abertawe; Mr. Wright, a Mr. B. Jones, yn Hwlffordd; Mr. Harris, yn Aberteifi; Mr. N. Watkins, yn Llanymddyfri; Mr. Edwards, yn Llandeilo-fawr; Mr. I. Jones, Rhwymwr Llyfrau, yn Nghaernarfon; Mr. Pughe, yn Llanrhwst, sir Dinbych; dan lun y Llew Gwynn, ym Machinlleth, sir Drefaldwyn; Mr. Rees, New-Inn; Mr. D. Efan, yn Henllan-am-Goed; a Ioan Efan, Carriwr o Gaerfyrddin i Aberteifi.

Fe ddeisyfir ar y cyfryw Foneddigion, ac eraill, sydd yn meddiannu hen Law-'sgrifeniadau Cymraeg, ac yn ewyllysio eu cael yn gyhoeddus, eu danfon at Gyhoeddwr yr Eurgrawn Cymraeg, i ofal y Parchedig Mr. Josiah Rees, o'r Gelligron, gerllaw Castell-Nedd; R. Rhydderch, Gwerthwr-Llyfrau; neu I. Ross, Argraphydd, yng Nghaerfyrddin.

**Enw.** Gwelir mai enw y cyhoeddiad hwn oedd "Trysorfa Gwybodaeth, neu Eurgrawn Cymraeg." Tebyg mai wrth yr olaf o'r ddau yr adnabyddid ef yn fwyaf cyffredin; oblegid y mae y gohebiaethau wedi eu cyfeirio bron i gyd "At Gyhoeddwyr yr Eurgrawn Cymraeg." Yn un man yr ydym yn cael y nodiad a ganlyn ar waelod y ddalen; "Y mae *Eurgrawn* wedi myned yn air anghynefin; ond fe ellir ei arfer fel enw llyfr, gan nad yw o fawr bwys pa un ai gwybyddir mai *Trysor* yw ei feddwl yn nghyfraith Hywel Dda, neu beidio, cyhyd ag y gwyddys pa ryw lyfr sydd yn myned dan yr enw. Yn gymmwys fel *Magazine* yn Saesneg."

**Pris a Maint.** Gwelir hefyd mai ei bris oedd tair ceiniog y rhifyn—yn dyfod allan unwaith bob pythefnos—a phob rhifyn yn cynnwys 32 o dudalenau, wyth-blyg bychan. Yr oedd pob rhifyn hefyd yn bedwar dosbarth, a phob dosbarth yn wyth tudalen wedi eu rhifnodi ar wahan. Ac felly, erbyn rhwymo y llyfr, y mae genym 120 tudalen o'r hen hanes Cymreig a elwir *Brut y Tywysogion;* yr un nifer o dudalenau yn cynnwys Ymresymiadau ar amrywiol destunau; yr un nifer drachefn o Brydyddiaeth; ac yn olaf, yr un nifer yn llawn o Newyddion cartrefol a phellenig.

**Amser.** Mewn traethawd yn y "*Penny Cycloœpdia,*" dan y gair *Welsh,* un o'r rhai goreu a ymddangosodd eto ar lëenyddiaeth y Cymry, dywedir i'r "Eurgrawn" gael ei gyhoeddi oddeutu y flwyddyn 1770. Ac mewn attodiad i'r trydydd cyflyfr o Adroddiadau y Dirprwywyr, dywed John James ei fod yn hanfodi oddeutu 1760 i 1780. Nid ydym yn synu mewn un modd at anwybodaeth John James. Peth rhyfedd na buasai yn haeru iddo ymddangos rywbryd cyn y diluw. Ond gallesid dysgwyl i Mr. Watts, awdur y traethawd yn y "*Penny Cyclopædia,*" ac yntau yn dwyn perthynas â'r *British Museum,* fod yn fwy manwl. Nid *oddeutu* y flwyddyn 1770, ond *yn* y flwyddyn hono, yr ymddangosodd. Cyhoeddwyd y rhifyn cyntaf, ddydd Sadwrn, Mawrth 3ydd, 1770; a'r olaf, ddydd Sadwrn, Medi 15ed yn yr un flwyddyn. Nifer yr holl rifynau a ddaethant allan oedd pymtheg. Hyd yma y mae yn cyrhaedd yn y ddau gyfargraff a welsom ni; a thebyg ydyw mai y pryd hwnw y bu farw, sef y 15ed o Fedi, 1770, yn y bymthegfed bythefnos o'i oedran; a hyny o ddiffyg ymgeledd. Cwyna y cyhoeddwyr yn erwin o'r achos yn y rhifyn olaf fel y canlyn:—

"Fe amcanwyd y gwaith hwn yn gystal er difyrwch ag er adeiladaeth i'r Cymry, gan ewyllysio adfywio 'r hen iaith ardderchog (ym mha un y derbyniasom ni a'n teidiau gynnifer o fendithion) trwy ddiwygio moesau, a chynnyddu gwybodaeth yn ein plith: Ac yr oeddym yn gobeithio y buasai pawb o hiliogaeth yr hên Frytaniaid a garent eu gwlad yn ein cynnorthwyo yn y gwaith. Eithr trwy profiad cawsom allan ein camsynied canys y mae rhai yn gommedd llettu i'r llyfran caredig sy'n curo wrth eu drysau, ar ol teithio yn galed ar hyd Ddeheubarth Gwynedd i geisio gwneuthur lles i'w wladwyr, ac eraill, yn lle ei goleddu (fel yr haeddai cymmwynaswr cywir) yn ei ddirmygu a'i ddiarebu, gan ddewis newyddion a barablir yn Sais'naeg, yn hytrach nâ chydymaith ffyddlon yn siarad iaith eu mam, am hyny yr ydym dan anghenrheidrwydd i roi heibio argraphu yr Eurgrawn mwyach, oni fydd i ryw Foneddigion ac ewyllyswyr da i'w gwlad, estyn eu dwylaw yn fuan i'n cynnorthwyo i'w ddwyn ym mlaen: canys wrth gydmaru 'r draul, â'r ennill, yr ydym yn cyfrif ein hunain yn golledwyr eisoes o gant o bynnau, ac uchod!——Os ydyw 'r Cymry yn ei wrthod oblegid rhyw ddiffyg, neu am nad yw mor fyddiol ag y dymunent, bydded y cyfryw mor fwyn a hysbysu i ni trwy lythyr, pa beth fydd yn ddiffygiol ynddo, ueu pa fodd y mynnent ei drefnu fel y byddo yn fwy buddiol i'r wlad, ac ni a amcanwn ddiwygio o hyny allan: pa fodd bynnag yr ydym yn cydnabod ein rhwymedigaeth i'r cyfryw a'n cynnorthwyasant â'u *'Sgrifenadau,* i gyfoethogi 'r *Eurgrawn* hyd yn hyn, a'u Caredigrwydd a gofir gyd a diolch gan Y Cyhoeddwyr.

"N.B...Y sawl sy'n ewyllysio perffeithio *Hanes y Cymru* anfonent eu henwau ar frys."

GOLYGWYR.—Mewn bywgraffiad am y Parch. Eliezer Williams, mab y Parch. Peter Williams, yn y "*Cambro-Briton,*" tudal. 452, dywedir—

"Oddeutu y flwyddyn 1770, yr ysgolaig Cymraeg a'r bardd enwog hwnw, y diweddar Barch. Evan Evans (*alias* Prydydd Hir), awdwr y '*Specimens of Ancient Welsh Poetry,*' ac amryw gyhoeddiadau eraill, a arferai ymweled yn fynych a'i dad, [sef Peter Williams] ac yn yr amser hwnw daeth Mr. Eliezer Williams i gydnabyddiaeth gyfeillgar ag ef, ac yn y canlyniad cyrhaeddodd wybodaeth fanwl yn ei iaith gynhenid, at yr hon y daeth i deimlo serch mawr. Tua'r amser hwn hefyd bu ei dad yn offerynol i gychwyn cyhoeddiad Cymreig dan yr enw 'Eurgrawn Cymraeg.' Hwn oedd y gwaith cyfnodol cyntaf a ymddangosodd erioed yn yr iaith hono: golygid ef yn benaf ganddo ef ac un Evan Thomas, bardd Cymreig o Sir Drefaldwyn, yr hwn oedd yn byw y pryd hwnw yn Nghaerfyrddin. Cynnwysai y cyhoeddiad hwn, 1. Brut y Tywysogion; 2. Traethodau a sylwadau ar amrywiol destynau; 3. Prydyddiaeth; 4. Newyddion tramor a chartrefol. Cynnwysai y dosbarth prydyddol rai o gyfansoddiadau Ieuan Prydydd Hir, Hugh Hughes, a Robert Hughes o Fon, John Thomas, a'i fab Evan Thomas, o Sir Drefaldwyn, Iorwerth ab Gwilym, *alias* Iolo Morganwg, ac amryw eraill. Yma hefyd yr ymddangosodd rhai o gyfansoddiadau cyntaf ein bardd ieuanc.

Wrth yr "ef" yn yr hanes uchod, yr hwn oedd yn golygu yr "Eurgrawn" gydag Evan Thomas, y mae yn amlwg y dylem olygu Peter Williams. Hyn hefyd yw tystiolaeth Mr. Watts, yn yr erthygl a grybwyllwyd yn y "*Penny Cyclopædia.*" Ond mewn hanes am y Parch. Eliezer Williams, yn y "Gwladgarwr" am Ragfyr, 1840, dywedir mai efe yn benaf oedd y golygydd. Sylfeinir y dybiaeth hon ar linellau o ganmoliaeth i'r "Eurgrawn," yn y rhai y cenir, "Gwel waith Sais, ddyfais wiw dda." Honir mai wrth y Sais hwn y mae i ni ddeall y Parch. Eliezer Williams, oblegid ei fod wedi treulio llawer o'i fywyd ymhlith y Saeson. Ond pe buasai yr ysgrifenydd yn darllen yr holl linellau hyd y diwedd, cawsai weled mai y Sais y cyfeirir ato oedd yr argraffydd, Mr. Ross. Ac heblaw hyny, nid oedd Mr. Eliezer Williams, pan gyhoeddwyd yr "Eurgrawn," ond un-ar-bymtheg oed; ac nid oes dim lle i feddwl iddo fod erioed cyn hyny allan o Gymru. Pan oedd oddeutu un-ar-ddeg neu ddeuddeg oed anfonwyd ef i Ysgol Ramadegol Caerfyrddin; ac yno yr arosodd nes y symudwyd ef i Rydychain. Ein penderfyniad ni gan hyny ydyw, mai y golygwyr oedd Peter Williams ac Evan Thomas. Ar yr un pryd gellir casglu fod gan Ross ei hun ryw law mewn cydweithrediad â hwy yn yr olygiaeth: a diau eu bod hefyd yn derbyn cynnorthwy effeithiol a gwerthfawr oddiwrth Ieuan Brydydd Hir.

Nid rhaid i ni hysbysu i'n darllenwyr pwy oedd Peter Williams; er, efallai, mai ychydig o honynt oedd yn gwybod o'r blaen ei fod yn arolygu y cyhoeddiad cyfnodol cyntaf a ddaeth allan yn yr iaith Gymraeg. Ei enw ef yw un o'r rhai cyntaf a bareblir gan blant bach y Cymry; ac y mae wedi ei gydblethu yn meddyliau miloedd o honynt gyda'r cofion am yr hen Fibl mawr, o'r hwn y darllenai eu tadau neu eu teidiau y bennod i'r teulu bob boreu a hwyr. Hir y parhao ei goffadwriaeth yn fendigedig. Ond pwy oedd Evan Thomas? A oes dim o'i hanes ef ar gael, heblaw ei fod yn fab i un John Thomas o sir Drefaldwyn? Y crybwylliad cyntaf a fedrasom ni loffa mewn perthynas iddo oedd ar wyneb-ddalen yr ail argraffiad o "Ymroddiad" (neu Ymadroddiad) Morgan Llwyd, yr hon sydd fel hyn; "Yr Ymroddiad, neu Bapuryn, gan Morgan Llwyd. Wedi ei ddiwygio yn ofalus gan Ifan Thomas, Argraffydd. Mwythig, argraffwyd gan W. Williams. 1765." Yn 1765, yr oedd yn Nghaerlleon gydag

Ioan Harvie, fel y gwelir oddiwrth y llyfr a ganlyn; "Helaethrwydd o Ras i'r Penaf o Bechaduriaid. Sef Hanes Ioan Bunyan. Wedi ei gyfieithu o newydd gan Ifan Thomas, Argraffydd. Caerlleon, argraffwyd gan Ioan Harfie, tros Pedr Morris o Lanrwst. 1766." Yr un flwyddyn, ymddengys iddo argraffu llyfryn o'i waith ei hun, dan yr enwad a ganlyn; "Anfeidrol werthfawrogrwydd Enaid dyn, ac anhraethadwy ffolineb y dyn a fo diofal am dano. Ynghyd ag annogaeth ddifrifol i bechaduriaid droi at Dduw, a derbyn iechydwriaeth i'w heneidiau. Gan Evan Thomas, Argraffydd. Caerlleon, argraffwyd. 1766." Rywbryd cyn y flwyddyn 1770 aeth i Gaerfyrddin, lle y bu, mae yn debygol, am rai blyneddau. Ond yr ydym yn cael iddo ddychwelyd i'r Amwythig; oblegid gwelsom fwy nag un o hen lyfrau wedi eu hargraffu yno yn y flwyddyn 1781, yn cynnwys ychydig o'i hanes ar y ddalen olaf yn y geiriau hyn:—"Gan T. Wood, Gwerthwr Llyfrau yn y Mwythig; y gellir cael argraffu pob math o lyfrau yn gywraint, a chopïau Cymraeg wedi eu diwygio yn ofalus gan *Ifan Thomas*, cyssodydd a diwygydd yr argraffiad cyntaf o'r Bibl Cymraeg yng *Nghaerfyrddin*, yr hwn sydd yn awr yn byw gyda T. Wood. Gellir cael yno hefyd bob math o lyfrau, a chyffyriau i iachau pob math o glefydon a doluriau (gyda chymmorth Duw), y rhai ydynt wedi eu hawdurdodi gan y Brenin er lles i'w ddeiliaid trwy'r deyrnas." Y mae genym hefyd hen lyfr arall yn ein meddiant, yr hwn a argraffwyd yn yr Amwythig gan T. Wood, "lle gellir cael argraphu pob math o Lyfrau Cymraeg wedi eu diwygio yn ofalus, gan Ifan Tomas. 1783." Hyd yma yr oeddym wedi ei olrhain pan anrhegwyd ni gan gyfaill yn Sir Drefaldwyn â'r nodyn canlynol, a dderbyniasai efe oddiwrth yr hybarch Walter Davies. Nid ydym yn credu fod neb arall yn Nghymru a fuasai yn medru rhoddi hysbysrwydd mor gyflawn. Ond pa beth na ŵyr Gwallter Mechain? Dylasai fod yn esgob er ys llawer blwyddyn; a gresyn na bai ein brodyr yn Eglwys Loegr yn ymryddhau oddiwrth y llywodraeth, fel y gallent ddewis dynion o'r fath hyn i'r swydd esgobawl.

"Myfi a'i hadwaenwn '*o herwydd ei weled*'—ac yn yr Amwythig, yn argraffloft Thomas Wood, cyhoeddwr cyntaf y *Shrewsbury Chronicle*, y gwelais ef.

Efe a fuasai o gylch y flwyddyn 1770 â llaw yn y gwaith o argraffu yr '*Eurgrawn*,' gyda *Ioan Ross* yn Nghaerfyrddin. Rhol o ddyn corffol oedd, ac efe a yfai gwrw fel yr ŷf yr ŷch ddwr. Cysodydd llythyrenau ydoedd mewn argraffdy, mwy felly nag awdur y llyfr a argraffai. Efe a gyhoeddodd Almanac Cymraeg (pris 8c.) yn ei enw ei hun—yr enw barddonol a gymerai arno ei hun, fyddai *Ieuan Fardd du*. Ei daid oedd Thomas Abel, o'r Wtra wen, plwy Llanfair Caereinion, Sir Drefaldwyn; a'i fab ef oedd John Abel, ac ef oedd un o ddilynwyr Howell Harris o Drefecca, ac elai ar deithiau i bregethu hyd y wlad, a gelwid ef John Thomas—dim son am Abel mwyach.

Amrai lyfrau bychain a gyhoeddwyd rhwng y blwyddau 1770 a 1780, gan Evan (neu Ifan) Thomas, argraffydd; a dim chwaneg o hysbysrwydd yn ei gylch. Priododd Evan Thomas ferch o deulu cyfrifol, merch Cae Ceirch, ger Dolgellau. Chwaer oedd hi i Mrs. Erasmus Evans o dre Llanfyllin, a chwaer hefyd, os da fy nghof, i dad y Prif Ynad y Cyllid-lys (*Chief Baron of the Court of Exchequer*) Sir Richard Richards, marchog, ac aelod o'r Senedd Brydeinig am fyr ysbaid.

Dyma i chwi ddigon o son am un na wnaeth erioed fawr o son am dano ei hun; yn hyn yr oedd yn lled debyg i'r Sais, bedd-argraff yr hwn, meddynt, oedd fel hyn:—

'Here lyeth the body of John Nokes,
Who liv'd and dy'd like other folks!'

W. D."

ARGRAFFYDD.—Ar y pen hwn nid oes dim annilysrwydd; gan fod yr amlen yn mynegu ei fod yn cael ei argraffu gan I. Ross, yng Nghaerfyrddin. Sais oedd efe, o ran ei enedigaeth, yr un modd a rhai o brif argraffwyr Cymru ar ol hyny: a cheisiodd un Daniel Thomas wneyd defnydd o'r ffaith hon i godi rhagfarn yn ei erbyn, ar ddiwedd llyfryn a argraffwyd ganddo yn y flwyddyn 1773, dan yr enw "Llythyr oddiwrth rhyw un at Mr. Jones o Ystradffin," yn yr hysbysiad a ganlyn oddiwrth yr argraffydd at y Cymry, yr hwn sydd yn werth ei gadw fel anghraifft o haerllugrwydd. Gofaled y cyssodydd am adael pob llythyren yn union fel y mae. "Foneddigion—O ran bod ein gwlad er ys talm heb (o bossibl) un Argraphydd o GYMRO, ac fedrau breintio yn gywraint; a thrwy hynny yn gorphod cael Argraphwyr pellenig yw mhysg. Bydded hysbys i'r holl Dywysogaeth; y gellir cael Argraphu yn Llanymddyfri, gan Dan. Thomas, pob math o Lyfrau, &c. &c. yn y modd mwya cywraint yn Europe, gwedi eu darlunio yn ol ffurf y Saison, a'r Ffrangcod, ymhlith pa rai y darfym hela y rhan ifangcaf o'm amser." Ond er fod Dan. Thomas wedi "hela y rhan ifangcaf o'i amser" ymhlith y Saison a'r Ffrangcod, digon prin y mae yn dyfod i fynu yn y diwedd ag argraffwasg Caerfyrddin. Ymddengys i Ross fod yno am ryw yspaid yn cydargraffu gyda Rhys Thomas; oblegid ar wyneb-ddalen "Atteb Philo-Evangelius i Martha Philo-pur," gan Williams, Pant-y-celyn, dywedir, "Caerfyrddin: Argraphwyd gan Rhys Thomas a J. Ross, yn Heol Awst, 1763. Lle y dygir Argraphyddiaeth ym mlaen yn ei holl rannau, ar Lythrenau Newyddion yn y dyll mwyaf ciwrain." A oes neb yn teimlo tuedd i ysgrifenu hanes Argraffwyr Cymru? Pa bryd bynag y gwneir hyny, dylai Ioan Ross gael un bennod helaeth. Er mwyn gwneyd a allom ni i gadw ei enw mewn coffadwriaeth, rhoddwn yma y llinellau barddonawl y soniasom am danynt yn barod. Barned y darllenydd pa un ai at Ross ai at Mr. Eliezer Williams y maent yn cyfeirio.

## AT BRINTIWR Y TRYSORFA GWYBODAETH.

"ER bod gormod o'r CYMRY mor goegfalch ddiystyr o'u Mam-iaith, na fynnant ei harfer, etto y mae yn iaith sylweddol, sylfaenol, hyspysol, a gwell grammadaeg iddi nâ nemawr o ieithoedd eraill; er argyoeddi'r cyfryw na lwyr ddiffoddodd ei chywreinrwydd, ac i roddi prawf o brif farddoniaeth, y cyfansoddais y Llinellau hyn o Ganmoliaeth i'r TRYSORFA GWYBODAETH, neu'r *Eurgrawn Cymraeg;* gan ddisgwyl y cyffry beirdd Deheubarth i goledd a chefnogi yr unrhyw Fesurau.

I.

GWEL Waith Sais, ddyfais wiw dda,—a hollawl,
Ddeallwr Aeg CAMBRIA;
C'wilydd i ni, coledd wna
Araith amhur 'r iaith yma.

II.

Gorchest-Waith odiaeth ydyw
Ar yr iaith orau o ryw;
Cofrestr ni fu'r cyfryw—un,
Ie *Magasin* megis yw.

III.

G. g. { —Wych yw'r Sais, ei—ais ar—oedd,
—Wr yw ef i—weirio'r iaith
—Ymro-ae—amhur; a—oedd
—oll, ei—wellhau—orau—waith

IV.

Derbyn { Pob Tre, Lle, a Lla—
Cof restr llawer Lle—
Feirdd-waith llawnfaith llo—
Hanes llech-res 'lly——— } nn

V.

Fel addewaist,
A feddyliaist, } fydd i'w ddilyn
Gyr Newyddion,
Gair i Feirddion, } o Gaerfyrddin.

VI.

P. —— P. —— ion.
—arch i *Roes* enwog—erchir ei son—
—arod mae'n cynig—arhaed 'i amcan—
—uro y *Frudainiaith*—ôr o fryd un—
—ybyr hyfforddir —awb o'r hoff feirdd —
—rysur roddir newydd ——— — ellenig,
—eri i'r Aeg ysig — ara i rag oes—

VII.

*Deheubarth* leyw-barth lwys — 'r un mesur
Moeswch ddawn gyfrwys,
I ganmawl gwaith mor gymmwys,
Rhoes mewn hedd o *Wynedd* Wys.

I. Tomas, o Sir Drefaldwyn."

Gan nad yw yn debyg fod gan neb ddim yn ychwaneg i'w ofyn o barth amgylchiadau yr "Eurgrawn," a'r dull o'i ddwyn ymlaen, ein gorchwyl nesaf fydd sylwi ar ei gynnwysiad. Ond o herwydd fod yma faes mor doreithiog, rhaid i ni adael y rhan fwyaf o hono hyd y rhifyn nesaf. Cymerer y waith hon ryw ychydig fel blaen-brawf. Dechreuwn gyda thraethawd byr ar Foddlonrwydd, nid o ran ei fod yn rhagori ar lawer o ddarnau eraill, ond am mai dyma y cyntaf yn nosbarth y traethodau.

"YNGHYLCH BODDLONRWYDD.

Tuag at ddysgu neu gyrhaedd Boddlonrwydd, rhaid ein bod yn gyntaf wedi ein sylfaenu yn dda yn y gred o ragluniaeth Duw, yn llywio ac yn rheoli pob peth. Pan y byddom yn gwybod ac yn credu fod llygad Duw dros yr holl fyd, yn cyfarwyddo neu yn goddef pob damweiniau, yn ol ei anfeidrol ddoethineb â'i ddaioni; hyn a'n gwna ni yn foddlon, pa beth bynag a fyddo ein cyflwr a'n hamgylchiadau yn y byd: hyn a ddysg i ni, megis St. Paul, pa fodd i ymostwng, a pha fodd i ymhelaethu; ac a'n cyfarwydda ni ymhob lle ac ym mhob peth, pa fodd i ymddwyn mewn hawddfyd ac adfyd, i fod yn llawn ac yn newynog, mewn helaethrwydd ac mewn prinder. Boddlonrwydd dan y cystuddiau trymmaf, a bâr i ni ddilyn amynedd ac ymostyngiad Job; neu os bydd yr annuwiol yn ein hammharchu, ni a'i cymmerwn mewn addfwynder, megis y gwnaeth Dafydd oddi wrth Simei, o herwydd i Dduw oddef iddo. Y mae'r gwir Gristion yn credu fod pob peth yn gweithio er daioni i'r sawl sy'n caru Duw; efe a wyr nad yw Crëawdwr daionus pob peth ddim yn cystuddio gwaith ei ddwylaw ei hun yn ewyllysgar; ac oddi ar y gred hon y mae e'n wastadol yn ddiolchgar, yn dawel, ac yn foddlon, dan bob math o Ragluniaethau.

Ond na feddylied neb fod Boddlonrwydd yn gynhwysedig mewn tymher ddiofal, segur a diog: mor belled oddiwrth hyn, fel ag y mai'r cyfryw fath o ddynion yn gyffredin yw y rhai mwyaf anfoddlongar; ac yn wir, braidd y gallant lai nâ bod felly; yn gymmaint ag mai hwynt hwy yn fynychaf yw awdwyr y croesau a'r anfanteision ag fo'n yn eu blino; ac na's gallant, o eisiau diwydrwydd, symmud ymaith y drygau hynny ag y mae eu hamynedd mor lleied danynt,

Nid yw tlodi ddim cyflwr dymunol; er y bydd gwr doeth yn foddlon iddo, etto y mae efe bob amser yn barod i ymaflyd ym mhob cyfle teg, ac i arferyd pob moddion cyfreithlon i wellhau ei gyflwr; ond yn hytrach nâ chofleidio neb rhyw offerynau anghyfreithlon; efe a ddewis farw dan ei lwyth, ac ymostwng yn esmwyth i'r rhan honno ag y mae e'n tybied a gafodd ei gosod iddo gan Ragluniaeth. Os cynnydda golud, nid yw efe ddim yn rhoddi ei galon arno; os lleiha efe, nid yw efe ddim yn grwgnach o blegid y golled, gan wybod nad y'nt o ddim gwasanaeth yn hwy nâ'r bywyd hwn, ac mai ei ddyledswydd ef yw ymofyn am drysor mwy parhaus. Dyma'r fath yw dedwyddwch meddwl boddlongar.

Pe dysgai dynion fod yn foddlon yn eu hamrywiol sefyllfaoedd; pe gallent ond gwybod pa bryd y mae ganddynt ddigon, neu ddysgu ymostwng pan b'o eisiau mewn gwirionedd arnynt; neu pe ni chwennychent byth gael ychwaneg, ond oddi ar y dymuniad canmoladwy o fod yn fwy gwasanaethgar i'w cymmydogion, yna darfyddai yn gwbl am bob rhyfel a difrawd, creulondeb a gormes, twyll ac anudon: byth ni roddid gwobrwy er gwyro barn, canys y gwr boddlongar ni throseddai ei ddyledswydd oddi ar y fath ystyriaeth: gwlad ni chyfodai gleddyf yn erbyn gwlad, ac ni chynnygiai un dyn yspeilio arall. Oddi wrth Foddlonrwydd y tardd trefn a chysondeb, cyfiawnder a gwirionedd, trugaredd a heddwch; ac o ddiffyg Boddlonrwydd y tardd yr holl ddrygau sydd yn cystuddio dynol-ryw."

Y mae genym ryw feddwl i ni ddarllen y chwedl a ganlyn yn Saesneg. Ond y mae yn werth ei hargraffu unwaith eto, yn enwedig mewn dyddiau fel hyn, pan y mae cymaint o addoli Mammon, a chymaint o ddiystyru y tlawd am ei fod yn dlawd.

YSTORI Y GWR BONHEDDIG A'R BASGETWR.

"Ynghanol yr ynysoedd hynny ag sy'n myned dan yr enw Ynysoedd Solomon, y mae un o faintioli llawer mwy na'r lleill. Un o hynafiaid y tywysogion, ag sy'n llywodraethu'r ynys hon yn bresennol, a fu'n achos i'r ynysoedd yma gael eu galw yn Ynysoedd Salomon, o herwydd y doethineb hynny gyd â pha un y diwygiodd efe foesau'r bobl.

Rhyw wr bonheddig yn yr ynys ddedwydd hon, gan ddiystyru yr holl gynheddfau da hynny ag a lewyrchasent yn ei hynafiaid ef, ni feddyliai am ddim, ond pa fodd i gynnal ei gymmeriad a'i anrhydedd, trwy falchder anwybodus, a thueddiad hollol i ganlyn digrifwch. Yr oedd ganddo ef dŷ ar lan y môr, ym mha le y treuliai y rhan fwyaf o'i amser mewn hela a physgotta. Ond rhwystr blin iddo, wrth ganlyn ei ddifyrrwch pwysfawr, ydoedd lain hir o forfa, llawn o gyrs ag oedd yn gorwedd rhwng ei dŷ ef a'r môr. Ac o'r diwedd, gan farnu nad cymmwys ydoedd i wr o'i radd ef gymmeryd ei rwystro yn ei bleserau, er mwyn esmwythdra neu gyfleustra crefftwr taeog; ac wedi gwneuthur llawer cynnyg ar brynu'r llain gan ei berchennog, yr hwn ydoedd Fasgetwr tlawd, eithr onest a diwyd, bywoliaeth pa un oedd yn ymddibynu ar weithio'r cyrs hynny, mewn modd priodol iddo ei hun; y gwr bonheddig, ar ddiwrnod o wynt uchel a orchymynodd i'w weision losgi'r cyrs, ac felly i symmud y rhwystr oddi ar y ffordd.'

Y basgetwr, gan weled ei hun wedi ei hollol anafu, a achwynodd am y gormes a gawsai, mewn geiriau mwy cyfattebol i'w deimlad ef o'i golled, nag i'r barch ag oedd yn ddyledus i radd y troseddwr: a'r wobr a bwrcasodd ei achwyniad ef ydoedd, yr anchwanegiad o ergydion, tafod drwg, a phob math ar ddirmyg a diystyrwch.

Nid oedd ond un feddyginiaeth i'w chael, a honno a gymmerth ef: canys, gan fyned i'r llys ger bron y brenin, yn llawn o nodau drwg driniaeth, efe a fwriodd ei hun wrth ei draed ef, ac a gafodd ddyfyn neu wys er dwyn ei orthrymmwr ger bron: yr hwn, gan addef y cwyn, a geisiodd amddiffyn ei ymddygiad, trwy haeru bod y gwr tlawd yn anystyriol o'i ymostyngiad, ag sydd yn ddyledus oddi wrth y werin i wr bonheddig o uchelradd.

Ond attolwg, ebe'r brenhin, o ba radd oedd eich hen dad cu chwi, pan, ac efe yn holltwr coed ym mhalas fy hynafiaid, y dyrchafwyd ef o blith y werin hynny, am ba rai yr ydych chwi yn son mor ddiystyrllyd, mewn ffordd o wobr am yr hyfdra a'r ffyddlondeb nodedig a ddangosodd efe wrth amddiffyn ei feistr? Etto yr oedd ei ragoriaeth ef yn llawer ardderchoccach nâ'r eiddo chwi; rhagoriaeth o deilyngdod ydoedd, ac nid o ddamwain. Y mae'n ddrwg genyf, fod gwr bonheddig yn fy nheyrnas mor ddiddyall a bod heb wybod, na chaniattawyd hawddfyd a helaethrwydd o bethau da'r byd iddo, ond fel y gallai, gan fod yn rhydd oddi wrth y gofalon o ddarparu drosto ei hun, droi meddwl ei galon, ei ben, a'i ddwylaw at ddaioni cyhoeddus eraill.

Yna y brenin, gan attal ei ymadrodd, a daflodd ei olwg gyd â soriant ar y troseddwr balch, yr hwn oedd yn ymddangos yn dra digllon ei wedd, ac yn sisial allan ei anfoddlonrwydd i'r annogaeth a roddai'r ffordd hyn o farnu i'r bobl gyffredin; pa rai (eb efe) nid ydynt i'w hystyried ond fel personau o ddim anrhydedd, mewn cydmariaeth i ddynion ag a anwyd i'w hanrhydeddu. Lle bo ystyriaeth yn eisiau (eb yr brenhin, gyd â gwên o ddiystyrwch) rhaid i ddynion deimlo eu diffygion ym mhoen eu dioddefiadau. Yanhumo, ebe efe, wrth un o gadpeini ei longau, dihatrwch y gorthrymwr a'r colledwr, a dygwch hwy i'r pellaf a mwyaf barbaraidd o'r ynysoedd, rhoddwch hwynt ar dir yn y nos, a gadewch hwynt ill dau yno i gymmeryd eu helynt.

Y lle ym mha un eu gosodwyd ar dir ydoedd forfa, dan gysgod cyrs pa un, yr oedd y gwr bonheddig yn gobeithio y gallai efe ymguddio, a diangc oddi wrth gydymaith ag oedd mor anaddas yn ei olwg ef. Ond y goleuni yn y llong a gynhyrfodd y barbariaid ag oedd yn preswylio'r ynys, ac amryw o honynt a redasant i wared; ac yn y borau hwy a gawsant y dieithriaid yn eu lloches lle yr ymguddiasent. Gan roddi bloedd arswydus a gresynol, hwy a'u hamgylchynasant; a chan ddynesu attynt, â math o bastynau yn eu dwylaw, dangosasant lawn fwriad i'w dihenyddu, heb ddim teimlad o lettygarwch na thrugaredd. Dechreuodd y gwr bonheddig weled erbyn hyn, nad oedd rhagoriaeth ei waed ef ond gwagedd: canys, rhwng ei deimlad ef o gywilydd, ac anwyd, dan y noethni na phrofodd efe erioed o'r blaen; ofn y canlyniad oddi wrth ymgyrch creulon y barbariaid, ac eisiau medr i'w difyrru hwynt, ac i dawelu eu gwylltineb, efe a gwympodd y tu cefn i'w gyfaill, gan wneuthur arweinydd o'r dyn hwnnw, ac a gyfrifasid ganddo yn anheilwng o gael ei ystyried yn gydymmaith iddo.

Y basgetwr, ar y llaw arall, i ba un yr oedd tlodi ei gyflwr wedi gwneuthur noethni yn gynnefin; i ba un yr oedd bywyd o boen a hunan ymwadiad wedi gwneuthur marwolaeth ymron yn ddymunol; a chof pa un am ei fedrusrwydd mewn crefft, ag na wyddai'r barbariaid ddim am dani, a roddodd iddo obaith am ddiogelwch, sef trwy ddangos y gallai ef fod yn ddefnyddiol, a ymsymmudodd gyd âg eonder a gwroldeb; ac wedi tynu dyrnaid o'r cyrs, efe a eisteddodd i lawr yn ddigyffro; a chan wneuthur awgrym y dangosai efe iddynt ryw beth teilwng o'u sulw, efe a ddechreuodd weithio dan wenu ac amneidio; tra yr oedd y barbariaid yn nesâu, gan ddyfal graffu arno mewn disgwyliad o weled rhyw gywreinrwydd.

Ni bu e ddim yn hir cyn iddo blethu math o dalaith neu goron, o waith tacclus a chywraint; a chan gyfodi, gyd â pharch, ac yn ddiofn, efe a nesaodd at un o'r barbariaid ag oedd yn ymddangos fel eu pennaeth, ac a'i rhoddodd yn dirion ar ei ben ef; ymddangosiad pa un, dan yr addurn newydd yma, a ynnillodd gymmaint ar ei ganlynwyr ef, fel y taflasant i lawr eu pastwynau, ac y gwnaethant ddawns o roesaw, gyd â mawr lawenydd, o amgylch awdwr rhodd o gymmaint gwerth yn eu golwg.

Nid oedd un yn eu plith, nad oedd yn amlygu dymuniad cryf am gael ei wneuthur mor dacclus a'i bennaeth: ac felly yr oedd erbyn hyn gan y basgetwr druan lonaid ei ddwylaw o waith. A'r barbariaid, wrth weled un yn gwbl segur, tra yr oedd y llall mor ddiwyd yn eu gwasanaethu hwynt, a gymmerasant eu harfau, o blaid cyfiawnder naturiol, ac a ddechreuasant ddirwyn rhesymmau celyd arno er atteb eu diben.

Yn awr, tosturi y basgetwr a wisgodd ymaith y goffadwriaeth o'i ddioddefiadau: ac felly efe a gyfododd, ac a amddiffynnodd ei orthrymmwr, gan wneuthur awgrym na fedrai efe ddim o'r gelfyddyd; ond y gellid, os rhyngai bodd iddynt hwy, ei osod yntef ar waith i gyrchu cyrs i'w ddiwallu ef, cyn gynted ag y gallai ef eu gweithio hwynt.

A'r cynnyg hyn, yn ddamweiniol, a cydweddodd â dymuniad ag a amlygasai'r barbariaid o gael aros yn segur, fel y gallent sefyll o amgylch, ac edrych ar y gwaith, ag oedd yn rhoddi cymmaint o bleser iddynt. Am hynny hwy a adawsant y gwr bonheddig at ei ddyledswydd yng ngwasanaeth y basgetwr; gan ei ystyried ef, o hynny allan, fel gwr ag oedd i gael ei gyfrif a'i drin megis un o îs radd nâ'u cymmwynaswr.

Gwyr, gwragedd, a phlant, o bob cwr i'r ynys, a ddaethant yn dorfeudd i gael coronau: a chan ddodi y gwr bonheddig ar waith, i dorri a chasglu gwrysg a pholion, hwy a wnaethant fwth trefnus uwch ben y basgetwr: ac a ddygasant i wared yn feunyddiol o'r wlad y cyfryw ymborth ag yr oeddent hwy eu hunain yn byw arno; gan gymmeryd gofal na chaffai y gwas (sef y gwr bonheddig) ddim, hyd nes byddai'r meistr, (sef y basgetwr) wedi darfod bwytta.

Tri mis o ystyriaeth yn y cyflwr annymunol yma, a roddodd dro newydd a chymmwysach i feddyliau y gwr bonheddig: yn gymmaint ag iddo un noswaith, tra yr oedd yn gorwedd yn ddihun, ac yn wylo, gyfaddef ei ffolineb, a datgan ei farn o blaid y basgetwr. 'Mi a fum yn feius; ac yn fyr o ddyall i wahaniaethu rhwng damwain a theilyngdod. Pan y dylaswn i ystyried nattur, ni wnaethum i ond edrych ar wagedd. Y rhagoriaeth a wna damwain fydd wag a disylwedd: ac mi a welaf, yn rhy ddiweddar, mai pethau defnyddiol yn unig sydd deilwng o anrhydedd. Y mae arnaf gywilydd, pan y cydmarwyf fy malais i, i feddwl am eich tynerwch a'ch tosturi chwithau. Ond pe cawn i fy adferu etto i'r mwynhad o'm hanrhydedd a'm dedwyddwch, mi a roddwn i chwi hanner a feddwyf yn iawn am y cam a gawsoch genyf.

Efe a addawodd, ac a gyflawnodd ei addewid: canys y brenin yn ebrwydd wedi'n a ddanfonodd y cadpen a'u dygasai hwynt yno, i'w cyrchu yn ol drachefn. Ac y mae e'n ddefod, hyd y dydd hwn, yn yr ynys honno, i ddifreinio pawb boneddigion, ac na allant roddi gwell rheswm dros eu balchder, nâ darfod iddynt gael eu geni i fod yn segur. A'r gair am y gosp ddyledus hono yw,—

*'Danfonwch ef at y Basgetwr.'* "

Yn y *Principality*, ychydig yn ol, ymddangosodd beirniadaeth yn collfarnu y gair bychan *ag*, pan arferir ef fel rhagenw, megys yn yr ymadrodd

"Un o hynafiaid y tywysogion *ag* sy'n llywodraethu'r ynys hon." Ond canfyddir oddiwrth y dyfyniadau uchod nad oedd y rhëol yma yn cael ei dilyn yn yr "Eurgrawn." Ysgrifenydd medrus yw golygydd y *Principality;* ond credwn iddo syrthio am unwaith i amryfusedd. Dadleua nad yw Dr. Pughe yn ei gyfrif yn un o'r rhagenwau; ond pe edrychasai i'r "Geirlyfr," cawsai mai yr unig anghraifft a roddir gan Dr. Pughe dan y gair *ag* yw, "Plant y fall *ag* oeddynt." Amlwg ydyw mai yr un ystyr sydd i *ag* yn y frawddeg hon, ag yn y rhai a gollfernir gan y *Principality.* Nid yw o bwys pa un a elwir ef yn rhagenw neu arddodair. A chryfach awdurdod na Dr. Pughe ei hun yw arfer gwlad, na'r hyn nid oes dim yn uwch oddieithr rhëolau tragywyddol cyfiawnder a rheswm. A dealler mai dadleu yr ydym yn unig dros ei gyfreithlondeb yn y manau hyny lle y mae eisoes yn arferedig.

Ond yn y fan yma, wrth edrych pa ddyfyniad i'w gymeryd yn nesaf, y mae yn dyfod i'n cof ddarfod i ni unwaith roddi yr "Eurgrawn" yn llaw cyfaill, yr hwn wedi darllen yr amlen yn ei ddechreu, a ofynai yn gyntaf oll, Beth yw y sylwadau yma sydd ganddo ar bregeth Methodist? Rhag y bydd eraill yn teimlo cyffelyb anesmwythder, efallai y byddai cystal i ni ddyweyd nad oes yma nemawr o ganmoliaeth nac o anghymeradwyaeth; ac nid hawdd yw gwybod pa beth oedd amcan yr ysgrifenydd. Ond gan nad yw yr holl nodiad yn faith, rhoddwn ef fel y mae ger bron y darllenydd.

"AT GYHOEDDWYR YR 'EURGRAWN CYMRAEG.'

Foneddigion,

*Ryw bryd gwedi llofruddio Mr.* Wiliam Pywel *o* Lanareth, *digwyddodd i mi fyned heibio lle 'r oedd Methodist hynod yn areithio i gynnulleidfa liosog; mi fum mor ysmala ag oedi ychydig i wrando, a chlywais yr hynod ymadrodd canlynol; yr hwn os cyflewch yn eich* 'Eurgrawn' *da fydd gan eich dyfal ddarllenydd,* &c.

Gobeithio, *eb efe,* y bydd i oergwymp galanas y Bonheddig hwnnw gael effaith dda ar swyddogion a phobl ein gwlad.—Myfi a glywais neu a ddarllenais yn rhyw le, am wr a gyhuddwyd o lofruddiaeth, ac yr oedd tystion digonol i'w brofi yn euog, eithr llwch aur a ddallodd y tystion, a lygrodd y dadleuwyr, a siommodd y barnwyr, ac a dwyllodd y rheithwyr (*jury*) fel y dygwyd i mewn, *Dieuog!* a'r drwg-weithredwr a ryddhawyd: eithr dialedd Duw a ganlynodd yr adyn ystrywgar, ac a'i nododd, debygid, â nôd Cain; canys yr oedd o hynny allan yn atgas gan bawb, ac a geisiodd ymddifyrru mewn adeiladaeth, &c. eithr ni fedrai ymbleseru'n iawn mewn dim oddi eithr trawsedd a gorthrymder; ac wrth ymddiddan nid allasai gymmaint ag edrych yn daer yn wyneb gwr onest. Ac o'r diwedd mintai o oferwyr anhydyn wedi cydfwriadu i'w erbyn a ruthrasant arno fel ar Eglon yn ei barlwr, ac a'i lladdasant: ar ba achos torf o oferwyr anllad anystywallt a ddaliwyd ac a roddwyd yng ngharchar, lle y cadwyd o fewn terfynau fel llong a'r chwarren ynddi, rhag i'r pla o fradwriaeth lygru'r wlad; o ba le, am na feddent allwedd aur, ni fedrent ddiangc, eithr derbyniasant daledigaeth teilwng o'u gweithredoedd, ac wrth y pren dioddef ymddangosodd eu bod yn euog o ddirdra haeddiannol o'r crogbren amryw weithiau o'r blaen: ond yr oeddynt yn offerynau parod yn nwylaw rhai dynion drygionus, y rhai a'u coleddent rhag ffiangell cyfiawnder. Wele! gymmaint ddrygioni a dyfodd o gyd-ddwyn â phechod, a gwyro barn er gwobr neu ffafr; a chofied pawb os bydd i drawsedd a chreulonder ddiangc rhag cospedigaeth ddynol, y canlyn dialedd Duw 'r euog. Mi glywais reswm (er y dichon fod hyny yn ddychymyg coel-grefyddol) lle byddai llawer o lygod yn heidio mewn tŷ, y byddai yn argoel o gyfnewidiad mawr yn y teulu hwnw. Y mae achos i ofni pan y byddo'r wlad yn llawn gan heidiau o rai anniwair, gloddestwyr, yspeilwyr a llofruddion, fod rhyw farn wrth y drws, ac y daw cyfnewidiad anhyfryd ar y genedl lle y dioddefir y cyfryw bethau."

Y mae yn bryd, erbyn hyn, i ni droi at y cyfansoddiadau prydyddol. Rhaid addef fod yma lawer o gymysgedd—rhai yn wych, a rhai yn wael.

Hwyrach mai mewn rhyw ddosbarth canol, rhwng y gwael a'r gwych, y dylid cyfleu y pennillion a ganlyn: ond yr ydym yn eu hail-argraffu o barch i ferched ieuainc Cymru, ac oddiar ofal am danynt. Llawen oedd genym weled cynnygiad yn yr "Amserau" yn ddiweddar am fisolyn iddynt hwy yn benodol; a gobeithiwn yr â ymlaen yn llwyddiannus. Nid ydynt eto wedi derbyn digon o sylw yn yr un o'r cyhoeddiadau Cymreig; ond fel rhyw fath o iawn am yr esgeulusdra, ac fel cais egwan at gyflenwi y diffyg, dyma i chwi rai cynghorion buddiol, ferched hawddgar, allan o'r hen "Eurgrawn Cymraeg."

*"Pennillion a ganwyd i Ferch ieuangc, ag oedd yn bwriadu priodi Oferddyn, gan ei Thad-bedydd.*

I.

Mae genn'i Ferch-fedydd, mor bêr ei Lleferydd,
Yn caru Llawenydd gwych beunydd mewn Byd;
Lluosog mae 'n lleisio, does dim yn ei blino,
Nac achos i gofio fawr Gofid.

II.

Mae ynddi ryw Fwriad, a'i bygwth mae bagad,
Mae drwg yw'r Canluniad, oer Brofiad ryw bryd,
Y daw ar fyrr etto, trwy weled a theimlo,
I wylo wrth gofio am y Gofid.

III.

Mae hyn yn wir ddigon am bawb o Blant Dynion,
Nad Mawredd eu Moddion, rai beilchion mewn Byd,
A'u gwna nhwy'n wir happus, a'u cadw'n gyssurus
Rhag bod yn anafus gan Ofid.

IV.

Mae hyn yn wir hefyd, heb Gyfran o'r Golud
Na threulir y Bywyd yn hyfryd yn hir;
Y Dewra o blant Dynion wrth brofi Diffygion,
Yn ddigon digalon fe 'i gwelir.

V.

Mae'r Ie'ngctid yn hoywon a'u Nwydau fydd gryfion,
Y rhai'n, fel Olwynion yn rhwyddion, a rêd
I Gyflwr tra gorthrwm, yn groes i bob Rheswm;
Nes myned dan Gwlwm cyn gweled.

VI

Fel Haid o Ryfelwyr, heb Osteg nac Ystyr,
A rythrant i'r Frwydr annifyr yw'r Nod,
Cyn dyall eu Cyflwr, na gwrando Cyf'rwyddwr
Am Nerth eu Gwrth'nebwr na'i 'nabod.

VII.

'Nol myn'd i Gyfyngder, a Thrallod a Phrinder,
Fe laesa 'r Gwrolder a'r Gwychder i gyd;
Yr awchus a'r uchel a ddaw yn war isel
Wrth ymdrech mewn Gafael a'r Gofid.

IORWERTH ab IOAN."

Dyma ychydig eto ar destun arall, ond ar yr un mesur: a mesur melus ydyw. Cenid llawer arno gan amryw o'r hen brydyddion, megys Rhys Prichard, Huw Morys, ac Edward Richards o Ystradmeurig.

"GAIR O GYNGHOR I'R CYFOETHOG.

I.

Chwychwi 'rhai ariannog, a gwladwyr goludog,
Bon'ddigion cyfoethog, ac enwog Wyr gwych,
Gosodwch ar gyhoedd o'ch Arian a'ch Tiroedd,
Ryw Gyfran o Gannoedd sydd gennych.

II.

I roddi 'n llaw 'r Werin Orchwylion cyffredin,
A'i dal i'w eu dilin yn ddiflin o dde;
Amddiffyn Gonestrwydd, a Rhinwedd a Sobrwydd,
Cefnogi diwydrwydd hyd adre.

III.

Dwg hynny Wirionedd a chrefydd a Rhinwedd,
Yn lle pob Gormodedd, a Thrawsedd ni thrig;
Fe ddyry foddlonrwydd i'ch Meddwl yn ebrwydd,
Fe'ch ceidw rhag Gw'radwydd llygredig.

Lewis Hopcin."

Y mae y rhan fwyaf o'n darllenwyr wedi clywed am y creaduriaid annaturiol hyny a adnabyddir yn y dyddiau hyn wrth yr enw, "Tylwyth Dic Sion Dafydd." O ba le yr hanasant nid yw hysbys. Ond nis gellir gwadu nad oeddynt yma er yn foreu; a thost iawn oedd y blinder a barent i'r hen ysgrifenwyr oddeutu dau cant neu ychwaneg o flyneddau yn ol. Y mae achos hefyd i ofni eu bod yn yr oes hon yn myned ar gynnydd. Rhai o honynt hwy fu yn ddiweddar yn dwyn camdystiolaethau gwaradwyddus yn erbyn y Cymry. Dyma y dynion sydd yn dibrisio pob llyfr a ddaw allan o'r wasg Gymreig. Hwy sydd yn rhy falch i ysgrifenu yn Gymraeg at fasnachwyr Lloegr, ac yn dwyn gwarth ar eu gwlad trwy eu Saesoneg anghelfydd. Cyfarfyddir â hwynt yn heidiau yn y trefydd mawrion, lle yr ânt i wrandaw y Saeson, oblegid nad oes pregethu digon "dealldwriaethol" iddynt hwy, yr epaod disynwyr, yn addoldai y Cymry. Os bu neb erioed yn haeddu ffangell, dylai y tylwyth hyn ei chael yn ddiarbed: a dyma hi yn barod wrth law yn yr "Eurgrawn."

"*Ychydig* Bennillion, *yn crybwyll yn fyrr am y ffoledd sydd yn rhai o'r Cymry, fod mor chwannog i droi yn Saeson, a gwadu eu Hiaith eu hunain.*

1 I'ch mysg y mwynion Gymry,
Trwy gariad rwy yn gyrru,
Ychydig ŵynion mwynion maith,
Mewn cynnes iaith i'w canu.

2 'Rwy'n gweled er ys dyddiau,
Ar rai o'r Cymry feiau,
Am droi yn Saeson sirion waith,
A gwadu iaith eu mammau.

3 Sef iaith yr hen Frutanied,
Oedd wycha gwyr a faged,
Ac yn fawr eu parch a'u clod,
Cyn son am fod Saesonied.

4 Ein henafiaid ni oedd bobol,
O flodau a graddau gwreiddiol,
A ddaethant gynta i mewn yn wir,
I Frydain dir hyfrydol.

5 Brenhinoedd a thywysogion,
Arglwyddi a marchogion,
O uchel waed oedd wychion wedd,
A boneddigaidd ddigon.

6 A fu yn rheoli Lloegr,
A Llundain a'i holl bwer,
Heb siarad ond Cymraeg yn bur,
A hynny 'n hir o amser.

7 Ni ddylai neb fod eto,
Yn brysur i ddibrisio,
Mo'r iaith i ni a roddes Duw,
A chyfiawn yw ei chofio.

8 Ac eto mae rhai dynion,
Yn coelio yn eu calon,
Mai rhyw anrhydedd mawredd maith,
Yw sisial iaith y Saeson.

9 A llawer llangces landeg,
A ymrydda i Sais yn anrheg,
Yn ei chyfri ei hun yn sâl,
Nes medru sisial Saesneg.

10 A llawer coeg gymhennig,
A atteb wr bonheddig,
*Dim Cymraeg na fedra mi,*
A llediaith foli Seisnig.

11 A braidd y meidr hithau,
Lefaru chwech o eiriau,
Chwaethach siarad Saesneg iawn,
Na b'ont yn llawn o feiau.

12 Tra fyddo'r cyfryw bethau,
A'r Saeson nid oes eisiau,
Achos cymmwys ar bob cam,
I chwerthin am eu pennau.

13 Pob Cymro mwyn siaraded,
Gymraeg, a'i wlad na waded;
Na roed ormod fyth ychwaith
O'i serch ar iaith dieithriaid. R. E."

Terfynwn ein hysgrif, fel y mae yr "Eurgrawn" yn terfynu ei "Ymresymiadau," gyda desgrifiad o gyflwr Ewrop yn y dyddiau hyny :—

"CYFLWR PRESENNOL EUROP.

Y Russiaid — — yn rhyfela.
Y Twrciaid — — yn ffoi.
Yr Almaeniaid, (*Germans*) yn gloddesta.
Yr Holandiaid, (*Dutch*) yn ynnill arian.
Y Ffrangcod — yn ymgrymmu ac yn twyllo.
Y Scotiaid — yn cael swyddau dan y goron.
Y Gwyddelod — — yn grwgnach.
Y Saeson — yn diogi ac yn gwneuthur dim.
Y Cymry (sef y rhai a brynant yr *Eurgrawn*) yn darllain newyddion am danynt oll.)"

---

# ADGOFION AM YSGOL NEUADDLWYD.

" *Oh! for the garb that marked the boy*
*The trowsers made of corduroy,*
*Well marked with black and red;*
*The crownless hat ne'er deemed an ill*
*It only let the sunshine still*
*Repose upon my head:*" HOOD.

"*Ah! happy hills, ah! pleasing shades,*
*Ah! fields beloved in vain,*
*Where once my careless childhood strayed*
*A stranger yet to pain.*"
*Ode on a distant prospect of Eton College.*

LLAFUR a helbul nid bychan sydd yn gyffredin yn cydfyned â pharotoi hogyn gwladaidd ar gyfer myned i ryw ysgol bellenig. Mae cymaint o eisieu y gwellaif er ei drin a'i drwsio, ag sydd ar un o geffylau bach Eppynt cyn y byddont addas i wasanaeth y Sais. Gwella hen lodrau, huganau, siacedi, a gwneyd rhai newydd; cyweiriaw hen esgidiau a chrysau, ac ychwanegu rhai newydd atynt—dyma rai o'r parotoadau a ragflaenant symudiad cyntaf y bachgenyn o'i fro enedigol. Ac nid cyffredin ydyw y teimladau sydd yn llanw mynwes y symudwr ei hun. Pwy nad ydyw yn cofio yn dda am yr amser y gadawodd dŷ ei rieni am y tro cyntaf er myned ffwrdd i'r ysgol? Da yr ydwyf fi yn cofio am yr holl amgylchiadau cydfynedol â'm mynediad i Ysgol Neuaddlwyd.

A hi eto yn foreu, a'r nifwl yn ymdaenedig fel llenllian dros y cymoedd, cychwynais tua Phrifysgol Bryn Eithin. Marchogwn i hen gaseg ddu fach o'r enw *Whitefoot*, a nhad un goch o'r enw *Star*. Maent eu dwyoedd

wedi myned er ys blyneddau bellach i ffordd holl bedwar-carnoliaid y ddaear. Yr oedd y flaenaf yn hynod am ddiogi nas menid arno gan oruchwyliaeth gwialen, chwip, ac hyd yn nod yspardun. Rhyfeddol mor ddidaro a dideimlad yr ymddangosai dan bob triniaeth. Yr oedd yr olaf yn nodedig am ei medri agor clwydi â'i dannedd, ac am ei hymweliadau nosawl lledradaidd â phorfeydd mwy gwelltog ei chymydogion. At hyn ychwanegai yr arferiad o syrthio ar ei phenliniau wrth drafaelu, heb rybudd na rhagymadrodd, er mawr anghyfleusrwydd ac anghysur ei marchogwr. Ond yr oedd rhyw ddëalltwriaeth rhyngddi hi a fy nhad, fel nad oedd efe byth yn cael yr un niwed oddiwrth ei phenliniadau, ac ni edrychid ar yr amgylchiad yn un goleu arall na rhyw dipyn o amrywiaeth diniwed yn y dull o farchogaeth.

Ar y cyfryw grëaduriaid y marchogasom y boreu teg heulog hwnw pan wynebais ar Neuaddlwyd. Odditanaf yr oedd sach, yn un pen i'r hon yr oedd blawd amyd, ac yn y pen arall yr oedd bara ceirch wedi eu diogelu rhag cael eu briwsioni gan ddau ogr croen. Yr oedd y gweddill o'r pethau anghenrheidiol er cynnal natur ar lân môr sir Aberteifi, ynghyd â'r dillad, mewn sach arall ar gefn y gaseg goch. Cyntefig i'r eithaf oedd yr olwg arnom wrth gychwyn. Nid annifyr i'r glust ar fynydd Llanbedr, yr hwn a groesasom, oedd cydgordiad brefiadau 'r defaid â chyfarthiad cŵn y bugeiliaid: ac nid anhyfryd oedd myned heibio i dŵr o ddynion yma, a thŵr o ddynion draw, yn prysur dori mawn. Nid llai prysur oedd y seiri coed a meini yn Llanbedr gydag adeiladu Coleg Dewi Sant. Dau beth a enwogant y dreflan fudr a adweinir wrth yr hir-enw Llanbedr-pont-Stephan—ei choleg a'i cheisbwliaid. Pe amddifadid hi o'r neillduolion hyn, syrthiai yn uniongyrchol i anenwogrwydd. Digon araf y teithiem, ac yr oedd hi yn llawer o'r dydd cyn i ni gyrhaedd Ystrad, lle dodasom i fynu gyda Siân—y crëadur caredicaf tan haul—er mwyn ebranu 'r anifeiliaid, a chymeryd ychydig luniaeth ein hunain. Ar ol y seibiant hwn yr oeddem yn barod i ailgychwyn, a mawr mor hyfryd oedd teithio ar hyd dyffryn tlws toreithiog Aeron. O fewn dwy filltir i Aberaeron, troisom oddiar y ffordd fawr i hëol a arweiniai heibio i Gapel Neuaddlwyd, ac yn mhen ychydig amser, yr oeddem wedi cyrhaedd cefn uchel ar hyd yr hwn y parhausom i drafaelu, hyd nes cael o honom ein hunain ar feili Pen-y-banc—anneddle letygar y diweddar Dr. Phillips.

Pan aethom mewn i'r tŷ, yr oedd yr hen ŵr yn cyflawni y gorchwyl o yfed ei gawl cenin, ac, a barnu oddiwrth y swn oedd yn cydfyned â'r weithred, ymddangosai ei fod yn cael blas neillduol ar gynnwysiad y phiol bren. Wedi cyfarch ein gilydd, gwahoddodd ni i eistedd, a galwodd ar Mary (ei wraig) i ddyfod â phob o phiolaid o gawl i ninnau, ac yn mhen ychydig fynydau yr oeddem yn brysur yn ei lyncu, tra y chwiffiai 'r hen ŵr ei bibell ac yr adroddai chwedl ddifyr yn ol ei arfer. Ar ol ciniaw, aethom lawr i'r ysgoldŷ, ond yn lle tyrau yn ymddercharu, a phinyglau yn ymddysgleirio yn mhelydrau 'r haul, nid oedd yno ond bwthyn to gwellt a muriau pridd. Yr oedd y tŷ yn gynnwysedig o ddwy ystafell anghyfartal eu maintioli. Yn yr ystafell isaf yr oedd y bechgyn mwyaf yn eistedd, ac yn yr un uchaf a helaethaf eisteddai yr athraw a'r plant lleiaf. Ar y diwrnod hwnw yr oedd y ddwy ystafell yn eithaf llawn. Wedi taflu cipolwg ar yr ysgol, aethom i ymofyn am le i letya. Cymeradwywyd ni i ymweled â'r Rhydfach, lle trigai par glanwaith trefnus o'r enw Dafydd a Martha. Yr oedd Dafydd a'i gydmares wedi bod yn dal tyddyn o dir yn

mhlwyf Ystrad, ond yn awr wedi ymneillduo oddiwrth amaethyddiaeth, ac yn byw mewn rhan ar eu harian, ar gynnyrch gardd helaeth doreithiog yn ngwrteithiad a threfnidaeth yr hon y mawr ymhyfrydai Dafydd, ac mewn rhan hefyd ar yr hyn a allent ennill trwy gadw lletŷwyr, a thipyn o *siop* fechan dros yr hon y teyrnasai Martha heb feiddiaw o neb ddadleu ei hawl a'i hawdurdod. Digon cynnwys oedd y tŷ i dri o letywyr a'r hen bobl i drigo ynddo. Er ein mawr gysur ar dywydd brwd, cysgai tri o honom gyda'n gilydd mewn gwely gwellt, ac yr oedd cryn lawer o'r mân wellt yn gymysgedig â'n gwallt pan gyfodem yn y boreu. Ond yr oedd Dafydd a Martha, rhaid dyweyd y gwir, yn ofalus ar y cyfan am ein cysur. Yr oedd gan Dafydd feddyliau go uchel am werth dysgeidiaeth, ac yr oedd mab wedi bod iddo, yr hwn, a barnu oddiwrth y papyrau a adawodd ar ei ol, oedd yn ysgolâig go dda. Yr oedd Sianco, fel y byddai ei dad yn arferol o'i alw, yn fachgen gobeithiol, ond yn anffodus, ac er mawr alar i'r hen ŵr, boddodd wrth ddychwelyd mewn cwch o long oedd wedi cael ei *launchio* yn Aberaeron. Tro chwerw i Dafydd oedd hwn, a rhybuddiai yr hen ŵr ni i ofalu peidio myned yn rhy bell i'r môr wrth ymolchi, canys nid oeddym nofiadwyr. Yr oedd genym ni fel lletŷwyr feddwl mawr am Dafydd, oblegid yr oedd yn ddyn craffiym synwyrol a gwybodus, yn gantwr da, ac yn gryn lawer o dduwinydd. Ffwlerian trwyadl, os nid clamp o Armin, oedd Dafydd, o ran ei olygiadau duwinyddol. Yr unig wrthwynebiad oedd ganddo i bregethau Dr. Phillips ydoedd eu bod yn rhy Galfinaidd. Yr oedd ychydig o neillduolion yn perthyn i'n gwron. Ymhlith pethau eraill, eilliai yn y tywyllwch, ac i'r dyben o gyrhaedd sicrwydd pa un a ydoedd wedi gwneyd gwaith glân o honi, gwahoddai ni, yr hogiau, i edrych dros ei *ddialplate*, a'n gwobr ni am hyn o orchwyl oedd y fraint o dynu â'n holl egni ryw flewyn yn y rhychau a fyddai wedi dianc rhag yr ellyn; a'i dynu a wnaem yn ddidrugaredd, ac nid bychan yr adeiladaeth o glywed Dafydd yn buguned dan yr oruchwyliaeth, yr hyn, yn ddiammheu, a wnai yn effeithiol i'w ryfeddu. Yr oedd hyn o weinyddiad yn gwasanaethu fel cymhelliad cryf i'r eilliwr i gymeryd gofal neillduol gyda'i farf y tro nesaf. At hyn, ychwanegai yr arferiad o ofyn bendith ar ei fwyd, a gweddïo, â'i lygaid yn agored, yr hyn a barai i ni syndod anghyffredin. Ni chythryblai Martha ei hun ynghylch duwinyddiaeth nac athronyddiaeth. Glanweithdra, cynnildeb, a threfn, oedd erthyglau ei chred hi. Y trosedd mwyaf a gyflawnai yr hen wraig yn ein herbyn oedd, galw *llaeth* ar ryw wlybwr gwelwlas ag yr oedd llawer mwy o ddwfr ffynnon cae cyfagos ynddo nag o'r hyn a ddaw allan o deth y fuwch. Ond gwnai lwybreiddiaw disgyniad y sucan i'r cylla, ac o ganlyniad nid oedd gwiw taeru yn ei gylch. I'r dyben o arbed traul, pan y symudodd y trydydd lletŷwr, eisteddem i gyd ddechreu nos gauaf o gwmpas yr un tân. Yr oeddid wedi gorfod gwneyd cyttundeb â Martha gyda golwg ar gadw gosteg tra y byddem ni yn dysgu ein gwersi. I'r dyben o lwyddo i gadw 'r hen lances yn ddystaw, yr oedd Dafydd wedi cynnyg ar fod iddi gael ei dirwyo o ddimai bob tro yr aflonyddai ni â'i swn; a llwyddodd yr oruchwyliaeth yn dda iawn i gynnyrchu yr effaith a ddyfeisid. Fe wyddai yr hen ŵr pa fodd yr oedd trin ei gymhares, ynghyd â pha gymhelliadau oeddynt fwyaf tebygol o effeithio arni. Yr oedd yn ddifyr i graffu ar rugledd Martha ar amser swper, pan fyddai ofn colli 'r ddimai wedi cael ei symud fel bwbach o flaen ei llygaid. Gwnai yr hen wraig i fyny y pryd hwnw am ei dystawrwydd blaenorol. Pob

parch iddi er hyny, oblegid ymdrechai yn mhob ffordd i'n gwneyd yn gysurus, ac yr oedd mor dyner o honom a phe buasem yn blant iddi. Cymaint a hyna am y par rhinweddol hwn, a'u trigfa lanwaith gryno.

Bwriadwyd Ysgol Neuaddlwyd ar gyfer dau ddosbarth o ysgolêigion—pregethwyr ag oeddynt wedi myned yn rhy hen i feddwl am fyned trwy y cwrs rhagflaenorol gofynedig er cael derbyniad i'r athrofâau, a bechgynach ieuainc a fwriadent fyned i ysgolion uwch. Yr oedd yr ysgol, ar yr un pryd, yn agored i fyfyrwyr eraill nad oedd ganddynt un olwg am fyned i'r weinidogaeth. Yr oedd yr ysgol wedi cael ei sefydlu yn ol y cynllun a gymeradwya y dysgedig Dr. William Smith, o *Highbury College*, mewn anerchiad diweddar at Ymddiriedolwyr a Rhëolwyr y gwahanol Golegau Ymneillduedig yn Llundain. Mae y doctor yn cynnyg ar fod i'r myfyrwyr letŷa gyda theuluoedd, yn lle byw gydâ'u gilydd yn y coleg, fel y gwna mynachod. Dengys hyn, ynghydâg amryw bethau eraill ellid eu henwi, dueddiadau gwrtheglwysig yr oes bresennol. Yr ydys am doddi pleidiau, a thynu lawr yr amrywiol furiau ag sydd wedi yn afreidiol wahanu y teulu dynol a'r byd crefyddol oddiwrth eu gilydd. Mae Thomas Binney newydd gyhoeddi ei farn, fod yr enwadau crefyddol, fel y cyfryw, yn dangos arwyddion o henaint a gwendid, ac ar ddadfeilio. Hwyrach y daw yr amser dedwydd synwyrol hwnw oddiamgylch, pan na adwaenir dynion wrth yr un darluniad arall ond y *da* a'r *drwg*. Ofnwn na fydd ein byd ni ddim yn rhydd oddiwrth yr olaf tan y mil blyneddau. Ni fydd yn ddigon yn fuan, fel moddion i gael gwrandawiad a pharch, fod *Reverend* yn cael ei ysgrifenu o flaen enw pregethwr, neu fod hugan ddu am ei gefn, a chadach gwyn am ei wddf. Gofyn yr amseroedd sydd *yn* dyfod drosom am fod pob dysgawdwr yn *ddyn*, ac yn ddyn *da*, ac yna fe ymdarewir o'r goreu. Llwydd i bob *sham*, fel dywed Thomas Carlyle, i fyned i'r dim

Digon anmherffaith oedd y trefniadau yn Ysgol Neuaddlwyd ar gyfer cyfranu gwybodaeth. Nid oedd hanner digon o ddodrefn yn y tŷ, a braidd ddim offer. Nid oedd cymaint a darlunlen yn yr ysgoldy, ac ni wyddai yr ysgoleigion ddim am ddaearyddiaeth. Nid oedd dim llyfrau yn gyrhaeddadwy i'r rhai a hoffent ddarllen, a braidd ddim cyfleusderau i gyrhaedd gwybodaeth o'r iaith Seisoneg. A chyda golwg ar ddysgu *moesau*, nid oedd gwiw meddwl am Ysgol Phillips, a'r gwahanol deiau lle lletyai yr ysgoleigion. Y peth y rhagorai yr athraw ynddo oedd, ei lwyddiant i wreiddio y bechgyn yn egwyddorion gramadeg, a'r gofal a gymerai i wneyd iddynt ddwyn rheolau cystrawen i weithrediad wrth gyfieithu. Ni thelid yr un sylw i dônyddiaeth. Ni ddarlithiai y Doctor ar dduwinyddiaeth i bregethwyr, a chwbl esgeulusid amrywiol gangenau o addysgiaeth, a ystyrir yn anhebgorol anghenrheidiol yn awr er rhoddi dysg ganolig o gyflawn i ddynion ieuainc.

Yr oedd yr ysgol a'r letŷau mor rhad, a'r fywioliaeth mor gyffredin yn yr ardal, fel yr oedd yn fanteisiol iawn i fechgyn tlodion i gyrchu i'r Neuaddlwyd. Nid oedd waeth beth wisgid, na pha beth a fwytäid, ond cadw enaid a chorff ynghyd. Ac eto, yr oedd rhai o'r pregethwyr mor anghyffredin o dlawd, fel yr oedd yn ddigon tyn arnynt i fyw yn rhyw ffordd. Pregethent yma a thraw ar y Sabbothau; a llawer o eglwysi cryfion a chymhariaethol o gyfoethog a adawai i'r tlodion hyn gerdded deng-milltir-ar-hugain, a deugain milltir, rhwng myned a dychwelyd, am y swm cardotynaidd o dri swllt neu bedwar—pris lladd tri mochyn yn y Deheubarth.

Yr oedd maint y *tocyn*—fel y gelwid y tamaid a ddygid i'w fwyta ganol dydd gan yr ysgolêigion—ar gyfer ciniaw y rhai hyn, yn brawf poenus o'u tlodi. Mae genyf gof da am y dull a gymerai un gwalch ysmala hir-ben o'r Gogledd i ychwanegu at ei docyn hanner dydd. Nid ydoedd ei docyn fawr fwy ei faint na dernyn coron. Bwytäai ei gaws yn gyntaf, ac yna âi o gwmpas i ofyn am ychydig gaws efo ei fara—llwyddai, ac yna bwytäai y bara i gyd, ac yna gofynai am damaid o fara—ac ymlaen â hi yn y dull hwn, gan gymeryd y gofal mwyaf cydwybodol i beidio gorphen yr enllyn a'r bara gydâ'u gilydd, hyd nes cael o hono ei ddiwallu yn o lew. Llwyddodd hyn o gast iddo gael ciniaw da am ychydig wythnosau, ond bradychwyd y cardotyn, a gosodwyd terfyn ar y dreth. Byddai yr ysgolêigion yn bwyta eu tamaid yma a thraw; rhai i mewn yn yr ysgoldy, eraill allan ar hyd y meusydd ac ar hyd ochr y cloddiau. Cof genyf am un arall a âi allan bob dydd i gae lle yr oedd dernyn o bŷs, cygynted ag y daethant yn addfed. Cae perthynol i'r Doctor oedd hwn, a chan y gwelid rhyw wrthddrych du yn y pys bob hanner dydd, awd i edrych beth oedd; a chafwyd allan mai un o'r myfyrwyr oedd yno, yn ei gyflawn hyd, ac yn bwyta am ei fywyd, a'i fod wedi difa grwn byr cyfan. Dygwyd y troseddwr o flaen y Doctor yn y prydnawn, ac yn ngwydd yr holl ysgol, yn gynnwysedig o driugain o ysgolêigion, anerchwyd ef mewn rhyw fath eiriau melusion a'r rhai canlynol:—"A oes arnoch chi ddim cwilydd i fytta mhys i, a chithe yn bregethwr a phob peth. Ych chi yn mynd ar hyd y lad i bregethu i ddynon ar y Sabboth, a phob hanner dydd yn bytta mhys i? Fyswn i yn malio dim tysech chi yn bytta dou rwn llynedd, pan odd gen i ga cyfan o bys, ond leni dos gen i ddim ond y llain fach yco, ag rych chithe wedi bytta grwn cyfan, medden nhw wrtho i. Os ca i chi yn bytta mhys i eto, mi'ch tro i chi mas o'r ysgol." Yr oedd golwg adeiladol ar y truenyn tra yn gwrandaw ar y ddarlith hon; a mawr fel y byddem ni, yr hogiau ieuainc, yn mwynhau gweled y troseddwr dan gerydd. Druan o fwytäwr y pys, a chardotwr y caws a'r bara, maent eu deuoedd heddyw mewn amgylchiadau cysurus, a digon tebyg mai nid cymeradwy iawn ganddynt ddarllen yr hanesion blaenorol am helyntion "yr hen amser gynt." Yr oedd golwg ddifrifol dros ben ar yr hen wr wrth drin y troseddwr, a chredasai dyn dyeithr mai pechod amfaddeuol oedd gwneuthur mor ëofn ar y pys, ond gwyddai rhai cyfarwydd â thymher yr hen athraw, y buasai y cyfan drosodd yn fuan. Wedi myned adref yr oedd y Doctor yn cael difyrwch yn iawn i adrodd wrth Mary helynt y bwytäwr pys, a'r arswyd oedd wedi cael ei yru arno rhag y buasai yn cael ei droi allan o'r ysgol. "Mi genta," meddai'r hen wr diniwed, tyner galon, "nad oedd dim tamed o docyn ganddo—mae e yn dlawd enbeidus, ond eto ddylse fe ddim bytta grwn cyfan, a fine â dim ond y llain fach yco gen i leni."

Tra yn son am y tocyn hanner dydd, nid ydwyf yn cofio i mi erioed archwaethu dim gyda chymaint blas a'r bara ceirch a'r caws *sharp* a fwytäwn ar frys gwyllt, y deng mynyd diweddaf o'r ddwy awr hanner dydd. Ni feddylid am y tocyn, gan serch at y *rounders*, hyd nes byddai hi yn bryd i'r hen wr ddyfod i'r ysgol. Y ddiod oedd dwfr gloew ffynnon gyferbyn a'r llechwedd ar ba un yr oedd yr ysgoldŷ yn gyfleuedig, a defnyddid gwellten wenith i'w yfed, gan fod y pydew yn ddwfn. Beth ydyw rhost a berw, a holl ddanteithion, ynghyd â gwinoedd a gwirod y Saeson bolgar,

at y bara ceirch, y caws *sharp* (digon i ddigroeni genau dyn), a'r dwfr oer croew hwnw a dynid o'r ffynnon yn nghanol y cae.

Nid oedd modd braidd i un ysgol fod yn fwy cymysgedig nag Ysgol Neuaddlwyd. Yr oedd yno bob math o greaduriaid—Saeson, Gwyddelod, a Chymry wrth gwrs. Yr oedd yno blant a hogiau, a hen fechgyn barfog, ac fel rhyw fath o batriarch a phen drosom, pererin mewn gwth o oedran, a alwem yn briodol iawn yn *dad-cu.* Yr oedd yn rhywle rhwng 45 a 50, ac yr oedd golwg gyffröus i'w ryfeddu arno wrth adrodd dernyn o'r Gramadeg Seisoneg, oblegid âi trwy ei lith â'i lygaid yn gauad, a'i ben ar dro, ac yr oedd rhywbeth mor chwerthinus yn y difrifoldeb gyda pha un y cyflawnai ei dasg, yr hwn a dorid arno yn aml gan bwl o beswch, oblegid yr oedd yn ddarostynedig i dipyn o gyffröad wrth fyned o flaen y Doctor. Nid oedd diffyg anadl (*asthma*) yr hen walch ond mater cellwair gyda ni, yr hogiau anystyriol drygionus, tra yr oedd teimladau y dysgybl oedranus ei hun yn rhai digon cythrybledig eu gwala, wrth geisio dal yn ei gof bethau mor wlithog a "*verb must agree with its nominative case in number and person, as—*" ac hwyrach yr *as* yn gorfod cael ei adrodd lawer gwaith heb fedru bachu yr anghraifft etholedig.

Yr oedd yno ar un amser ddosbarth cynnwysedig yn gyfangwbl o hen fechgyn heb braidd ddim manteision blaenorol. Yr oedd yn cwyno ar eu hol, y bladur, yr aradr, y rhaw, y ffyst, yr eingion, y fwyell, a'r minawyd: mewn galar yr oedd amaethyddiaeth a'r crefftau ar ol y rhai grymus hyn. Creaduriaid aelod-fawr, ysgwydd-lydain, nerthol, oeddynt—preiffion oedd eu coesau, ac fel pileri. Mi warantaf y gwnaethent eu hol ar un peth bwytadwy a ddygasid i'r bwrdd o'u blaen;—uchel fuasai swn eu melinau. Nid oedd modd, wrth edrych arnynt, beidio meddwl am linellau Gray, y rhai a gyfieithir fel hyn gan Davies, Castell-hywel:—

"Dan eu dwylaw grymus cwympai
Gwair y dolau, ac ŷd y ma's;
Fel y 'menyn rhwygai'r aradr
Rhwng eu breichiau 'r gwndwn glas;
Arf os coden', blodau 'r coedydd
Isel blygen' bennau o'u blaen."

Yr oeddynt, yr ydwyf yn meddwl, o gwmpas 13 yn y dosbarth; a dysgent eu gwers fel y dysgir pwnc yn aml—dim ond ei ran gan bob un. Dysgwylid i'r cyntaf ddechreu, ac yn ol y dysgwyliad hwn y trefnid yr holl lith. Hoffai 'r hen athraw, yn awr a phryd arall, ddyrysu y drefn hon, ac nid bychan oedd y cythrudd a grëid gan hyn o anffawd. Da yr ydwyf yn cofio am y teimlad o ddigrifwch a ddaeth drosof un boreu, wrth glywed y blaenor yn agor y gwasanaeth, trwy adrodd mewn modd awdurdodol, ac mewn llais oedd bron yn adsain i'r daran, "*A has four sounds.*" Dim yn ychwaneg. Yr oedd rhywbeth mor brofedigaethus yn yr anghyfartaledd oedd yn ngolwg a maintioli yr adroddwr, a'r pwtyn pitw bach a adroddai, fel nad oedd yn alluadwy gwneyd un cynnyg ar fod yn ddifrifol yn ngwyneb yr amgylchiad. Yr oedd cynnifer a allasai grugio i'r ystafell uchaf yn sicr o fod yn bresennol pan fyddai y dosbarth hwn yn myned i ddyweyd eu gwers. Rhyw wledd fawr oedd hi, ac ni chwennychai neb gael ei amddifadu o gyfleusdra mor gyfoethog. Yr oedd eu clywed yn *parso* yn un o'r pethau mwyaf profedigaethus a ellid gyfarfod braidd yn y fuchedd hon. Yr oedd y camsyniadau a wneid mor afresymol, mor wrthun,

mor anghredadwy o benbwlaidd, fel nad ydoedd yn alluadwy i'r hen athraw fod yn ddifrifol ar yr achlysur. Gwelais ef yn chwerthin am ben y penbwliaid nes byddai y dagrau yn treiglo dros ei ruddiau, ac yna, pan ddelai y gwrthdarawiad, dwrdiai hwynt yn ddidrugaredd, a gyrai hwynt yn ddigofus o'i wydd. Gwae ni yr hogiau fyddai hi hanner dydd, os gwelai un o'r erlidedigion hyn ni yn chwerthin pan fyddent o dan ddysgyblaeth, oblegid can wired a bod esgyrn yn ein cnawd yr oedd cyweiriad yn ein haros. Bu dda i ni niferi o weithiau wrth ein traed, ac a dyweyd y gwir, a chanmol tipyn arnom ein hunain, rhedegwyr anarferol o gyflym oedd rhai o honom; a da oedd hyn, onidê buasai ôl palfau y creaduriaid digofus arnom hyd yn bresennol. Ni ddaeth dim daioni o'r dosbarth hwn, a chamsyniad mawr oedd rhoddi y gefnogaeth leiaf iddynt i adael gwasanaeth a ofynai nerthoedd corff, er mwyn un a ofynai alluoedd meddwl.

Yr oedd braidd bob peth yn ymgyfarfod yn Dr. Phillips er ei gymhwyso i fod yn athraw. Yr oedd yn hoff dros ben o blant; a medrai fod, pryd y mynai, yn blentyn heb fod yn blentynaidd. Pan ddygwyddai rhyw hogyn fod â hiraeth arno ar ol ei artref, gwahoddai y doctor ef i chwareu pêl gydag ef hanner dydd, ac yn y modd hyn difyrai feddwl pruddaidd yr hiraethlawn, a chymmodai ef â'r sefyllfa newydd. Telerau y chwareu oedd bod i'r hogyn redeg ar ol y bêl, a chaniatâu i'r hen wr ennill y gamp, onidê buasai dipyn yn ddiran, oblegid yr oedd yn rhaid iddo fod, neu gredu ei fod, llawn cystal, os nid gwell nag eraill, braidd yn mhob peth—hyd yn nod mewn chwareu pêl, cyn y buasai yn teimlo yn hollol gysurus yn ei feddwl. Yr oedd rhai amlygiadau o fyfiaeth yr hen athraw diddichell yn ysmala anghyffredin. Ond er ymostwng fel hyn at blant, a chydchwareu â hwy, ni aberthai y mymryn lleiaf o'i urddas a'i awdurdod. O'r plant lleiaf yr ymddangosai fwyaf hoff. Tynai ar y pethau diniwed calon-agored hyn i adrodd wrtho eu holl helyntion, megys y drafferth gafwyd wrth chwilio am nyth aderyn, pa sawl ŵy oedd ynddo, a pha bryd yr oeddynt i gael dillad newydd, a faint o geiniogau oeddynt i gael er eu gwario yn ffair Llanarth? ynghydag amryw ddadguddiadau teuluaidd o gymeriad tra digrif. Byddai dal un o'r rhai hyn yn cysgu ar brydnawn brwd, yn nyddiau'r cwn, yn beth a roddai y boddlonrwydd mwyaf i'r hen wr naturiol llon-galon. Nesäai yn ddystaw a lladradaidd at y cysgadur, yr hwn fyddai hwyrach yn chwyrnu yn hwylus, ac ymaflai yn ei drwyn, a chwarddai yn iachus wrth glywed "*dont w*" wrthdystiolaethol y truenyn, rhwng cwsg a dihun, oblegid y wasgfa oedd wedi cael ei roddi i'w dduryn.

Wrth gymmodi hogiau fyddai wedi cwympo allan, gwelid egwyddorion mawrion yn cael eu dwyn i weithrediad. Dygai y pleidiau wyneb yn wyneb, a holai i mewn i hanes amgylchiadau y cweryl, a chwedi cael allan pwy oedd fwyaf yn y bai, byddai raid i hwnw gwympo am ei drosedd, a gofyn am faddeuant. Wedi llwyddo i gael y troseddwr i gydnabod ei fai, a chael gan yr hwn y troseddid i'w erbyn i faddeu, gwnai iddynt siglo dwylaw, fel arwydd o gymmod; ond yr oedd yn ofynol i'r troseddwr fynu meichnïydd, yr hwn a ymrwymai i ddyoddef ei hun y gosb ddyledus i'r troseddwr, os ceid ef yr ail waith yn euog o'r un bai. Nid ffordd ddrwg oedd hon i ddysgu egwyddorion moesol i blant ieuainc. Meddiannai Dr. Phillips ddylanwad heb ail ar feddyliau a serchiadau y rhai oeddynt dan ei ofal, yn enwedig y dosbarth ieuangaf; ac os oedd rhywbeth tebyg i ddawn neu dalent yn un o'r llanciau, medrai ei ysgwyd a'i ddihuno, trwy or-

chymyn yn awdurdodol, "tyred allan," neu ynte yn swyngar ddenu y peth ofnus cywilyddgar i ddyfod i'r maes, i wneyd prawf o'i nerth a chymysgu yn yr ymdrech. Os oedd rhywbeth yn y siol heblaw gwegi, byddai yn rhyfedd lwyddiannus i'w ddwyn allan, a pheri iddo dyfu, nes cyrhaedd cymaint corffolaeth ag a ganiatâent yr amgylchiadau anfanteisiol dan ba rai y llafuriai y rhan fwyaf o'i ysgolêigion. Gwnai ddigon o wahaniaeth rhwng y dïog a'r diwyd, y musgrell a'r gofalus, y penbwl a'r galluog, mewn ffordd o ganmol a chefnogi, ac yr oedd ei gymeradwyaeth yn dâl a swmbwl i'r rhai oedd am enwogi eu hunain fel dysgwyr. Yr oedd yr olwg allanol arno yn ei wisgo âg awdurdod. Buasai yn rhaid fod hogyn, neu ddyn ieuanc, wedi ei breseiddio mewn haerllugrwydd, cyn y buasai yn alluog i fyned yn ëofn at y tal-ddyn urddasol mawreddog hwnw, ag yr oedd ganddo bâr o lygaid, ar donen y croen, a luchedenent pan fyddai wedi cael ei anfoddloni neu ei dramgwyddo.

Rhwng tymher ddifyrus y Doctor, nifer yr ysgolêigion, a'r cydymgais yn y gwahanol ddosbarthau, yr oedd Ysgol Neuaddlwyd yn lle a fawr hoffid gan braidd bawb, ond y crach-foneddigaidd a'r mursenaidd, ynghyd â'r anffodusiaid ag oeddynt, o herwydd rhyw neillduolrwydd neu gilydd, yn gyff clêr. Os na wnaethai gwahanol ddylanwadau y lle gyffroi y meddwl a'i osod ar waith, nid oedd fawr obaith y buasai iddo byth gael ei ddeffroi.

Yr oedd dau brydnawn gryn bwysig yn Ysgol Neuaddlwyd—prydnawn dydd Llun, a phrydnawn dydd Iau. Rhoddid y cyntaf gan wyr yr ystafell isaf at ddarllen y "*Carmarthen Journal.*" Yr oedd pob un i ddarllen deng mynyd, ac yr oedd hyny yn llawn ddigon, oblegid mewn amser mor fyr a hyny chwareuid y filain, fel y dywed Sais, â iaith y frenines. Yr oedd yn dda nad ydoedd Walker yn y lle, onidê buasai wedi cael hanner ei ferthyru o herwydd cam-aceniad y darllenwyr. Anhawdd fuasai i Sais dysgedig adnabod ei iaith ei hun wrth ei chlywed yn cael ei swnio genym. Nid oedd arnom wasgfa yn y byd oblegid y camenwi truenus a wnaem ar ugeiniau o eiriau, ond âem rhagom yn ein cyfer, ac yn ein rhyfyg, gan alw rhywbeth ar bob gair. Trugaredd na osodasom iaith y Sais i farwolaeth.

Prydnawn mwy difrifol oedd prydnawn dydd Iau. Ffurfid yr holl rai a fedrent ddarllen Cymraeg yn un rhestr fawr, a rhoddid yr holl brydnawn at ddarllen, a derbyn hanes goruchwyliaeth y *monitor* am yr wythnos. Darllenwr heb ei fath oedd Dr. Phillips. Cymerodd drafferth nid bychan i ddysgu ei fyfyrwyr i ddarllen Cymraeg yn gywir ac effeithiol. Ni raid gwrandaw ar rai *pregethwyr* yn darllen y Bibl ond *unwaith*, er teimlo yr anghenrheidrwydd o'u dysgu i fyned yn well trwy y gorchwyl. Mae yn hysbys i bawb a glywsant y Doctor yn darllen, mai nid bob dydd y clywid y fath ddarllenwr. Nid peth hawdd oedd rhoddi boddlonrwydd iddo wrth ddarllen. Na feddylied neb taw peth dibwys ydyw darllen yr ysgrythyrau yn effeithiol ac argraffiadol. Gellir dyweyd pob gair heb wneuthur un camsyniad, ac eto fod ymhell oddiwrth fod yn ddarllenwr yn ystyr priodol y gair. Buasai yn well genyf un pryd wrandaw ar Dr. Phillips yn darllen deg o adnodau, na chlywed rhai llefarwyr mawr, poblogaidd, yn pregethu am awr. Dywedodd hen weinidog oedranus cymydogaethol wrthyf ychydig amser yn ol, iddo glywed Robert Robinson, rhagflaenor Robert Hall yn Cambridge, yn darllen y bedwaredd bennod o Efengyl Ioan gyda'r fath effaith fel yr oedd yr oll o'r gynnulleidfa yn wylo dagrau. Gofynwyd iddo ar ol y gwasanaeth, pa fodd y darfu iddo gynnyrchu y

fath effaith. Atebodd nas gwyddai, ond dywedodd ei fod yn hoff iawn o'r bennod hono, a'i fod wedi ei darllen hi ugeiniau o weithiau wrtho ei hun yn y dirgel, hyd nes myned i mewn i'w hysbryd, a chael gafael ar ei thôn. Yr unig esboniad ellir roddi ar hyn ydyw, bod y darllenwr yn *teimlo* yr hyn a ddarllenai, ac yn ol un o ddeddfau ein cyfansoddiad meddyliol, wedi trosglwyddo i fynwesau eraill ei deimladau ei hun. Dylai y llefarwr astudio y pennodau y mae yn fwriadu ddarllen yn gyhoeddus ar y Sabboth, yn gystal a'r pregethau y mae yn myned i'w traddodi. Ni fyddai yn un drwg yn y byd pe cedwid cyfarfod cyhoeddus i ddarllen gwahanol awduron, er mwyn dangos pa faint o ogoniant, nerth, a thlysni llawer dernyn a ddibyna ar fedrusrwydd y darllenydd. Rhaid i ddyn o olygiadau a theimladau barddonawl gael ei osod i ddarllen gweithiau y beirdd, onidê gwneir mwy neu lai o gam â hwynt. Mae hyd yn nod emynau "yr hen Williams," er cymaint eu harddderchogrwydd, wedi cael cam tost lawer pryd ar law y creaduriaid difedr a dideimlad a'u rhoddant allan. Ond i ddychwelyd at Dr. Phillips. Byddai y Doctor yn darllen y Bibl fel un fyddai yn credu mai llyfr y Duw doeth ydoedd; ac o ganlyniad ei fod yn orlawn o synwyr, addysg, ac ardderchogrwydd: ond mae gair Jehofah weithiau yn cael ei ddarllen mor brinaidd (Salm o naw adnod hwyrach) a difater, fel pe byddai ar y darllenydd ofn blino amynedd y gwrandawwyr â meddyliau yr "Hen Ddihenydd" a "Thad Tragywyddoldeb." Efallai fod gwŷr Eglwys Loegr yn darllen gormodd o'r Bibl yn eu gwasanaeth crefyddol; ond y mae yn eithaf sicr fod yr Ymneillduwyr yn darllen rhy fach o lawer. Mae gair Duw o fwy pwys a chanlyniad na chant o bregethau. Clywed Dr. Phillips yn darllen oedd ei glywed yn esbonio. Yr oedd yr acen a'r pwyslais yn well esboniad na hanner awr o areithio rhyw dylwyth meddwl-niwlog aml-eiriog. Nid oedd dim yn fwy o ofid a chroes i'r hen athraw na chlywed y bechgyn yn swnio yr *y* a'r *u* fel pe buasent o'r un gallu a swn a'r *i*. Byddai y trueiniaid a fuasent yn ddigon anffodus i gamsynied iawn swn y llythyren *u* yn y gair *duwiol*, neu y llythyren *y* yn y gair *dyn*, yn sicr o gosb; ac nid cosb heb ystyr oedd i ddyn mawr esgyrniawg yn nghymydogaeth deg-ar-hugain oed, i gael ei ddynwared a'i wawdio yngwydd triugain o ysgolêigion, am fethu swnio rhywbeth bach fel y llythyren *u* neu *y*. Er nad oedd goruchwyliaeth o'r fath hyn yn felus yn y byd ar y pryd, eto gwnai ddaioni, oblegid y mae ofn *gwawd* yn dra dylanwadol lawer pryd er diwygio arferion drwg. Byddai darllenwr dïeffaith bob amser yn sicr o daflu yr hen wr allan o gywair dros y pryd. Un tro, yn Nghapel Neuaddlwyd, yr oedd wedi ceisio gan *original* o'r enw Dafi *Sergeant* i ddechreu y cyfarfod iddo. Yr oedd rhai odliaethau yn rhan o gyfansoddiad Dafi. Nid un o'r dysgleiriaf o blant gwragedd oedd y dynsawd hwn. Eisteddai y Doctor tu cefn iddo yn yr areithle. Nid aeth ymhell iawn rhagddo cyn y clywai yr hen wr yn dyweyd yn go uchel, "*Read right, Dafi.*" Yr oedd yr ysgolfeistr wedi dyfod dros y pregethwr a'i orchuddio. Y "*ruling passion*" aeth yn drech nag ef. Nid oedd hyn o awgrym yn fawr o gymhorth i Dafi druan i ddarllen yn gywir ac effeithiol, a waeth waeth y darllenai, a mwy amlwg a dealladwy oedd yr arwyddion o anfoddlonrwydd o'r tu ol i'r darllenwr. Pan gyfododd y Doctor i fynu i ddarllen ei destun, rhagymadroddodd yn y wedd ganlynol, er mawr gysur i *un*, o leiaf, ag oedd yn wyddfodol;—"Mae nhestun i yn y bennod y bu Dafi yma yn ceisio ei darllen hi yn y dechreu, ond ei llysenwi hi yn dost 'na'th e druan.

Dyma fel mae darllen yr adnod; b'le mae Dafi 'nawr, iddo gael ei chlywed hi yn cael ei darllen yn briodol?" (yna taflai ei olwg yma a thraw er gweled pa le yr oedd yr anffodusyn yn eistedd, a chwedi cael allan y fan, sefydlodd ei lygaid duon treiddiol ar Dafi druan, a darllenodd yr adnod.) Yna cwynai oblegid y sylw bychan oedd yn cael ei dalu i ddarllen, hyd yn nod gan ei fyfyrwyr ei hun, er ei holl lafur gyda hwy, ac awgrymodd mewn modd dealladwy ddigon, y cai e afael yn y Dafi boreu dranoeth wrth ddyweyd ei wers, pan y dygid rhyw wirioneddau go flasus a gafaelgar o flaen sylw y gwr dedwydd hwnw; ac nid oes dim dadl na fu yr hen athraw llawn cystal a'i addewid, ac iddi fod yn dywydd digon tymhestlog arno mewn canlyniad. Er mor anmhriodol, yn y fath le ac ar y fath achlysur, y dichon hwyrach i'r ymddygiad hwn o eiddo y Doctor ymddangos yn ngolwg y darllenydd, gallwn sicrhau iddo y tarddai yn gyfangwbl oddiar ei zel dros ddarllen "llyfr y llyfrau" yn briodol ac argraffiadol, a'r anmhosiblrwydd iddo fod yn dawel tra y gwneid yr hyn oedd mor anhawdd iddo ef ei ddyoddef a phe buasai tân ar ei groen.

Yr oedd derbyn cyfrif y *monitor* yn beth melus ddigon gan yr hen athraw, ond nid felly gan yr ysgolêigion. Gwaith y *monitor* oedd cadw yr ysgol mewn trefn; ac yr oedd awdurdod ganddo i ddirwyo y rhai a siaradent Gymraeg, neu a gadwent swn afreidiol. Ceiniog oedd maint y ddirwy, ond byddai enw ambell droseddwr i lawr ddwywaith ar brydiau, yn enwedig os na fuasai teimladau cysurus rhyngddo a'r *monitor*. Ychydig sylw wneid o'r Cymraeg: y *swn* oedd ffynnonell y dreth hon. Ar y cyntaf, cymhwysid yr arian a delid at bwrcasu llyfrau, a rhwymo rhai llaprog perthynol i lyfrgell yr ysgol; ond yn lle myned i brynu llyfrau, daeth llygredigaeth a dirywiad i mewn, ac aeth y ceiniogau at brynu——dybacco i'r hen athraw. Yr oeddid wedi deall faint o dybacco oedd y Doctor yn losgi yr wythnos, a gwyddid o'r goreu os na fuasai cynnyrch y ddirwy yn ddigon i brynu hanner chwarter o fyglys, na fuasai dim heddwch yn y gwersyll. Naw a dimai, os ydwyf yn cofio yn iawn, oedd pris yr hanner chwarter y pryd hwnw, ac yr oedd yn anhebgorol anghenrheidiol i gael naw ceiniog i'r hen wr, onidê buasai yn rhuo yn arswydus. *Swllt* oedd ef yn hoffi oreu, ac os cai ef bymtheg ceiniog byddai yn cau botwm ei logell gyda hwyl anarferol, a chymerai arno flino yn arw oblegid bod y bechgyn yn ymddwyn mor anfoesgar. Gwyddem ni yn dda ddigon am beth a fuasai yn blino ysbryd yr hen fachgen yn llawer mwy na hyny. Yr oeddem weithiau yn drwgdybio fod ambell i hanner pwys o siwgr yn cael ei brynu gan Mary âg arian y ddirwy, yn gystal a ffwgws i'w phriod. Yr oedd yn ddigrif iawn i glywed y *monitor*, prydnawn dydd Iau, yn cyfrif y ceiniogau ar ei bapyr—"un, dwy, tair, pedair, pump, chwech, saith—tut—'does yma ddim digon i gael dybacco i'r hen ddyn; rwi'n *bound* i *ffino* rhyw ddau, euog neu beidio, onidê mi ga' nhrin yn ddychrynllyd 'nawr fach." Ac yna gosodai i lawr enwau y rhai oeddynt wedi sefydlu eu cymeriad fel terfysgwyr, a byddai y rhai hyn yn gorfod talu bob wythnos, pan mewn gwirionedd yr oeddynt yn aml yn hollol ddifai. Ond beth oedd i'w wneyd? Yn eu cysgod hwy yr oedd llawer o rai euog yn cael dianc. Ni roddai'r hen wr ddim coel i ni, a byddai raid i ni fenthyca, a mawr y gwawd a wnai o honom wrth ein gweled yn myned oddiwrth un at y llall, ac yn methu *ar y cyntaf* a llwyddo; ond nid oedd am i ni fod yn aflwyddiannus y pen draw, oblegid, er y carai dipyn o ddifyrwch yn ei galon, eto i

gyd, ar brydnawn dydd Iau, yr oedd ei fryd wedi ei osod ar gyfodi treth y myglys.

Rhwng talu dirwy'r ffwgws, a thalu'n ffordd gyda Betti Siôn, gwelsom ni hogiau dywydd blin, a threuliasom lawer awr bryderus. Hen ddynes oedd Betti a drigai yn ymyl yr ysgoldŷ, a gwerthai eirin Mai ac afalau, ynghydag amryw bethau eraill cwbl mor gymeradwy gan ysgolblant. Ysgretan hagr ysgrechlyd oedd Betti, a gyrai aeth trwy ein calon pan lefarai yn un o'i dewis donau uchel main ysgarmawl, y geiriau melusion canlynol—"*Pryd ych chi yn dwad â'r ceinoge hyny i fi.*" Braidd nad ydyw ei hen ysgrechlais yn swnio yn fy nglustiau yr awrhon. Yr hen fileines a ti, Betti; dylaset faddeu i mi ambell ddyled, oblegid dyma ti wedi dy anfarwoli yn nhudalenau y "Traethodydd," fel y gwnaeth John Foster â'r ci *Pero* yn un o'i lythyrau o Newcastle-upon-Tyne. Yr oedd cof Betti yn anghyfleus o gywir, ac nid oedd modd tynu ei sylw oddiwrth yr hyn oedd ddyledus iddi. Nid mater i gellwair âg ef oedd myned i ddyled yr hen ysgrafell ddiymysgaroedd. Yr oedd arswyd arnom rhag iddi ein gweled yn myned heibio i'w bwthyn, hanner dydd, i'r cae i chwareu *rounders.* Nid hir y caem goel ganddi. Yr oedd yn rhaid ei thalu hi, neu fod mewn enbydrwydd parhaus. Llawer gwaith yr addunedwyd yn ddigofus wrth ei thalu, na wariem byth mwy yr un ddimai gyda hi; ond beth dal son? (dyn yw dyn, a hogiau yw hogiau) goddiweddid ni eilwaith gan yr un brofedigaeth, ac eilwaith y cwynem yn ddigymhorth yn nghrafangau yr hen arthes. Rhwng pob mân daliantau, yr oedd ein *hexchequer* lawer pryd mewn cyflwr dïyspyddedig, a golwg wasgedig idd ei chanfod arnom. Aem tuag Aberaeron ar brydnawn dydd Sadwrn, gan obeithio taro wrth ryw hen gymydog, neu gyfaill a fyddai wedi dyfod i ymweled â glan y môr; a rhyw ffawd anghyffredin yn y dyddiau hyny, oedd cael chwe' cheiniog neu swllt gan hwnw. Wedi derbyn y gynnysgaeth fawr hon dychwelem i'n lletyau, gan fwgwth talu Betti Siôn boreu dydd Llun, a dybenu â hi am byth.

Yr oedd treth arall hefyd ag yr oeddym yn gorfod ei thalu i'r hen athraw. Ni chaem fyned i ffair Llanarth, os na ddygem anrhegion iddo o *ginger bread, cacenau melynion bach, India rock,* ac amryw ddanteithion eraill. Dranoeth i ddydd y ffair, byddai'r hen ŵr yn dyfod a Bin (fel y galwai Benjamin y cyw melyn olaf) gydag ef i'r ysgol. Mawr hoffai y Doctor bentyru 'r anrhegion, a gwneuthur rhyw fath o das fawr o honynt, gan eu gosod un ar y llall, fel pe buasai yn myned i daso mawn; ac wrth gychwyn adref hanner dydd, gosodid treth y *ffirings* (*fairthings*) mewn basged, a dygid hi i Ben-y-banc yn fuddugoliaethus. Yr oedd gorfod edrych ar y fath bentwr o bethau danteithiol yn eu hymyl, ac o fewn eu cyrhaedd, yn brofedigaeth fawr i'r plantach yn yr ystafell uchaf. Dwfrhaent eu geneuau, trachwantent eu calonau, a gwibient eu llygaid oddiar eu llyfrau; ond pethau gwaharddedig oeddynt; a phe buasid yn anturio lladrata un dernyn, yr oedd yr olwg ar y wialen fedw yn eu hymyl, fel ci y cigydd yn gwarchod eiddo ei berchenog, a thuedd mawr i luddias unrhyw fwriadau difrodawl a allasai fod yn cael eu coleddu yn mynwesau y trachwantwyr.

Ychwanegaf un yn rhagor o'm hadgofion am Ysgol Neuaddlwyd, ac yna bydd y prif rai wedi cael eu dyhysbyddu. Dyddiau difyrus dros ben oedd dyddiau cyweiriaw gwair yr hen Ddoctor. Byddai yn rhoddi gwyliau o ddau ddiwrnod i ni yn amser y cynauaf gwair, neu yn hytrach tröid yr holl

ysgolêigion i'r gweirgloddiau, a chyfnewidid Murray, Virgil, Homer, a'r llechau, am y pigffyrch a'r rhacanau. Yr oedd yr hen fechgyn gwarlydain cryfion ag yr ydys yn barod wedi son am danynt, o wasanaeth anghyffredin fawr wrth y das wair, ac ar ei phen. Beisgawnwyr ardderchog oeddynt. Nid oeddym ni yr hogiau â'n bryd ar weithio, ond yn gyfangwbl ar bystyled, pranciaw, a rholiaw ein gilydd yn y gwair. Y peth yr oeddym ni fwyaf cydwybodol gydag ef oedd gwylied cefn yr hen athraw, a chwedi cael hyny o fraint, gwnaem fel y mynem, a gadawem i eraill i ofalu am y gwair. Ond ar amser bwyta, nid oeddym ni mor bell yn ol o gyflawni ein dyledswydd. Yr oedd y Doctor, fel meistr y seremoniau, idd ei gael weithiau yma ac weithiau draw; yn awr yn y cae, a phryd arall yn ymyl y das, ac ambell waith yn y tŷ, er gweled pa fodd yr oedd trinwyr y giniaw yn myned rhagddynt. Yr oedd yr hen ŵr yn symud o gylch, fel un a lwyr gredai fod holl bwys a gwres y dydd yn gorphwys yn gyfan ar ei ysgwyddau ef, pan mewn gwirionedd na wnai yntau ddim yn y byd ond cerdded o un man i'r llall, a chadw swn, ynghydag adrodd ambell chwedl ddifyr wrth chwiffio ei getyn. Nid bychan oedd chwys a lludded y gwragedd yn y tŷ gyda berwi sucan a chymysgu y llefrith â rhyw wlybwr arall y gwnawd llawer cynnysgaeth dda yn Llundain trwy fod yn hael arno. Nid ychydig oedd hi yn gostio i'r Doctor i giniawa haid fawr o grëaduriaid gwancus. Eisteddai mintai ar ol mintai wrth y bwrdd, a chaent ddigonedd; a mawr oedd y swn a wnaent wrth leipiaw y sucan a'r llaeth. Ond y peth mwyaf dyddorawl o bob peth oedd gwylio hogiau Seisonig yn bwyta brechdan amyd. Gwyddai y doctor o'r goreu mai bara gwenith oeddynt yn arfer fwyta yn eu lletŷau, ond ni chymerai arno wybod hyn, a mwynhâai tuhwnt i fesur y cyfleusdra o edrych ar y trueiniaid anffodus hyn yn ceisio myned trwy y dasg o falu un frechdan. Safai 'r hen ŵr gerllaw iddynt, a rhoddai orchymyn caeth i Mary dori brechdanau *mawrion* i'r tylwyth dant felus; a byddem ninnau, y rhai oeddym gyfarwydd â bara amyd, yn bochlwytho y brechdanau bara planc, ac ymron hollti gan chwerthin wrth weled y Saeson yn cnoi ac yn cnoi yr un tamaid, ac yn ei symud o un foch i'r llall, fel pe buasai hyny o driniaeth yn debyg o hwylysu ei ddisgyniad i'r parthau tumewnol. A phan y torent y tamaid nesaf, yr oedd golwg ddiran ddigalon arnynt, ac ymddangosent fel pe buasent ar syrthio i anobaith, wrth edrych ar y gweddill oedd heb gael ei falu. Gwledd fras o'i bath i'r hen athraw ysmala difyr-galon oedd rhyw olygfa gyffrôus fel hon.

Ond beth dal siarad? Eiddo eraill yn awr ydyw cyflawnder yr awr, yr hon, fel y sylwa John Foster, ni edrych yn ol nac ymlaen. Melus ond pruddaidd ydyw ei choffadwriaeth. Mae y cyfwng rhyngom â hi wedi ei fritho gan lawer cwmwl, ac wedi ei nodi gan lawer siom. Yn hwyr ddydd haf, pan yn rhodio ymhlith prenau gardd neillduedig, ac yn swn "dolef y ddyhuddgloch," gallai dyn o deimlad ac o ysbryd pruddaidd ymhyfrydu mewn adgofion am "yr hen amser gynt" nes i "nos dywell ddystewi" o'i gwmpas, ac yntau heb wybod hyn, hyd nes i chwilen

"Yn ehedeg heibio yn chwyrn,"

neu ryw amgylchiad arall, ei ddeffrôi ef allan o'i synfyfyrdod.

# LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. W. JONES, NEVYN.

**Gyda 'r parodrwydd mwyaf y rhoddwn le i'r llythyr a ganlyn. Nid hwyrach fod ynddo rai brawddegau yn galw am ychydig o feirniadaeth: ond gan fod ei dôn ar y cyfan mor ddidramgwydd, gwell genym ymattal. Ped ysgrifenasai Mr. Jones bob amser mewn cyffelyb ysbryd, ni chawsai oddiwrthym ni ond parchedigaeth.**

Syr,

Tynwyd fy sylw at nodiadau o'r eiddoch o barth i mi, y rhai a gyhoeddasoch yn y "Traethodydd" am Ebrill diweddaf. Cymerwyf yn ganiatâol mai eich amcan yw cael allan y gwirionedd ar bob mater, ac mai eich penderfyniad yw ei wneyd yn hysbys; ac na fynech er dim ddwyn camdystiolaeth yn erbyn eich cymydogion, na gosod lliw duach arnynt, ger bron y cyffredin, nag y maent yn ei haeddu. Os cywir ydwyf yn y dybiaeth hon, odid y caniatâwch i mi wneyd rhai sylwadau ar eich beirniadaeth, yn yr ysbryd tawelaf ag a allaf ei anadlu.

Nis gwyddwn i fod genych "feddwl lled dirion am danaf unwaith, o herwydd y llyfr a ysgrifenais ar Nodweddiad y Cymry," ac nis gwn eto ychwaith; canys hynod o ffrom y tybiwn fod eich sylwadau ar y traethawd enwedig, y rhai a ymddangosasant yn eich rhifyn am Ionawr. Ni welais i gynnygiad erioed at nodweddu cenedl y Cymry, cyn dechreu ar y gorchwyl fy hun, onid ellir ystyried traethawd Mr. Bray yn gyfryw gynnygiad. Odid y cyfaddefwch na chefais gymhorth, mewn un modd, gan lafur y gŵr hwnw, i gyfansoddi yr eiddof fi. Y mae beirniaid teg a boneddigaidd, bob amser, yn dangos llawer o gydymdeimlad â'r awduron cyntaf a ymosodant at unrhyw waith, yn arbenigol os bydd y gwaith hwnw yn lled anhawdd. Nid hawdd oedd traethu yn ddestlus ar nodweddiad ein cenedl yn yr oes hon, a hyny a ga y dyn hwnw ei wybod yr hwn a gynnygia at y gorchwyl. Yr oedd pedwar neu bump o gydymgeiswyr ar y testun, yn Eisteddfod Lerpwl, eto yr un dan sylw a farnwyd y goreu. Gwelais hysbysiad y rhoddid gwobr o bum-punt-ar-hugain, yr wyf yn meddwl, gan eisteddfod yn Nghaerfyrddin, ychydig amser ar ol ymddangosiad y traethawd mau, am y goreu, ar yr un testun, a anfonid iddi; ond ni chlywais fod neb wedi cyfansoddi, na bod yr eisteddfod wedi derbyn unrhyw draethawd ar y testun.

Dywedwch fy mod yn penderfynu gwneyd iawn i'r Uchel-eglwyswyr am bob gair diragfarn a ysgrifenais yn y traethawd. Nid oedd a fynwyf fi â neb fel Uchel nac fel Iseleglwyswyr, yn y ddadl ddiweddar, ar faes y "*Carnarvon Herald.*" Meddyliwyf mai cyfiawnder a ddylid ei wneyd â phob dyn, boed ef pwy a fyddo: ond gwybyddwch nad af fi gam o lwybr uniondeb, i wneyd iawn i neb oblegid traethu y gwirionedd yn ddiragfarn. Gwir yw fod anmhleidiaeth y Traethawd wedi costio yn hynod o ddrud i'w awdur!

"Sonia," meddych, "am Mr. Trevor fel merthyr; ac amlwg oedd yr amcanai gymeryd rhan go fawr o'r un clod iddo ei hun." Nis gwelaf fi, mewn un wedd, fod y peth mor amlwg. Ni ddaeth y fath beth i'm meddwl pan yn cyfansoddi y synwyreb at ba un y cyfeiriwch. Cymaint ag a draethais ar y mater, ag sydd wedi rhoddi achlysur i'ch sèn, yw yr hyn a ganlyn; gan gyfeirio at dystiolaeth Mr. Trevor yn unig, dywedais, "*Such a deed of moral heroism as this deserves to be classed with the performances of the confessors and martyrs of old.*" Ni "fwngeilais" i ddim un gair am ysbryd merthyr, ac ni thraethais un peth a allasai, mewn modd yn y byd, arwyddo fy mod yn priodoli i mi fy hunan y cyfryw ysbryd. Nis gwn i ond ychydig o flaen pwy y byddai y merthyron gynt yn cyhoeddi eu cenadwri; ond gwn yn burion fod y dystiolaeth a roddais i Mr. Johnson wedi ei chyhoeddi, *yn y sylwedd o honi*, droeau lawer, mewn llawer dull a modd, yn ngwyneb yn gystal ag yn nghefn, y rhai a gyhuddir. Nid "merchetos disynwyr," yw yr unig wrthddrychau a gymerir i mewn yn y dystiolaeth; ond pawb ag ydynt yn dwyn y nodweddau a feiir. Onid yw prif berchenogion tiroedd y plwyf hwn yn cael eu cyhuddo, yn y dystiolaeth, o esgeulusdod o'u deiliaid, am na chyfranant tuag at sicrhau dysg i blant y cyfryw ddeiliaid? Ac nid

yn y dystiolaeth yn unig y gwnawd y cyhuddiad, ond wrth y boneddigion eu hunain, mewn ymddyddan yn gystal ag mewn llythyrau. Attolwg, pwy yn yr oes hon sydd wedi dyweyd *wrth bob gradd o ddynion*, yn y Dywysogaeth, eu beiau a'u dyledswydd, mor eglur, mor benderfynol, ac mor gyhoeddus, ag y mae awdur y Traethawd ar Nodweddiad y Cymry wedi gwneuthur? Gweler y Traethawd yn Gymraeg, drwyddo oll, ac yn arbenig tudal. 5, 6, 128—143, 163—172.

Yn fy marn i, nid ydych yn rhoddi darlun cywir o'r teimlad a broffesais oeddwn yn ei goleddu, neu o'r dymuniad ag ydoedd ynof, gyda golwg ar yr Ymneillduwyr. Y mae y lliw a roddwch ar yr hyn a ysgrifenais yn hollol wahanol i'r hyn a draethais, ac yr wyf yn diarddel pob perthynas â'r hyn a ddywedwch ar y pwynt hwn, *yn y dull y mynegwch ef*, yn gystal ag ar bob mater arall y cyfeiriwch ato yn eich nodiadau. Methwyf yn lân a dirnad yn mha le y mae y drwg o ddymuno bod pleidiau ymranawl, eto yn proffesu yr *un grefydd*, yn dyfod mor ystyriol a diragfarn, mor bur a goleuedig, ac yn cael eu trwythaw mor drwyadl yn ysbryd caredig y grefydd Gristionogol, nes dyfod yn un blaid, a'r blaid hono yn ymgorffoli â'r Eglwys y perthynodd Cranmer a Farrer, Latimer a Ridley iddi! Onid yw pob dyn ag sydd yn proffesu crefydd, yn dymuno gweled yr holl bleidiau, a arddelant y grefydd Gristionogol, yn ymresu dan yr un faner ag yntau? Onid ewyllysiech o galon eich hunain weled yr holl fyd yn dyfod yn Drefnyddion Calfinaidd? Rhaid y gwnaech, os ydych yn ddidwyll yn eich proffes o ymlyniad wrth egwyddorion y blaid y perthynwch iddi.

Nid allaswn ddysgwyl y buasech yn arllwys gwawd ar, nac yn dangos anserchawgrwydd at, y cynnyg a wnaethpwyd genym yn y parth hwn o'r wlad, i wrthwynebu anlladrwydd yr oes, ac i amcanu dwyn diwygiad oddiamgylch. Can belled ag y gwyddwn i am ymdrechion o eiddo y Trefnyddion yn y mater, myfi a gydnabyddais hyny yn y Traethawd ar Nodweddiad y Cymry. Eithr nis gwyddwn fod ganddynt un math o gynllun, heblaw y clywais Mr. John Elias ac eraill, lawer dros ugain mlynedd yn ol, yn pregethu yn erbyn cydorwedd, a bod y corff yn dysgyblu y rhai a geid yn euog o anniweirdeb. Ni chlywais am un cynllun na rheol erioed ar y mater, ac nis gwyddom am fodoldeb y naill na'r llall cyn i mi gyfansoddi y sylwadau a'r rheolau y cyfeiriwch atynt. Dangosais y traethodyn ar ddiweirdeb i un o aelodau (nis gwn yn sicr a yw efe yn flaenor) perthynol i gorff y Methodistiaid, yn yr ardal hon, cyn ei anfon i gyhoeddiad misol, a dywedodd ef fod y corff yn gweithredu yn erbyn yr arfer o gydorwedd, a bod ymrwymiadau yn cael eu gwneyd, mewn llawer man, gan bobl ieuainc, yr ymwrthodant â hi. Ond dywedai fod y rheolau a ddangosais i iddo yn *rhy gaeth*, yn ei farn ef, ac na ellid eu dwyn i weithrediad. Byddai yn dda genyf, pe byddech mor hynaws, ag anfon y cynllun y cyfeiriwch ato i mi, yna caf weled pa debygoldeb sy rhyngddo a'r un a gymeradwywyd yn y dosbarth hwn o'r wlad. Dywedwch fod ymdrechion y Methodistiaid yn erbyn cydorwedd, &c. wedi eu gwawdio yn nghyhoeddiad misol yr Eglwyswyr. Ai tybed nad ydych yn camgofio? Ni welais i y fath wawd; a phe gwelswn nid annhebyg y cymeraswn fy hyfdra i hysbysu i olygydd y cyfryw gyhoeddiad mai gwaith cywilyddus oedd iddo wawdio un o'r ymdrechion mwyaf pwysig ag a allasai neb ymaflyd ynddo. Gyda golwg ar y llythyrau a gyhoeddwyd genyf, yn ddiweddar, nid ydwyf yn hòni fod ynddynt lawer o newydd-bethau. Ond gan nad pa un ai hen ai newydd yw y pethau, nid oes unpeth a gyhoeddwyd genyf, hyd yn hyn, wedi ei brofi yn anghywir, a gormod gwaith fyddai hyny. Noder allan unrhyw ffaith a fynegir genyf, a phenoder pwyllgor yn y gymydogaeth hon, i chwiliaw ai gwir a draethais; goddefer i minnau ddyfod ger bron gyda phrofion; ac os na allaf eglur brofi yr hyn a hysbysais, myfi a'i galwaf yn ol mor gyhoeddus ag y gwnaethum hysbysiad o hono. A oes unpeth tecach na hyn? Dywedwch fod genych seiliau digon cryf i gredu y derbyniwn arian pobl Nevyn yn ddigon dirwgnach. Gwyddoch mai gwawd, ac mai gwawd ofer, yw y fath ymadroddion. Nis gwn i am neb na dderbyniai arian unrhyw bobl, os medrant gael gafael ynddynt, mewn ffordd gyfreithlawn, a hyny yn ddigon dirwgnach. Mewn difrif oni chymerech chwi arian pobl Dinbych—gymaint ag a welent yn dda roddi i chwi, a hyny yn dra gwengar a llawen? Ond pa faint, feddyliech chwi, o arian sydd yn dyfod i mi oddiwrth bobl Nevyn? Gwedi tynu allan y trethi nid yw y swm ond ychydig iawn dros ugain punt yn y flwyddyn! Am y rhelyw o'r hyn a berthyn i'r berigloriaeth hon, ni ddeillia, ac ni ddeilliodd erioed, oddiwrth bobl y plwyf hwn. Gan fod yn fy nhŷ bymtheg o bobl, o wahanol oedran, gallwch feddwl fod y draul yn fawr i'w cadw a'u cynnal. Y mae agos yr holl arian a dreulir genyf yn myned trwy ddwylaw masnachwyr ac eraill yn y plwyf hwn a'r cymydogaethau. Yn wobr am dreulio ugeiniau o bunnau, yn yr ardal, gwneir pob ymdrech gan lawer o'r bobl, i'm twyllo o'r hyn ag sydd yn gyfreithlawn yn perthynu i mi. Priodolach a

fuasai i chwi ddiweddu eich beirniadaeth trwy drawsnewid cryn lawer ar y synwyreb o Sheridan, gyda golwg ar fy llythyrau. Yn y modd canlynol buasai, efallai, yn fwy cywir pan yn dyfod oddiwrthych chwi:—"Y mae ynddynt wirioneddau o'r pwys mwyaf, a llawer o'r gwirioneddau hyny ydynt yn newydd i'r wlad. Y mae newydddeb rhai o'r ffeithiau yn galw am ddwys ymchwil ac ystyriaeth, ac y mae pwysfawredd y gwirioneddau yn galw yn uchel am ddiwygiad buan a thrwyadl." Nid wyf yn ysgrifenu y sylwadau hyn i gynhyrfu dadl, am hyny nid ydwyf yn dysgwyl ymosodiad. Barnwyf mai ateb arafaidd yw yr un uchod, ac fe ddylai ddattroi llid.

Ydwyf eich ufudd was,

W. JONES.

*Nevyn, Mehefin* 2, 1848.

---

# CYMRU A'I LLEENYDDIAETH.

[Derbyniasom y llythyr canlynol oddiwrth gyfaill darllengar, gyda dymuniad arnom, os gwelem rywbeth teilwng ynddo, i'w gyflwyno i sylw ein darllenwyr. Yr ydym yn caru ysbryd a thuedd yr ysgrifenydd, ac yn meddwl mai y ffordd decaf iddo ef ac i'n darllenwyr ydyw gadael iddo "roddi ei achos i lawr" yn ei ddull syml, cyfeillgar, a diymhongar ei hun, yn enwedig gan ei fod, meddai ef, "yn rhy yswil i'w wisgo ei hun â'r 'Nyni' fawr olygyddol."]

Yr ydwyf yn myned i ysgrifenu ar fater ag y mae arnaf ofn nas gallaf wneuthur chwareu têg âg ef. Yr wyf yn meddwl y gwn pa beth sydd genyf mewn golwg, ac er i mi fod yn fusgrell yn amlygu fy syniad i eraill, hwyrach y bydd i rai o ysgolêigion mawrion ac athrylithfawr fy ngwlad ei gipio i fynu a'i weithio allan yn fwy amlwg a meistrolaidd. Er nad ydwyf yn ddigon dysgedig i gydlafurio nemawr â hwy, yr wyf finnau wedi cael digon o ddysg i fwynhau llafur fy anwyl gydwladwyr, sydd yn y blynyddau hyn yn ymdrechu i oleuo eu cenedl, ac i'w dyrchafu mewn deall a'i choethi mewn archwaeth: fel y canodd y prydydd:—

"A! nid i mi y rhoddwyd hyfryd seibiant
 I roi hyfforddiant, pe y byddwn addas:
Yn nheg winllanoedd dysg ni chaf y mwyniant
 O hoff lafurio; canys ydwyf gaethwas
I ofal bydol. Gwelaf lle y tyfant
 Bêr ffrwythau addysg,—ond i mi o'u cwmpas
Fe gauwyd cae, a mwy ni chaf ond cipio
Yr ychydig ffrwyth, a ddigwydd gwympo drosto."

Efallai y gallaf finnau hefyd feirniadu tipyn ar gyfansoddiadau fy mrodyr galluog a dedwydd; o'r hyn lleiaf, y rhan hono o feirniadaeth ag sydd yn gynnwysedig mewn dynodi gwallau. Rhywbeth tebyg i'r gorchwyl diweddaf yma sydd yn fy mryd yn awr, neu yn hytrach dynodi diffygion, neu yn hytrach na hyny traethu pa beth a ddymunwn i ei gweled yn llëenyddiaeth Cymru, er nad yw yr absennoldeb o honynt yn fai neu wall lleenyddol ychwaith.

Cymro trwyadl ydwyf fi, ac un digon gwirion i ymffrostio o hyny yn yr oes Saesonaidd hon. Y mae Cymru, Cymry, a Chymraeg, wedi eu cerfio

ar riddyn fy nghalon. Wedi fy ngeni a'm magu yn Nghymru, yr wyf am fyw a marw a chael fy nghladdu yn yr hen wlad anwyl hon, os caf rhyw gyfaill ddigon ffyddlawn i wneyd hyny o gymwynas â mi ar ol i mi ddarfod. Ni ryfedda neb gan hyny fy mod yn dra eiddigeddus dros bob peth Cymreig, a fy mod yn bendifaddeu felly dros lëenyddiaeth Cymru. Yn wir, y mae gwladgarwch Cymreig wedi ei gau i fynu o'r bron, o ran ei eiddigedd, i'w llëenyddiaeth yn unig. Nid oes yn awr i Gymru na choron, nac awdurdod, na thiriogaeth i'w meibion i ymdeimlo yn zelog yn eu cylch. "Eu Ner a folant," ond eiddigedd cyffredin byd-ledawl ydyw, neu a ddylai fod hwn. "Eu hiaith a gadwant," dyma yr unig le i deimlad cenedlaethol i ni ar ein penau ein hunain fel plant Gomer.

O ran hyny, nid eu coronau, a'u tiroedd, a'u haur, a'u harian, ond eu meddyliau, yw gwir gyfoeth pob cenedl. Y mae y pethau cyntaf yn feddiannau cyffredin, a threigledig o'r naill wlad i'r llall, ond eu golud meddyliol yw sylweddol a phriodol ac annilëadwy gyfoeth pob cenedl. Y mae Virgil a Homer, prif addurniadau eu hoes, yn cyfoethogi, ïe, yn adgyfodi bob oes, eu hieithoedd "meirw" oni b'ai hwy. Yr ysgrythyrau Hebreig, ac nid meusydd ffrwythlawn a gwinllanoedd breision Canaan gynt, nag aur ei myrddiwnedigion yn awr, yw gwir ardderchogrwydd a chyfoeth hen genedl Israel. Y mae llafur anifeilaidd ein natur yn ennill aur a thir a gwychder, ac fel yr anifel y mae y rhai hyn yn darfod: ond syniadau ardderchog a dedwydd ydynt ffrwyth yr enaid, ac y mae parhad iddynt. Y gŵr a rydd feddwl newydd sydd yn cyfoethogi ei genedl yn yr ystyr uchaf. Y dyn a rydd ffurf i brydferthwch, pa un ai mewn adeilad ardderchog, ai mewn barddoniaeth syml, ai mewn celfyddyd gywrain, ai mewn syniad gwladgarol neu gymdeithasol, sydd yn gwir gyfoethogi ei wlad. Ac y mae gwir gyfoeth fel gau gyfoeth yn ymddangos ac yn ymddyblu yn nhreigliad amser. Y mae "Coll Gwynfa," a werthwyd am ychydig bunnau gan ei awdur, yn brif-dlws Lloegr fawreddig erbyn hyn. Y mae hen furddyn o adeilad ddiwerth yn Stratford-upon-Avon, lle y dygwyddodd i gorff Shakespeare anadlu, wedi ei brisio yn werth miloedd gan ddoethion a chyfoethogion yr oes hon. Ond pwy a brisia anadliadau ei enaid? Ië, ac y mae "Cywydd y Farn," gan ein Goronwy anwyl ni, yn fwy gwerthfawr yn fy ngolwg i na'r holl America fawr lle y mae ei lwch hoff ef yn gorwedd.

Yn awr am adeiladau prydferth, a chywrain-weithiau celfyddyd, y mae rhai o honynt i'w gweled yn Nghymru, ond nis gellir dyweyd mai eiddo Cymru ydynt. Y pontydd crogedig a cheuog, a'r ffyrdd haiarn mawreddig a drudfawr ydynt gyfoeth ysplenydd yn Nghymru; ond nis gall y Cymry honi hawl ynddynt. Eiddo y Saeson ydynt o ran dyfais a chyflawniad. Ond am ein llëenyddiaeth, y ni bïau hwn! O! nad ellid ei gadw yn ardderchog, yn bur, yn genedlaethol.

Fy nymuniad yw, ar i feibion doniol Cymru gadw yn eiddigeddus briodoledd a nodweddiad cenedlaethol ar lëenyddiaeth Gymreig. Ni fynwn i unig gyfoeth Cymru (o ran pethau y byd hwn), fod yn unig yn efelychiad, yn ddynwarediad o eiddo ein cymydogion. Os edrychwn ar y wisg allanol ar ieithyddiaeth yn unig; y mae yn hawdd i Gymry dysgedig ac athrylithfawr a fyddont wedi arfer efrydu a darllen llawer mewn ieithoedd eraill, lithro yn ddïarwybod i briod-ddull estronol yn nhrefniad eu hymadroddion. Gwell genyf fi weled ysgrifenydd yn myned gryn lawer o gwmpas i draethu ei feddwl yn hen eiriau sathredig ei iaith ei hun, na'i weled

yn clytio rhyw fasdarddair newydd er mwyn dyfod i fynu â chyrhaeddiadau a syniadau ieithoedd eraill. Y mae ambell i air Cymraeg pur hefyd, sydd wedi dyfod i arferiad yn ddiweddar, yn crafu fy nghlust i fel rhyw sain coeg-ddysgedig. Efallai fod y fath eiriau yn fwy awdurol ac yn fwy grymus; ond yn wir fy nheimlad i ydyw, ac nid allaf fi ddim wrtho, y byddai yn well genyf roi i fynu efo ymadrodd tipyn gwanach, er mwyn cael y geiriau i gyd yn hen bethau cartrefol wedi eu selio âg arfer gwlad.

A hwythau y beirdd hefyd, y mae arnaf arswyd rhag iddynt hwy anghofio ac esgeuluso priodoledd a chymedroldeb barddoniaeth Cymru. Y mae y "mesurau caethion" a chydseiniad wedi bod yn briodoledd i brydyddiaeth Cymru er's oesoedd. Ac nid oedd Goronwy Owain ddim yn ymddangos mewn caethiwed ynddynt. Y mae yr hyn sydd fel cadwynau ar eraill fel addurniadau a cholofnau cynnorthwyol er cadernid iddo ef: ac amlygid ynddo fod y mesurau hyny i raddau yn naturiol i'r iaith. Ond yn awr, mesurau rhyddion a llinellau a breichiau dïodl a digydsain yw yr hoff-ddull gan lawer! Gan bwyll, fy nghyfeillion, gwyliwn rhag i ni fyned yn rhy benrhydd! Gadewch i ni gael ambell i gywydd eto, ac ambell i awdl gywrain, "er mwyn yr hen amser gynt," ac o wir eiddigedd cenedlaethol. A phaham na chaem ni fwy o farddoniaeth yn y "Traethodydd," &c.? Y mae gwŷr awengar Cymru yn awr yn barddoni yn eu maboed, ac yn ysgrifenu rhyddiaeth yn unig wedi myned yn ddynion. Ai "peth bachgenaidd" yw barddoniaeth? Byddwn i yn meddwl mai meistrolwaith dëall ydoedd, a gris mwyaf dyrchafedig myfyrdod. Gellid meddwl wrth feirdd presennol fy ngwlad mai profi yr adon ieuanc, neu ymdrechu am wobr eisteddfod oedd unig bwrpas prydyddiaeth. Na, rhaid cael rhyw ysbrydiaeth uwch a phurach na chymhelliad ariandlws neu "gader" i genedlu pryddest wir farddonawl ac anfarwol. Ymdywalltiadau gwirfoddol, hunan-wobrwyol, yw ehediadau cryfaf yr awen. Deffroed awen rydd, wyllt Walia.

Mi garwn weled ysgrifenwyr campus Cymru yn fwy cenedlaethol yn newisiad testunau eu cyfansoddiadau hefyd. Y mae yn rhaid trafod y celfyddydau a'r gwybodaethau, pa rai ydynt achosion ymchwiliad teilwng i holl blant Adda; a theilwng yw ail goffâu am y dynion mawrion o bob oes ac o bob gwlad, pa rai oeddynt yn olud ac yn anrhydedd cyffredin i'r natur ddynol; a phriodol iawn yw edrych i mewn i ansoddau gwahanol ieithoedd, chwilio i dreigliadau egwyddorion, ac olrhain hanesyddiaeth gwahanol deyrnasoedd, &c. Ond fy mhwnc i yw hyn. Onid oes mwngloddiau yn hanesyddiaeth Cymru ei hun yn cael eu hesgeuluso? Ai ni bu dynsodion hynod ymhlith ein hynafiaid ni, Gymry, y byddai yn werth i ysgrifenydd hyddawn eu hadgyfodi o dir anghof, a'u portrëadu o flaen y byw? A ydyw hanesiaeth Cymru, ac arferion yr hen Frython yn hysbys i berffeithrwydd i ofyddion Cymreig, heb son am y werin a'r genedl ymofyngar sydd yn cyfodi? Pa niwed a fyddai i athrylith a dychymyg Gymreig gael ei dangos allan mewn ambell i chwedl fywiog er darlunio hen arferion ac egluro hanesyddiaeth Gymreig? Ac os yw Tywysogaeth Cymru, neu hyd yn nod Ynys Brydain Fawr, yn faes rhy gyfyng i ymehediad meddwl eryraidd yr ymholydd, onid oes i ni frodyr lawer? Onid yw y teulu Celtaidd yn ëang, a'i gangen-ieithoedd yn amrywiol? Wele feusydd llydain a newydd i feirdd ac ysgolorion Cymru i lafurio ynddynt; a gellid dysgwyl y byddai i wladgarwch a theimlad cenedlaethol gymhell

y flaenoriaeth iddynt. Dywedwch, ddysgedigion, a oes dim modd ëangu cylch ein teimlad cenedlol, trwy agor cyfrinach â rhanau eraill o'r tylwyth Celtaidd, neu droeglwyddo i'r Gymraeg ryw ddarnau o lëenyddiaeth—boed wael, boed wych, y cangen-ieithoedd cyfathrachol?

Y mae rhyw briodoledd ac arbenigrwydd ysbryd yn perthyn i lëenyddiaeth ambell i genedl, yn adlewyrchiad o nodweddiad y bobl. Y mae hen gerddoriaeth Cymru felly; yn rhydd, yn ysgafn, ac yn fyrbwyll fel y Cymro, ac ambell i dröad toddedig yn tarddu o ddyfnderau serch-bêr natur. Y mae ei hen farddoniaeth, ei cherddi a'i chaneuon bywiog felly. Gallwn ni feddwl mai prydyddiaeth, o ryw fath neu gilydd, oedd llëenyddiaeth Cymru, bron i gyd, er's llawer dydd. Ac y mae y gwyllt a'r gwâr—y celfyddydol a'r ysbrydol—coel grefydd a gwir grefydd yn ymryson am yr oruchafiaeth ynddo. Y mae ei llëenyddiaeth yn argraffiadau o deimladau pob oes, ac yn fynegai cywir o gynnydd pob cenedl. Hapus a galluog yw y dyn sydd yn gallu â swyn farddonol adsain "llais y wlad." Yr oedd Twm o'r Nant yn corffori ysbryd dibris gwerin Cymru, a'u teimlad diystyrllyd pan ddechreuodd y goleuni wawrio arnynt, ac awchlymu eu syniad o'r anghysonder ffug-grefyddol sefydliadol ac yn bersonol. Ac yntau, peraidd ganiadydd Pant-y-Celyn—gan erfyn ei faddeuant am ei enwi *ef* a'i emynau nefolaidd ar yr un tudalen a Thwm—y mae pennillion Williams yn adroddiad—yn argraffiad bythol o brofiadau ac ysbryd y diwygiad yn Nghymru. Y mae hefyd rywbeth a ellid ei alw yn nodwedd Cymreig, neu ddullfeddwl Cymreig ar ei odlau ysbrydol. Y maent yn swyno calon llawer Cymro yn eithafion America bell, gan gyffroi y teimlad crefyddol a'r gwladgarol ar unwaith.

Yn awr, nid oes le i ddysgwyl i lëenyddiaeth Gymreig ddringo i'r *tir* uchaf oll, o ran pynciau celfyddydol a rhesymegyddol. Y mae ei manteision a'i chylch yn rhy gyfyng. Gallwn ddysgwyl mai materion moesol a syniadol a fyddai testunau ei llëenyddiaeth genedlaethol yn hytrach. Ac eto, ychydig mewn cymhariaeth o'n hysgrifenwyr yn yr oes hon sydd yn ymollwng i'r llwybr hwn. Hen lwybrau sychion, defnyddiol, ffeithiol, y genedl fydgarol sydd yn ein hymyl, y maent gan mwyaf yn eu cerdded. Yn wir fe fyddai yn well gan i eu gweled yn dringo mwy ar i fynu i'r cymylau a'r niwl ar ol yr Allmaeniaid, neu yn ymblentyneiddio gan chwareu yn siriol ymhlith y blodau ambell i oedfa gyda 'r Italiaid a'r Ffrancod. Y mae y gwir noeth yn bur dda, a ffeithiau cedyrn yn dra gwerthfawr; ond attolwg, a ydyw dychymyg gwr dda i ddim? I ba ddyben y rhoddwyd crebwyll i ddyn? O! rhaid cael ffaith—a ffaith—a rheswm—a rheswm, yn ddiddiwedd ac yn ddiddarfod. Glynir yn ddiffaith wrth ffaith, ac yn ddireswm wrth reswm. Pa niwed, mewn difrif, mewn tipyn o anwiredd diniwed dychymygol a gonest, os bydd gwers dda wrth ei gwt ef—os bydd "tywarchen ar ei fôn ef?" Er mwyn dyn, anwyl syrs, dywedwch ffug (bu agos i mi ddyweyd, tipyn o gelwydd) wrthym ni weithiau; ond peidiwch a dyweyd mai gwir yw ef ychwaith. Y mae y gwirioneddau uchaf a dyfnaf a phuraf a syrthiasant ar glust ac i galon dyn erioed wedi eu traddodi mewn dammegion. Ddysgedigion Cymru, os rhaid efelychu a dynwared, na ddynwaredwch ddim llai na natur; nac efelychwch neb llai na'r Unig ddoeth.

Y mae cyfyngder y maes o ran poblogaeth, ac yn enwedig oblegid amrywiaeth a gelyniaeth graddau a phleidiau yn Nghymru yn rhoi *rhy fach*

o gymhelliad i ddwyn allan gampus weithiau ysplenydd a mawrion. Y mae ein huchelwyr a'n personiaid—iechyd iddynt!—y rhai a ddylent fod yn noddwyr ac achleswyr ein llëenyddiaeth, gan mwyaf, yn estroniaid i ni mewn teimlad ac mewn iaith. Ond os nad oes temtasiwn i un Virgil neu Filtwn i ddwyn allan gerdd arwrol Gymreig, eto, o bosibl nad allai rhyw Burns neu Gowper gael ei anadl yn Nghymru. Teilwng yw i deimladau crefyddol gael y flaenoriaeth, ond fe ddylid maethu teimladau a thynerwch cartrefol, cymdeithasol, a gwladgarol hefyd. Y mae anmherffeithrwydd ein llëenyddiaeth mewn gwladgarwch a chymdeithasoldeb yn ymddangos yn y gwirionedd, nad oes yr un gân genedlol—deuluaidd yn Nghymru; yr un gân ag sydd yn hysbys i bawb—sydd fel arwyddair i serchiadau Cymru—ag y mae tannau calonau Cymreig yn mhob man yn crynu wrth glywed ei sain—cân a gy tarawai y lliaws yn unfryd mewn awr o orfoledd neu lawenydd i'w chanu—cân a barai i ryw deimlad swynol gerdded ar hyd ei gnawd, a wreichionai ei lygaid, ac a gyflymai ei waed, ac a attaliai ei anadl gan lawenydd—pe dygwyddai i Gymro unigol ei chlywed yn annysgwyliadwy yn dyfod ato ar yr awel mewn rhyw goedwig neu anial pellenig o wlad ei enedigaeth. Y mae rhyw gerdd wladgarol gan bron bob cenedl ond y Cymry. Y mae y Scotiaid yn gloewi i fynu wrth swn, "*Scots' wha ha' wi Wallace bled.*" Y mae y Saeson beilchion yn ymsythu gyda'u "*Brittannia rules the waves.*" Y Ffrancod yn ymwroli i ddymchwelyd gormes ac i sicrhau rhyddid tan ddylanwad, "*Mourir pour la patrie.*" Hyd yn nod y Prwssiaid syberw, ar dderbyniad y newydd o fuddugoliaeth ar y Daniaid, a dorent allan yn unfryd mewn cân genedlol, "*Was ist das Deutschin Vaterland.*"

Ond am y Cymry, nid oes yr un wefr-gadwyn yn cydio eu calonau ynghyd *oll* eto; neu ni wyddys pa fodd i gymhwyso y wreichionen anwrthwynebol ati. Gwir yw fod ein sefyllfa wladol yn rhwystr i amlygiad fel hyn. Nid oes i ni frwydr i'w hymladd na gelynion i'w gorchfygu, o'n rhan ein hunain. Dilys gan hyny mai y syniadol a'r cymdeithasol a ddylai fod yn brif nodwedd ein llëenyddiaeth, ac yn brif destun ein cân. Mi welais fod y Llywodraeth Ragddarbodol yn Ffrainc, yn nghanol eu prysurdeb diweddar, wedi cynnyg gwobr am y genedl-gân heddychlawn oreu, i gymeryd lle y genedl-gan ryfelgar uchod. Fe gafwyd un ardderchog, byrdon yr hon, yn lle "Marw tros fy ngwlad," oedd "Byddwn fyw i ein gwlad." Beth pe byddai i'r eisteddfod fawreddig nesaf, os bydd un mwy, gynnyg gwobr hardd am y gân genedl neu wladgarol oreu yn Gymraeg.

Hyfryd a fyddai genyf weled y teimlad gwladgarol a thynerwch a serchogrwydd cartrefol yn cael eu gwau yn helaethach yn llëenyddiaeth rhyddieithol "gwlad fy ngenedigaeth." Peidied gwyr doethion Cymru a bod yn rhy "ddeallawl," i fod yn ddynion teimladol. Anturied y cewri hunan-ymddibynol o ran synwyr fod yn wŷr ac yn frodyr ac yn dadau ac yn blant o ran teimlad a thynerwch a serch. Ymdrechent i ddangos ac i faethu y fath deimladau, yn gystal ag i ddangos ac i faethu synwyr a deall. Na fydded gywilydd ganddynt arddel eu *holl* natur—a'r cyfan yn gysylltiedig â "gwlad ein genedigaeth." Nid wyf fi ddim yn llwyr garu yr enwad yna ychwaith. Mae tlodi ein ieithyddiaeth o ran gwladgarwch yn ymddangos i mi yn yr enw oeraidd "gwlad fy ngenedigaeth." Mor ëang, mewn cymhariaeth yw yr enw cyfandirol "*Fatherland!*" "Gwlad fy nhadau!" Y mae cyflawnder syniad hoffus cartref a'i holl berthynasau

anwylaidd yn ymdyru i'r cof yn hwn yna. Rhyw deitl hunanol yw "Gwlad fy ngenedigaeth." Ond "Gwlad fy nhadau!" y mae yma dynu allan yr holl galon; y mae yma *gydio âg eraill*, gydag amneidio adgofion tyneraf yr oes.

Mi a ysgrifenais yn wibiog a chrwydredig, tybygaf; ond y mae fy "nyben yn gywir," chwedl y bobl, sef cadw i fynu gymeriad cenedlaethol llëenyddiaeth fy anwyl wlad, a cheisio cyffroi mwy o deimlad unol—serchiadol—cymdeithasol—a gwladgarol ynddi. Aed rhywun arall galluocach ymlaen.

---

# NODIADAU AR LYFRAU.

*Remarks upon the Report of the Commissioners on the State of Education in North Wales.* Bangor.

Deallwn mai awdur y llyfr hwn yw yr offeiriad mwyaf urddasol yn esgobaeth Bangor. Profir yma yn ddiwrthddadl fod y werin Seisnigaidd yn fwy anwybodus na'r Cymry, a'u bod ymhellach ar ol hyd yn nod yn eu dull o swnio eu iaith eu hunain. Y mae yn amlwg oddiwrth brofion tufewnol mai o'r un ysgrifell gampus y daeth yr adolygiad ar Adroddiadau y Dirprwywyr a ymddangosodd yn ddiweddar yn "*Blackwood's Magazine.*" Yr ydym yn wirioneddol ddiolchgar am y ddau amddiffyniad. Pe buasent wedi dyfod i'n llaw cyn i'n rhifyn diweddaf ddyfod o'r wasg, buasem yn gwneyd eithriadau mwy penodol wrth lefaru am yr Eglwyswyr. Nid rhaid i offeiriaid o'r fath hyn byth ofni un gair angharedig oddiwrth y "Traethodydd." Yr unig rai y cwynwn o'u herwydd yw y rhai hyny sydd yn taenu cabl-draethau ar bersonau; ac ni ddymunem weled dim yn cael ei ysgrifenu yn erbyn y rhai hyny ychwaith oddieithr mewn hunan-amddifyniad. Os nad oes *neb* yn euog o'r bai, yna o'n rhan ni nid rhaid i *neb* ofni.

Ond y mae genym un gair eto i'w ofyn i'n cyfeillion offeiriadol. A ydynt hwy eu hunain byth yn darllen y llyfrau a daenir ganddynt ymhlith eu plwyfolion? Oni wyddant fod pob rhifyn o'r "Haul" yn cynnwys difriaeth ar ryw weinidogion ymneillduol? Ac nid hyny yn unig, ond gwelsom ynddo yr ymosodiadau mwyaf anfoesgar ar aelodau anghyhoedd, ac hyd yn nod ar rai o'r *gwragedd* mwyaf duwiol yn Nghymru. Os ydynt hwy yn cymeradwyo yr "Haul," yn ysgrifenu ynddo, ac yn ei daenu, nis gallant feio ar yr Ymneillduwyr am godi cyhoeddiad cyffelyb, ond llai budr a mwy doniol, mewn hunan-amddiffyniad. Yr ydym yn berffaith foddlawn iddynt ddwyn ymlaen y rhesymau cryfaf a fedrant gael yn erbyn Ymneillduaeth; ond os na fedrant adael heibio ymosodiadau personol, dylent gofio mai "â pha fesur y mesuront yr adfesurir iddynt hwythau." Cânt eu dewis, a chânt hefyd ddigon o amser i benderfynu.

Y mae yn ymddangos fod crybwylliad am y cyhoeddiad newydd hwn wedi dychrynu cymaint ar ryw bapyryn egwan a gyhoeddir yn Bangor, fel y collodd hyny o synwyr oedd ganddo; ac nid yw mwy yn alluog i wneyd dim ond gwaeddi fel dyn o'i gof, "Melldigedig—melldigedig!" nes y mae bron syrthio yn farw mewn cynddeiriogrwydd. Digrif dros ben yw clywed y peth distadl hwn, y gwaelaf o'r holl gyhoeddiadau Cymreig, yn bwgwth y daw *ef* allan i amddiffyn yr Eglwys Sefydledig. Y mae yn peri i ni gofio hen ddiareb a arferir gan y Persiaid, "Pan aethant i bedoli y march, y gwybedyn a gododd i fynu ei droed."

---

DINBYCH, ARGRAFFWYD GAN THOMAS GEE.

# Y TRAETHODYDD.

## GWLADWRIAETH ISRAEL.

YR oedd yn perthyn i wladwriaeth Israel elfenau na pherthynai i un wladwriaeth arall, mewn un oes na gwlad. Y mae ei hynodrwydd gan hyny yn deilwng o sylw, pe na b'ai arni un enwogrwydd arall. Ond i chwiliwr yr ysgrythyrau, y mae yn fwy dyddorawl fyth, oblegid fod cyfeiriad gwastadol ynddynt at ei deddfau a'i dyben, nodweddiad ei deiliaid, a hanesiaeth ei hamgylchiadau. Nid oes modd dëall yr Hen Destament yn gywir heb ddirnadaeth deg am ffurf y llywodraeth yr oedd Israel yn ddeiliaid iddi; a llawer cyfundraeth anghywir a seiliwyd ar gamsyniad am ei natur a'i dyben. Yn gyffredinol nid yw darllenydd yr Hen Destament yn meddu ond gwybodaeth tra arwynebol am yr hanesiaeth sydd ynddo, tra y byddo yn anghydnabyddus â'r egwyddorion y sylfaenid y gyfundrefn hon arnynt, ac â'r dybenion ag oedd i'w hateb trwyddi. Mae rhai ysgrifenwyr Cristionogol wedi methu trwy olygu y cyfansoddiad yr oedd Israel dano, yn ormodol, fel sefydliad crefyddol yn unig; a chan eraill edrychir arno fel un gwladol yn unig; a chan rai eraill cymerir ef yn ffurf wrth ba un y dylid uno y wlad a'r eglwys wrth eu gilydd. Nid rhyfedd ynte, lle mae cymaint o wahaniaeth barn, na fydd llawer o gamsyniadau.

Yn yr amser y sefydlodd yr Arglwydd y *Theocracy*[1] Iuddewig yr oedd yr holl fyd ymron wedi "ymroi i eilunod." Yr oedd tua dwy fil a hanner o oes y byd wedi myned heibio. Yn ystod yr amser maith hwn, rhoddasid prawf o effeithiolrwydd y ffurf Batriarchaidd i gadw gwybodaeth o Dduw yn y byd. Clymwyd crefydd yn yr yspaid hyny wrth berthynas ac awdurdod natur. Gwasgwyd hi ar y teulu gan awdurdod y pen, ac ar y plant gan dynerwch y tad, ac ar yr ieuanc gan brofiad yr hen. Gallesid meddwl fod yma awyr iach iddi, a thir cynnyrchiol; eto gwywo a wnaeth, nes ei bod ymron diflanu. Yn yr adeg hon, parotôdd yr Arglwydd tuag at ffurf newydd trwy neillduad y patriarchiaid, Abraham, Isaac, a Jacob, iddo ei hun. Rhoes amlygiadau neillduol iddynt o hono ei hunan, addawodd fod iddynt yn Dduw, a galwai arnynt hwythau i'w addoli ef fel Duw, ac *ef yn unig*. Dyma wreiddyn y genedl y gwelodd Duw yn dda fod ei hun yn frenin gwladol arni, ac i osod i fynu ei enw a'i addoliad o'i mewn. Fe wawriodd yr amser bellach ag y mynai yr Arglwydd roddi amlygiadau helaethach a mwy mawreddig o hono ei hun, fel moddion anghenrheidiol i wrthweithio dirywiad anfad a chyffredinol dynolryw. Gwnaethai hyny mewn gradd eisoes mewn *teuluoedd*, ond nid oedd hyny yn ddigon cyhoeddus i ateb y dyben ag oedd bellach i gael ei ateb. Pa argraffiadau bynag a wneid ar

[1] Fe gyfansoddir y gair hwn o'r geiriau Groeg, *Theos*, Duw, a *cratos*, llywodraeth, ac a arwydda Duw-lywiaeth.

feddyliau y patriarchiaid eu hunain, trwy yr ymweliadau personol y cynnysgaethid hwy â hwynt, nid oeddynt yn ddigonol, tybygid, i wneuthur nemawr argraff ar neb arall; ond weithian fe ddaeth yr amser i roddi amlygiadau eglurach a llawer mwy cyhoeddus. Defnyddid cenedl bellach, ac nid personau neillduol yn unig; cenedl hefyd, ac nid teuluoedd. Rhoddai hyn fwy o amlygrwydd a chadernid i'r oruchwyliaeth. Yr oedd yr amlygiadau eu hunain hefyd, gan y rhoddid hwy o blaid cenedl gyfan, yn rhwym o fod y fath na allent lai na bod yn adnabyddus hyd ymhell, a bod mewn cof dros amser maith. Tynai yr oruchwyliaeth sylw y byd. Ni wyddai y byd mewn cymhariaeth ddim am ymweliadau angelion Duw âg Abraham, Isaac, a Jacob. Yr oedd y gweledigaethau a gawsent, a'r amlygiadau a wneid iddynt o feddwl a chynghor y Jehofa, yn amgylchiadau hynod iddynt hwy, ac i'w cofio yn hir ganddynt, ac i'w traddodi ganddynt i'w teuluoedd; eto pethau *teuluaidd* oeddynt, er eu bod yn hynod. Ond pan y neillduodd yr Arglwydd genedl i amlygu ei hun drwyddi a thuag ati, yr oedd yn gosod amlygrwydd ar ei oruchwyliaeth na wnaethai erioed o'r blaen. Gallai teulu wneuthur argraff ar wlad, ond fe wnai cenedl argraff ar y byd. A thrwy genedl Israel, fe *wnaed* argraff ar y byd. Y mae yn deilwng o sylw hefyd mai ar *un* genedl y gosododd yr Arglwydd y rhagoriaeth hwn. Fel y defnyddiai yr Arglwydd y penteulu o'r blaen i roddi addysg i'r holl aelodau ynddo, felly y defnyddiai yn awr un genedl i hysbysu ei hun trwyddi i genedloedd eraill. Rhoddid trwy hyn y fraint i'r naill ran o ddynoliaeth i wasanaethu i les rhan arall, yn hytrach na rhoddi amlygiad uniongyrchol i bob cenedl wrthi ei hunan. Canfyddir yr un egwyddor yn dynodi ffyrdd y Crëawdwr mewn pethau eraill. A thrachefn, gan y byddai gwyrthiau a rhyfeddodau mawrion yn anghenrheidiol yn yr oruchwyliaeth, fe fuasai eu lliosogiad yn mysg llawer neu bob cenedl, yn eu dirymu; ac edrychasid arnynt nid amgen na deddfau gosodedig y grëadigaeth. Nid yw gwyrth barhaus ddim yn ateb dyben gwyrth. Rhaid oedd i'r gwyrthiau a gyflawnid gan hyny fod mor anaml ag a barai iddynt ateb dyben gwyrth, a chael eu hystyried yn fylchiad ar ddeddfau anian; a rhaid oedd hefyd iddynt fod o natur ddigon cyhoeddus ac amlwg, i roddi cadarnhad diammheuol o'u hanfodiad, a grym helaeth i'w heffeithioldeb. Yr ydym yn golygu y gwelir fod hyn yn cael ei ateb yn ngwaith Duw yn amlygu ei hun mewn modd rhyfeddol i *genedl;* ac eto nid i lawer cenedl, ond i *un*. Wele yma amlygrwydd a neillduolrwydd: wele yma sicrwydd ac effeithioldeb.

Ymadawiad dyn â Duw oedd ffynnonell ei ddrygioni a'i druenusrwydd. Dwyn dyn, gan hyny, yn ol at Dduw ydyw ei adferiad. Ymadawodd dynion mor llwyr oddiwrth Dduw, nes colli pob adnabyddiaeth gywir o hono. Rhoddasant lawn rwysg i'w dychymygion, a gwnaethant iddynt dduwiau o'r fath a ddymunent. Po hynaf yr oedd y byd yn myned, a pho amlaf ei drigolion, mwyaf oll oedd eu dirywiad; ac mewn eilun-addoliaeth y cafodd llygredigaeth dynion agorfa i ymarllwys. I'r canolbwynt hwn yr ymgrynhöai. Yn nghelloedd y castell hwn y llechai pob sarff wenwynig, ac y trigai pob bwystfil rheibus. Cai holl ddrwg anwydau y natur, a holl chwantau afrëolaidd y cnawd, loches dan gysgod eilun-addoliaeth. Yr oedd yma ddrygioni y natur ddynol mewn ffurf gorfforedig. Yr oedd gwrtaith yn cael ei roddi i'r blysiau, a rhwysg diderfyn i'r dychymyg, yn y temlau a'r delwau, y gwychder a'r gŵyliau, a berthynai i'r gyfundrefn anfad hon.

Yr oedd pob nwyd a feddai ein natur, pob chwant a phob blys, wedi eu gogwyddo ati, ac ynddi y dysgwylid llawn foddhâd iddynt oll. Cafodd ei noddi gan y cenedloedd cryfaf, cyfoethocaf, a dysgedicaf. Yr oedd y Canaaneaid rhyfelgar, y Phenicaid anturiaethus, yr Aiphtiaid dysgedig, a'r Groegiaid glewion, wedi cwbl ymroi i eilunod. Yr oedd yr ynfydrwydd hwn wedi ymblethu ac ymgordeddu â holl arferion y gwledydd, eu masnach a'u dysg; cyfreithiau y wlad, a rhëolau y teulu. Yr oedd ei sawyr yn drwm ar athroniaeth y dysgedig, ac ar holl syniadau y werin. Yr oedd y beirdd wedi anrhydeddu y gyfundrefn yn eu caniadau, a'r gwŷr mawr wedi ei gwychu â'u haur. Yr oedd wedi ymdaenu dros bob gwlad, ac wedi ymgadarnhau dros oesoedd. Duw y byd hwn oedd ei noddwr. Yn y modd yma y telid teyrnged i dywysog y byd hwn, ac yr addefai plant dynion eu ffyddlondeb i brif elyn Duw.

Yn erbyn y drwg hwn yr oedd y Jehofa bellach yn ymosod. Yr oedd yn awr ar fedr honi ei uchafiaeth dwyfol, fel unig wrthddrych addoliad, a gwneuthur bwlch o leiaf yn y gwasanaeth a roddid gan blant dynion i dywysog y tywyllwch. Nid yn erbyn celfyddyd a masnach, dysg na dawn, yr oedd yr ymosodiad i fod; ond yn unig yn erbyn gau-grefydd y byd—yn erbyn pa beth bynag ag oedd yn anfri ar fawredd, daioni, a sancteiddrwydd y gwir Dduw. Nid oedd duwiau y cenedloedd ond eu dychymygion hwy eu hunain wedi eu corffori mewn llun a ffurf. Portrëad oeddynt o ffolineb a drygioni dyn. Mewn Duw, fe ddysgwylir gwrthddrych ddigon galluog i ymddiried ynddo, a digon anrhydeddus i ymhyfrydu ynddo. Ond yn yr eilunod, nid oedd dim i'w gael yn tueddu i ddyrchafu dyn, ond yn hytrach i'w ddarostwng fwyfwy. Twyll a siomedigaeth oeddynt. Ni allent achub;—mewn gair, eilunod meirwon oeddynt, ac nid duwiau. Mae dyn yn ymwybodol o'i anghen am Un Mawr i'w noddi a'i amddiffyn, ac un yn meddu y fath berffeithiau ag i fod yn wrthddrych ei efelychiad, ac yn gartref ei serchiadau—hyny ydyw, i fod iddo yn Dduw. Ond wedi colli adnabyddiaeth o'r unig wir Dduw, ymrwystrai mewn myrdd o ddychymygion, ac ymwylltiai yn ddiorphwys o'r naill wrthddrych i'r llall, "heb obaith ganddo, ac heb Dduw yn y byd." Mewn ffordd o adferu dyn, rhaid oedd iddo gael amlygiad o'r gwir Dduw, ac o'r llwybr i'w fwynhau, yr hyn mewn gwirionedd oedd uchel-amcan y *Theocracy* Iuddewig.

I ateb y dyben hwn yr oedd dau beth yn anghenrheidiol tuag at y genedl hon, sef ei *chysylltu yn gryf wrth ei gilydd, a'i gwahanu yn llwyr oddiwrth bawb arall.* Yn ngoruchwyliaeth y Jehofa tuag at Israel yr oedd cymhwysder neillduol i ateb y dybenion hyn. Hanasent oll o'r un tad, yr hwn a berchid yn fawr ganddynt. Nid oedd pobl gymysg yn eu plith. Llefarent yr un iaith, a choleddent yr un grefydd; ac i gryfhau teimladau y genedl at eu gilydd, yr oeddynt dros amser maith wedi cydddyoddef yr un cystudd. Yr oedd y pethau hyn yn tueddu yn fawr i'w cordeddu yn eu gilydd. Ond yr oedd yn rhaid hefyd eu cadw ar wahan oddiwrth eraill, i fod yn bobl neillduedig i Dduw, "i breswylio eu hunain, ac heb eu cyfrif gyda 'r cenedloedd." Yr oedd neillduad eu tadau, Abraham, Isaac, a Jacob, wedi dechreu yr ysgariaeth; yr oedd rhagfarn cryf yn erbyn eu galwedigaeth fel bugeiliaid defaid yn ngwlad eu hymdaith; a chwanegodd y gorthrwm a dyoddefasant yr ysgariaeth. Rhoes yr Arglwydd hefyd wahaniaeth rhyngddynt a'r Aiphtiaid yn amser y pläau. Cadwodd hwy ddeugain mlynedd yn anialwch Arabia, heb un cyfathrach

rhyngddynt ag un genedl dan y nef, a gosododd hwy yn y diwedd i breswylio gwlad neillduol, dan gyfreithiau a llywyddiad neillduol. Yr oedd yn amcan arbenig yn ngolwg yr Arglwydd gadw Israel ar wahan oddiwrth genedloedd y byd, ac i hyn yr oedd llawer o'r deddfau a osododd efe iddynt yn uniongyrchol yn gwasanaethu, a thrwy hyn y cedwid Israel i beidio a dysgu ffordd y cenedloedd, ac ymlithro i'w harferion ofergoelus, hyd nes deuai yr Hâd. Trwy hyn yr oeddynt yn arddangosiad o eglwys Dduw, yr hon sydd yn cael ei neillduo gan Dduw iddo ei hun; yr hon a orchymynir i ddyfod allan o'u canol hwynt ac ymddidoli, ac i beidio a chydymffurfio â'r byd hwn.

Nid oedd dim yn yr oruchwyliaeth hon yn wrthwyneb i egwyddorion yr un o'i blaen: eithr "o herwydd troseddau y rhoddwyd hi yn ychwaneg."[1] Ychwanegwyd at ddefodau ac amlygiadau yr oruchwyliaeth Batriarchaidd, "hyd oni ddelai 'r Hâd." Gwisgwyd yr addewid mewn *ffurf* newydd, cymhwys i genedl. Amddiffynwyd yr addewid â deddfau ac â defodau; a rhoddwyd gwedd fwy gorfforedig a threfnus ar achos Duw yn y byd. Yr oedd Israel yn cael eu neillduo gan yr Arglwydd "i fod yn drysor priodol iddo ef o flaen yr holl bobloedd."[2] Yr oeddynt i fod yn freniniaeth o offeiriaid, i wrandaw ar ei lais a chadw ei gyfammod.

Yn y cyfansoddiad hynod hwn yr oedd yr Arglwydd yn sefyll tuag at Israel mewn tair perthynas; sef, fel eu Crëawdwr, eu Duw, a'u Brenin: a rhoes iddynt ddeddfau priodol i bob perthynas, y foesol, y seremonïol, a'r farnol. Golygai hwy yn y gyntaf fel ei grëaduriaid, yr un modd a phawb arall; yn yr ail, fel ei bobl neillduedig, neu ei *eglwys;* ac yn y drydedd berthynas, fel ei *ddeiliaid gwladol.* Nid hawdd ydyw gwahaniaethu y deddfau priodol i bob perthynas wrthynt eu hunain, gan y perthynent oll i'r un cyfammod, ac wedi eu corffori oll yn yr un cyfansoddiad. Nid oedd un perygl yma esgeuluso un ddeddf trwy gadw y llall, gan y perthynent oll i'r un gwrthddrych. Nid oedd yma ddau Arglwydd i'w gwasanaethu. Yr oedd yr holl ddeddfau, moesol, defodol, a gwladol, wedi eu cadarnhau gan yr un awdurdod goruchel, ac mewn cydffurfiad â hwy oll yr oedd ufudd-dod Israel yn gynnwysedig. Yn y ddwy berthynas fel Duw ac fel Brenin Israel yr oedd neillduolrwydd y cyfammod hwn yn benaf yn sefyll. Mewn rhyw ystyr y mae y Jehofa yn Dduw ac yn Frenin i bawb, ac fe'i gelwir ef yn "Dduw yr holl ddaear," ac yn "Frenin y cenedloedd," ond yr oedd ef felly i Israel mewn ystyr na pherthynai i'r un genedl arall. Y mae yn teilyngu addoliad oddiwrth bawb, ac mewn gwirionedd nid oes Duw ond Efe: eto ymhlith Israel, ac yn eu plith hwy yn unig, dros lawer oes, yr oedd ei addoliad, pryd yr oedd yr holl fyd wedi myned ar ol "oferedd celwydd," ac yn galw ar dduwiau "na allent achub." Nid oedd Israel yn addef fel cenedl yr un Duw ond y Jehofa. Ni fu ganddynt yr un arall erioed, nac hyd heddyw. Gwir iddynt addoli duwiau cenedloedd eraill lawer gwaith, yn amser dirywiad arnynt; eto ni phriodolwyd iddynt neb yn Dduw ond y Bod Anweledig, ac ni addefwyd yr un arall fel Duw iddynt ganddynt hwy eu hunain. Duw Israel oedd ei enw, a dyma ei goffadwriaeth o genedlaeth i genedlaeth byth.

I'r dyben i gadw ei enw a'i addoliad yn mysg Israel fel cenedl, a thrwyddynt hwy i ddwyn ei amcanion grasol tuag at blant dynion i ben, trwy y

[1] *Galat.* iii. 19. [2] *Exod.* xix. 5, 6.

Messiah addawedig, gwelodd yr Arglwydd yn dda gymeryd Israel dan ei lywyddiad ei hun fel eu Brenin gwladol. Hyn ni wnaeth erioed âg un genedl arall, ac nid oes sail i ddysgwyl y gwna hyny eto. I ddybenion neillduol y gwnaeth efe hyny, a thros amser terfynol. Ni wnaed hyn âg Israel o achos unrhyw ragoriaeth gwreiddiol a berthynai iddynt hwy, ac ni wnaed y neillduad hwn arnynt chwaith er eu mwyn hwy yn unig; ond "am i'r Arglwydd eu dewis," a hyny nid er eu mwyn hwy, ond "er mwyn ei enw ei hun."[1] Rhaid oedd, tybygid, neillduo rhyw genedl; a had Abraham, ei etholedig, a'i gyfaill, a ddewisodd Efe. Gwnaeth ei drigfa gyda hwy; ac yn y babell, ac yn y deml yr oedd arwydd gweledig o'i bresennoldeb. Ei weision ef oedd yr offeiriaid a'r Lefiaid. "Efe oedd eu barnwr, efe oedd eu deddfwr, ac efe oedd eu brenin."[2]

1. *Ganddo ef y cawsant eu cyfreithiau.* Nid oedd gan y genedl ei hunan un llaw yn ffurfiad ei chyfreithiau. Ond cyhoeddwyd hwy gan y Jehofa ei hun, mewn dull mawreddig ac ofnadwy iawn;[3] a chyflwynwyd hwy iddynt trwy law Moses fel cyfryngwr. Gelwid ar yr holl bobl i ymostwng iddynt yn hollol a dibetrus, fel yr unig rëol wrth ba un yr ewyllysiai eu Duw eu llywodraethu. Nid oedd iddynt hwy chwanegu atynt na thynu dim oddiwrthynt. Ac os dygwyddai i amgylchiad neillduol a dyeithr, yr hwn nid oedd eisoes gyfraith iddo, rhaid oedd dwyn yr achos hwnw at yr archoffeiriad, yr hwn oedd brif weinidog Duw, modd yr ymgynghorai yntau âg ef, ac y ceid gwybod ei ewyllys ef. Yn ngwneuthuriad y cyfreithiau, ni alwyd yr henuriaid at eu gilydd i ymgynghori ar gorff o ddeddfau gwladol—yn unig eu derbyn a wnaed oddiwrth eu brenin. Ac nid *dynwared* cyfreithiau rhyw wlad arall a wnaed, ond yr oedd y fath argraff arnynt ag a brofai eu huchel darddiad. Nid oedd gan un wlad eu cyffelyb. Yr oeddynt wedi eu ffurfio yn hytrach mewn gwrthgyferbyniad i syniadau ac arferion yr holl wledydd; ac yr oedd rhai o honynt o'r fath na fuasai neb yn anturio eu gosod ar y bobl ond un ag oedd yn meddu dylanwad ar ddeddfau y grëadigaeth. Pwy arall a anturiasai osod ar ei ddeiliaid i orphwys bob seithfed flwyddyn, heb lafurio y maes, na chymynu y winllan, gan addaw cnwd digonol y chweched flwyddyn am dair blynedd? Nid neb ond yr Hwn ag oedd yn meddu pob awdurdod yn ei law: oblegid daethai twyll ei honiad, a ffolineb ei osodiad, yn ebrwydd a diarbed i'r golwg. Fel Brenin Israel, ymostyngai yr Arglwydd i osod deddfau iddynt ynghylch eu henuriaid a'u hynadon; eu hetifeddiaethau a'u tiroedd; eu masnach a'u marsiandïaeth; ffurf eu tai, ansawdd eu bwyd, a dull eu gwisgoedd. Oddiwrtho ef yr oedd yr holl gyfreithiau yn derbyn eu grym. Nid oedd neb arall yn meddu awdurdod i wneyd rhai newyddion, nac i ddyddymu yr hen.

2. I'r Arglwydd Jehofa, hefyd, y perthynai *barnu rhwng Israel a chenedloedd eraill, mewn ffordd o gyhoeddi rhyfel neu sefydlu heddwch.* Efe a osodai y byddai "rhyfel yn erbyn Amalec o genedlaeth i genedlaeth:"[4] ac a ddywedai wrth Moses, "Dïal feibion Israel ar y Midianiaid."[5] Ar y cyfrif yma y darllenwn am "Lyfr rhyfeloedd yr Arglwydd:"[6] llyfr, tybygid, yn cynnwys hanes y rhyfeloedd hyn. Elai y Jehofa, medd Dr. Jennings, o flaen lluoedd Israel, pan yn myned i ryfel; ac at hyn y cyfeiria

[1] *Ezec.* xxxvi. 22. [2] *Esay* xxxiii. 22. [3] *Deut.* v. 22. [4] *Exod.* xvii. 16. [5] *Num.* xxx. 1, 2. [6] *Num.* xxi. 14.

y geiriau, "Cyfod, Arglwydd, a gwasgarer dy elynion, a ffoed dy gaseion o'th flaen." A phan orphwysai yr arch, dywedid, "Dychwel, Arglwydd, at fyrddiwn miloedd Israel."[1] Yr oedd yn rhyfyg arswydus yn y bobl hyn fyned i ryfel, heb ei orchymyn a'i gyfarwyddyd. A phan y mynent fyned i Ganaan heb orchymyn, ceryddwyd hwy yn llym gan Moses: "Paham yr ydych fel hyn yn troseddu gair yr Arglwydd? canys hyn ni lwydda." "Nac ewch i fynu; canys nid yw yr Arglwydd yn eich plith, rhag eich taro o flaen eich gelynion."[2] Yn hyn y cawn eglurhâd, paham y gorchfygid hwy weithiau, er mai yr Hollalluog oedd eu brenin, a llywydd eu lluoedd.

Yr oedd y *modd* y gorchfygent eu gelynion yn dynodi rhyw hynodrwydd digyffelyb yn eu brwydrau. Canfyddir eu bod yn gorchfygu, nid trwy "lu ac nid trwy nerth;" nid ar amlder eu rhif, nac ar eu medrusrwydd milwraidd, y dibynai y fuddugoliaeth. Safai haul a lleuad ar un achlysur o'r fath yma.[3] Trwy chwythu mewn cyrn hyrddod ac amgylchu y ddinas y syrthiodd caerau Jericho.[4] Nid oedd i Israel un enw oddiwrth oresgyniad y ddinas, am eu glewder a'u medrusrwydd. Nid oedd dim yn y golwg ond gallu eu Duw. Oblegid hyn y darllenwn mor fynych fod yr Arglwydd yn rhoddi y gelyn yn llaw Israel. "Onid aeth yr Arglwydd o'th flaen di?" ebe Debora wrth Barac, wrth ei annog i fyned yn erbyn y Canaanëaid, dan lywyddiad Sisera.[5] Ni chaniatëid i Gedeon, pan yn myned i ryfel yn erbyn y Midianiaid, y rhai, gyda 'r Amaleciaid, a holl feibion y dwyrain, oeddynt yn gorwedd yn y dyffryn fel locustiaid o amldra, ond tri chan' ŵr; "rhag i Israel," meddai Duw, "ymogoneddu i'm herbyn, gan ddywedyd, Fy llaw fy hun a'm gwaredodd."[6] Ni anturiai Jephtha i ryfel yn erbyn meibion Ammon, nes iddo yn gyntaf osod holl eiriau henuriaid Gilëad ger bron yr Arglwydd.[7] Trwy foddion hynod y darostyngai Samson y Philistiaid, ac y tarawai Dafydd y cawr Goliah. Disgynai cenllysg weithiau i ddyfetha y gelynion, megys yn achos y pum brenin;[8]—awel wenwynig o wynt bryd arall a ddygai oruchafiaeth, fel y gwnaed ar Sennacherib a'i lu. Amlygiadau oedd yr amgylchiadau hyn oll i brofi mai eiddo Duw Israel oedd y rhyfel. Nid oes sail i un genedl arall ddysgwyl y cyfryw gyfryngiad o'i phlaid. Yr oedd gwladwriaeth Israel yn gyfundrefn ddigyffelyb; a thrwy foddion gwyrthiol a digyffelyb y llywodraethid hwy.

3. *Yr oedd gosodiad y swyddogion gwladol, drachefn, yn llaw Duw, Brenin Israel.* Efe a alwodd Moses, ac a'i gosododd yn "frenin yn Jesurun,"[9] neu yn fath o brif weinidog ac is-lywydd. Efe hefyd, ar ol marwolaeth Moses, a appwyntiodd Josua yn olynwr i Moses; ïe, yn wir, yn gynnorthwywr iddo yn ei fywyd. Pan awgrymodd Jethro wrth Moses y byddai yn fuddiol, er esmwythâu ei faich, osod cynnorthwywyr o is-swyddogion, addefai, ar yr un pryd, na ellid gwneyd hyn heb ganiatâd Duw: "Os y peth hyn a wnai, *a'i orchymyn i ti gan Dduw*, ti a elli barhau."[10] Efe hefyd, ar ol marwolaeth Josua, a gyfodai y dynion hyny, a elwir y Barnwyr; y rhai a ymddangosent yn awr ac eilwaith hyd Samuel y prophwyd. Nid oedd breninoedd y genedl hon, ychwaith, ddim amgen na dirprwywyr,

[1] *Num.* x. 35, 36. [2] *Num.* xiv. 41, 42. [3] *Jos.* x. [4] *Jos.* vi.
[5] *Barn.* iv. [6] *Barn.* vii. [7] *Barn.* xi. 11. [8] *Jos.* x. 11.
[9] *Deut.* xxxiii. 5. [10] *Exod.* xviii. 23.

neu is-lywyddion, wedi eu gosod ganddo ef, ac yn gyfrifol iddo ef. Ar ei gais ef yr eneiniwyd Saul fab Cis, a thrwy goelbren y daliwyd ef.[1] Duw hefyd a'i gwrthododd ef, ac a orchymynodd eneinio Dafydd, fab Jesse, yn ei le ef. Amlygiad o ewyllys Duw oedd i Solomon gael yr orsedd ar ol ei dad, yn hytrach na'i frawd hynaf. Nid oedd gan freninoedd Israel hawl nac awdurdod i newid dim ar y deddfau a'r barnedigaethau a roddwyd i'r genedl trwy Moses mewn pethau gwladol nac eglwysig; ond fel y caent amlygiad neillduol am y peth oddiwrth yr Arglwydd. Felly y cawn i Dafydd gael ynghylch adeiladu y deml. Y mae yn wir fod cyfryngiad gwyrthiol y Jehofa yn lliniaru, ac yn myned yn llai amlwg yn raddol fel yr oedd yr oruchwyliaeth yn dynesu at ei therfyn. Tebyg fel yr oedd wyneb Moses, yr hwn ar ei ddisgyniad cyntaf o'r mynydd a ddysgleiriai mor danbaid, fel yr oedd yn rhaid iddo osod gorchudd ar ei wyneb; ond yr hwn ogoniant yn raddol a giliai, nes llwyr ddiflanu. Felly yr oruchwyliaeth a osodwyd trwyddo. Llewyrchai hon ar y cyntaf mewn gwyrthiau rhyfeddol; cadarnhëid hi âg amlygiadau hynod o allu a sancteiddrwydd Duw; ond hi a aeth yn hen ac yn oedranus, fel yr oedd yr amser yn nesu iddi roi lle i oruchwyliaeth burach ei hansawdd, a hwy ei pharhâd.

4. *Gan eu Duw hefyd y derbyniai plant Israel eu tir a'u hetifeddiaeth.* Rhoddasid gwlad Canaan trwy lw i Abraham er ys mwy na phedwar can' mlynedd. Yr Arglwydd, perchenog nefoedd a daear, a'i rhoes. Yr oedd y preswylwyr cyntefig wedi ei fforffetio trwy eu heilun-addoliaeth; ac yn awr, wele hiliogaeth Abraham yn cael gorchymyn gan ei Pherchenog i fyned i mewn i'w meddiannu. Trwy ei allu mawr ef y darostyngwyd y Canaanëaid, a thrwy apelio ato ef trwy goelbren y rhanwyd y wlad rhwng llwythau Israel, y rhai a ddalient y rhandir a ddisgynasai i bob un yn ddarostyngedig i'r rheolau a osodasai efe iddynt. Nid oedd yma neb yn dal ei dir y naill radd dan y llall, ond y cwbl yn ei berchenogi oddiar roddiad uniongyrchol o eiddo Arglwydd yr holl ddaear. Cawsai pob un ei *ditl* i'w randir gan Dduw ei hun. Nid oedd y tyddynwr yn gyfrifol i neb am ei ran ond i Dduw; fel ardreth am yr hwn y gofynid degwm o'r ffrwyth at wasanaeth a chynnaliad gweision y Brenin, sef y Lefiaid. Pan ddaeth Israel gyntaf i'r wlad, yr oeddynt dros chwe' chan' mil o wyr rhyfel, heblaw y Lefiaid; ac ebe yr Arglwydd wrth Moses, "I'r rhai hyn y rhenir y tir yn etifeddiaeth yn ol rhifedi yr enwau. I lawer y chwanegi yr etifeddiaeth, ac i ychydig prinha yr etifeddiaeth; rhoddir i bob un ei etifeddiaeth yn ol ei rifedigion. Eto wrth goelbren y rhenir y tir."[2] Yr oedd i bob un o'r gwyr hyn, gan hyny, o un-ar-bymtheg i bump-ar-hugain o erwau o dir; yr hwn ni allai ei werthu yn llwyr; ond er ei werthu am dymmor, a ddychwelai drachefn i'w berchenog gwreiddiol, neu i'w hiliogaeth. "A'r tir ni cheir ei werthu yn llwyr; *canys eiddof fi yw'r tir;* o herwydd dyeithriaid ac alltudion ydych gyda mi."[3] Cydnabyddid mai yr Arglwydd a biodd y tir trwy offrymiad y blaen-ffrwyth iddo; a phan y gwrthryfelai Israel yn erbyn eu Duw, a chilio oddiwrth ei addoliad, amddifadid hwythau o'u hetifeddiaeth. Felly y mae "*gwlad yr Arglwydd,*" a "*thir Immanuel,*" er ys llawer o ddyddiau yn cael ei fathru gan y cenedloedd, hyd nes y cyflawnir amser y cenedloedd, pryd y dychwel meibion Israel i geisio yr

[1] 1 *Sam.* x, 1, 20, 21. [2] *Num.* xxvi. 53, 54. [3] *Lef.* xxv. 23.

Arglwydd eu Duw, a Dafydd eu brenin; pryd hyn drachefn hwy a etifeddant y tir a roddwyd i Abraham trwy lw, ac i'w hâd, yn etifeddiaeth dragywyddol.

Yr oedd deddf yr etifeddiaeth yn Israel yn tueddu yn rymus iawn i goledd amaethyddiaeth, ac i wrthdaraw ysbryd rhyfel, a'r awydd i oresgyn gwledydd eraill. Oblegid yr oedd terfynau penodol wedi eu gosod i'w gwlad, ac nid oedd annogaeth iddynt i ymgyrhaedd am ëangu eu terfynau hwnt i'r rhoddiad gwreiddiol. Gwaharddwyd i'w breninoedd amlhau iddynt feirch. Ac er fod yn y wlad chwe' chan' mil o wyr rhyfel, cymhwys i wynebu maes y gwaed, os byddai raid, eto nid oedd yma ddim annogaeth i neb ymroddi i ryfel fel celfyddyd, nac o ddewisiad. Nid oedd eu rhyfelwyr hwy, fel yr eiddom ni, yn ymddyosg oddiwrth bob celfyddyd arall, ac yn ymroddi dros eu hoes i drin arfau rhyfel—yn ddosbarth o ddynion neillduedig oddiwrth y dinasyddion—dan ddeddfau neillduol a gwahanol i'r bobl oll: ond yn Israel, *etifeddion y tir* oeddynt. Yr oedd clymau cryfion yn eu rhwymo wrth eu treftadaeth. Rhoddasid y rhandir iddynt o law Duw; yr oedd i aros yn eu teulu o genedlaeth i genedlaeth—y llygedyn yr oedd teulu pob un i aros ynddo—y fan y cylchynid ef gan berthynasau a chyfeillion. Nid oedd yma un demtasiwn i ddymuno rhyfel; ond os ymosodid ar y wlad gan estroniaid, yr oedd yma y cymhelliadau cryfaf i amddiffyn y tir gyda'r dewrder a'r penderfyniad eithaf; gan fod holl gysur, llwyddiant, a breintiau yr Hebrëaid, yn gysylltiedig wrth eu tir. Yr oedd ganddynt oll etifeddiaeth, a theulu, ynghyd â breintiau eglwysig, y rhai a beryglid oll ar waith y gelyn yn goresgyn y wlad.

5. Yr oedd gwladwriaeth Israel *dan lywyddiad gwyrthiol a goruwchnaturiol.* Wrth ddarllen llyfrau Moses yn enwedigol, mae dau beth neillduol yn ymgymhell i sylw—*y dystawrwydd sydd ynddynt am fyd tragywyddol, a'r wedd wyrthiol a roddir ar ragluniaeth Duw tuag at Israel.* Mae y ddau hyn yn cydredeg gyda'u gilydd. Tra y mae y dystawrwydd am wae a gwynfyd tragywyddol yn parhau, y mae yr hynodrwydd yn para yn ngweinyddiad rhagluniaeth. Ac fel y mae y byd tragywyddol yn dyfod yn raddol yn fwy amlwg, y mae hynodrwydd rhagluniaeth yn diflanu. Y mae fod y ffaith fel hyn yn rhoi sail i ni gredu fod cysylltiad anghenrheidiol rhyngddynt. Mae llyfrau Moses, a hanesiaeth yr Hen Destament, wedi eu britho âg addewidion, neu fygythion, am lwydd neu aflwydd bydol a thymmorol. Dyma gymhelliadau ufudd-dod. Fe elwir ar Israel i fod yn ufudd i'w brenin, trwy gyhoeddi bendithion, neu ddarogan melldithion perthynol i'r byd hwn; megys, "Os yn fy neddfau y rhodiwch, a'm gorchymynion a gedwch, a'u gwneuthur hwynt, yna mi a roddaf eich gwlaw yn ei amser, a rhydd y ddaear ei chynnyrch, a choed y maes a rydd eu ffrwyth;—yn eich tir y trigwch yn ddiogel. Rhoddaf heddwch yn y tir, a gorweddwch hefyd heb ddychrynydd; a gwnaf i'r bwystfil niweidiol ddarfod o'r tir, ac nid a cleddyf trwy eich tir. A mi a edrychaf am danoch, ac a'ch gwnaf yn ffrwythlawn, ac a'ch amlhaf, ac a gadarnhaf fy nghyfammod â chwi."[1] "Ac fe dderfydd, wedi i'r Arglwydd dy Dduw dy ddwyn di i'r wlad (yr hon y tyngodd efe wrth dy dadau, wrth Abraham, wrth Isaac, ac wrth Jacob, ar ei rhoddi i ti) i ddinasoedd mawrion a theg, y rhai nid adeiledaist, a thai llawnion o bob daioni, y rhai nis

[1] *Lef.* xxvi. 3—13.

llenwaist, a phydewau dwfr y rhai nis cloddiaist, i winllanoedd ac olewyddlanau y rhai nis plenaist, wedi it' fwyta a'th ddigoni; yna cadw arnat rhag anghofio o honot yr Arglwydd."[1] Ofer fyddai i ni liosogi adnodau er mwyn profi y mater hwn, gan fod yr Hen Destament yn llawn o'r cyfryw addewidion i'r Hebrëaid ar dir ufudd-dod. Felly hefyd, ar y llaw arall, bygythir hwy â melldithion cyferbyniol, a pherthynol yn yr un modd i'r fuchedd hon. "Pan genedlych feibion ac ŵyrion, a hir drigo o honoch yn y wlad, ac ymlygru o honoch, a gwneuthur o honoch ddelw gerfiedig, llun dim, a gwneuthur drygioni yn ngolwg yr Arglwydd eich Duw i'w ddigio ef; galw yr ydwyf yn dystion yn eich erbyn chwi heddyw y nefoedd a'r ddaear, gan ddarfod y derfydd am danoch yn fuan oddiar y tir yr ydych yn myned dros yr Iorddonen i'w feddiannu: nid estynwch ddyddiau ynddo, ond gan ddyfetha y'ch dyfethir. A'r Arglwydd a'ch gwasgara chwi ymhlith y bobloedd, a chwi a adewir yn ddynion anaml yn mysg y cenedloedd, y rhai y dwg yr Arglwydd chwi atynt."[2] Yn ol yr adnodau hyn, a lliaws o'u cyffelyb, ni a welwn mai hir drigiant yn y wlad dda, lliosogiad eu rhifedi, tymmorau ffrwythlawn, mwynhad o heddwch a iechyd, cael goruchafiaeth ar eu gelynion, cael eu cadw rhag newyn a haint a bwystfilod gwenwynig, a chael pabell eu Duw yn eu mysg, oedd y bendithion addawedig iddynt, a'r melldithion cyferbyniol oedd yn cael eu bwgwth arnynt am anufudd-dod. Fe ymddengys i bob darllenydd ystyriol o'r Bibl fod yr addewidion a'r bygythion hyn yn golygu pethau tra gwahanol i'r rhai a olygir dan oruchwyliaeth y Testament Newydd yn yr addewidion a'r bygythion; a naturiol ydyw iddo ymchwilio i'r achos o'r gwahaniaeth; ac y mae y cyfryw ymchwiliad yn dra anghenrheidiol a buddiol.

Yr oedd y wedd hon ar addewidion a bygythion goruchwyliaeth Moses yn cyfodi o natur y *Theocracy* neu ffurf llywodraeth Israel. Ac yr oedd y ffurf hon yn un neillduol a digyffelyb, wedi ei gosod ar genedl neillduol, i ddyben neillduol, a thros amser terfynol.

Yn gyntaf, yr oedd y cyfansoddiad Hebrëaidd hwn yn golygu *cenedl gorfforedig* yn benaf; ac i genedl, nid oedd cymhwysder mewn dim ond llwydd neu aflwydd tymmorol a gwladol. Yr oedd yr oruchwyliaeth hon i barhau tra y parhäai y Duw-lywiaeth ar y genedl, ond nid yn hwy; wedi hyny gelwid yn ol yr oruchwyliaeth wyrthiol oddiwrthi, a gosodid y bobl hyn, fel eraill o ddynion y ddaear, dan ddeddfau gosodedig a chyffredinol y Creawdwr. Tuag at Israel yr oedd yr Arglwydd yn gweithredu fel Duw priodol y genedl, ac fel eu Llywydd gwladol; ac yn eu gwedd gorfforedig fel cenedl nid oedd bendithion ysbrydol a thragywyddol ddim yn briodol iddynt. Mae y cyfryw fendithion yn perthyn i bersonau, neu i hanfodiad dyn wrtho ei hunan, pa beth bynag fydd ei sefyllfa, ai mewn gwlad waraidd neu anwaraidd y byddo, ai yn y byd hwn ai yn y byd a ddaw. Nid yw cyfiawnhad, mabwysiad, heddwch cydwybod, gobaith da trwy ras, a bendithion cyffelyb, ddim yn *briodol* i genedl, ond i bersonau. A phan yr addawai yr Arglwydd fod yn Dduw i bersonau, megys i Abraham, Isaac, a Jacob, fe gynnwysid yn yr addewid yr hyn oll a gyfarfyddai â'u hanghen personol; felly hefyd, pan yr addawai fod yn Dduw i Israel, sef i'r genedl gorfforedig, y mae yn rhaid ei fod yn cynnwys, ar yr un egwyddor, yr hyn oll a gyfansoddai lwyddiant cenedl. Am bersonau y

[1] *Deut.* vi. 9—12. [2] *Deut.* iv. 25—27.

dywed yr Arglwydd, "Myfi a fyddaf iddynt hwy yn Dduw—oblegid mi a faddeuaf eu hanwiredd, a'u pechodau ni chofiaf mwyach:"[1] felly hefyd, "rhoddaf hefyd fy Ysbryd o'ch mewn—a mi a fyddaf Dduw i chwi."[2] Arweiniad a nodded personol a olygir pan y dywedir, "Y Duw hwn yw ein Duw ni byth ac yn dragywydd, ac efe a'n tywys hyd angeu."[3] Am bersonau hefyd y dywedir, "Nid cywilydd ganddo ei alw yn Dduw iddynt hwy, oblegid efe a barotodd ddinas iddynt."[4] Bendithion ydynt sydd gymhwys i bersonau, ac nid i neb arall; ond pan y mae addewid i genedl yn cael ei gwneyd, gweddus ydyw fod cyfeiriad at fendithion gwladol ac amserol, megys lliosogiad nifer, cynnyrch lawer, tymmorau ffrwythlawn, ymwared oddiwrth orthrymder, a sefydliadau trefnus o lywodraeth ac addysg. Y cyfryw oedd y bendithion a addawyd i Israel ar eu dyfodiad i Ganaan. "A chwi a wasanaethwch yr Arglwydd eich Duw, ac efe a fendithia dy fara a'th ddwfr, a mi a dynaf ymaith bob clefyd o'th fysg. Ni bydd yn dy dir ddim yn erthylu, na heb hilio: mi a gyflawnaf rifedi dy ddyddiau. Mi a anfonaf fy arswyd o'th flaen, ac a ddyfethaf yr holl bobl y deui atynt, ac a wnaf i'th holl elynion droi eu gwarau atat.[5]

Rhaid craffu hefyd, er mai y genedl yn ei ffurf gorfforedig yn arbenig a olygid yn yr oruchwyliaeth hon, eto, hi a gyrhaeddai bersonau; ac fe dderbyniai pob un ei gyfran yn y llwydd neu yr aflwydd cyffredin, i'r graddau ag y cydsafai hyny âg amgylchiadau y corff oll. Felly y cawn y melldithion a gyhoeddwyd oddiar fynydd Ebal, eu bod yn erbyn pob un a fyddai yn euog o'r troseddau crybwylledig.[6] Mae yr egwyddor hon yn cael ei heglur ddadgan drachefn; "Rhag bod yn eich mysg *wr neu wraig, neu deulu, neu lwyth,* yr hwn y try ei galon heddyw oddiwrth yr Arglwydd ein Duw, i fyned i wasanaethu duwiau y cenedloedd hyn: rhag bod yn eich mysg wreiddyn yn dwyn gwenwyn a wermod; a bod pan glywo efe eiriau y felldith hon, ymfendithio o hono yn ei galon ei hun, gan ddywedyd, Heddwch fydd i mi—yr Arglwydd a'i neilldua ef oddiwrth holl lwythau Israel, i gael drwg, yn ol holl felldithion y cyfammod a ysgrifenwyd yn llyfr y gyfraith hon."[7] Ar y llaw arall yr oedd bendithion yn addawedig i bersonau neillduol; megys i ŵr tirion a hael, "o achos y peth hyn y'th fendithia yr Arglwydd;"[8]—ac i'r gwr cyfiawn.[9] Yr oedd llawer o bersonau ar yr un pryd yn dyoddef yn aflwydd y genedl, neu yn mwynhau ei llwyddiant hi, pryd na fyddai eu hymddygiadau hwy eu hunain yn galw am yr aflwydd ar y naill law, neu y llwydd ar y llaw arall. Rhaid y byddai pechaduriaid, o nodweddiad personol isel, yn mwynhau mesur o lwyddiant a chysur, yn nhymmor llwyddiannus y wlad; a rhaid hefyd y byddai saint Duw yn dyoddef, ar brydiau eraill, yn nhrychineb eu pobl. Eto yr ydym yn cael fod yr Arglwydd, i ryw ddybenion neillduol, yn cadw y cyfiawnion yn nghanol trallod cyffredinol; ac o'r ochr arall y byddai yn dwyn dinystr a barn ar droseddwyr am bechodau personol mewn tymmor o lwyddiant. Goddefid i'r pechadur fwynhau gradd o seibiant er mwyn y genedl, a chaniatëid i'r cyfiawnion ddyoddef yn amser trallod, gan gyferbynu y dyoddefaint â lleshad ysbrydol.

Yn ail, yr oedd amcan neillduol i wrthdaraw eilun-addoliaeth yn ngwaith yr Arglwydd yn cysylltu llwydd neu aflwydd tymmorol wrth eu hymddyg-

[1] *Jer.* xxxi. 33, 34. [2] *Ezec.* xxxvi. 26, 27. [3] *Sal.* lviii. 14.
[4] *Heb.* xi. 16. [5] *Ex.* xxiii. 25—27. [6] *Deut.* xxvii. 14—26.
[7] *Deut.* xxix. 18—21. [8] *Deut.* xv. 10—18. [9] *Deut.* xv. 20.

iadau. Eilun-addoliaeth, fel y sylwyd, oedd pechod mawr y byd; a'i wrthweithio, gan hyny, oedd un o brif ddybenion cyfammod Sinai. Oblegid troseddau y byd eilun-addolgar y rhoddwyd cyfraith Moses. Cymhwysid y gyfundrefn hon, gan hyny, i ateb y dyben hwn—i gadw Israel ar wahan, er mwyn cadw addoliad y gwir Dduw i fynu yn nghanol byd enciliedig, hyd nes y deuai y Messiah, yr hwn oedd i osod goruchwyliaeth arall i fynu, mwy ëang ei therfynau, a mwy ysbrydol ei natur.

Trwy hòni fod llwyddiant bydol yn gysylltiedig â gwasanaeth yr eilunod yr oedd y fath afael gan eilun-addoliaeth ar ddynion. Yr oedd grym paganiaeth yn dibynu ar hyn. Rhoddid ar ddeall i'r werin fod llwydd neu aflwydd dyn yn dibynu ar wên neu ŵg y duwiau; a chredid hyn gan y trueiniaid ofergoelus. Priodolid pob llwyddiant gwladol a phersonol, mewn rhyfel neu fasnach, ïe, yn wir, priodolid dylanwad a gwasanaeth yr elfenau, y gwlith a'r gwlaw, sychder a gwres, llawnder a phrinder, iechyd y corff a chynnyrch y ddaear, i awdurdod y duwiau. Gan mai amcan mawr y Duw-lywiaeth Hebrëaidd oedd gwrthdaraw eilun-addoliaeth, a chadw y genedl Iuddewig yn rhydd oddiwrtho, anghenrheidiol oedd dangos mai i Dduw Israel, mewn gwirionedd, y perthynai llywodraethiad y byd; mai Efe oedd gwir awdur gwynfyd ac adfyd; mai oddiwrtho ef yr oedd pob rhoddiad daionus yn dyfod; ac nad oedd honiadau y paganiaid am eu duwiau ond twyllodrus a disail. Trwy oruchwyliaeth ag a weinyddai fendithion tymmorol ar yr ufudd, neu adfyd tymmorol ar yr euog, rhoddid prawf yn y fan o sancteiddrwydd natur y Jehofa, a chyfiawnder ei orsedd; yn gystal ag o'i allu a'i fawredd. Trwy y cyfryw oruchwyliaeth dymmorol a gweledig, hefyd, y rhoddid prawf pa fath ydoedd egwyddorion ei lywodraeth gyffredinol. Trwy roddi esiamplau o farn uniongyrchol ar ddynion, neu ar wlad, y rhoddai y Llywydd mawr fath o wystl amlwg na ddïangai pechaduriaid un wlad nac oes ddim *byth* rhag barn Duw: ïe, er iddynt mewn gwledydd eraill, a than oruchwyliaeth arall, fwy ysbrydol na'r *Theocracy* Iuddewig, ddianc rhag aflwydd lawer yn y byd hwn. Yr oedd y cyfryw weinyddiad gweledig, a'r cyfryw gyfryngiad gwyrthiol o oruchwyliaeth Duw mewn pethau tymmorol yn arwyddion ac yn seliau o berffeithiau ei natur ac o egwyddorion ei lywodraeth. Fel yr oedd gwyrthiau yn anghenrheidiol ar doriad allan rhyw gyfundrefn er profi ei tharddiad dwyfol, ac awdurdodiad diymwad ei chenadon, felly yr oedd goruchwyliaeth o'r fath a sefydlwyd ar Sinai yn anghenrheidiol i sicrhau trwy ymweliadau ebrwydd ac amlwg o ŵg neu wên y Jehofa, mewn pethau tymmorol a gwladol, pa fath un ydyw ef, a pha beth a wna—i ddangos "ei fod ef, a'i fod yn wobrwywr i'r rhai sydd yn ei geisio." Beth pe buasai dynion hyd heddyw heb un prawf gweledig a sicr o ŵg neu wên y Jehofa mewn pethau tymmorol a gwladol trwy holl oesoedd y ddaear? Yn mha le y buasai y *prawf* ei fod yn casâu pechod, ac yn sicr o'i gosbi? Gwir y gallesid dadgan hyn mewn ymadroddion eglur, ac y gallesid profi trwy wyrthiau mai Efe ei hun oedd yn llefaru, eto annhraethol fwy effeithiol ydyw fod esiampl wedi ei roddi o allu Duw i weinyddu cosb neu wobr, yn gystal ag o'i fwriad i wneyd hyny. Yn yr oruchwyliaeth yr ydym yn son am dani, cafwyd profion diymwad, lliosog, a diddadl, pa fath ydyw sancteiddrwydd natur y Duw mawr, pa fath ydyw egwyddorion ei lywodraeth, a pha fath ydyw ei allu a'i gadernid i weinyddu yn effeithiol yr egwyddorion hyny ar ei holl ddeiliaid.

Yr oedd yr oruchwyliaeth Iuddewig, gan hyny, yn gyfaddas i gyfarfod â syniadau y paganiaid am awdurdod eu duwiau, ac yn rhoddi i'r Hebrëaid ddadl gref dros y gwir Dduw. Heb y cyfryw amlygiadau tymmorol a gwladol, y mae yn anhawdd dychymygu pa fodd y gallesid profi uchafiaeth y gwir Dduw ar yr eilunod meirwon. Buasai hòni ei allu a'i fwriad i gyfarfod â dynion trwy wae neu wynfyd anweledig, mewn sefyllfa ddyfodol, yn rhy debyg i fath o esgusawd cyfrwysgall, er mwyn ysgoi grym yr wrthddadl. Rhoddasid mwy o le i ddynion haeru, "Ni wna'r Arglwydd dda, ac ni wna ddrwg; gadawodd yr Arglwydd y ddaear." Gallasai y pagan hèrio gweision y Goruchaf, trwy ddywedyd, "Os ydyw mor gâs ganddo bechod, ac os ydyw yn meddu ar y fath allu i'w gosbi ag y dywedwch chwi ei fod, dangosed hyny yn awr—rhodded brawf i ni mewn pethau ebrwydd ac amlwg, fel y credom ynddo." Trwy yr oruchwyliaeth hynod hon, rhoddwyd amlygrwydd a phrawf mai nid oferedd yw gwasanaethu Duw—fod llesiant o gadw ei orchymynion ef—nad oes un sail i alw y beilchion yn wynfydedig, ac i ddywedyd, Gweithredwyr drygioni a adeiladwyd, a'r rhai a demtiant Dduw a waredwyd.

Buddiol i ni gofio hefyd, nad oedd yn anghenrheidiol i'r fath oruchwyliaeth barhau, mwy nag oedd i wyrthiau barhau. Buasai parhad cyson y gwyrthiau yn lluddias eu hamcan—ni edrychasid arnynt yn wyrthiau; buasai parhad oesol, a thros yr holl wledydd, o oruchwyliaeth o'r *fath* ag ydoedd y *Theocracy* yn gwanhau y dadganiad mai y "byd a ddaw" ydyw sefyllfa briodol gwobr a chosb. Nid oedd gwynfyd a gwae gwladol a thymmorol Israel ond *moddion*, ar y pryd, i'w cadw hwy oddiwrth y byd eilun-addolgar; a *gwystlon* iddynt hwy, ac i ninnau hyd heddyw, ac i bawb hyd ddiwedd y byd, mai "Gwae yr anwir, drwg fydd iddo," ac mai "Da fydd i'r cyfiawn."

Yn drydydd, fe ymddengys mai y cyfryw oruchwyliaeth oedd gymhwysaf i'r genedl Iuddewig yn yr agwedd oedd arni y pryd hyny. Nid oeddynt, tybygid, eto yn meddu y fath syniad a dirnadaeth ag y buasai dim ond pethau agos ac amlwg yn effeithio arnynt. Cyfyngid eu serchiadau ymron yn llwyr at bethau gweledig. Ni fuasai addewid o lwyddiant dyfodol, ac anweledig, o nemawr o bwys yn eu golwg. Pwy a allasai sicrhau iddynt y cawsid ef byth? Yr oedd y cymhelliadau a godai oddi ar yr ystyriaeth am fyd anweledig yn rhy weiniaid, gyda dynion cnawdol, i wrthsefyll hudoliaethau cryfion eilun-addoliaeth. Yr oedd deniadau y nwyfiant cnawdol, a'r difyrwch hoyw, cysylltiedig âg addoliad y duwiau gau, yn drech nag un ymresymiad pwyllog am wrthddrychau na welwyd erioed mo honynt. Mae holl hanes y genedl yn profi mai hwyrfrydig iawn oeddynt i gredu y gallai y Jehofa wneuthur dim yn ychwanegol at yr hyn a wnaeth. Newydd eu gwaredu o'r Aipht, ac wrth y môr, amgylchiadau digonol, tybygasid, i sicrhau iddynt nad oedd dim yn anhawdd i'r Arglwydd, anghredent yn y fan y gallai efe roddi iddynt fwyd yn yr anialwch;[1] ac wedi cael bwyd, anghredent eilwaith y gallai roddi iddynt ddiod.[2] Ac er yr holl amlygiadau a roddasai yr Arglwydd o'i allu a'i ofal am danynt, anghredent drachefn, ar eu dyfodiad at gyrau y wlad dda, y gallai eu Duw eu nerthu i orchfygu y Canaanëaid.[3] Gyda'r fath bobl a hyn, pa ddylanwad a gawsai y sôn am wae neu wynfyd tragywyddol? Ymddang-

[1] *Exod.* xvi. 3. [2] *Exod.* xvii. 3. [3] *Num.* xiv.

osasai iddynt hwy, am ei fod yn anweledig a phell, yn ansicr ac anhygoel. Ymddengys, gan hyny, mai yr unig ffordd i ddadgan yr athrawiaeth am daledigaeth y gwobrwy, oedd y cyfryw gyfundrefn ag a ddefnyddiwyd tuag at yr Iuddewon, o dan y llywyddiad Dwyfol. Gyda'r plentyn, yn yr hwn y mae gweithrediadau synwyr a barn eto yn egwan, a chyffroad teimlad a nwyd yn gryf, nid oes dim yn fwy effeithiol na'r wialen. Ofer fyddai eto gyfarch y farn trwy ymresymiad; ond pan y cynnyddo y plentyn i oedran a synwyr, rhoddir heibio cyfarch ei deimladau corfforol trwy wialen, ond cyferchir ei farn a galluoedd ei feddwl. Mewn agwedd fabanaidd yr oedd yr eglwys Iuddewig y pryd hyny, ac addasid y moddion i'w llywodraethu at yr agwedd oedd arni.[1]

Yn y golygiadau uchod, ni a gawn radd o eglurhad paham y mae can lleied o grybwylliad am wae a gwynfyd tragywyddol yn llyfrau Moses. Nid ydym yn gallu cydweled â'r gwr dysgedig a thanbaid, Esgob Warburton,[2] nad oedd y saint yn oesoedd cyntaf y byd yn gwybod dim am y byd tragywyddol, ond eu bod, am y mater hwn, "yn eistedd yn mro a chysgod angeu;" a chredu yr ydym fod y patriarchiaid, a saint yr Hen Destament wedi eu dysgu, i ryw raddau, am anfarwoldeb yr enaid, ac am sefyllfa ddyfodol; eto er hyn, y mae yn ymddangos, mai nid ar gyfrif ystyriaethau tragywyddol y gelwid ar yr Israeliaid, dan gyfammod Sinai, i ufuddhau i'w Brenin. Nid gwae a gwynfyd y byd a ddaw oedd *sanctions* neu gadarnhad yr oruchwyliaeth hono; ond dibynai yn hytrach am ei hawdurdodiad a'i grym ar weinyddiad gwyrthiol ac anghyffredinol o eiddo rhagluniaeth Duw. Yr oedd y gweinyddiad anghyffredinol hwn yn hynodrwydd a berthynai i'r THEOCRACY yn unig. Mewn dull rhyfeddol a hynod y cafodd Israel eu cyfreithiau, felly hefyd y galwai y Jehofa ei weision, ac y gosodai swyddogion. Yr oedd llawer o'r deddfau yn sylfaenedig ar y dybiaeth fod rhagluniaeth anghyffredinol yn arolygu y genedl. Yr un rhagluniaeth ryfeddol a ddarparasai ddau cymaint o fanna y chweched dydd yn yr anialwch ac a'i cadwai rhag pryfedu, hyd dranoeth, er mwyn galluogi y bobl i gadw y Sabboth, oedd yn eu canlyn i Ganaan, ac yn parhau i'w hamddiffyn, i raddau mwy neu lai, tra y parhaodd y Duw-lywiaeth. Gorchymynid i feibion Israel adael i'r tir orphwys y seithfed flwyddyn. Nid oedd modd ufuddhau i'r gorchymyn hwn ond oddiar ddarbwylliad y bendithid cnwd y chweched flwyddyn i gynnal y trigolion am dair blynedd. Ac felly hefyd y gwneid. Dan yr oruchwyliaeth hon yr oedd yn ddyledswydd ar Israel wneuthur peth a fuasai yn rhyfyg i eraill. Nid oedd iddynt i hau y tir nac i gasglu yr hyn a dyfai o hono ei hun ar y seithfed flwyddyn. Yr un modd gorchymynid i'r holl wrywiaid ymddangos, dair gwaith yn y flwyddyn, ger bron yr Arglwydd yn Jerusalem, gan sicrhau iddynt ar yr un pryd, "Ni chwennych neb dy dir di, pan elych i fynu i ymddangos ger bron yr Arglwydd dy Dduw dair gwaith yn y flwyddyn."[3] Rhagluniaeth anghyffredinol a amddiffynai deuluoedd Israel ar yr amserau hyn. Amgylchynid Canaan, bob ochr ymron, â gelynion ffyrnig a rhyfelgar, y rhai a wyddent yn berffaith amserau gŵyliau y genedl, a pha mor ddiamddiffyn y rhaid fod eu teuluoedd y prydiau hyny; eto gwiriwyd yr addewid tros oesoedd lawer, ïe tros yr holl amser yr oedd yn ddyledswydd arnynt fyned i'r gŵyliau gosodedig. Mynai yr Arglwydd i Israel ddibynu ar

[1] *Gal.* iv. 1—7. [2] "*Divine Legation of Moses.*" [3] *Exod.* xxxiv. 24.

weinyddiad gwyrthiol rhagluniaeth er eu diogelu, pan y gorchymynai iddynt beidio amlhau iddynt feirch na cherbydau, nac ymgynghreirio â neb o'r cenedloedd o'u hamgylch. Tra y parhaent yn ei gyfammod ef, ac y cadwent ei ddeddfau, yr oeddynt yn berffaith ddiogel rhag gelynion oddiallan a rhag aflwydd oddimewn, i'w gwlad. Fe orfyddai i bawb a phob peth o fewn crëadigaeth Duw gydweithio er eu diogelwch a'u llwyddiant.

Dan nawdd y cyfryw ragluniaeth wyrthiol yr aethant i Ganaan, pan y tröwyd yr Iorddonen yn ei hol;—syrthiodd caerau Jericho, nid trwy offer cyffredin y milwyr, ond trwy gyfryngiad gwyrthiol eu Duw; ac felly y darostyngwyd y Canaanëaid danynt. Nid oedd yr Iuddewon wedi arfer a rhyfela o'u mebyd, fel y Canaanëaid; yr oeddynt bellach wedi bod yn preswylio eu hunain yn nghanol anialwch gwag erchyll, am yspaid deugain mlynedd, a dangosasent mai pobl ofnus a llwfr oeddynt; eto yr oeddynt yn anorchfygol tra y mwynhaent ffafr eu Brenin a nawdd ei oruchwyliaeth wyrthiol; ond yn sicr o aflwyddo, ar ei waith ef yn tynu ymaith yr amddiffyniad hwnw. Nid rhif, medrusrwydd, na dewrder; ond bodd eu Duw, a roddai iddynt oruchafiaeth; ac heb hyny nid oedd na rhifedi na glewder o un lleshâd. Mynai yr Arglwydd iddynt hwy ddëall hyn, a mynai hefyd i'r gelynion ganfod hyn, fel y gwybyddai yr holl ddaear nad oedd Duw arall ond efe. Parhaodd yr oruchwyliaeth wyrthiol hon yn eu rhyfeloedd hyd nes oedd y Canaanëaid yn gwbl yn eu meddiant, ac nad oedd raid wrth gyfryngiad anghyffredinol mwy.

Cafodd y rhyfeddodau mawrion hyn effaith dda ar y genedlaeth a ddaethai i Ganaan dan lywyddiaeth Josua, gan y dywedir i "Israel wasanaethu yr Arglwydd holl ddyddiau Josua, a holl ddyddiau yr henuriaid a fu fyw ar ol Josua, ac a wybuasant holl waith yr Arglwydd a wnaethai efe er Israel."[1] Ond fe gasglwyd yr holl oes hono at eu tadau, "a chyfododd oes arall ar eu hol hwynt, y rhai nid adwaenent yr Arglwydd na'i weithredoedd a wnaethai ef er Israel. A meibion Israel a wnaethant ddrygioni yn ngolwg yr Arglwydd ac a wasanaethasant Baalim."[2] Yn ystod y deugain mlynedd a ddilynodd marwolaeth Josua, gwisgodd ymaith yr argraff dymunol a wnaed ar y bobl gan ryfeddodau Duw, a llithiwyd hwy gan wychder a nwyfiant addoliad y gau-dduwiau, a chan degwch merched y cenedloedd, i ymgyfathrach â hwynt mewn priodasau, ac i gydymffurfio â hwy mewn addoliad. Yr Arglwydd yntau "a'u rhoddodd yn llaw eu gelynion;" ymadrodd yn arwyddo fod hyn yn cael ei wneyd mewn modd amlwg a hynod, fel na ellid llai na chanfod llaw Duw yn yr oruchwyliaeth. A phan yn eu cyfyngder y dychwelent eilwaith at yr Arglwydd, a llefain arno, efe a gyfodai iddynt waredwyr, yn yr un dull anghyffredinol a gwyrthiol. Yr oedd gwedd wyrthiol a hynod hefyd ar y dull y gwaredid hwy dan lywyddiad y barnwyr neu y gwaredwyr hyn:—dull ag oedd yn cydweddu â'r arolygiad anghyffredinol yr oeddynt dano. Yn y modd hynod yma eu gwaredwyd hwy gan Ehud a Barac, Gideon a Samson. Dull cyffredin yr Arglwydd o gosbi neu waredu ydyw trwy foddion neu offerynau cyfaddas a chyfartal, ac heb dreisio deddfau gosodedig y grëadigaeth. Nid yw y gosb neu y waredigaeth un mymryn llai dwyfol pan y gweinyddir hi fel hyn, ond y mae yn llai eglur. Nid yw cyfodiad haul bob boreu un mymryn llai dwyfol nag oedd ei attal yn amser Josua; ond y mae yn llai hynod.

[1] *Jos.* xxiv. 31. [2] *Barn.* ii. 10, 11.

Defnyddiodd yr Arglwydd foddion hynod i waredu Israel trwy law y barnwyr, cymaint felly fel na ellid priodoli eu gwaredigaethau, mwy na'u ceryddon, i ddim arall ond llaw Duw.

Ni roddid yr amlygiadau hynod a gwyrthiol hyn yn gyson, a dibaid, ac ar bob achlysur; ond yn awr ac eilwaith, fel y barnai doethineb y Jehofa yn anghenrheidiol i ateb yr amcan neillduol oedd ganddo mewn golwg. Mewn gair, nid oedd ond un o dair goruchwyliaeth i'w defnyddio: naill ai cyfryngu yn ddibaid mewn modd gwyrthiol, gan osod ar y genedl y fath lywyddiad difwlch, llawn o nerthoedd a rhyfeddodau arswydus, ag a'u lluddiasai, megys o orfod, i ddysgu ffordd y cenedloedd;—neu, eu gadael yn hollol i'w tueddiadau eu hunain, i ymsuddo mewn eilun-addoliaeth a drygioni;—neu ynte, cyfryngu yn achlysurol; heb eu ffrwyno yn ddibaid gan oruchwyliaeth wyrthiol, na'u gadael yn hollol amddifaid o honi ychwaith. Ni ddewisasai yr Arglwydd y llwybr cyntaf, tybygid, am ei fod yn anghydweddol â chyfrifoldeb creaduriaid rhesymol; na'r ail, am na fynai wrthod ei bobl, o herwydd ei enw mawr. Dewisodd, gan hyny, ymddangos yn awr ac eilwaith mewn modd hynod; a rhoddid amlygiad, trwy hyny, pa mor rymus ydoedd llygredigaeth dyn, a pha mor rasol ydoedd ffyddlondeb Duw. Atebodd yr oruchwyliaeth y dyben i raddau mawr, oblegid yn yspaid y pedwar cant a hanner o flyneddau, o farwolaeth Josua hyd Saul y brenin, yr ydym yn cael fod tri chant a hanner o honynt dan lywyddiaeth y barnwyr, pryd y cedwid i fynu addoliad rheolaidd y gwir Dduw, ac y mwynhâai y wlad lonyddwch.

Ymddangosai cyfryngiad gwyrthiol rhagluniaeth yn achlysurol ar ol dyddiau y barnwyr. Cymerodd y Jehofa arno ei hun ddewis Saul yn frenin, a'i wrthod ar ol hyny; efe hefyd a ddewisodd Dafydd yn olynwr iddo. Cawn rai esiamplau o'r rhagluniaeth wyrthiol hon ar ol hyn, cyn caethgludiad y genedl i Babilon, megys yn ngwaredigaethau Asa, Jehosaphat, a Hezeciah. Ymddangosodd yr un rhagluniaeth dros y llanciau a Daniel yn Babilon, a thros y genedl Iuddewig trwy gyfrwng Esther a Mordecai.

Mae hyn yn ein harwain at *barhad* llywyddiad neillduol Duw ar Israel. Am hyn y mae gwahaniaeth barn. Myn rhai iddo derfynu pan y gosodwyd brenin ar Israel; eraill a honant iddo barhau hyd y caethiwed; ac eraill, iddo barhau hyd ddyddiau y Messiah. Y syniad olaf hwn, tybygem ni, sydd nesaf i'w le. Yn y lle cyntaf, nid oedd i Israel gael brenin ddim yn anghyson â hanfodiad y Duw-lywiaeth, oblegid fe wnaethid darpariaeth yn y gyfraith gogyfer â'r fath amgylchiad; a rheolau yn ol pa rai yr oedd y brenin i gael ei ddewis, ac wrth ba rai yr oedd y brenin, pan dewisid ef, i ymddwyn. "Pan ddelych i'r tir," ebe Deddfwr Israel, "y mae yr Arglwydd dy Dduw yn ei roddi i ti, a'i feddiannu, a thrigo ynddo, os dywedi, Gosodaf arnaf frenin, megys yr holl genedloedd sydd o'm hamgylch: gan osod, gosod arnat frenin yr hwn a ddewiso yr Arglwydd dy Dduw; o blith dy frodyr y gosodi arnat frenin; ni elli roddi arnat ŵr dyeithr yr hwn nid yw frawd i ti."[1] Yn mhen tua phedwar can' mlynedd ar ol rhoddi y gyfraith hon y dygwyddodd yr amgylchiad y cyfeiriwyd ato, ac Israel a ofynai iddynt frenin. Ymgasglai a deuai holl henuriaid Israel at Samuel i Ramah, gan ddywedyd, "Wele ti a heneiddiaist, a'th feibion ni rodiant

[1] 1 *Deut.* xvii. 24—20.

yn dy ffyrdd di; yn awr, gosod arnom frenin i'n barnu, megys yr holl genedloedd."[1] Nid oedd henaint Samuel, a chamrau gŵyr ei feibion ond esgus, er mai gwir y peth a ddywedent, i'r bobl ofyn brenin iddynt; yr oeddynt wedi gosod eu bryd ar hyn yma eisoes, a defnyddient yr achlysur o henaint Samuel, a chamymddygiad ei feibion, i ddwyn eu bwriad i ben. Y gwir achos oedd yr awydd i "fod fel yr holl genedloedd." Ac nid yn erbyn gosod brenin yn hollol yr oedd yr Arglwydd a Samuel yn achwyn, ond ar eu hegwyddor a'u dyben yn ei geisio. Hyd yma yr oedd rhaglun-iaeth anghyffredinol y Jehofa yn sefyll ar eu ffordd i gydffurfio â'r byd cenedlig; a thybient, fe ddichon, ond newid ffurf eu llywodraeth, y caent helaethach rhyddid. Yr oedd ynddynt ysfa hefyd am gael ffurf mwy rhwysgfawr a gweledig ar eu llywodraeth. Mynent frenin gweledig yn lle un anweledig; "eithr," meddynt, "brenin fydd arnom ni, yr hwn a'n barna ni, ac a â allan o'n blaen ni, ac a ymladd ein rhyfeloedd ni."[2] Yn lle y dull dirodres o'u llywodraethu gan y Jehofa, trwy gyfodi iddynt waredwyr dirŵysg, yn awr ac eilwaith, sychedig oeddynt am orwychder brenin a llŷs gwladol; ac yn lle ymddiried i law nerthol y Duw anweledig i'w hamddiffyn, fel y gwnaethid eisoes, yr oedd eu goglud ar fraich o gnawd, ac ar fedrusrwydd milwraidd blaenor galluog. Fel hyn yr oedd yn eu cais am frenin wrthodiad o Dduw. "Nid ti y maent yn ei wrthod, ond *myfi* a wrthodasant, rhag i mi deyrnasu arnynt,"[3] ebe yr Arglwydd wrth Samuel.

Gwelodd yr Arglwydd yn dda ganiatâu iddynt frenin; ond eto ni chaniatâwyd i Israel ei ddewis. Dewiswyd ef gan Dduw, a thrwy hyny rhoes amnaid mai is-lywydd dano ef a fyddai;—rhaglaw, neu lywydd dirprwyol ydoedd;—un yn gweithredu dros Dduw. Nid oedd ganddo ddim awdurdod i osod cyfreithiau, ond yn unig eu rhoddi mewn gweithrediad. Nid oedd brenin Israel yn osodwr cyfraith, ond yn weinyddwr. Nid oedd y brenin gan hyny yn gwahaniaethu ond ychydig oddiwrth y barnwyr blaenorol, sef yn null eu galwad, a pharhad eu swydd. Gelwid y barnwyr trwy ysgogiad neu gynhyrfiad tufewnol; ond y breninoedd trwy eneiniad a choelbren. Nid oedd y barnwyr ychwaith yn parhau yn eu swydd ond am ryw dymmor neillduol, ac i gyfarfod âg amgylchiadau neillduol, yn enwedig y rhai cyntaf yn rhestr y barnwyr, pryd yr oedd y breninoedd yn swyddogion mwy arosol. Yr oeddynt yr un, pa fodd bynag, o ran y lle a gadwent, a'r awdurdod a feddent. Edrychid ar y brenin fel "eneiniog yr Arglwydd," ac yr oedd yr un gosb am ei felldithio ef ag oedd am gablu Duw; a hyny, tybygid, am ei fod yn eistedd yn lle Duw.[4] Dywedir fod Solomon yn eistedd "ar orseddfa yr Arglwydd yn lle Dafydd ei dad."[5] Cydnabyddid hyn gan Dafydd ei hun: meddai, "sef dy allorau di, O Arglwydd y lluoedd, *fy mrenin* a'm Duw."[6] Yn y modd yma yr oedd brenin Israel mewn lle gwahanol i holl freninoedd y ddaear. Duw sydd, y mae yn wir, yn gosod ac yn symud breninoedd, a gweinidogion Duw ydyw awdurdodau gwladol, pob oes a chenedl, mewn rhyw olygiad; eto mewn golygiad gwahanol iawn i'r hyn a berthynai i farnwyr a breninoedd Israel. Rhyfyg gan hyny fyddai i dywysogion y byd hwn ofyn am yr un ymostyngiad oddiwrth eu deiliaid, oni b'ai eu gosod yn yr un sefyllfa. Pan y rhoddir i wlad gorff o gyfreithiau gwladol ac eglwysig yn uniongyrchol ac anffaeledig, fel y rhoddwyd i Israel, a phan y cyfyd yr

[1] 1 *Sam* viii. 5. [2] 1 *Sam.* viii. 19, 20. [3] 1 *Sam.* viii. 7. [4] 2 *Sam.* xix. 21.
[5] 1 *Cron.* xxix. 23; a ix. 8; a xiii 8; *Neh.* ix. 35. [6] *Sal.* lxxxiv. 3.

Arglwydd swyddwyr fel y barnwyr gynt, neu pan y darpar ef brophwydi dan ddwyfol ysbrydoliaeth i alw breninoedd i gyfrif, pan yn myned ar gyfeiliorn, fel y gwnai efe yn Israel, dyna y pryd y bydd rhwymedigaeth y deiliaid yr un ag yn Israel. Yn y cyfansoddiad Hebrëaidd yr oedd blaenor y bobl ei hun gymaint dan y ddeddf a neb; yr oedd mor gyfrifol i Dduw am weinyddiad y gyfraith ag oedd neb o'r deiliaid am ufudd-dod iddi. Gweinyddu dros Dduw yr oedd y naill, ac ufuddhau i Dduw yr oedd y lleill. Y gwir ydyw, llywyddiaeth arni ei hun oedd y *Theocracy* Iuddewig, y fath na fu, ac ni all fod eto, ei chyffelyb.

Er fod y Duw-lywiaeth wedi cael ei bylchu yn ystod caethiwed y genedl yn Mabilon, eto fe'i hadnewyddwyd ar ei hadferiad. Profir hyn yn eglur yn ngeiriau yr Arglwydd trwy Haggai y prophwyd, pan y calonogai Zorobabel, a Josua, a holl bobl y tir i weithio: "Canys," meddai, "yr ydwyf fi gyda chwi, medd Arglwydd y lluoedd, yn ol y gair a ammodais â chwi pan ddaethoch allan o'r Aipht; felly yr erys fy Ysbryd yn eich mysg; nac ofnwch."[1] Dangosir yma fod y cyfammod a wnaed ar Sinai eto i barhau ar ol dychweliad y bobl o Babilon. Dywedir gan Paul, "Canys wedi newidio yr offeiriadaeth, anghenrhaid yw fod cyfnewid ar y gyfraith hefyd:"[2] cystal a phe dywedasai fod yr holl gyfundrefn Iuddewig i sefyll neu i syrthio gyda'u gilydd. Ac os oedd hyn yn wir am yr offeiriadaeth, rhaid ei fod yn wir am y freniniaeth hefyd. Yr oedd y gyfraith a'r swyddogaeth i barhau yn ogyhyd a'u gilydd. Terfynodd y tair swydd fawr, prophwyd, brenin, ac offeiriad, yn Nghrist Iesu. Efe yw y prophwyd mawr y rhagfynegodd Moses am dano; terfynodd offeiriadaeth Aaron yn yr eiddo ef; a dybenodd breniniaeth y Tad yn llywyddiaeth ysbrydol y Mab, yr hwn yw yr etifedd, ac i'r hwn y rhoddwyd pob awdurdod yn y nefoedd ac ar y ddaear. Nid ymadawodd y deyrnwialen (y *Theocracy*, tybygid) o Judah, na deddfwr oddi rhwng ei draed ef, hyd oni ddaeth y Silo?[3] "Canys yr holl brophwydi a'r gyfraith a brophwydasant hyd Ioan."[4] Nid oes un gair o grybwylliad am ddilëad cyfansoddiad Sinai, hyd nes y byddai y Messiah wedi ymddangos; ac er fod arwyddion adfeiliad ynddo—adfeiliad yn argoeli nad oedd o nifer y "pethau nid ysgydwir," —eto yr oedd i barhau, er pob adfeiliad, hyd nes y cymerid ei le gan ei well.

---

## LLYFR YR YMARFER O DDUWIOLDEB.

Dyma un o'r llyfrau oedd yn fwyaf parchus gan ein hynafiaid yn Nghymru oddeutu dau cant o flyneddau yn ol. Ysgrifenwyd ef yn Saesneg gan Dr. Bayly, dan yr enw, "*The Practice of Piety; directing a Christian how to walk that he may please God.*" Ganwyd Lewis Bayly yn Nghaerfyrddin, a chafodd ei ddysgeidiaeth athrofäol yn Ngholeg Exeter, Rhydychain. Yn 1611, cyfarfyddir â'i enw yn nghofnodiadau Rhydychain, fel gweinidog Evesham yn swydd Gaerwrangon, caplan i'r Tywysog Henry, a gweinidog St. Matthew yn Llundain; ac yn fuan wedi hyn gwnaed ef yn gaplan i'r Brenin Iago I. Ar farwolaeth yr Esgob Rowlands, dyrchafwyd ef i esgobaeth Bangor, a

[1] *Hag.* i. 4, 5. [2] *Heb.* vii. 12. [3] *Gen.* xlix. 10. [4] *Mat.* xi. 13.

chysegrwyd ef i'r swydd hono yn Lambeth yr 8fed o Ragfyr, 1616. Yr oedd ei lyfr mor boblogaidd yn Saesneg, fel yr oedd pedwar-ar-bymtheg-a-deugain o argraffiadau wedi dyfod allan erbyn y flwyddyn 1734: ac y mae lle i gasglu iddo fod yn yr iaith hono yn fendithiol i laweroedd. Yn hanes John Bunyan, a ysgrifenwyd ganddo ef ei hun, dywedir fod hwn yn un o'r llyfrau oedd yn meddiant ei wraig pan briododd, ac a dderbyniasai hi gan ei thad, yr hwn oedd ŵr crefyddol. Darllenwyd ef gan Bunyan; oblegid er ei fod yn blaenori mewn direidi, yr oedd hyd yn nod yr amser hwnw yn rhagori ar liaws o bobl ieuainc Cymru yn y dyddiau hyn mewn awydd ac ymofyniad am wybodaeth. Ac er mai parhau a wnaeth am ryw yspaid yn annychweledig, y mae yn cydnabod fod y darlleniad o hono wedi ei arafu i ryw raddau yn ei yrfa annuwiol, ac wedi ei dueddu i gyrchu yn fwy mynych i swn gweinidogaeth yr efengyl, yr hyn a ddybenodd, ar ol llawer o "wingo yn erbyn y symbylau," mewn gwir dröedigaeth. Hyfryd i'n teimladau ni yw meddwl fod llyfr wedi ei ysgrifenu gan un a anwyd ar làn Towy yn ddolen yn y gadwyn o ail-achosion a fu yn offerynol, dan fendith Duw, i rwymo a gwareiddio y Behemoth hwn, nes y daeth o'r diwedd i fod yn "dywysog y breuddwydwyr," ac yn un o brif arweinwyr y pererinion ar eu taith o ddinas dystryw i'r Gaersalem nefol.

Ni ddygwyddodd i ni weled hysbysiad pa bryd y cyhoeddwyd yr argraffiad cyntaf; ond dilys ydyw iddo ymddangos rywbryd cyn y flwyddyn 1612; oblegid mewn argraffiadau dilynol, ar ol crybwyll fod barn Duw wedi disgyn, yn 1598, ar Teverton yn Devon, "am ffieidd-fudr halogi dydd yr Arglwydd, yr hyn a ddygwyddai yn bendant o achos bod ei marchnad ar y dydd oedd yn canlyn," y mae yr awdur yn ychwanegu, "Ac yr awrhon eilwaith gwedi rhoi y llyfr hwn allan gyntaf, ar y pummed dydd o fis Awst, 1612 (pedair-blynedd-ar-ddeg ar ol y waith gyntaf), yr ennynodd tân yn yr holl dref eilwaith, ac ei difawyd, oddieithr deg-ar-hugain o dai rhai tlodion, yr yscol, a'r elusendai." Bu yr esgob hwn farw, Hydref 23ain, 1631, a chladdwyd ef yn eglwys gadeiriol Bangor. Gadawodd bedwar o feibion, Nicholas, John, Theodore, a Thomas.

Yr argraffiad cyntaf o'r llyfr hwn yn Gymraeg a gyhoeddwyd yn Llundain, yn 1630. Nodir ef yn nghofrestr Moses Williams fel y canlyn, "Yr Ymarfer o Dduwioldeb. Gan Lewis Baily, Esgob Bangor. 8vo Mwythig, a 12mo Llundain, 1630." Y mae yn debygol nad oedd Moses Williams yn bwriadu cysylltu y flwyddyn 1630 ond yn unig â'r argraffiad deuddeg-plyg yn Llundain, ac mai wedi hyny y daeth yr argraffiad wyth-plyg allan yn y Mwythig. Y cyfieithydd oedd Rowland Vychan o Gaergai, gerllaw y Bala. Yn yr argraffiad diweddaf o "Hanes y Ffydd," dan ofal y Dr. P. Williams, rhoddir yr anrhydedd hwn mewn camgymeriad i'r Dr. Davies o Fallwyd. Ar ol son am waith Dr. Davies yn perffeithio Geirlyfr Thomas Williams, dywedir, "Efe a wnaeth Ramadeg Gymraeg hefyd, ac a gyfieithodd lyfrau godidog tuag at adeiladaeth ysbrydol, sef 'Llyfr y Resolution,' a'r 'Ymarfer o Dduwioldeb,' a'r 'Llwybr Hyfforedd i'r Nefoedd.'" Ond nid felly yr ysgrifenodd yr awdur, Charles Edwards. Yn yr argraffiad diweddaf yn unig y gwnaed yr amryfusedd, trwy roddi "ac a gyfieithodd lyfrau," yn lle "a chyfieithwyd llyfrau." Y gwirionedd ydyw, na chyfieithodd Dr. Davies ond un o'r tri, sef "Llyfr y Resolution." Cyfieithydd y "Llwybr Hyfforedd i'r Nefoedd" oedd Robert Llwyd, Ficer y Waen; a chyfieithydd yr "Ymarfer o Dduwioldeb," fel y dywedwyd eisoes, oedd Rowland Vychan.

Gan fod Rowland Vychan o Gaergai mor enwog fel cyfieithydd ag oedd Robert Vychan o Hengwrt yn yr un oes fel hynafieithydd, efallai mai nid annerbyniol fyddai ychydig gofion am dano, wedi eu casglu gan mwyaf o'r "Gwyliedydd," un o'r cyhoeddiadau gwerthfawrocaf a ymddangosodd yn yr iaith Gymraeg. Bu teulu y Vychaniaid yn Nghaergai am rai canrifoedd. Yma yr oedd Gwerfyl Mechain, merch Howel Vychan, yr hon oedd brydyddes enwog, ac a flodeuodd o'r flwyddyn 1460 i'r flwyddyn 1490.[1] Ei brawd, John Vychan, a briododd ferch y Cadpen Madoc; a mab iddynt hwy oedd Robert Vychan, a briododd etifeddes Gwernbrychdwn, yr hon oedd un o Lwydiaid Mythafarn; a merch y rhai hyny a briododd y Milwriad Salsbri, o Rug a Mychymbyd.[2] Yn nghofrestr siryddion Meirionydd yr ydym yn cael fod John Vychan o Gaergai yn sirydd yn y flwyddyn 1615, ac wedi hyny yn 1622. Cawn enw Rowland Vychan, sef y cyfieithydd, yn 1644, John Vychan yn 1668, William Vychan yn 1682, a John Vychan yn 1709. Cyfarfyddir hefyd âg enw yr olaf yn mysg y tanysgrifwyr yn nechreu "Holl Ddyledswydd Dyn," o gyfieithiad Edward Samuel, yn y flwyddyn 1718. Ond i ddychwelyd at yr enwocaf o honynt oll, sef y cyfieithydd, dywedir yn y "Gwyliedydd," llyfr iv. tudal. 247, y gelwid ef y Cadpen Vychan, ac iddo fod yn mrwydr Naseby yn ymladd o blaid y brenin: ac fel prawf, rhoddir y cyfieithiad canlynol o hen hysbysiad; ond ni fynegir pa le y cafodd yr ysgrifenydd afael arno:—"Ymofyner am un S—H—, o L-n-ll-ch-d, yn agos i Fangor; gŵr du, byr, llydan ysgwydd, a chydnerth o wneuthuriad. Bu yn ymladd o dan y Cadpen Rowland Fychan yn ymladdfa Naseby, lle y cymerwyd ef yn garcharor. Anfonwyd ef â phenwaig, neu ysgadan cochion, i un Mr. Wyn, yn agos i Gaerwrangon, yr hwn a fuasai yn ddiweddar yn swydd Gaernarfon yn prynu gwartheg, ac a gyflogasai y dywededig S— H— i'r gorchwyl uchod. Gwelwyd ef ddiweddaf yn dychwelyd tuag adref, y pedwerydd-dydd-ar-bymtheg o Ionawr diweddaf, ar Fwlch Oerddrws, lle y tagodd efe ryw gylchwerthwr (*pedlar*) gan yr hwn yr oedd ceffyl yn llwythog o dobacco, triagl, dwr y bywyd (*brandy*), a lliain, &c. &c. a chymerodd y cwbl ymaith." Buasai yn dda cael rhyw brofion ychwanegol i brofi y prawf hwn: ond gan nad pa un a fu y Cadpen Vychan yn defnyddio ei *gleddyf* yn erbyn y seneddwyr, y mae yn ddigon amlwg nad oedd yn arbed ei *ysgrifell.* Ymddangosodd cerdd awenyddol o'i waith yn y "Blodeugerdd," wedi ei chyfansoddi i ddynoethi yr hyn a ystyriai efe yn rhagrith a gormes *y blaid seneddol.* Ar ol cyfeirio at ddienyddiad Siarls, dan yr esgus o roddi hanes am benaeth yr Iwerddon, yr hwn y torwyd ei ben, dywed ymhellach,

"Ni allaf fynegi yr achos o'i ddôri,
Mwy da i mi dewi yn dawel a sôn;
Ond dyweda'n seliedig, na thôrir pen tebyg,
Yn Lloegr goch oerddig na'r Werddon."

Pe buasai mewn gwirionedd yn "tewi yn dawel a son," tebygol na chawsai ei aflonyddu yn herwydd ei syniadau gwladwriaethol, mwy na'i gydoeswr o'r Hengwrt; ond gan ei fod yn bleidiwr mor wresog a gweithgar i'r brenin, nid rhyfedd iddo ddyoddef oddiwrth y seneddwyr. Dywed rhai[3] iddo

[1] *Owen's "Cambrian Biography."* [2] "Gwyliedydd." Llyfr vi. tudal. 87.
[3] "Gwyliedydd." Llyfr ii. tudal. 218.

gael ei garcharu am dair blynedd yn Nghaer Lleon Gawr. Dywedir hefyd[1] iddynt losgi ei dŷ, a rhoddi ei etifeddiaeth i gâr iddo, ac iddo yntau gyfansoddi yr englyn canlynol ar yr achlysur:

"Caergai, nid difai fu gwaith tân—arnad;
Oernych wyd yrwan,
Caer aethost i'm câr weithian,
Caergai lle bu cywir gân."

Mae yr amser pan ddygwyddodd yr anffawd hwn wedi ei gadw mewn coffadwriaeth yn yr englyn a ganlyn o waith William Phylip o Ardudwy.

"Mil chwe chant gwarant gwiwrai—yn dygwydd,
Pump a deugain difai,
Er dwyn i'r gwyr adwaenai,
Ar gof pan losgwyd Caergai."

Adroddir hefyd[2] i'r ddau fardd gyfarfod yn amser eu henciliad ar un o fynyddoedd sir Feirionydd, pan yr anerchasant eu gilydd fel hyn:—

"Pe cawn i 'r Pen-grynion
Rhwng ceulan ag afon,
Ac yn fy llaw goed-ffon o lin-on ar li';
Mi a gurwn yn gethin
Ynghweryl fy mrenin,
Mi a'u gyrwn yn un byddin i'w boddi."
*R. Vychan.*

"Pe cawn i 'r Pen-gryniaid
Ar ben goriwaered,
Er gwaned a hyned wyf heno,
A phastwn du-ddraenen
'Rwy'n ddeuddeg a thri'gain,
Chwi a'm gwelech yn llawen yn llowio."
*W. Phylip.*

Ar ddychweliad Siarls II. adferwyd yntau i'w etifeddiaeth; ac ail-adeiladodd ei dŷ, gan argraffu y pennill hwn uwch ben y drws:—

"Dod glod i bawb yn ddibrin,
A char dy frawd cyffredin,
Ofna Dduw, can's hyn sydd dda,
Ac anrhydedda 'r brenin."

Adroddir hefyd yr englyn canlynol, yr hwn a gyfansoddodd efe i Gaergai wedi ei hailadeiladu:—

"Llawer caer yn daer i'w dydd—a losgwyd,
Lesgwaith gwyr digrefydd;
Y gaer hon i gywir rhydd,
Caer gain yw Caergai newydd."

Ymddengys fod Rowland Vychan yn feddiannol ar gryn lawer o arabedd, yr hwn a redai allan weithiau mewn pennillion difyfyr. Pan adeiladwyd yr aden newydd o'r tu deheu i eglwys Llanuwchllyn, yn amser Siarls y Cyntaf, canodd y cadpen fel hyn:—

"Tebyg yw 'r adeilad hon
Yn ol yr union gyfraith,
I het newydd am ben hen lanc
A fyddo ar drancedigaeth."

Ond y mae hanes y Cadpen Vychan yn gwirio y ddïareb Gymreig, "Y mae gwehilion i'r gwenith;" oblegid er ei fod yn bleidiwr cadarn i'r "Eglwys a'r Brenin," ac er iddo gyfieithu yr "Ymarfer o Dduwioldeb," a llyfrau da eraill i'r Gymraeg, yr ydym yn cael nad oedd efe ei hun bob

[1] "Gwyliedydd." Llyfr. iii. tudal. 276.
[2] Rhagymadrodd y Parch. Walter Davies i "Waith Huw Morya."

amser yn rhodio mor ddiargyhoedd ag y buasai dymunol. Yn y "Gwyliedydd," llyfr ii., tudal. 218, rhoddir crybwylliad ei fod, ryw dro, gyda Rowland Llwyd, o Riwaedog, yn dychwelyd adref o Rug, plas Syr Owain Salusbury, pan ddygwyddodd iddynt ymrafaelio ar y ffordd, ac ymladd, ac wedi hyny ymadael â'u gilydd mewn digder. Ond cyn ei ddysgyblu yn rhy lymdost am y trosedd hwn, gwrandawer fel y mae yn cyfaddef ei fai yn y pennill a anfonwyd ganddo dranoeth o Gaergai i Riwaedog:—

"Gwin a saig Syr Owain Salusbury
A wnaeth gynhwrf ar Gareini,
Rhwng Rowland Llwyd, pendefig mwynlan,
A'r hen gecryn Rowland Vychan."

Wrth ddarllen yr hanes hwn, dylem hefyd gofio yr oes yn yr hon yr oedd y cyfieithydd o Gaergai yn byw: oblegid nid yw yn annichon fod gradd o wirionedd mewn dywediad a glywsom unwaith gan un o'r diaconiaid mwyaf duwiol yn sir Feirionydd, yr hwn sydd hynod mewn parodrwydd i feddwl y goreu am bawb. Yr oedd yr hen frawd hwn ar y pryd, yn debyg i Syr Isaac Newton a Robert Hall, ac eraill nad oes achos eu henwi yma, yn myfyrio ac yn mygu tybaco ar unwaith. Er mwyn ei dynu allan i siarad, gofynwyd iddo, pa fodd yr oedd cynnifer o ddynion da yn yr hen amser mor dueddol i fyned dros derfynau cymedroldeb yn yr arferiad o ddiodydd meddwol. "Mae yn debyg," meddai yntau, gan ollwng y mwg allan yn droellau godidog o gwmpas ei ben, "mae yn debyg nad oedd meddwi tipyn yn yr oes hono yn ddim mwy o ddrwg nag yw ysmocio yn ein dyddiau ni." Os oedd ein cyfaill hwn yn myned yn rhy bell yn helaethrwydd ei natur dda, gwell yw genym gyfeiliorni yr ochr hono na rhyfygu i farnu yn rhy galed am gyflyrau ein cyd-ddynion.

Am y gweddill o hanes Rowland Vychan, gellir ei gynnwys mewn ychydig eiriau. Cyfieithodd "Law-lyfr o Weddïau" y Dr. Brough, ar gais y Milwriad Gwilym Salesbury. Dywedir hefyd i'r "Ymarfer o Dduwioldeb" gael ei gyfieithu ganddo drwy archiad ei gares, Marged, unig etifeddes Syr John Llwyd, Marchog, a chywely John Llwyd, Ysw., o Riwaedog; ac mai ar draul yr Henuriad Heilyn, o Lundain, yr argraffwyd ef. Cyfieithodd hefyd "Ymddiffyniad rhag pla o Schism," ac amryw lyfrau eraill.

Yr amser y bu farw nid yw hysbys; ond pa bryd bynag y bu, yr ydym yn cyttuno âg un o ohebwyr doniol y "Gwyliedydd," "nad oedd ei farwolaeth yn golled fechan i Gymru."

Mewn perthynas i ansawdd yr "Ymarfer o Dduwioldeb," yr ydym yn ei ystyried yn llyfr da, defnyddiol; ond nid ar un cyfrif yn gydradd âg amryw a ysgrifenwyd yn wreiddiol yn yr iaith Gymraeg, megys "Hanes y Ffydd," gan Charles Edwards, a "Llyfr y Tri Aderyn," gan Morgan Llwyd. Nid oes ynddo ond ychydig neu ddim o'r hyn a elwir *athrylith*. Ofer yw chwilio o'i fewn am un ymadrodd yn taraw y meddwl gyda grym trydanawl, ac yn treiddio drwy bob nwyd a chynneddf, nes gwneyd yr enaid yn danllwyth o deimlad. Ond y mae ei ddiffyg mwyaf eto heb ei enwi. Nid oes ynddo yr un atebiad goleu a boddlonawl i'r gofyniad, "Pa fodd y cyfiawnhëir dyn gyda Duw, neu pa fodd y bydd yr hwn a aned o wraig yn lân?" Nid oes ynddo ddigon o le i waith Mab Duw dros bechaduriaid, na gwaith yr Ysbryd ar bechaduriaid. Yn hyn y mae yn gyffelyb i'r holl lyfrau eraill oedd yn fwyaf eu bri gan y Cymry oddeutu can' mlynedd yn ol; er nad yw mor ddiffygiol a'r rhan fwyaf o honynt, megys "Dilyniad Iesu

Grist," gan Thomas a Kempis, "Holl Ddyledswydd Dyn," a "Rheol Buchedd Sanctaidd," gan Jeremy Taylor. Nid oedd crefydd yn ol eu desgrifiad hwy, fawr amgen na moesoldeb a ffurfioldeb. Gwir eu bod yn ein cynnysgaethu â nifer mawr o weddïau ar wahanol achlysuron; ond pan gollir golwg ar yr anghenrheidrwydd am waith Ysbryd Duw, nid yw gweddi yn ddim amgen na ffurf; oblegid i ba ddyben ac am ba beth y gweddïwn, os bydd gras penarglwyddiaethol wedi ei gau allan o'n cyfundraeth? Pa ryfedd, gan hyny, fod y llyfrau hyn mor aneffeithiol i ddiwygio y wlad? Yr amcan oedd gwneyd y ffrwyth yn dda heb newid anian y pren; a'r canlyniad naturiol oedd fod Cymru, yn ol tystiolaeth Griffith Jones, Llanddowror, yn myned yn fwy digrefydd bob blwyddyn. Nid ydym yn eu beio am draethu cymaint ar grefydd ymarferol. Nid oes modd dyweyd gormod yn erbyn llygredigaethau cyhoeddus yr oes, ac i feithrin buchedd sanctaidd. Ond beio yr ydym ar grefyddwyr yr oes hono am na buasent yn rhoddi rhyw lyfrau eraill yn nwylaw y bobl, yn ychwanegol at y rhai hyn, i ddangos colledigaeth a drygioni dyn o ran ei gyflwr a'i galon; a threfn rasol Duw i'w godi o'i sefyllfa bechadurus a thruenus. Fel cydymaith i esboniad Luther ar y Galatiaid, buasai gwaith Dr. Bayly yn dra buddiol. Er fod seiliau cryfion i gredu nad oedd gwahaniaeth hanfodol rhyngddo ef a Luther yn ei olygiadau ar gyfiawnhad trwy ffydd, ynghyd â'r anghenrheidrwydd am waith yr Ysbryd Glân, y mae wedi ein gadael i gasglu hyny trwy awgrymiadau achlysurol. Yr *ymarfer* o dduwioldeb oedd ei destun ef, ac at hyny y mae wedi ymgadw bron yn hollol, oddieithr yn y pennodau cyntaf, lle y mae yn son am Dduw a'i briodoliaethau, am drueni yr annuwiol, ac am ddedwyddwch y duwiol. Y mae yn dechreu gydag "agweddiad eglur o sylwedd a phriodoliaethau Duw, allan o'r ysgrythyr lân, cyn belled ac y mae yn addas i bob Cristion ei wybod: ac yn anghenrhaid ei gredu i'r neb a fynno fod yn gadwedig." Dan y pen hwn cymerer yr hyn a ganlyn:—

"Personau y Duwdod ydynt naill ai'r *Tad*, neu y rhai ydynt o'r *Tad*. Y Tad yw'r person cyntaf yn y gogoneddus Drindod, heb dderbyn na'i sylwedd na'i ddechreuad gan neb arall, eithr ganddo ei hun, yn cenedlu ei Fab, ac ynghyd gyd a'i Fab, yn anfon ei Yspryd Glân er tragywyddoldeb.

Y Personau y rhai ydynt o'r Tad yw, y rhai o herwydd eu personol hanfod sy ganddynt holl sylwedd y Duwdod er tragywyddoldeb, wedi ei gyfranu iddynt oddiwrth y Tad. A rhai hyny ydynt naill ai oddiwrth y Tad yn unig, megys y Mab: neu oddiwrth y Tad a'r Mab, megys yr Yspryd Glân.

Y Mab yw'r ail Berson o'r *Drindod ogoneddus*. Ac unig genedledig Fab ei *Dad*, nid o ras, ond o naturiaeth; yn cael ei hanfod o'r *Tad* yn unig, a holl hanfod ei Dad trwy genedliad tragywyddol ac anfesuredig, ac ynghyd a'r *Tad* yn anfon yr Yspryd Glân. O herwydd ei sylwedd berffaith-gwbl, o honaw ei hun y mae: eithr o herwydd ei berson, o'i Dad y mae, drwy genedliad tragywyddol. Canys nid yw y sylwedd yn cenedlu sylwedd, eithr person y Tad sydd yn cenedlu person y Mab, ac felly y mae ef yn Dduw o Dduw, yn cael oddiwrth ei Dad ddechreuad ei Berson, a'i Drefn, eithr nid dechreuad ei sylwedd a'i amser.

Yr Yspryd Glân ydyw y trydydd Person o'r Drindod fendigedig, yn deilliaw a chwedi ei anfon yn gystal oddiwrth y Tad a'r Mab, drwy dragywyddol ac anfesurol ysbrydoliaeth. Canys fel y mae 'r Mab yn derbyn holl sylwedd y Duwdod drwy genedliad, felly y mae 'r Yspryd Glân, yn ei dderbyn yn gyfan trwy ysbrydoliaeth.

Y drefn hon rhwng y tri pherson a ymddengys yn hyn: sef fod y Tad, yr hwn sydd yn cenedlu, o flaen y Mab, yr hwn a genedlwyd; a'r Tad a'r Mab o flaen yr Yspryd Glân, yr hwn sydd yn deilliaw oddiwrth y ddau.

Y drefn hon a wasanaetha i ni i osod allan ddau beth: yn gyntaf, y dull pa wedd y mae y Drindod yn gweithio yn eu gweithrediadau oddiallan: megys bod y Tad yn

gweithio o honaw ei hun drwy'r Mab a'r Ysbryd Glân; y Mab oddiwrth y Tad a thrwy yr Ysbryd Glân; yr Ysbryd Glân oddiwrth y Tad a'r Mab. Yn-ail, i neillduo y dechreuad digyfrwng cyntaf, oddiwrth yr hwn y mae y gweithrediadau cyffredin hyny oddiallan yn tarddu. Oddi yma y deilliaw, yn gymaint ag y mae y Tad yn ffynnon a gwreiddyn y Drindod, a dechreuad pob gweithrediad oddiallan: enw Duw *mewn perthynas*, a'r cyfenw crëawdwr yn y Credo, a rhoddir mewn modd hynodol i'r Tad; ein prynedigaeth i'r Mab: a'n sancteiddiad i Berson yr Ysbryd Glân, megys mewn gweithredyddion digyfrwng o'r gorchwyliau hyny. A hyn hefyd yw 'r achos y mae 'r Mab fel y mae yn Gyfryngwr yn rhoi pob peth ar law ei Dad: ac nid ar yr Ysbryd Glân; a bod yr ysgrythyr yn dywedyd can fynyched ein bod ni wedi ein cymmodi â'r Tad.

Oni bae 'r drefn *oruchel* hon, neu 'r *Deuluaeth*, nid oes na chyntaf na diweddaf, nac uwch nac îs ymhlith y tri phersonau, canys o ran *naturiaeth cydhanfod* y maent, o ran *braint* gogyfuwch ydynt, ac o ran amser *go-gyd-tragywyddol*.

Holl sylwedd y Duwdod sydd yn mhob un o'r tri pherson; eithr a gnawdiwyd yn unig yn yr ail Person, sef y *Gair*, ac nid yn mherson y Tad na'r Ysbryd Glân, o herwydd tri rheswm.

1. Fel y gallai Dduw Tad yn hytrach egluro faint yw ei gariad tuag at ddynolryw; yn rhoddi ei uniganedig Fab i gymeryd cnawd arno, ac i ddyoddef marwolaeth er mwyn iachawdwriaeth dyn.

2. Fel y gallai ef, yr hwn yn ei Dduwdod oedd yn Fab i Dduw, fod hefyd yn ei ddyndod yn Fab dyn: rhag i'r enw Mab fyned i arall; yr hwn wrth ei dragywyddol enedigaeth nid ydoedd y Mab.

3. O herwydd mai gweddeiddiaf oedd i'r Person hwnw, yr hwn yw sylwedd a gwir ddelw-lun ei dragywyddol Dad, edfrydu ynom ysbrydol ddelw Dduw, yr hon a gollasem.

Yn y cnawdoliaeth, ni throed mor Duwdod yn ddyndod, na'r dyndod yn dduwdod, eithr y Duwdod mal y mae yn ail Person, neu 'r *Gair*, a gymerodd arno y dyndod, sef cwbl o naturiaeth dyn, corff ac enaid, a'i briodoliaethau naturiol a'i wendid perthynasol, ond *pechod* yn unig.

Yr ail Person ni chymerodd arno Berson dyn, ond naturiaeth dyn. Felly nid oes gan y naturiaeth ddynol mo'r hanfod personol o'r eiddo ei hun (canys felly y byddai dau Berson yn Nghrist) eithr hanfod y mae efe yn y *Gair*, yr ail Person. Canys megys na wna enaid a chorff ond un person dyn, felly Duwdod a dyndod ni wna ond un Person Crist.

Dau naturiaeth y Duwdod a'r dyndod ydynt mor ddiymmod wedi eu cysylltu ynghyd drwy bersonol undeb, mal megys na ellir byth eu gwahanu o'r neilldu, felly ni chymysgir hwynt; eithr parhau y maent byth yn wahanredol wrth eu amryw sylweddol briodoliaethau, y rhai oedd ganddynt cyn eu cyd-gysylltu. Megis wrth ensampl; *Anherfynoldeb y Duwiol anian* ni chyfrenir i'r *dynol anian*, na therfynoldeb y dynol i'r Duwiol.

Etto oherwydd yr undeb personol hwn, y mae y fath gysondeb priodoliaethau yn y ddau naturiaeth, fal y mae yr hyn fydd briodol i'r naill, weithiau hefyd i'w briodoli i'r llall. Megis *pwrcasu o Dduw yr eglwys â'i briod waed; ac y barna efe y byd drwy y Gwr yr hwn a ordeiniodd efe: Act.* xx. 28; ac xvii. 31. O hyn y canlyn, er bod dynolryw Crist yn greuedig, ac am hynny yn derfynol, ac yn gynhwysedig anian, ac na ddichon fod yn bresennol ym mhob man, drwy osodiad gweithredol, neu gynhwysiad cyfleus yn ol ei hanfod naturiol: etto o herwydd bod ganddo wedi ei gyfrannu atto Bersonol hanfod Mab Duw, yr hwn sydd anfeidrol ac anherfynedig; a chwedi ei uno â Duw yn y cyfryw fodd, ac na ellir yn unlle byth ei wahanu oddiwrth Dduw, am hyny y gellir dywedyd am *gorph Crist* ei fod o herwydd ei bersonol hanfod ym mhob lle."

Nid ydym yn tybied fod Dr. Bayly ei hun yn deall y frawddeg olaf yn y dyfyniad uchod, ac am hyny nid awn i'r drafferth o geisio ei hesbonio. Ar ol traethu am y gweithrediadau drwy y rhai y gwahanredir y tri Pherson, y mae yn myned ymlaen i son am briodoliaethau y Duwdod, y rhai a ddosberthir ganddo yn ddau fath, sef galwedigol a hanfodol. Y priodoliaethau galwedigol ydynt o dri math; 1. Y rhai a arwyddocant sylwedd Duw, sef *Jehofah, Eheieh, Jah, Curios* (Arglwydd), *Theos* (Duw). 2. Y rhai a arwyddocant y Personau yn yr hanfod, o ba rai ni roddir ond un

anghraifft, sef *Elohim*. 3. Y rhai a arwyddocant sylweddol weithredoedd Duw, sef *El*, *Shaddai*, *Adonai*, *Helion*, *Abba*. Hyd yma am y priodoliaethau enwol. Y dosbarth nesaf yw y priodoliaethau hanfodol, neu fel y geilw y cyfieithydd hwynt mewn man arall, "y priodoliaethau sylweddol," y rhai ydynt o ddau fath, naill ai anghyffredinol ai ymgyfatebol. "Y priodoliaethau anghyffredinol ydynt gyfryw ac na allant mewn neb rhyw fodd gyttuno (neu weddu) i un math ar greadur, ond i Duw yn unig. Y rhai hyn ydynt ddau, sef digymysgedd, ac annherfynoldeb." Ac o'r ddau hyn y mae tri eraill o briodoliaethau anghyffredin yn tarddu allan; 1. "Ammesuredigaeth, neu boblleaeth, drwy'r hyn y mae ef o annherfynedig amgyrhaedd yn llenwi y nefoedd a'r ddaear, ac yn cynnwys pob lleoedd heb yspaid, lle, neu derfyn yn dichon ei gynnwys ef, ac heb fod yn absennol yn unlle, mae yn bresennol ym mhob lle." Y mae ei bresennoldeb yn gyffredinol, "yn mhob lle yn llanwedigaidd, eithr nid yn unlle yn gynhwysedigaidd;" ond yn enwedigol yn y nefoedd, yn fwy enwedigol yn ei saint, ac yn fwyaf enwedigol yn Nghrist yn gorfforol. 2. Anghyfnewidioldeb, "drwy yr hwn y mae Duw heb gyfnewid oll; yn gystal o herwydd ei sylwedd, a'i ewyllys." 3. Tragywyddoldeb, "drwy yr hwn y mae Duw heb ddechreuad i'w ddyddiau, na diweddiad i'w amser; ac heb derfynau, o ran rhagfynegiad neu ol-ddilyniad." Hyd yn hyn am y priodoliaethau anghyffredin, perthynasol i Dduw yn unig. Bellach am y rhai ymgyfatebol, neu fel y gelwir hwynt mewn lle arall, "y rhai tueddol, neu'r cyfryw ac a edrychant tua'r creaduriaid." Y rhai hyn ydynt bump, sef bywyd, deall, ewyllys, gallu, mawrhydi. Dan y pen o ewyllys Duw y cynnwysir cariad, cyfiawnder, trugaredd, daioni, gwirionedd, amynedd, sancteiddrwydd, a digofaint. Dyma grynodeb o olygiadau yr awdur ar y priodoliaethau, y rhai, er fod ynddynt lawer o gywreinrwydd, ni ddymunem gael ein gosod dan yr anghenrheidrwydd o'u hamddiffyn yn gyflawn fel y maent. Ond yn y lle nesaf, yr ydym yn cael myfyrdodau am drueni dyn heb ei gymmodi â Duw yn Nghrist. Yma eto cawn raniadau, adraniadau, ac is-adraniadau. Ystyrir trueni dyn, 1. Yn ei fywyd; 2. Yn ei farwolaeth; 3. Ar ol ei farwolaeth. Trueni dyn yn ei fywyd a renir drachefn yn ddau fath; 1. Y trueni sydd yn dilyn ei gorff; 2. Y trueni sydd yn gwrthuno ei enaid. Ac eilwaith, desgrifir y trueni sydd yn canlyn y corff yn ol trefn pedair oes dyn; 1. mebyd; 2. ieuenctid; 3. oedran gwr; 4. henaint. Rhoddir darluniad nerthol o drueni y corff a'r enaid wrth farw; ac yn ol marwolaeth, yr hyn yw cyflawnder melldigedigrwydd. Ac yna, heb son am y ffordd i waredu dyn o'i drueni, anrhegir ni â myfyrdodau am gyflwr cristion wedi ei gymmodi â Duw yn Nghrist; ynghyd â'i ddedwyddwch yn ei farwolaeth, yn ol ei farwolaeth, ac yn y nef "gwedi y derbynio efe ei farn o ollyngdod, ger bron brawdle Crist, ar ddydd y farn ddiwaethaf." Ar ol gwasgu yr ystyriaethau hyn yn ddwys at gydwybodau y darllenwyr, eir ymlaen at y rhwystrau sydd yn attal y pechadur oddiwrth ymarfer duwioldeb, y rhai ydynt saith yn arbenig, sef, 1. Camgymeryd yn anwybyddus iawn ddeall rhyw fanau o'r ysgrythyr sanctaidd, a rhyw fanau o brif bynciau crefydd gristionogol; 2. Drwg esiamplau y gwyr mawr; 3. Dianc yn hir heb haeddedigol gosb yn y bywyd hwn; 4. Rhyfygu o drugaredd Duw; 5. Cyfeillach ddrwg, yr hyn yn gyffredin a elwir cymdeithion da; 6. Ofn meddylgar, rhag i ymarfer â duwioldeb wneuthur gwr (yn enwedig gwr ieuanc) i fod yn rhy

brudd ac yn bendrwm; 7. Gobaith o hir einioes. Dan y pen cyntaf cawn y sylwadau canlynol ar y camgymeriadau am rai o brif byncïau crefydd.

"Seiliau crefydd a gamgymmerir ydynt:

1. Oddiwrth athrawiaeth *cyfiawnhad* trwy ffydd yn unig: Cristion cnawdol a gasgl; nad ydyw gweithredoedd da angenrheidiol, y mae yn canmol eraill a wnelo weithredoedd da, eithr y mae ef yn coelio am dano ei hun y bydd efe cadwedig trwy ei ffydd, heb wneuthur dim o'r fath bethau. Ond ef a ddylai wybod, er nad yw gweithredoedd da angenrheidiol i gyfiawnhau dyn; etto y maent yn angenrheidiol i iechydwriaeth: 'Canys *gwaith Duw ydym wedi ein creu yn Nghrist Iesu i weithredoedd da, y rhai a ragddarparodd Duw i ni rodio ynddynt:' Eph.* ii. 10. Pwy bynag gan hyny mewn oedran a synwyr ni wnêl weithredoedd da wedi ei alw, ni eill ef fod yn gadwedig: ac ni ragddarparwyd ef erioed i fywyd tragywyddol. Am hynny y dywed yr ysgrythyr y tâl *Crist i bob dyn yn ol ei weithredoedd: Rhuf.* ii. 6; 2 *Cor.* ix. 6; *Dad.* xxii. 12. Nid yw Crist yn gwneuthur cyfrif o ddim oedd yn yr Angelion o'r saith eglwys, ond o'u gweithredoedd: *Dad.* ii. a'r iii. Ac yn y dydd diwaethaf, ef a rydd yr *etifeddiaeth* nefol yn unig i'r rhai a wnaethant weithredoedd da, yn porthi'r newynog, yn dilladu'r noeth, ac felly: *Math.* xxv. Yn y dydd hwnnw *cyfiawnder* a wisg y goron: 2 *Tim.* iv. 8. Heb *gyfiawnder*, heb *goron*, heb *weithredoedd* da (yn ol ei dalent) heb *wobr* gan Dduw, oddieithr *dial.* Bod yn gyfoethog mewn gweithredoedd da ydyw'r sail gadarnaf o'n sicrwydd ni i dderbyn bywyd tragywyddol: 1 *Tim.* vi. 19. Oblegid gweithredoedd da ydynt wir ffrwythau gwir ffydd, yr hon sydd yn ymaflyd yn Nghrist a'i ufudd-dod i iechydwriaeth. Ac nid oes ffydd arall *yn lleshau yn Nghrist, ond yr hon sydd yn gweithredu trwy gariad: Gal.* iii. 6.

Ac (oddieithr yngweithred cyfiawnhad) y ffydd, yr hon sydd yn unig yn cyfiawnhau, nid yw yn unig un amser, eithr ynghyd â gweithredoedd da: Fel y pren a'i ffrwyth, yr haul a'i lewyrch, y tân a'i wrês, y dwfr a'i wlybaniaeth. A'r ffydd honno, yr hon nid ymgyfiawnha trwy weithredoedd da o flaen dynion, nid yw ond *ffydd farwol:* yr hon ni chyfiawnha fyth enaid dyn o flaen Duw: *Iago* ii. 26. Ond y ffydd sydd yn cyfiawnhau a *bureiddia y galon,* ac a *sancteiddia yr holl ddyn* trwyddo: *Act.* xv. 9; 1 *Thes.* v. 23.

2. Oddiwrth athrawiaeth tragywyddol *rhagddarpariad* Duw a'i ddigyfnewidiol *osodiad,* y mae ef yn casglu: Os rhagddarparwyd ef i fod yn gadwedig, ni eill ef amgen na bo, os i ddamnedigaeth, ni eill moddion wneuthur iddo ddim daioni. Am hynny nid yw holl weithredoedd Duwioldeb ond ofer. Eithr ef a ddylai ddyscu ddarfod i Dduw ragddarparu ar y *moddion,* fel ar y *diwedd.* Yr hwn gan hyny a ragddarparodd Duw i fod yn gadwedig, hynny yw, at y diwedd, a ddarfu iddo ei ragddarparu yn gyntaf i gael ei *alw,* a'i sancteiddio, a'i wneuthur un agwedd â llûn ei Fab, yr hyn yw y moddion, a'r rhai (medd Pedr) *a ddewiswyd i iachydwriaeth,* a ddewiswyd hefyd *i sancteiddiad yr Yspryd:* 1 *Petr* ii. 16; *Rhuf.* viii. 20, 30. Os tydi gan hyny ar dy alwad a'th osodi dy hun at air, ac agwedd Crist dy Arglwydd, ac a ufyddhei i ddaionus gynhyrfiadau yr Yspryd Glân, drwy ymadel â phechod, a byw mewn buchedd dduwiol: yna bydded ddiogel gennit, dy fod yn un o'r rheini, yn ddiammeu a ragddarparwyd i iechydwriaeth tragywyddol. Os amgen, na feia ar ragddarpariad Duw, ond ar dy bechod dy hun, a'th wrthryfelgarwch. Ymchwel di at Dduw, a Duw yn rasusawl a'th dderbyn di, fel y derbynniodd y *Tad y mab afradlon;* ac wrth dy drôad, fe fydd eglur, yn gystal i angelion ac i ddynion, *dy fod di yn perthyn i'w etholedigaeth ef: Luc* xv. 10, 24. Onis gwnei; paham yr achub Duw dydi?

3. Pan glywo y Cristion cnawdol, nad oes gan ddyn rydd-did ewyllys at ddaioni, y mae ef yn gollwng awen ei ffrwyn at ei feddwl llygredig ei hun, fel ped fai heb allu nac ymattal, nac ymgospi; yn ddigwyddedig yn gwneuthur Duw yn awdur o bechod, gan iddo oddef i ddyn redeg i'r angenrhaid yma. Ond efe a ddylai wybod roi o Dduw i *Adda* rydd-did ewyllys, i sefyll yn ei ddiniweidrwydd, os mynai; eithr dyn a gamarferodd ei ewyllys rhydd ac a'i collodd ei hun, ac yntau. Gwedi y cwymp y mae i ddyn yn nghyflwr llygredigaeth ewyllys rhydd at y drwg, ac nid at y da. Oblegid yn yr stât hon (medd yr Apostol) nid ydym ni yn gallael meddylied un meddwl da: 2 *Cor.* iii. 5. Ac nid ydyw Duw rwymedig i roi i ni eilwaith yr hyn a gollasom yn enbydus, heb gymeryd gofal mwyach am ei ynnill drachefn. Ond cyn gynted ag y byddo dyn yn adgenedledig, y mae *gras Duw yn hyfforddi ei ewyllys at ddaioni,* fel y mae efe yn gwneuthur yr holl bethau da a'r a wnelo, ac ewyllys rhydd: Oblegid felly y mae'r Apostol yn dywedyd fod Duw *o'i ewyllys da, yn gweithredu ynom yn gystal yr ewyllys, a'r gwaith: Phil.* ii. 12; 2 *Cor.* vii. 1. Y rhai (fel y mae'r Apostol yn ei ddeongl) 'ydym yn

ein glanhau ein hunain oddiwrth bob halogrwydd cnawd ac yspryd, gan berffeithio ein sancteiddrwydd yn ofn Duw.' Ac yn y cyflwr yma, y mae i bob cristion ewyllys rhydd; ac fel y mae yn cynnyddu mewn gras, felly y mae ei ewyllys yn cynnyddu mewn rhydd-did: Oblegid pan fo 'y Mab yn ein gwneuthur ni yn rhydd, yno yr ydym ni yn rhydd ddiogel:' ac 'lle bo Yspryd yr Arglwydd yno y mae rhydd-did:' *Ioan* viii. 36; 2 *Cor.* iii. 17. Canys y mae'r Yspryd sanctaidd yn *tynnu* eu meddyliau: *Ioan* vi. 44. Nid o'i hanfodd, ond trwy raffau cariad: *Can.* i. 4. Gan lewyrchu eu meddyliau i adnabod y gwirionedd; gan gyfnewidio eu calonau i garu y gwirionedd adnabyddus; gan nerthu pob un o honynt (yn ol y gras a dderbyniodd) i wneuthur y daioni, yr hyn y mae yn ei garu. Eithr nid wyt ti yn arferu mo rydd-did dy feddwl, cyn belled ac y rhoes Duw ef yn rhydd: O herwydd yr ydwyd ti yn fynych yn ewyllysgar (yn erbyn cyfraith Dduw, i beryglu dy enaid dy hun) yn gwneuthur peth, yr hyn ped fai cyfraith y Brenin dan boen marwolaeth, neu golli dy dda, yn ei wahardd, neu yn ei wrthwynebu, nis gwneit. Na wna gan hynny moth ddiffyg *ewyllys rhydd i ddaioni*, i fod yn gymmaint achos o'th waith yn pechu, ac yw eisiau calon gariadus i wasanaethu dy Dad nefol.

4. Pan glywo y dyn cnawdol, na ddichon neb (er pan gwympodd Adda) gyflawni cyfraith Dduw, a chadw ei holl orchymynion: Y mae ef yn hyfedr i bechu yn rhyfygus fel rhai eraill: ac yn ei foddloni ei hun ac ychydig feddyliau da: ac onid yw ef yn gwbl gynddrwg a'r gwaethaf, y mae ef yn gweled ei fod ei hun yn gystal adgenedledig ac yw'r gorau. Ac y mae ef yn cyfrif pob ewyllysgar naghau o wneuthur daioni, neu o wrthwynebu'r drwg, yn amhosiblrwydd y gyfraith. Eithr ef a ddylai ddysgu, er (yn ol y cwymp) na allodd neb ond Crist, (yr hwn oedd yn Dduw ac yn ddyn) gyflawni yr holl gyfraith yn berffaith: etto y mae pob gwir gristion, cyn gynted ag ei bo yn adgenedledig, yn dechrau cadw holl orchmynnion Duw mewn gwirionedd, er nas geill mewn perffeithrwydd cyflawn. Ac felly (gyda Dafydd) maent hwy yn gosod eu calonau i gyflawni 'gorchmynnion Duw bob amser hyd y diwedd:' *Psal.* cxix. 112. Ac yno y mae Yspryd y grâs (yr hwn yn ol yr addewid a dywelldir allan yn amlach o dan yr Efengyl) yn eu diddanu hwynt, ac yn eu cynnorthwyo yn eu hamcanion i wneuthur yr hyn a orchmynno ef iddynt ei wneuthur: *Joel* ii. 28, 29. Ac wrth wneuthur hynny, y mae Duw yn derbyn eu hewyllys da a'u dyfalwch, yn lle cyflawniad y gyfraith, gan osod haeddedigaethau Crist (yr hwn a gyflawnodd y gyfraith trosom ni) i atteb dros ba beth bynnac a fo ddiffygiol yn ein ufydd-dod ni. Ac o herwydd hyn, y mae St. Ioan yn dywedyd, 'nad yw gorchmynnion Duw yn drymmion:' 1 *Ioan* iii. 5.

Ac y mae St. Paul yn dywedyd, 'Yr wyf yn gallu pob peth trwy Grist yr hwn sydd yn fy nerthu i:' *Phil.* iv. 15. Ac yr ydis yn dywedyd am Zachari ac Elizabeth, iddynt hwy rodio yn ngorchmynnion yr Arglwydd yn ddiargyhoedd:' *Luc* i. 6. Ac o'r achos yma y mae Crist yn erchi i'w ddisgyblion gymmeryd gofal am *gadw ei orchmynnion:* megis y dystiolaeth gywiraf o'n *cariad* tuag atto: *Ioan* xv. 10. Cymmaint gan hynny y mae dyn yn caru Crist, ag y mae ef yn gwneuthur cydwybod o rodio yn ei orchmynnion ef; a pha fwyaf a fo ein cariad ni tuag at Grist, lleiaf a fydd ein poen ni yn cadw ei gyfraith.

Melldith yr gyfraith, yr hwn (dan y Testament hên) oedd mor ddychrynadwy, dan y newydd trwy farwolaeth Crist a ddiddymwyd i'r adgenedig. Y toster oedd yn ei gwneuthur yn amhossibl i'n naturiaeth ni o'r blaen, sydd yr awrhon gwedi ei dymmeru gan yr Yspryd i'r newydd-enedig, fel y mae hi yn ymddangos yn hawdd, ac yn esmwyth. Yr oedd yr Apostolion yn dirio ar yr Iuddewon, a'r cenedloedd digrêd, nad oedd bossibl cadw 'r gyfraith drwy nerth naturiaeth lygredig. Ond pan fyddent hwy yn dyscu Cristionogion credadwy, y maent hwy yn gofyn ufydd-dod i'r gyfraith (yr hon yw rheol cyfiawnder) sef gwir ufydd-dod, mewn gair a gweithred: marwhau eu haelodau: croeshoelio y cnawd, ei wynniau a'i drachwantau: adgyfodiad i newydd-deb buchedd, rhodio yn yr Yspryd, gorchfygu y byd trwy ffydd: *Rhuf.* xv. 18; *Col.* iii. 5; *Gal.* v. 24; *Rhuf.* vi. 4. 5; ac 8. 11; 1 *Ioan* v. 4. Fel na allo neb ddywedyd gid â Christ, 'pwy o honoch am hargyhoeddai o bechod? fe ddichon pob Cristion adgenedledig ddywedyd am dano ei hun, pwy o honoch am hargyhoedda fi o odinebwr, puteiniwr, tynghedwr, meddwyn, lleidryn, occrwr, gorthrechwr, balch, cenfigennus, yn gybydd, yn dorwr y Sabboth sanctaidd, yn gelwyddog, yn esceuluso cyffredin wasanaeth Duw, a'r fath bechodau dybryd gorthrwm? ac onid ê nid yw efe wir gristion. Pan beidio dyn a gwneuthur cydwybod o ddilyn llywodraeth cyfraith Dduw, yno y mae Duw yn ei roddi ynteu i fynu i'w arwain gan ei drachwantau ei hun, yr arwydd pennaf o feddwl anghymeradwy, *Rhuf.* i. 24. 28. Fel hyn y gyfraith (yr hon gwedi y cwymp ni ddichon neb o'i naturiol allu ei chyflawni) a gyflawnir mewn gwirionedd gan bob

Cristion adgenedledig, trwy rasusol gynnorthwy Yspryd Crist: *Rhuf.* viii. 9; *Luc* xi. 13. A'r Yspryd hwn a rydd Duw i bob Cristion a weddio am dano, ac a ostyngo ei galon i gadw ei gyfreithiau ef.

5. Pan glywo y dyn di-adgenedledig, fod Duw yn ymhoffi mwy yn y meddwl oddifewn nag yn y dyn oddiallan, yno y mae efe yn meddwl ynddo ei hun fod pob parch, neu grefydd oddiallan, naill ai 'n ofergoel ai yn afraid.

O hyn y digwydda mai anfynych iawn y gostwng ef ar ei liniau yn yr Eglwys; a'i fod yn gwisco am ben wrth ganu Psalmau, neu ar weddiau cyffredin: yr hyn beth ni chynnygiai y budredd brwnt yngŵydd tywysog, neu ŵr anrhydeddus. Ac am y catwo efe ei feddwl i Dduw, y mae yn tybied mewn pethau eraill y gall ddilyn arferion y byd. Y mae efe yn rhannu ei feddyliau, ac yn rhoi hyn a hyn i Dduw, a hyn a hyn i'w drachwantau; ie efe a rêin y dydd Sabboth â Duw, ac a rydd gan mwyaf y naill hanner i Dduw, ac a dreulia y llall yn gyfan yn ei ddifyrrwch ei hun. Eithr gwybydd (o ddyn cnawdol) na fyn yr hollalluog Dduw mo'i wasanaethu âg hannerau, o herwydd efe a greawdd ac a waredodd yr holl ddyn. Ac fel y mae Duw yn ffieiddio gwasanaeth y dyn oddiallan, heb y galon oddimewn, megis ragrith: felly y mae ef yn cyfrif gwasanaeth oddimewn, heb anrhydedd oddiallan yn ffieiddbeth halogedig: y mae ef yn gofyn y ddau yn ei wasanaeth. Yn dy weddi (gan hynny) ymostwng ar liniau i dystiolaethu dy ostyngeiddrwydd: dercha dy olwg, a'th ddwylaw, i arwyddocau dy grediniaeth: gostwng dy ben i lawr, cura dy ddwyfron, yn arwydd o'th edifeirwch: ac yn enwedig galw ar Dduw â chalon bur: gwasanaetha ef yn sanctaidd, yn gyfan, ac yn unig: Canys Duw, a thywysog y byd hwn, ydynt ddau Arglwydd gwrthwyneb i'w gilydd, am hynny nid yw bossibl i neb wasanaethu 'r ddau.

6. Y mae Cristion diadgenedledig yn cymmeryd gwrando pregethiad yr efengyl yn beth a ellir ei hepcor, a bod iddo ei ddewis a'i arfer, ai peidio a'i arfer pan fyno: ond pwy bynag wyt a fynnit yn ddiogel sicrhau dy galon, o'th fod yn un o ddewisedig ddefaid Crist: rhaid itti gymeryd gofal mawr, a gwneuthur cydwybod (os yw bosibl itti) i wrando pregethu gair Duw: oblegid yn gyntaf, pregethiad yr efengyl ydyw 'r prif gyfrwng trefnedig a osododd Duw i ddychwelyd eneidiau, y rhai a ragddarparodd ef eu bod yn gadwedig: am hyny y gelwir 'yn allu Duw er iechydwriaeth i bod dyn sydd yn credu:' *Rhuf.* i. 16. Ac lle nid yw yr ordinhâd hwn, y mae 'r bobl 'yn golledig:' *Diar.* xxix. 18; a phwy bynag a'i gwrthodo fe fydd esmwythach 'i dir Sodom a Gomorha ddydd y farn nac i'r bobl hyny:' *Luc* x. 12. Yn ail, pregethiad yr efengyl ydyw 'baner Crist; at yr hon yr ymgynnull yr holl filwyr, a'r etholedigion bobl.' *Esay* xi. 12; ac ii. 2, 3. Pan osoder allan y faner hon megis y gwneir ar ddydd yr Arglwydd, nid yw efe o bobl Dduw 'yr hwn ni chyrcho atti, ac ni ddiscyn defnyn o ddwfr ei ras ef ar ei heneidiau:' *Zach.* xiv. 17. Yn drydydd, dyma 'r moddion cyffredin, drwy'r hyn y mae 'r Yspryd Glân yn ennyn ffydd yn ein calonau, heb yr hyn ni allwn ni ryngu bodd Duw: *Rhuf.* x. 14. Os gwrando ar lais Crist yw 'r nôd penaf ar etholedig ddefaid Crist, ac ar gyfaill y priodfab: *Ioan* x. 2; ac iii. 29; yno ni ddichon na bo hwnw nôd ddychrynadwy o afr wrthodedig, yr hwn a esceuluso, neu ddiystyro wrando pregethiad yr efengyl. Na feddylied neb fod yr ymadrodd hwn yn ffôl: oblegid trwy'r ffolineb yma a'r bregethu 'y mae yn rhyngu bodd i Dduw achub y rhai a gredant;' 1 *Cor.* i. 11. Ofnadwy yw eu cyflwr hwynt gan hyny y rhai sy 'n byw mewn heddwch, heb ofal am bregethiad yr efengyl. A eill dynion ddisgwyl am drugaredd Dduw a dirmygu y moddion i'w gael? yr hwn (medd Crist am bregethwyr ei efengyl) 'a'ch dirmygo chwi a'm dirmyga innau:' *Luc.* x. 16: 'yr hwn sydd o Dduw, a wrendy eiriau Duw,' am hyny 'nid ydych chwi yn gwrando am nad ydych o Dduw:' *Ioan* viii. 47. Oni buasai bregethu o Ioan fedyddiwr, ni buasai yr Iuddewon byth yn galaru; oni buasai i'r Israeliaid glywed cennadwri Phineas, ni wylasent byth; oni buasai i'r rhai a groeshoeliodd Crist glywed pregeth Pedr, ni buasai byth gynhyrfriw yn eu calonnau: *Act.* ii. 37. Oni bai glywed o'r Ninifeiaid bregeth Jonas, ni buasent hwy byth yn edifarhau: *Jon.* iii. 5; ac oni wrandewi dithau ac edifarhau, ni byddi di byth yn gadwedig: *Luc* xiii. 5; *Diar.* ii. 8, 9.

7. Yr opiniwn, nad yw 'r Sacramentau ond arwyddion noethion selau o addewid Duw a'i ras i ni, a wnaeth fawr rwystr ar dduwioldeb; lle mewn gwirionedd y maent yn selau yn gystal o'n gwasanaeth, a'n hufudd-dod ni i Dduw: yr hwn wasanaeth, onis cyflawnwn iddo ef, nid yw 'r sacramentau yn selio dim gras ini. Eithr o derbyniwn hwynt tan fwriadu bod yn weision ffyddlon edifeiriol, yno y mae y Sacramentau nid yn unig yn arwyddocau, ac yn cynnyg, eithr yn hytrach yn selio a gweithredu gras ysprydol oddimewn, yr hyn oddiallan y maent yn ei addo, ac yn ei arwyddocau. Ac i'r perwyl yma, y gelwir y bedydd ymolchiad adenedigaeth, ac adnewyddiad yr Yspryd

Glan: *Tit.* iii. 5; a Swpper yr Arglwydd, cymmun corph a gwaed Crist: 1 *Cor.* x. 16. Pe coelid y gwirionedd hwn, y Sacrament sanctaidd o swpper yr Arglwydd, a gymmeryd yn fynychach, ac mewn mwy parch ac anrhydedd.

8. Yr olaf, ac nid y cyff lleiaf, wrth yr hwn y mae Duwioldeb yn cael tramgwydd mewn achosion crefydd, ydyw addurno campau drwg âg enwau rhinweddau da: megis galw carowsio meddwaidd, yfed iechyd; tywallt gwaed gwirion, gwroldeb; glothineb, lleteugarwch; cybydd-dra, cynnildeb; puteindra, caru merched; cyssegr-werth, rhôdd o ddiolchgarwch; balchder, ymddygiad hoew; gwenheithio, medrusrwydd; meibion Belial, cymdeithion da; poethineb, ffromder; serthedd, digrifwch; felly o'r tu arall, galw llarieidd-dra mewn geiriau a gweithredoedd, rhagrithiad; elusenau, gwag-ogoniant; Duwiolder, ofergoel: Zel mewn crefydd, puritaniaeth; gostyngeidd-dra, llyfrdra; gwneuthur cydwybod, manyldra, &c. A thra fôm ni fal hyn yn galw drwg yn dda; a da yn ddrwg; y mae gwir dduwioldeb yn cael mawr rwystr i fyned i'w thaith a'i helynt."

Nis gwyddom yn iawn beth oedd meddwl yr awdur pan ddywedai yn y dyfyniad uchod fod Duw yn derbyn ewyllys da y credinwyr, a'u dyfalwch, yn lle cyflawniad y gyfraith; ac yn gosod haeddedigaethau Crist, (yr hwn a gyflawnodd y gyfraith drosom ni) i ateb dros ba beth a fo ddiffygiol yn ein ufudd-dod ni. Ni ddylid ei wneyd ef, na neb arall, yn droseddwr o herwydd gair. Y mae yn amlwg oddiwrth yr iaith a arferir ganddo mewn manau eraill nad oedd yn golygu fod unrhyw weithred nac ewyllysiad o eiddo y credadyn, mewn un modd na rhan, yn ddefnydd ei gyfiawnhad. Yr oedd mor bell oddiwrth hyn a neb o'r hen Ddiwygwyr. O ran hyny, y mae yn coffau enw Calvin fwy nag unwaith yn dra pharchus. Wedi hyn, yn amser Laud, y dygwyd Morganiaeth a Phabyddiaeth i mewn i Eglwys Loegr, yr hyn nis gellid ei wneuthur yn hwylus heb ddadgysylltu rhyngddi ag athrawiaeth y Diwygiad, ac ymdrechu hyd yr oedd yn ddichonadwy i daflu pob dirmyg ar enwau y Diwygwyr. Y mae yn debyg gan hyny nad oedd Dr. Bayly yn meddwl dim ychwaneg wrth y geiriau uchod na bod amcan cywir yn rhyngu bodd Duw, a'i fod ef yn maddeu pob diffygion yn ufudd-dod y dyn adgenedledig trwy haeddedigaethau y Cyfryngwr. Er hyny, nis gallwn ddyweyd ein bod yn cymeradwyo yr ymadrodd. Y mae o leiaf yn anhapus, ac yn arwain i ganlyniadau anysgrythyrol. O barth y dywediad a ganfyddir yn y dyfyniad blaenorol am y sacramentau, os yw yn newydd i rai, nid yw yn annheilwng o sylw; oblegid gorfodir ni i gredu fod syniadau annhraethol ry isel yn cael eu coleddu ar y mater hwn gan lawer o'n cydwladwyr. "Phiol y fendith," meddai yr apostol, "yr hon a fendigwn, onid cymun gwaed Crist ydyw? y bara yr ydym yn ei dori, onid cymun corff Crist ydyw?" Y mae y geiriau hyn yn llawn o wirionedd, a'r gwirionedd hwnw yn llawn o ddirgelwch ysbrydol. Nid credu gormod y mae y Pabyddion, ond credu rhy ychydig. Y maent yn methu dirnad pethau ysbrydol, a thrwy hyny yn darostwng dirgeledigaethau, y rhai ydynt uwchlaw rheswm i fod yn wrthddywediadau croes i reswm. Ond awn ymlaen i ddilyn yr awdur at yr hyn a eilw "y clo cyngan," yn niwedd y sylwadau ar y rhwystrau i fyw yn dduwiol, o'r hwn y cymerwn un anghraifft:—

"Na foddlona mo honot dy hun a'r *grefydd ffurfiol*, yr hon a luniodd gwyr diadenedig iddynt eu hunain, yn lle duwioldeb ddiragrith; canys mewn amldra opiniynau, y mae y rhan fwyaf agos wedi colli yr ymarfer o wir ffydd. Na thebyg fod yn Gristion digon da, o blegit dy fod di yn gwneuthyd fel y mae y rhan fwyaf, ac o ran nad wyt yn gynddrwg a'r gwaethaf. Nid oes dyn yn y byd mor ddrygionus, a bod ei ymarweddiad yn tueddu at bob math ar feiau. O herwydd y mae anghysondeb (*antipathy*) rhwng rhai beiau a'i gilydd. Ond cofia beth y mae Crist yn ei ddywedyd; 'Oddieithr i'ch cyfiawnder fod yn helaethach *na* chyfiawnder yr scrifenyddion a'r

Phariseaid, nid ewch chwi i mewn mewn un modd i deyrnas nefoedd:' *Math.* v. 20. Ystyria ynot dy hun belled wyt ti o ol y Phariseiad mewn ymprydio, gweddio, mynych dramwy i'r Eglwys, a rhoddi elusenau. Meddwl ynot dy hun pa nifer o baganiaid, y rhai nid adwaenent fedydd, eto mewn rhinweddau gwybodawl, a gonestrwydd buchedd, oeddynt yn rhagori llawer arnat ti. Pa le wrth hyny y mae bywyd Crist dy feistr? a pha cyn belled wyt ti oddiwrth fod yn wir Gristion? Os wyt ti yn ewyllysgar yn ymroi i fyw mewn un math ar bechod anafus, nid elli di gael enaid adgenedledig; er i ti ddiwygio dy fuchedd mal Herod oddiwrth lawer o feiau eraill: *Marc* vi. 10. Y mae'n rhaid i'r gwir Gristion gymeryd gofal i rodio mewn uniondeb calon, yn ol holl orchymynion Duw, yn gystal yn y naill a'r llall. O blegit, medd St. Iago, 'yr hwn a ballo mewn un pwnc o'r gyfraith (yn ewyllysgar) fydd euog o'r cwbl:' *Iago* ii. 10. Ac y mae Pedr yn erchi i ni roddi heibio (nid peth) ond holl lid, cynfigen, twyll, a rhagrith, &c. 1 *Pedr* ii. 1. Un pechod fydd ddigon er peri enaid yn golledig, heb *edifeirwch.* Na freuddwydia am fyned i'r nef rhyd ffordd negosach neu hawsach na'r hon a linynniodd Duw i ni yn ei air. Nid ydyw 'r ffordd i'r nefoedd yn hawdd, a chyffredin, *ond cul a chyfyng*: *Mat.* vii. 14.; Ie, cyn gyfynged ac y mae Crist yn tystiolaethu, 'fod yn anhawdd i ddyn goludog fyned i deyrnas nefoedd:' *Mat.* xix. 23. A'r rheini fydd yn myned i mewn, nid ydynt ond *ychydig*: ac na eill yr ychydig rai hyny mor myned i mewn ond trwy *ymdrechu*: a bod rhai o'r rheini a ymdrechant *heb allu myned i mewn*: *Luc* xiii. 24. Hyn a wyddai holl Seintiau Duw (tra fuont fyw yma) yn dda. Pryd yr oeddynt drwy aml ymprydiau, difrifol weddïau, mor fynych yn gwrando y gair, a derbyn y Sacramentau, a thrwy y cyfryw amldra o ddagrau heilldion yn crefyddol erfyn ar ddwylaw Duw, er mwyn Crist, am gael eu derbyn i'w deyrnas."

Am y rhelyw o'r llyfr, nis gallwn roddi mwy na chynnwysiadau y prif bennodau, y rhai ydynt fel y canlyn:—Y modd y mae i ŵr neillduol ddechreu y boreu mewn duwioldeb—myfyrdod boreuol—addysg fer o'r modd y mae darllain yr ysgrythyrau sanctaidd unwaith bob blwyddyn trostynt, yn hawdd, yn fuddiol, ac yn barchedig—myfyrdodau yn arwain y Cristion fel y gallo efe rodio yr holl ddiwrnod gyda Duw fel Enoch—myfyrdodau am dduwioldeb teuluaidd—am yr union fodd o arfer duwioldeb ar y dydd Sabboth—yr ymarfer anghyffredin ac anaml o dduwioldeb, trwy yr hyn y gogoneddir Duw yn ein bywyd, sef naill ai yn ymprydio ai yn gwneuthur gwleddau—yr union fodd o ymarfer duwioldeb wrth dderbyn cymun yr Arglwydd—yr arfer o dduwioldeb i ogoneddu Duw yn amser clefyd, y pryd y galwer arnat ti i farw yn yr Arglwydd. Dan y pen olaf hwn yr ydym yn cael gweddi pan ddechreuo un fyned yn glaf, gweddi o flaen cymeryd physygwriaeth, a gweddi i ddyn claf wedi dywedyd iddo nad yw efe ddyn i'r byd hwn, ond fod rhaid iddo ei barotoi ei hun i fyned at Dduw. Yn yr un modd, y mae gweddïau yn gymysg â'r myfyrdodau trwy yr holl lyfr, yr hyn, efallai, oedd un achos o'i boblogeiddrwydd yn yr hen amser. Dïau fod llawer wedi cael bendith dragywyddol wrth ei ddarllen; a da fyddai pe darllenid mwy arno yn yr oes hon. Dywedwn eto ei fod yn llyfr tra buddiol; ac wrth derfynu, rhoddwn un dyfyniad ymhellach, i ddangos fel y mae, wrth draethu am rodio yr holl ddiwrnod gyda Duw, yn ein dysgu i wylied ar ein geiriau.

"Cofia fod yn rhaid i 'ti roi cyfrif am bob gair segur:' *Mat.* xii. 36: a bod y gŵr doethaf wrth siarad gormod, yn myned tu hwnt iddo ei hun: *Diar.* x. 19. Gochel gan hyny bob annibenus ag ofer siarad, o'r hyn anfynych y daw dyddanwch, a thra mynych edifeirwch: yn enwedig mogel atebion byrbwyll, pryd y mae y tafod yn rhedeg o flaen y meddwl: y gair oedd eiddot ti tra cedwaist ef i mewn, y mae 'n eiddo arall cyn gynted ac yr aeth allan. O gywilydd a gwarth, pan fyddo tafod dyn ei hun yn dyfod yn dyst yn ei erbyn, i waradwyddo ei wyneb ei hunan. Ynteu bydded dy eiriau yn anaml, ac yn bwyllig: rhagfyfyria ydyw y peth yr wyt ar fedr ei ddywedyd, yn weddaidd i'w ddywedyd: na haera fwy nag a wypych ti ei fod yn wir, a dewis dewi o flaen siarad yn ddiffrwyth, neu chwedleua rheswm diddenfydd: *Iago* i. 19.

2. Eled dy galon a'th dafod ynghyd mewn honestrwydd, a gwirionedd, casâ ragrith, a chelwydd mewn arall, ffieiddia ynot dy hun: neu fo ffieiddia Duw dydi am hyny.

O blegit y mae ef yn casâu y dyn celwyddog a'r cythraul ei dad ef un ffunyd: 1 *Pedr* ii. 1; *Salm* iii. 2. Os gwybyddir unwaith dy fod heb wneuthur cydwybod o ddywedyd celwydd; ni choelia un dyn mo honot pan fyddech yn dywedyd y gwirionedd. Os celwyddog i'th adwaenant, pryd y traethech wir ni'th coeliant, eithr o byddi yn caru y gwirionedd, fe a goelir i'th air di o flaen llwf un celwyddog. Mawr yw 'r meddiant sydd gan Satan ar y rhai a ymarfero â dywedyd celwydd, megis na fedrant ond dyweyd er na byddo iddynt elw yn y byd oddiwrtho: ac er na bo neb arall yn peri iddynt ei ddywedyd. Na ad i'th ddigofaint barhau wedi ei darfyddo 'r achos: gwel byth ragoriaeth rhwng yr hwn sy'n gwneuthur cam o herwydd ei wendid (neu yn erbyn ei ewyllys), a'r hwn sydd yn trawseddu o'i lawnfryd yn falaisus; gad i'r naill gael trugaredd, ac i'r llall gael cyfiawnder.

3. Cadw dy ymadrodd oddiwrth bob budreddi a serthrwydd, mor lân, ac y mynnit gadw dy fwyd oddiwrth wenwyn: a bydded dy ymadrodd yn gyfryw ac a fyddo da i 'adeiladu yn fuddiol, ac yn peri gras i'r gwrandawyr:' *Eph.* iv. 29. Bydd mwy difrifol yn siarad am y grefydd, nac yn siarad am bethau bydol.

O dealli i't gyfeiliorni, nag ymdro yn wargaled i aros yn dy fai; gorfoledda wrth gael y gwirionedd, a mawryga ef. Myfyria gan hyny ar dri pheth; sef i ddeall yn dda, i ddywedyd yn dda, a gwneuthur yn dda. A phan gyfarfyddech di â phlant Duw, bydd sicr o gynnill rhyw lesâd oddiwrthynt, dysg ganddynt gwbl ac a ellych o ddaioni, a chyfrana ag hwynt yr holl bethau daionus a wyddost dithau. Pa fwyaf o ddaioni a ddysgech i eraill, mwyaf a ddysco Duw i tithau: *Marc* iv. 24, 25. Canys megys y mae rhoddion dynion wrth hir ymarfer o honynt, yn delwi ac yn darfod: felly y mae doniau Duw o'i hir ymarfer yn cynnyddu, ac yn chwanegu; megys ystenaid o olew y wraig weddw ddyledog, yr hwn pa fwyaf a dywalltai hi o hono, fwyfwy a fyddai ynddi: 2 *Bren.* iv. 2.

4. Gochel gredu y cwbl a ddywedpwyd i ti, ac na ddywed y cwbl a glywych di: canys os gwnei, ni chei di hir feddu cyfeillion cywir, na byth eisiau blinderau trymion: *Preg.* iii. 7; *Luc.* ii. 19. Am hynny mewn cyhuddiadau, bydd yn gyntaf ddiogel o'r gwirionedd, yno barna. Ac fel yr wyt yn prisio geirda calon honest, na âd fyth i gasineb mewn drygnaws beri i ti adrodd yr hyn a ddarfu i gariad mewn cymdeithas dy rwymo di (er ys hir o amser) i'w gadw yn gyfrinachol. Eithr rhag ofn y fath wyniau, synia ddau beth:

Yn gyntaf, er maint dy gydnabyddiaeth, na wna yr un yn gyfeillfrawd o'th gyfrinach ond un a fyddo yn gwir ofni Duw, y cyfryw nid rhaid i ti byth mo'i ofni. Canys o ddigwydda i chwi amrafaelio mewn rhyw bethau neillduol, etto cariad cristionogawl, prif sail eich cyfeillach, ni chwympa ymaith byth; ac ni chynnwys ofn Duw iddo ef wneuthur dihirdra â thydi.

Yn ail, na wna ddim yngwydd dy gyfaill dinasol, am yr hyn ni elli fod yn ddiangol, oddieithr ei gadw yn gyfrinachol: nag un peth am yr hwn (o daw achos) y bydd rhaid iti ei ofni; os ef a brisia i fod yn elyn anafus i ti. O gwnaethost ti ddim ar fai, gofyn faddeuant i Dduw, a pherswadia dydi dy hun, ac nid dy gyfaill, i gadw dy gyfrinach dy hun. Canys bydd ddiogel pa gyfeillach bynnag a osodir ar sail amgen nag ar wir grefydd, os yr achos o honi a fetha, y mae'r gyfeillach yn myned i'r gwellt: ac yn hytrach, o herwydd fel y mae Duw yn magu gwirionnedd, heddwch, a chymdeithas ymhlith dynion, mal y byddem fyw i wneuthur daioni y naill i'r llall: felly y mae'r cythraul beunydd yn hau celwydd, amrafael, a gelyniaeth, i beri (os gall ef) i'r cyfeillion anwylaf ddifetha eu gilydd.

5. Na wna goeg-ddigrifwch o wendid un arall: cofia dy un dy hunan. Ffieiddia synwyr gâs, a naturiaeth front y dyn sydd (pan fo ei mennydd yn deall rhyw achos o watwor) yn trafaelio megis gwraig feichiog, nes cael ei ben yn rhydd oddiwrtho. Ië, gwell ganddo golli ei gyfaill gorau na'i wawd dihiraf; eithr o bydd ynot hoen i fod yn llawen, cymmer ofal mawr am dri pheth. Yn gyntaf, na byddo dy ddigrifwch yn gwrthwynebu iawn grefydd. Yn ail, na byddo yn erbyn cariad perffaith. Yn drydydd, na byddo yn erbyn diweirdeb. Ac yno bydd mor llawen ac a fynnych, yn unig yn yr Arglwydd: *Phil.* iv. 4.

6. Na fydded llawen gennit weled codwm i'th elyn, oblegid ni wyddost pa fodd y bydd dy ddiwedd dy hun. Eithr gorfoledda fwy wrth weled gwellhâd y dyn dihiraf, nac wrth weled ei gosbedigaeth. Na chashâ un dyn, rhag ofn bod Crist yn ei garu, yr hwn ni fyn i ti gashau yr hwn a garo ef. Yr oedd Crist yn dy garu, pan oeddit yn *elyn* iddo: *Rhuf.* v. 8, 10; *Eph.* ii. 4. Am hynny drwy haeddedigaethau ei waed, y mae ef yn erfyn arnat er ei fwyn ef garu dy elyn: nacâ ef (a thithau yn Gristion) os llysefi. Nid yw ef yn gofyn ond maddeuant o gant o geiniogau am faddeuant o ddeng-

mil o dalentau: *Math.* xviii. 24, 28; a xxv. 28. Triugain can-mil o goronau, am ddeg-coron: ychydig o faddeuant dyn am annherfynol faddeuant yr Hollalluog Dduw. Er i ti dybied nad yw dy elyn yn haeddu maddeuant, etto y mae Crist yn deilwng o'i anrhydeddu.

7. Dywed y gwirionedd, ac na ofna wyneb dyn, pan fyddo gogoniant Duw neu ddaioni dy gymydog yn ei ofyn ar dy law. Wrth ynnill câs y Tywysog lawer gwaith yr ynnillir cariad Duw: ni cheiff gweniaith ond byr barhau mewn cymmeriad, na gwirionedd mor hir aros mewn ammharch.

8. Tybia ei fod yn gyfaill cywir ffyddlon, a ddywedo i ti dy feiau yn eglur mewn dirgelwch. Yr hwn sydd yn dy weled ti yn troseddu, ac heb ddywedyd i ti dy fai, naill ai mae ef yn gwenieithio it' am dy ffafr, neu ni feiddia ef rhag ofn dy anfoddloni. Gresynus ydyw cyflwr yr hwn wrth ei raid ni feddo un i'w gynghori. Argyhoeddiad, bid gyfion bid anghyfion, pa un bynnag ai o enau cydymmaith, ai o enau gelyn y delo, ni wna fyth niwaid i wr synhwyrol. Oblegid os bydd hynny yn wir, dyna i ti rybudd i wellhau: os anwir, dyna ddangos i ti beth i'w ochelyd. Felly ym mhob ffordd y mae yn gwneuthur gwr call yn well, neu yn ddichlynach. Ond oni elli aros dy argyhoeddi, na wna dithau ddim achos o argyhoeddiad.

9. Na chrybwylla Dduw, ond trwy ofn ac anrhydedd, megis yn ei glyw a'i olwg. Canys gan weled nad ydym ni deilwng i arferu ei enw sanctaidd yn ein geneuau: llai o lawer y dylem ni gamarfer ei enw bendigedig yn ofer yn ein hymadroddion. Canys ei arfer beunydd, mewn ofer, byrbwyll, neu gau lyfon, sydd arwydd ddiammheuus o enaid ni wir ofnodd Dduw erioed. Gweddia gan hynny gyd â Dafydd, pan fyddych i lefaru mewn rhyw achos a ddichon beri digofaint fel hyn: 'Gosod, Arglwydd, gadwraeth o flaen fy ngenau: cadw ddrws fy ngwefusau:' *Psal.* cxli. 3.

10. Yn olaf, bydd weddaidd yn canmol, yn wybodol yn cyfarch, yn gymdeithgar yn cynghori, yn drugarog yn maddeu, yn ffyddlon yn addo, yn hael yn gwobrwyo twrn da, heb wneuthur taledigaeth rhinwedd yn wobrau ffafor: 2 *Pedr* i. 12; *Rhuf.* xii. 10; 2 *Thes.* iii. 15; *Psal.* xv. 4.

---

# Y GELFYDDYD O ARLUNIO.

Nid ydym yn cofio gweled nemawr o ddim yn yr iaith Gymraeg ar y gelfyddyd uchod, nac ond ychydig ar un o'r prif gelfau eraill. Paham y mae felly nis gwyddom yn iawn; pa fodd bynag, yr ydym yn gwybod fod amryw eisoes o'r Cymry wedi rhagori yn y celfyddydau, a llawer eto yn debyg o'u canlyn.[1] Ac nid ydym yn gwybod am ddim rhesymau digonol yn erbyn taenu gwybodaeth gelfyddydol hyd y gellir yn mysg y Cymry, a hyny trwy gyfrwng yr iaith Gymraeg. Gwyddom fod yr hen iaith ardderchog eisoes yn rhagorol fel cyfrwng gwybodaeth grefyddol; a phaham na byddai yn gystal hefyd i drosglwyddo gwybodaeth gyffredinol i'r Cymry drwyddi? Ië, onid yw eisoes yn gyfoethog o ffrwythau y dawn godidocaf yn ei barddoniaeth? Os gwell hwyr na hwyrach ynte, gadewch i ni gychwyn gyda rhyw wersi hawdd a syml yn y celfyddydau hyny nad yw yn gyfarwydd eto i'r Cymro yn ei iaith ei hun. Ac nid oes ammheuaeth ond i ni fyned ymlaen gyda hyn fel pethau eraill, na byddwn ar ogyfuwch tir ag unrhyw genedl arall yn fuan gyda 'r cangenau hyn o wybodaeth fuddiol. Y mae rhai yn y dyddiau hyn, fel y gwyddys, yn ceisio drwgliwio ein cymeriad fel cenedl, a'n cyhuddo o fod ymhell ar ol cenedloedd eraill yn mhob ystyr; ond gwyddom mai anwiredd mawr yw hyny, a'n

[1] Y mae dau wyr o Gymru yn awr yn byw yn Rhufain, ac yn sefyll yn y rhestr flaenaf yn y celfyddydau, un o Merthyr Tydfil, sef Penry Williams, (arlunydd), a'r llall o sir Fflint, sef John Gibson (cerfiwr).

bod, trwy drugaredd, lawer yn uwch mewn crefydd a moesau na'n cymydogion, os nad ydym felly mewn gwybodaeth gyffredinol. Yr ydym yn rhagori yn y pethau penaf; na fydded i ni fod yn ol yn y pethau is. Pa raid i ni fod islaw iddynt mewn unrhyw gangen o wybodaeth gyffredinol? Y mae ein crefydd yn sicr o'n cynnorthwyo i gyrhaedd gwybodaeth o bob peth gwerth ei wybod, ac i wneuthur pob peth o werth i ni allu ei wneyd. Os ydym ymlaen ar eraill mewn pethau ysbrydol, nid yw yn iawn i ni fod ar eu hol mewn pethau tymmorol chwaith. Wedi hyn o ragymadrodd mewn ffordd o hunan-amddiffyniad am ein gwaith yn galw sylw at y pwnc hwn yn bresennol, awn bellach ymlaen at ein testun.

Ceisiwn osod allan deilyngdod y gelfyddyd o arlunio i gael rhan o sylw dyn—ei chysylltiad â gwelliant cymdeithasol a moesol—ynghyd â rhyw fras olwg hanesiol o'i chodiad a'i chynnydd fel celfyddyd; ac os bydd hyn yn dderbyniol, awn ymlaen eto, efallai, i sylwi yn fanylach ar elfenau ac ansawdd bresennol y gelfyddyd. Y mae yn ddiau fod y celfyddydau yn dàl cysylltiad agos â gwareiddiad a mwyniant cymdeithasol. Y maent yn anerch y meddwl ac yn galw ei alluoedd ynghyd oddiwrth bleserau anianol cig a gwaed, yn eu gloewi a'u gosod i weithredu ar bethau uwch a gwell. Gadewch i ni am fynyd gymeryd golwg fèr ar daith y meddwl yn ei yrfa o sefyllfa farbaraidd i gyflwr o wareiddiad a gwelliant moesol. Yn ei gyflwr iselaf, nid oes gan ddyn bleserau ond rhai anianol, nac anghenion ond rhai anifeilaidd. Wedi hyny pan y mae cymdeithas wedi ymranu yn ddosbarthiadau gwahanol a threfnus, yn ol eu hamrywiol alluoedd a'u rhagoriaethau, dechreuir ymofyn am fwyniant dëallawl yn y brein-gelfau, a dadguddir a gwrteithir y galluoedd rhesymol sydd yn meddiant dyn. Y mae y meddwl yn ymëangu wrth ei wrteithio, ac yn ymestyn o hyd o radd i radd tuag at berffeithrwydd; ac yn ei lafur parhaus y mae gwobr, er nas gall gyrhaedd eithaf ei ddymuniadau mewn treiddio i ddirgelion natur, efallai, byth. Y mae pa beth bynag sydd yn gwrteithio ac yn dadblygu meddwl dyn yn ei gymhwyso i weithredu yn fwy effeithiol hefyd ar bethau goruchel a theilwng o'i natur resymol, pe na b'ai yr hyn sydd yn foddion i'w goethi felly yn dwyn unrhyw elw arall uniongyrchol iddo. Pa fodd yr eglurwn hyn? Onid yw yr amaethwr weithiau yn hau math o had yn ei dir, heb unrhyw ddyben i'r cnwd a gynnyrchir ganddo ond yn unig ei aredig a'i gladdu yn y tir hwnw drachefn fel gwrtaith iddo, ac felly ei gymhwyso i ddwyn ffrwyth mwy gwerthfawr a defnyddiol eilwaith? Cyffelyb i hyn, ni a dybygem, yw effaith addysg gyffredinol ar feddwl dyn a dderbynir drwy lëenyddiaeth, y brein-gelfau, a'r gwyddorion; pe na b'ai un defnyddioldeb iddynt ond yn unig gweinyddu mwyniant rhesymol iddo ar wahan oddiwrth yr anianol, a phuro chwaeth dyn, byddai hyny yn ddylanwad daionus a moesol.

Y mae felly i'r gelfyddyd o arlunio, fel y brein-gelfau eraill, yn ddiammheu, ei neges a'i hamcan daionus mewn natur a rhagluniaeth. Y mae dawn a thalentau, yn mha ffurf bynag y byddont, yn cael eu rhoddi mewn mesurau neillduol gan y Creawdwr, er mwyn iddynt gael eu harferyd i weithio allan amcanion gogoneddus ei ragluniaeth ef—sef mynegi ei glod mewn gwareiddio, ac uno, a gwella dynoliaeth, ac mewn tyneru a llarieiddio y moesau—effeithiau na ddinystrir yn hawdd hefyd. Y mae cyfundeb mewn hoffder o unrhyw ragoriaeth yn un rhwymyn cryf o heddwch a chydgordiad. Y mae undeb mewn cariad at unrhyw weithred fawreddig o

eiddo dyn, neu amlygiadau clodwiw o dalentau, yn dra effeithiol i fagu a meithrin ewyllys da. Nid yw y dylanwadau hyn o eiddo celfyddyd heb fod wedi eu cofnodi gan ddynion o sylw; fel y bardd Rhufeinig yn y geiriau canlynol:—

"——— *Ingenuas didicisse fideliter artes*
*Emollit mores, nec sinit esse feros.*"

Yr oedd i gelfyddyd yn yr oes baganaidd ei dylanwad gwareiddiol; felly hefyd yn ddiau yn y canol-oesoedd cristionogol, ac felly y mae ganddi hefyd yn ein hoes ninnau tuhwnt i bob dadl, gyda ei hamrywiol fanteision ychwanegol.

Y mae y chwaeth at weithiau celfyddgar yn myned ar gynnydd yn fawr yn ein gwlad yn yr oes hon. Y mae ieuenctyd Lloegr a Chymru yn deffroi gyda eu gilydd i lafur a myfyrdod yn y gwyddorion a'r celfyddydau. Newidir y tafarndŷ am y *Mechanics' Institutes*, a Chymdeithasau Gwyr Ieuainc. Ac ar ddyddiau gwylion, gorlenwir y *British Museum* a'r *National Gallery* yn Llundain âg ymwelwyr o fysg y gweithwyr a'r canolradd o bobl; a phawb yn cyduno i hoffi a rhyfeddu ffrwythau dawn a medr tywysogion celfyddyd. Ymddyddenir am danynt drachefn; cymerir hwy yn destun myfyrdod; teimlir cymhelliadau i efelychu yr enwogion hyny yn eu gweithiau cywrain ac ardderchog. Fel hyn ychwanegir diwydrwydd, ac yn ganlynol gyfoeth a llwyddiant y wlad. Nid oes dim, efallai, a brawf y dylanwad urddasol hwn yn well na'r cydymdeimlad parod a welir rhwng meddwl coethedig â gweithiau celfyddgar. Pwy all draethu yr hyfrydwch a deimla dyn o'r nodweddiad hwn wrth graffu ar waith Phidias, Raffaelle, a Coreggio? Teimla ei hun mewn awyr ac elfen gydnaws âg ef ei hun, yn y rhai y nofia ei ysbryd gyda'r esmwythder a'r pleser mwyaf, ac a dyr allan yn awr ac eilwaith, wrth ganfod y naill brydferthwch ar ol y llall yn y darlun campus, a'r cwbl yn seiliedig ar egwyddorion natur ag sydd lawn o ddoethineb a daioni dwyfol. Nid oes dim yn gydnaws rhwng y cyfryw bethau â thywyllwch anwybodaeth, a thueddfryd anifeilaidd, a diraddiad meddwl. Na, mae dylanwad athrylith a dwyfol ddawn megys yn rhwym dan lŵ milwraidd i wrthwynebu holl anffrwythlon bethau y tywyllwch. Ac y mae i'r celfyddydau eu buddugoliaeth hefyd, er mai eu gwaith yw heddwch; buddugoliaeth ydyw ar y meddwl—buddugoliaeth mwy gogoneddus na buddugoliaethau Austerlitz a Waterloo.

Nid ydym yn gwadu nas gellir camddefnyddio pob dawn a gwybodaeth, a'u gŵyrdroi i fod yn arfau anghyfiawnder i bechod a dinystr; ond gŵyrdröad ar eu hamcan caredig a hynaws a fyddai hyny. Ië, fel y dywed Dafydd Ionawr—

"Gall dyn wrth borthi gwall dwl
Foddi pob dawn o'i feddwl."

Edryched pawb ag sydd yn efrydu yn maes gwirioneddau natur am fod eu holl lafur yn tueddu i buro a dyrchafu eu meddyliau eu hunain ac eraill. Felly y bydd i ni fel gwlad gadw i fynu ein "blaenoriaeth mewn dysgu cenedloedd pa fodd i fyw." Yn wir, nid yw ryfedd fod ein llywodraethwyr yn dechreu cydnabod mai y ffordd oreu i sicrhau daioni a llwyddiant gwladwriaethol, yn gystal a moesol, yw trwy ddadblygu a chyflogi athrylith y deiliaid. Ond nid ydym yn dysgwyl fawr oddiwrth y llywodraeth

yn hyn. Gall cyfoeth a gallu godi allor i atbrylith, ond nis gallant ei greu: rhaid i'r tân sanctaidd ddisgyn o'r nef, ac nid erys ar y ddaear ond ar y teleran o adael ffordd rydd iddo i weithio allan ei amcanion goruchel.

Y mae yn debyg fod y gelfyddyd o arlunio, yn gystal a'r brein-gelfau eraill, wedi tarddu o'r serch at addurnagsydd yn wreiddiol yn y natur ddynol, yr hyn sydd i'w ganfod i raddau yn nyfnderoedd iselaf barbariaeth. Nis gallwn olrhain y gelfyddyd yn iawn yn ei chodiad a'i chynnydd o'r gader i fynu, am fod ei mebyd yn gyfoediog â mebyd dynoliaeth yn gyffredin. Traddodiad yn unig sydd yn cadw unrhyw goffadwriaeth anmherffaith o'r amser pan nad oedd y gelfyddyd o gofnodi yn adnabyddus. Bu tymmor pan nad oedd gan ddyn fodd i osod i lawr ei ddrychfeddyliau ond trwy luniau yn unig. Ceir fod yr un gair Groeg ag sydd yn arwyddo arlunio yn arwyddo ysgrifenu hefyd; ac er wedi cael allan lythyrenau iddynt newid y dull, eto parhâ yr enwad. Y mae genym amryw hen gofluniau, a llestri priddion Aiphtaidd wedi eu haddurno â lluniau a cherfiadau o oedran mawr iawn, i'w gweled yn y *British Museum*; ac efallai mai y rhai hyn yw y cofarwyddion mwyaf eu hynafiaeth ag sydd genym o gelfyddyd yr Aiphtiaid. Y mae hefyd hen ysgrifion nodedig yn cael eu cadw yn y *Museum* ar hanesiaeth y gelfyddyd, megys hen ysgrif Venesiaidd, Traethawd y Monach Theophilus, a elwir "*Diversarum Artium Schedula*," Ysgrif Byzantine, Arolygydd M. M. Didron a Duraud, "*Vasari's Lives of the Painters*," y mae hen ysgrif hefyd yn meddiant Syr Thomas Phillips, Barwnig (y "*Mappæ Clavicula*"), ar yr un pen. Cyhoeddir yn fuan hefyd ysgrif o gryn bwys yn y *British Museum*, a elwir "*Pictoria, Sculptura, Zinctoria, et quæ subalternarum Artium, spectantia in Lingua Latina, Gallica, Italica, Germanica conscripta, a Petro Paulo Rubens, Vandycke, Somers, Greenbery, Jansen, &c., fol.* xix. *A. D.* 1620. *T. de Mayerne.*" Cyfieithir hi gan Mr. Hendrie, a chyhoeddir hi yn gyfan trwy genad ymddiriedolwyr y *British Museum*. Y mae hefyd waith o gryn bwys, a gallwn ddyweyd hynod o ddyddorawl i'r celfyddwr, newydd ei gyhoeddi; yn cynnwys casgliadau o'r ysgrifion uchod gan arlunydd enwocaf yr oes hon, a'r hwn oedd o'r blaen hefyd yn enwog fel awdur. Gelwir y gwaith hwn "*Materials for the History of Oil Painting.*" *By C. L. Eastlake, R. A., F. R. S., F. S. A., Secretary to the Royal Commission for promoting the Fine Arts, &c. Longman & Co.*

Nid yw henafiaethwyr yn gallu penderfynu yn mha oes y dechreuwyd addurno parwydydd tai â lluniau. Nid oes genym ond ychydig wybodaeth am saerniaeth ac addurn adeiladau yr Aiphtiaid; ond gellir casglu oddiwrth y lliosogrwydd o ddarluniau sydd yn addurno parwydydd eu beddau, nad oedd eu hystafelloedd yn cael eu gadael yn ddiaddurn; canys eu rheol hwy oedd gwneyd y gell ddaearol mor debyg ag oedd bosibl i'r ystafell yr oedd yr ymadawedig yn hoffi preswylio ynddi yn ei fywyd. Nid oes ammheuaeth nad oedd eu tai yn llawn o gerfwaith. Y mae adfeiliau eu palasau a'u temlau wedi eu gorchuddio â cherfwaith. Mewn oesoedd diweddarach, cawn fod yr arferiad wedi ei chymeryd i fynu gan yr Iuddewon, a'i chysylltu â'r ffiaidd eilun-addoliaeth a dderbyniasant oddiwrth y cenedloedd paganaidd. *Esec.* viii. 10: "Felly mi a aethum, ac a edrychais; ac wele bob llun ymlusgiad, ac anifail ffiaidd, a holl eilunod tŷ Israel, wedi eu portreio ar y pared o amgylch ogylch." Gan ein bod yn awr yn yr ysgrythyr, gallwn goffa yma hefyd yr hyn a ddywedir am

Bezaleel ac Aholiab yn *Exod.* xxxi. 1—12: "Gwel, mi a elwais wrth ei enw ar Bezaleel fab Uri, fab Hur, o lwyth Judah; ac a'i llenwais ef âg ysbryd Duw, mewn doethineb, ac mewn deall, ac mewn gwybodaeth, i weithio mewn aur, ac mewn arian, ac mewn pres," &c. Dyma y celfau o lunio a cherfio yn y fan hon yn cael eu tarddiad yn uniongyrchol o ddwyfol ysbrydoliaeth, ac yn cael eu cymhwyso at wasanaeth dwyfol. Yr oedd y Groegiaid a ymsefydlasant yn neheudir Ital yn cymeryd llawer o drafferth i addurno eu tai oddifewn â lluniau. Ceir yn anneddau Pompeii a Herculaneum y parwydydd wedi eu haddurno â'r darluniau (*paintings*) mwyaf dysglaerwych eu lliwiau, er eu bod yn gyffredin yn ddiffygiol mewn cywreinrwydd celfyddgar. Y mae Winkleman, ar awdurdod Pliny, yn sôn am danynt yn lliwio ar y cymrwd (*cement or mortar*) sych, ac weithiau ar y gwlyb *al fresco* yn anneddau y cyfoethogion. Yn mysg yr hanesion boreuaf o'r gelfyddyd hefyd, y sonir am dani dan deyrnasiad Ninus a Semiramis, brenin a brenines Assyria. Dywedir i Semiramis osod pont ar yr Euphrates, ac adeiladu castell ar bob pen iddi, a bod y muriau oddifewn wedi eu lliwio, nid yn unig â lliwiau unigol o greaduriaid, ond ar un ochr â dernyn o helwriaeth, lle y darlunid y frenines yn taflu saeth at y *panther*, ac yn ei hymyl Ninus yn taro llew i'r ddaear â'i waewffon. Yr oedd hyn tua dwy fil o flyneddau cyn amser Apelles o Groeg, am yr hwn y cawn sôn eto. Sonir am arlunio hefyd yn yr Aipht tua'r un amser; er mai cerfio (*sculpture*) oedd yn benaf mewn arferiad y pryd hyny fel yn gwasanaethu dybenion crefyddol yn well. Ni wnaethant fawr o ffordd yn y blaen, pa fodd bynag, gyda'r celfyddydau hyn am un fil o flyneddau o leiaf. Ond i'w hymgais hwy, er mor anmherffaith, yr oedd y Groegiaid, mae yn debyg, yn ddyledus am ddyfodiad y ddwy gelfyddyd i wlad Groeg.

Gallwn sylwi yma hefyd, ei bod yn hen arferiad foreu iawn—cybelled yn ol a'r saith-lywyddiaeth (*heptarchy*), neu fuan wedi hyny, i sicrwydd, i orchuddio muriau tai oddifewn â math o leni gwëedig a elwir *tapestries*, wedi eu gwau yn gyffredin gan gaeth-forwynion teuluaidd. Gorfodid boneddigesau a thywysogesau, a gymerid yn gaethion, i wau ar y lleni hyn ddarluniau o'r rhyfeloedd yn mha rai y cawsant eu gorchfygu a'u cymeryd yn gaethion. Yr oedd y trais hwn ar deimladau y tywysogesau a gymerid yn gaethion yn beth cyffredin iawn ymhlith y Groegiaid yn eu hoesoedd gwronaidd. Hector a ddesgrifir fel yn wylo oblegid y byddai raid i Andromache weithio â'i dwylaw ei hun y fath gofarwydd o gyfnewidiad aflwyddiannus ei bywyd:—

> "*Thy griefs I dread,*
> *I see the trembling, weeping, captive led!*
> *In argive looms our battles to design,*
> *And woes, of which so large a part was thine.*"

Y mae un anghraifft bur hynod o'r lleni hyn yn bod yn awr, yr hon a elwir y *Bayeaux tapestry;* y lluniau sydd arni yw dygwyddiadau mwyaf hynod y goncwest Normanaidd. Dywedir ei bod wedi ei gweithio gan y boneddigesau a'r tywysogesau Saxonaidd oedd wedi eu cymeryd yn gaethion, a'u gwneyd yn forwynion i frenines y Concwerwr. Gorfodid hwy fel hyn i wneyd cofarwyddion o amgylchiadau anffodus eu cenedl, a'u diraddiad eu hunain.

Byddai y *tapestries* hyn yn cael eu prisio yn uchel, a'r prif gelfyddwyr yn aml yn cael eu gosod ar waith i barotoi y darlun oddiwrth ba un y cymerid y cwbl fyddai ar y lleni. Y mae yr holl fyd yn hysbys o enwog-

rwydd *cartoons* Raffaelle sydd yn awr yn *Hampton Court*, y rhai a wnaed i'r dyben hwn yn unig. Gwyddis am yr *Arras tapestries* sydd yn addurno yr *Woolsey Hall* yno, ac yn gosod allan amgylchiadau oes y patriarch Abraham, ac a elwir felly o herwydd eu bod wedi eu gwneuthur mewn lle a elwir Arras. Mae amryw o honynt mewn hen lysoedd barwnaidd, megys *Cotele-house*, tŷ Arglwydd Mount Edgcumbe, a manau eraill.

Nid yw Homer yn son am y gelfyddyd o ddarlunio (*painting*) fel yn adnabyddus iddo ef. Ond yr oedd yr un ddawn yno yn ei nerth. Pwy fu erioed yn fwy o ddarluniwr na Homer? Cymerer cyfarfyddiad Hector ac Andromache, fel anghraifft. Beth yw arlunio ond barddoniaeth? Y mae yr arlunydd yn gyntaf yn llunio ei ddarlun yn ei feddwl ei hun cyn ei drosglwyddo i'r ddarlunlen (*canvass*). Beth oedd yn addurno Andromache, Helen, a Penelope? Yr oedd yno yn ddiau luniau rhyw bethau oedd yn dwyn cysylltiad â hwynt. A Zeuxis oedd y cyntaf, efallai, a gymerodd ddelweddau ei wroniaid o'r bardd; ac am dano ef gallwn yma adrodd hanesyn bychan lled ddifyr. Yr oedd ef a Pharrasius, ei gydoeswr, i weithio unwaith am y goreu. Zeuxis a wnaeth lun bachgenyn yn dwyn basgedaid o rawnwin, ac a'i gwnaeth mor naturiol fel y daeth yr adar atynt atynt i'w pigo; a chanmolodd pawb ef yn union, gan guro dwylaw, a thybied nad oedd yn alluadwy i neb ragori ar hyny. Pharrasius yntau wedi gorphen ei waith a orchymynodd symud y *curtain* oedd yn cuddio ei ddarlun ef ar y pared; ond erbyn ceisio ei symud cafwyd mai y *curtain* ei hun oedd y darlun. Cyfaddefodd Zeuxis yn rhwydd ei fod wedi cael ei guro, gan na ddarfu iddo ef dwyllo ond adar, ac i Pharrasius dwyllo dynion. Gellir ychwanegu yma hefyd onestrwydd Zeuxis yn dyweyd allan ar g'oedd pan ganmolwyd ef, nad oedd y bachgen wedi ei wneyd cystal â'r grawnwin, onidê na buasai yr adar yn beiddio eu cyffwrdd.

Ond yn awr, ddarllenydd, os wyt am weled pob peth ag sydd yn enwog mewn celfyddyd ar unwaith, tro yn dy ôl, a chymer dy rodfa dawel yn mysg hen adfeiliau amser. Sylwa yn fanwl ar yr hen ddarnau ardderchog sydd wedi hanner malurio ar wastadedd tir Groeg. Cofia eiriau'r bardd:—

> "*Athens the eye of Greece,*
> *Mother of Arts and eloquence.*"

Neu, yn hytrach, dos yn awr i'r *British Museum*, yr hon sydd yn nes atat, a chymer olwg fyfyrgar ar yr *Elgin Marbles*, a ni a sicrhawn i ti y cei wledd i'th feddwl, od oes genyt archwaeth at y fath ymborth. Cofia mai gwaith Phidias ydynt; ac os na chai foddlonrwydd mawr i'th feddwl ynddynt, gwybydd mai arnat ti y bydd y bai. Paid a throi dy lygaid oddiarnynt yn fuan. Os wyt yn methu a gweled eu prydferthwch ar unwaith, aros mewn myfyrdod arnynt nes y teimli ef. Onid yw y peth mawr hwnw mewn celfyddyd, a elwir prydferthwch ffurf, wedi ei gorffoli ynddynt? A fu erioed y fath gydgordiad rhwng rhanau a'u gilydd? Y fath gydbwysiad manwl, y fath undeb perffaith, y fath symudiad rhwydd ag sydd i'w ganfod yn y *Theseus* yna. Onid yw yn crynu ar y llygad? Ië, pa dôn erioed a gafodd effaith mwy boddhaol ar y glust nag y mae ffurf y dyn yna yn gael ar y llygad? Onid yw ei ddefnydd yn llawer tebycach i gnawd nag i gareg? Yn sicr y mae golwg dyner arno, a gellid dysgwyl yn rhesymol iddo deimlo yn dyner dan flaen dy fys. Nid yw yn ymddangos yn galed, yn ffurfiol, nac yn oer. Onid yw yn ddrwg genyt ei fod wedi cyfarfod â'r fath driniaeth chwerw—ei fod wedi colli ei freichiau, a

darn o'i drwyn fel yna? Diau ein bod yn ddyledus i'r Groegiaid am bron holl ragoriaethau celfyddyd, yn enwedig y celfau o gerfio ac adeiladu. Y mae cerfwaith (*sculptures*) Phidias y fath, efallai, nas gellir rhagori arnynt, neu o leiaf ni ragorwyd arnynt gan neb a fu ar ei ol, er fod cewri mewn celfyddyd wedi bod ar y ddaear ar ei ol ef. Felly hefyd am saernïaeth. Cyrhaeddodd y celfau hyn eu gogoniant uchaf yn ngwlad Groeg. Ond y mae yn debyg mai yn amser adfywiad y celfau yn yr Ital y cyrhaeddodd y gelfyddyd o arlunio ei pherffeithrwydd mwyaf, ac ni esgynodd ei haul hithau byth yn uwch efallai wedi hyny.

Bellach ni a gymerwn i fynu hanes y gelfyddyd yn nwylaw dau Roegwr o enwogrwydd nid bychan, a chyda hyny terfynwn am y tro hwn: Apelles a Protogenes. Yr oedd y naill yn byw yn Cos a'r llall yn Rhodes. Yr oedd Protogenes yn hynod am fanylder ei waith. Dywedir y byddai yn arfer treulio blyneddau uwchben un darlun; ac efallai heb byth gael ei foddloni ynddo. Yr oedd yn gydnabyddus â gwaith Apelles, yr hwn oedd yn fwy enwog nag ef ar y cyntaf; ac ymdrechai â'i holl egni i geisio rhagori arno. Byddai gwaith ac enwogrwydd Apelles yn ei symbylu yn aml i lafur mwy nag a allai ei natur ddal. Nid oedd am gryn amser yn cael fawr o enw na thâl am ei boen, o herwydd nad oedd ei waith yn cyfarfod âg archwaeth isel ei gydwladwyr. Ni fedrent hwy brisio purdeb a manylder gwaith Protogenes; ond yr oeddynt hwy yn dewis rhyw bethau erthylaidd ac anghelfydd o waith dynion cyffredin yn lle ei waith rhagorol ef. Ond o'r diwedd daeth yr amser iddo yntau gael ei gyfiawn wobr. Wedi i Protogenes fyned allan un prydnawn i làn y môr i leswyra, ar ol bod yn ymboeni drwy'r dydd wrth ei waith, galwodd gwr ieuanc dyeithr wrth ei ddrws i ymofyn am dano. Atebwyd ef gan hen wraig oedd yn cadw y tŷ, y gallai gael gweled Protogenes boreu dranoeth tua deg o'r gloch, a gofynai yr hen wraig am ei enw: yntau yn lle hysbysu ei enw a dynodd un linell ar ddarlunlen oedd gerllaw wedi ei pharotoi i arlunio arni, ac aeth ymaith. Pan ddaeth Protogenes adref, mynegwyd iddo am y gwr dyeithr oedd wedi galw, ac y byddai yno drachefn boreu dranoeth: nad oedd wedi gadael ei enw, ond iddo wneyd rhyw linell ar y ddarlunlen. Protogenes a nesaodd ac a sylwodd yn fanwl ar y llinell, ac yn sydyn cymerodd yntau y pwyntel, a gwnaeth un arall islaw iddi, gan orchymyn dangos hono i'r dyeithr pan alwai drachefn, oblegid y byddai ef allan ar y pryd. Boreu dranoeth wedi i Protogenes fyned allan, dyma y gwr dyeithr eilwaith yn dyfod. Dywedai yr hen wraig wrtho fod yn ddrwg ganddi nad oedd ei meistr gartref y tro hwnw chwaith, ond iddo yntau wneyd rhyw linell ar y ddarlunlen. Sylwodd y dyeithr arni yn graff, a thynodd drydedd llinell, ac aeth ymaith fel o'r blaen. Yn fuan dychwelodd Protogenes. Nesaodd drachefn at y ddarlunlen, a sylwodd ar y ffurf-lun newydd oedd arno, a gwaeddodd allan yn ddisymwth "Efe ydyw; yr oeddwn yn gwybod nas gallai neb arall ei wneyd!" "Nid yw yn iawn difwyno y ddarlun-len fel yna," meddai yr hen wraig; ac a ddaeth ymlaen ar fedr glanhau y llinellau ymaith. Ond gwaeddodd ei meistr, "Na wna am fil o fydoedd!" gan ei chadw draw â'i law, tra yn syllu arnynt mewn syndod; "Aiff hwn, wraig, i lawr i oesoedd dyfodol! Pe meddit holl drysorau dy ddinas dy hun, Persepolis, a phob cof-golofn o'r gelfyddyd Roegaidd, ni ellit brynu y fath linell a hon yna; a phe b'ai holl gylch y gwyddorion anfarwol at dy wasanaeth, nis gellit ei llunio!"

"Ah!" ebai hithau, "y mae dyfnach llinell wedi ei gwneyd ar fy nghalon i gan law-leiddiaid."

"Paid a myfyrio ar hanes dy fywyd, Zara; gwna hyny di a minnau yn drist. Ond tyred yn awr, os oes genyt ddawn dewiniaeth, dewinia enw y dyeithr hwn."

Zara a nesâodd yn araf at y ddarlunlen ac a ddywedodd, "Ni chaf ei *rwbio* allan yntau genyt?"

"Na chai am orsedd Alecsander," dywedai ei meistr: "nis gallai ymherodraeth wneyd i fyny y golled."[1]

"Mewn gwirionedd ynte, mi a'i darllenaf i ti—Apelles o Cos."

"Wel yn sier, ti fedri ddewinio," dywedai Protogenes, gan chwerthin; ond efallai iddo ddyweyd ei enw wrthyt ti?"

"A ydwyt ti yn meddwl," ebai hithau, "nad oes gan y meddwl ddim gwybodaeth ond a dderbynir trwy y synwyrau allanol? Yr oedd fy nhadau i yn addoli gwybr, daear, a dŵr, yn gystal a ffynnon fawr bywyd, yr haul gorwych. Y mae gan y rhai hyn i gyd eu harwyddion; ac a ydwyt ti yn meddwl nad oes arwyddion yr ysbryd sydd yn bywhau dyn? Ar bwy y buost ti yn galw yn dy gwsg ond Apelles o Cos? A beth sydd wedi bod yn dy gynhyrfu di i lafur mwy nag ellit ddal, ond enwogrwydd Apelles? Ac yr ydwyt yn dyweyd y bydd yr ychydig linellau hyn yn anfarwol; a phwy allasai eu gwneyd ond Apelles o Cos?"

"Wel, pur dda, Zara; ac yn awr bwrw heibio dy fantell ddewinio, a chais barotoi gwledd i'r Apelles enwog hwn tra byddwyf fi yn myned i'w geisio." Ond nis gallai yn hawdd dynu ei lygaid oddiar y llinellau. "Mor dyner ydynt, eto mor feistrolgar!" meddai. "Na, nis gallaf fi byth gyrhaedd y fath berffeithrwydd; ond pa le bynag y byddo enw Apelles yn adnabyddus, bydd i'r cofarwydd hwn gydfyned âg ef; a chydag ef, o leiaf, bydd enw Protogenes mewn undeb âg enw Apelles gan oesoedd dyfodol!" Wrth hwylio ei gamrau ar hyd lân porthladd dymunol Rhodes, a thaflu ei olwg dros y dyfroedd a olchai yr ynysoedd Groegaidd, cyfarfu Protogenes âg Apelles. Safodd y ddau ŵr celfydd yn fud am ychydig fynydau; yna Protogenes a gyfarchodd ei gyfaill fel hyn: "Apelles ardderchog, darllenais o'r blaen anfarwoldeb yn ngwaith dy law; yn awr mi a'i canfyddaf yn dy wyneb!"

"Brodyr ydym," atebai Apelles, gyda symlrwydd; "mi a ddaethum i'th weled yn dy le genedigol, yn Rhodes brydferth." A chan gydymddyddan felly aethant i fyny i'r tŷ. Wedi myned i mewn, cawsant y bwrdd wedi ei hilio gan Zara â digon o ffigys a grawn-sypiau, a phob rhyw ffrwythau eraill ag oedd yr hinsawdd yn ddwyn.

Yr oedd yn yr ystafell lle yr oeddynt un darlun yn unig yn grogedig ar y pared. Darlun ydoedd o fytheiad yn dyheu yn flinedig wedi bod yn yr helfa. Gwelwyd ef, a chydnabyddwyd ei ragoriaethau yn union gan

[1] Dywed Pliny, yr hwn sydd yn adrodd yr hanesyn yma, iddo ef weled y dernyn ar ba un yr oedd y llinellau hyn wedi eu gwneyd; ac iddo gael ei losgi yn y tân a ddinystriodd balas yr ymherawdwr. Tebygol yw mai rhyw *sketches* bychain yn cynnwys rhyw ychydig iawn o waith oeddynt, ac eto llawer o feddwl, yn hytrach na llinellau syml ac uniawn, onide nis gwyddom pa fodd i'w ddëall. Y mae yn hysbys *y gall* gwŷr o athrylith uchel osod allan lawer iawn o feddwl mewn ychydig iawn o waith, dim ond un linell weithiau, a elwir *single outline*, a esyd allan feddylddrych perffaith o'r hyn a ddarlunir. Y mae yn dra hysbys y gallai Flaxman wneyd llun dyn â *dim* ond tair llinell.

Apelles, yn y geiriau a ganlyn: "Y mae y bytheiad yna mewn gwirionedd wedi ei wneyd genyt yn anghymharol dda; canys gwn mai ti a'i gwnaeth. Mae dysgleirdeb ei lygad fel pe b'ai yn tanbeidio pelydr oddiwrth y darlun, a dwfn ddyheiad ei fynwes fel yn chwyddo ac yn suddo ar y ddarlunlen tra yr wyf yn craffu arno. Ond yn enwedig yr ewyn (*froth*) yna sydd oddeutu y genau ac yn britho ei fynwes—y mae yn ymddangos fel y perffeithrwydd mwyaf mewn efelychu natur." Atebai Protogenes ei fod yn ddyledus am y rhagoriaeth a ganmolid yn y darlun yn gwbl i ddamwain;—ei fod ef wedi treulio nerth ei gelfyddyd arno, a mwy o amser nag a garai ddyweyd, ac efallai fod y ci yn ei fanylrwydd yn ffrwyth y llafur hwnw; ond ei fod wedi treulio pob llafur yn ofer ar y genau, ac yn y diwedd wedi ei roddi i fynu mewn anobaith, iddo yn ei natur ddrwg ar y pryd ergydio yr yspwng ato, pan, er ei syndod, wele yr ergyd anobeithiol hwnw wedi gwneyd y cwbl oedd arno eisieu ar unwaith, drwy wasgaru y lliwiau yn y modd y gwelai hwynt. "A phwy," meddai, "a all ammheu yr anfeidroldeb hwnw, sydd i'w weled yn amgylchiadau dynion ag sydd yn aml yn gwneyd megys gwyrthiau o'r fath hyn?" "Pwy all hefyd?" ebai Apelles; "edrych ar Alecsander fy noddwr i fel anghraifft; rhyw allu o'r fath yna a'i cododd ef i fyny ac a'i gwnaeth yr hyn ydyw fel ei mab; ond mab anwes mae 'n wir i ddangos fod y gallu hwnw yn llywodraethu ar ymherodraethau a chenedloedd, yn gystal ag ar ddygwyddiadau lleiaf ein bywyd."

Wedi iddynt orphen bwyta, aethant i'r gweithdŷ. Ac yno yr oeddynt yn mwynhau y fath gymundeb ag sydd yn perthyn yn unig i rai gwir fawr a charedig. Nid oedd yno ddim cenfigen gas yn cymysgu â'u parch y naill i'r llall. Yr oedd Apelles yn awyddus i ddangos Protogenes yn mha bethau yr oedd yn rhagori arno ef; ond dywedai yn onest fod Protogenes mewn un ystyr islaw iddo ef, sef mewn methu gwybod pa bryd i dynu ei law oddiar ei waith. Dywedai nad yw cynnyrch gwir athrylith byth yn cael ei foddi â gwaith, neu yn cael ei orphen yn rhy fanwl. "Mae llawer arlun da yn cael ei ddyfetha," meddai, "trwy wneyd gormod arno."

Aeth y gair yn fuan ar led trwy Rhodes fod Apelles yno; a chydgasglai y trigolion ynghyd i dalu parch ac anrhydedd iddo. Pawb a ddeuai i dalu anrhydedd i'r hwn yr oedd Alecsander yn ei anrhydeddu, a'r hwn oedd yn brif arlunydd yr oes; canys felly yr ystyrid ef yn barod. Teimlai Protogenes beth clwyf wrth weled fod ei waith ef mor ddisylw, tra yr oedd ei gyfaill yn cael cymaint o anrhydedd, er ei fod yn barod i gyfaddef rhagoriaethau Apelles arno ef. Apelles wrth weled hyn, a ddywedai, nad Apelles yr arlunydd yr oeddynt hwy yn ei anrhydeddu, ond Apelles, cyfaill Alecsander. Ymdrechai roddi ar ddëall i'r trigolion ragoriaethau gwaith Protogenes hefyd; ac yr un pryd yn cydnabod ei fod yn eu niweidio trwy wneyd gormod arnynt. "Yr wyf fi yn hollol gyttuno â chwi," ebai rhyw arlunydd hunan-ddigonol, un diwrnod; "yr wyf fi bob amser yn gochelyd y dull manwl yna o weithio; da chwi, deuwch i weled darlun o'm gwaith i?" Aeth Apelles gydag ef, yn ol ei arfer ymostyngar. Yr oedd newydd orphen darlun mawr a'i liwio â rhyw liwiau gwylltion. "Yr wyf yn ystyried hwn," ebai y *quack*, "yn waith gwreiddiol; y mae y dull o'i weithio yn eiddo fy hun yn gwbl." Yr oedd Apelles yn ddystaw, a thybiodd y dyn ieuanc ei fod wedi ei daro yn fud â syndod a hoffder. "Mi a orphenais hwn," meddai drachefn, "mewn mis o amser; yr wyf yn

sicrhau i chwi, gallaf ddwyn tystion ymlaen i brofi hyny." "Nid oes dim achos am neb i brofi hyny," atebai Apelles; "gallasech wneyd llawer yn ychwaneg yn hyny o amser." Fel hyn, nid oedd y Rhodiaid yn gallu iawn-brisio gwaith Protogenes. Nid oedd ef yn arfer ond pedwar o liwiau gwahanol yn ei waith; ac yr oeddynt hwy yn hoffi gwaith Anaxis, arlunydd cyffredin ag oedd yn eu gwneyd yn fwy ymddangosiadus.

Cyn i Apelles ymadael â Rhodes, amlygodd ei fod yn bwriadu gosod i fyny ddarlun o'i waith mewn lle cyhoeddus er mwyn ei werthu. Enw y llŷs oedd Ialysus. Mawr oedd y gwynfydiaeth a deimlid drwy 'r lle wrth feddwl cael meddiannu darlun o waith Apelles—pob dinesydd yn barod i gynnyg mwy na'r llall er mwyn ei gael, pa faint bynag fyddai y swm. Yr oedd Apelles yn cael ei garu am ei hynawsedd a'i deleidrwydd fel dyn; ond yr oedd yr anrhydedd a osodid arno gan Alecsander yn gorlathru y Rhodiaid. Daeth y diwrnod i arddangos y darlun, ac yr oedd yr edrychwyr fel wedi eu swyno ganddo. Cymaint oedd yr ymryson am ei gael fel y penderfynwyd yn y diwedd ei brynu fel cydfeddiant i'r wladwriaeth. Wedi i swm gael ei gynnyg am dano cyfartal i'r hyn a farnai Apelles oedd ei werth, dywedai, "Nid yw ond cyfiawnder i Protogenes i mi hysbysu i chwi mai efe a wnaeth y darlun hwn." Clywyd cynhwrf o anfoddlonrwydd drwy 'r holl dyrfa, a gwaeddwyd allan, "Gwaith Apelles sydd arnom ni ei eisieu; ni fynwn ni mohono." "Purion, boed felly," atebai Apelles, "mi a'ch cymeraf ar eich gair, ac a brynaf y darlun hwn i Alecsander. Mae efe wedi gorchymyn i mi brynu iddo un o waith celfyddwr sydd â'i glod mor uchel ar led, er nad yw yn cael ei anrhydeddu yn ei fro ei hun. Ond gallaswn yn hawdd adael hwn i chwi i brofi fod Rhodes yn feddiannol ar ddyn, yr hwn, mewn amryw ystyriaethau sydd yn ben-celfyddwr yr holl fyd." Wedi iddynt ddëall fod Alecsander i'w gael, cododd y darlun i ddeg cymaint o bris, ac yr oeddynt bellach yn barod i'w fynu fel eu hawlfraint.

Ar ol hyn ceisiwyd gan Protogenes ddarlun arall am yr un bris, a ffrydiai i mewn ddeisyfiadau parhaus am ragor o'i waith; ac yr oedd golud ac anrhydedd yn ymagor o'i flaen. "Y mae llawer o gydnabyddiaeth yn ddyledus arnaf i ti," meddai wrth ei gyfaill. "Rhaid i ti beidio priodoli yr hyn a wnaethum i'm cyfeillgarwch i ti," atebai Apelles, "ond i fy mharch i'r gelfyddyd. Yn Cos, dygwyddais weled darlun o'th waith, ac nis gallwn lai na'i hoffi yn fawr. Pan ofynais am yr arlunydd, hysbyswyd fi ei fod yn byw yn Rhodes, yn dlawd ac anadnabyddus, a phenderfynais innau ymweled â thi. Synais weled fod rhyw bethau erthylaidd o waith dynion anghelfydd yn cael eu dewis o flaen y manylweithiau cywir hyn o'r eiddot ti. Y mae ffafr Alecsander wedi rhoddi bri arnaf fi yn ngolwg y byd. Dymunwyf innau wneyd y ffafr hono yn foddion defnyddioldeb; ac i'r dyben hwn y daethum i Rhodes, gan obeithio gallu dyrchafu fy ngalwedigaeth. Y mae gwir ffynnonell mawredd a llwyddiant yn gynnwysedig mewn ymgyflwyniad diduedd i'r hyn y bydd dyn yn ymgymeryd âg ef. Gâd i ni ymgais â gwirionedd a rhagoroldeb, ac ymddiried ein henw da i'r sawl a ddeuant ar ein hol. Yfory yr wyf yn ymadael â thydi; ond yr wyf yn dy adael gyda'r duwiau, y rhai ydynt gyfeillion i'r rhinweddol."

Wedi ymadael o Rhodes, galwyd Apelles i fyned i Macedonia, i wneyd darlun o'r ymherawdwr. Gwnaeth ef yn ffrwyno ei farch tanllyd Bucephalus, am yr hwn yr ymffrostiai y teyrn na farchogodd neb erioed ef

ond ef ei hun. Nid oedd Alecsander yn cael ei hollol foddhau yn y ceffyl. Parodd Apelles ddwyn Bucephalus yno i'w gymharu â'i ddarlun. Can gynted ag y gwelodd y ceffyl y darlun, efe a weryrodd yn uchel arno. "O frenin," ebai yr arlunydd, "y mae eich ceffyl yn well beirniad o ddarlun na chwi eich hun."

Aml yr adroddir dywediad Apelles, yr hwn wedi hyny a arferir fel dïareb, am y crydd a'r sandal yn ei feirniadaeth o un o'i ddarluniau. Dywedai gŵr yr esgid nad oedd y sandal wedi ei gwneyd yn iawn, ac adroddodd ei resymau. Cydnabyddodd Apelles eu cywirdeb, a diolchodd iddo am ei sylwadau. Yn ymchwydd ei lwyddiant, aeth y crydd ymlaen i feirniadu y goes. "Cedwch at eich crefft, syr," ebai Apelles, "nid yw barn y crydd i gyrhaedd yn uwch na'r esgid."

Un o ddarluniau mwyaf enwog Apelles oedd Venus yn codi o'r môr. Gosodwyd ef yn nheml Diana yn Ephesus; âg ysgrif rywbeth yn debyg i'r cyfieithiad canlynol arno:—

*"The waves divide, and from the foaming ocean*
*Fair beams start at once to life and motion!*
*With roseate hand her humid locks she rings,*
*And from her tresses many a dewdrop springs:*
*While gazing at the beauteous vision there,*
*Her rival sisters own themselves less fair;*
*Yet cry, tenacious still of beauty's field,*
*''Tis to Apelles we the apple yield.'"*

Darlun arall tra enwog o'i waith oedd ardeb o Alecsander, a tharanfollt yn ei law. Yr oedd wedi ei wneyd mor berffaith, fel y tybid fod y llaw yn cael ei hestyn allan oddiwrth y darlun, eto yn cydio yn gadarn yn y daran-follt. Rhoddodd y darlun hwn y fath foddlonrwydd i'r ymherawdwr fel yr anfonodd allan orchymyn na feiddiai neb mwy wneyd darlun arall o hono ef.

Bu ffafr Apelles i Protogenes o wasanaeth mawr wedi hyny i'r Rhodiaid; o herwydd pan wersyllodd Demetrius, o flaen eu prif-ddinas, i'w chymeryd, fel y gwnaed â dinasoedd eraill, gwrthododd losgi y rhan hono o'r ddinas lle yr oedd gweith-dŷ yr arlunydd, er y gallai sicrhau meddiant iddo o'r ddinas. Ac wedi hyny, pan gymerwyd y ddinas, bu ei hoffder o'r darlun yn Ialysus y fath ag i sicrhau i'r Rhodiaid fwy o barch nag a ddysgwylient. Rhoddir hanes am Protogenes, ei bod yn paentio yn ei ardd, pan ddaeth byddinoedd Demetrius i fewn; a bod ei sylw wedi ei lyncu gymaint gan ei waith fel ag yr oedd yn gwbl ddifater am y terfysg o'i amgylch. A phan ddygwyd ef ger bron y concwerwr, ac y gofynwyd iddo paham yr oedd mor ddiofal yn y fath berygl, atebai ei "fod wedi dëall mai â dynion yr oedd Demetrius yn milwrio, ac nid â'r celfau." Ceisiodd ganddo ar hyny ddwyn darlun o'i waith, am yr hwn y talodd iddo gan' talent.

Dywedir am Apelles, na byddai byth yn paentio ar y muriau, nac ar ddim na ellid ei achub rhag tân. Dymunai efe i waith y pencelfyddwyr gael eu trosglwyddo o'r naill wlad i'r llall, ac nis gallai oddef meddwl fod unrhyw ddarlun yn unig yn meddiant un dyn, "o herwydd," meddai, "y mae y gelfyddyd o ddarlunio yn dda cyffredin i'r holl fyd."

Yma terfynwn yn bresennol gyda hanes y gelfyddyd hyd nes caffom gyfle i gymeryd golwg fer arni eto yn amser ei hadfywiad a'i bri uchaf yn yr Eidal, gan Giotto, Leonardo da Vinci, Michael Angelo, Raffaelle, ac eraill.

Y mae gyrfa dyn trwy y byd yn yrfa o ddiwygiad. Er ei fod ar lawer tymmor megys yn aros yn yr un man, ac weithiau yn troi yn ei ol, eto, ar y cyfan y mae ef â'i wyneb ymlaen tuag at amcan ei fywyd. Gwnaeth hiliogaeth Ham adeiladu dinasoedd, sefydlu ymherodraethau mawrion, dyfeisio y celfyddydau cyffredin, a dadblygu i'r helaethrwydd mwyaf y nerthoedd anifeilaidd. Ar eu hol hwynt y Groegiaid, llinach hynaf Japhet, a ddadblygasant y cynneddfau dëallawl—dychymyg a rheswm—tra, yn olaf y dyrchefir hiliogaeth Shem, yr Iuddewon, ac etifeddion Cristionogaeth, i'r agosrwydd mwyaf, megys mewn cymundeb â'r Duwdod, ag sydd bosibl yn y fuchedd hon. Yr oedd adeiladau yr Aipht yn nes i'r anianol; cerfwaith Groeg yn nes i'r dëallawl; tra y mae y gelfyddyd o arlunio yn yr oesoedd Cristionogol, efallai, yn cyfranogi mwy o'r ysbryd anfarwol sydd yn dàl cymundeb â'r Duwdod. Fel nad all dynion gyfodi yn uwch na'u hegwyddorion, felly nis gallai gwŷr celfydd Groeg gyfodi yn uwch mewn ystyr na'u hegwyddorion crefyddol a moesol. Ac y mae yn debyg fod gan Gristionogion celfyddgar fantais arnynt hwy, oblegid, diau fod Cristionogaeth yn gosod urddas ar ddyn mwy nac un grefydd arall, ac yn puro ei chwaeth, a gloewi ei feddwl, &c. Hyn, dybygem, yw y farn gyffredin; ond eto, rhaid i ni ddyweyd ein bod yn ddyledus i'r Groegiaid am y rhan fwyaf o gampau celfyddyd.

---

## PHILIP HENRY, A'I DEULU.

Wedi i ni roddi yn ein rhifyn diweddaf ychydig hanes am yr hyglod Philip Henry, fel gweinidog yr efengyl, yn ei gysylltiad "â'i amserau" terfysglyd ac erlidus, ceisiwn yn awr roddi portrëad o hono yn ei gysylltiad â'i deulu; canys fel penteulu a thad yr oedd ei ogoniant a choron ei orfoledd yn benaf; ac y mae ei hanes yn hyn yn gyflawn o ddyddordeb ac addysg adeiladol. Yr oedd yr "esgob" hwn mewn gwirionedd "yn llywodraethu ei dŷ ei hun yn dda;" ac yn ei holl ymddygiadau perthynasol, yr oedd yn esiampl i ffyddloniaid yr oesoedd dilynol "mewn gair, mewn ymarweddiad, mewn cariad, mewn ysbryd, mewn ffydd, mewn purdeb."

Crybwyllasom o'r blaen iddo briodi unig ferch ac etifeddes Mr. Matthews, o'r Dderwen Lydan, yn nhref-ddegwm Is-y-coed, yn sir Fflint, ond yn mhlwyf Malpas, yn sir Gaerlleon. Ymddengys fod Mr. Matthews ar y cyntaf yn dra anfoddlawn i'r briodas gymeryd lle; ac y mae ar gael rai o lythyrau Mr. Henry ato ar yr achlysur. Yn un o honynt, dywed, "Syr, yr wyf yn attolygu arnoch ar i chwi yn y mater hwn dalu peth ystyriaeth i serchiadau gonest a diniwed; os nad i'r eiddof fi, yr hwn nad wyf ond dyeithr-ddyn, eto, pa fodd bynag, iddi hi, yr hon sydd eich cnawd *eich hun*; a rhynged bodd i chwi ystyried fod yr un Duw ag sydd yn gorchymyn i'ch plentyn ufuddhau i chwi, yn erchi i chwithau hefyd ar yr un anadl, i beidio ei chyffröi hi, fel na ddigalono." Yn fuan, ennillwyd Mr. Matthews

yn hollol gan addfwynder a phwyll Mr. Henry yn yr achos; rhoes ei ferch iddo o fodd ac ewyllys da; anrhegodd hwy â rhan o'i etifeddiaeth yn ystod ei fywyd, a daeth yr oll yn eiddo iddynt ar ol ei farwolaeth. Hanesyn a goffhâ fod rhai o gyfeillion Miss Matthews, wrth geisio ei pherswadio yn erbyn Mr. Henry, yn dywedyd, "Er ei fod yn ddyn boneddigaidd, yn ysgolaig, ac yn bregethwr rhagorol, eto y mae efe yn gwbl ddyeithr yn y parthau hyn, ac ni wyddom hyd yn nod o ba le y mae wedi dyfod." "Gwir," atebodd hithau; "ond myfi a wn i ba le y mae yn myned, ac mi a ddymunwn fyned gydag ef:" ac felly yr aeth. Cadwodd Mr. Henry y dydd o flaen ei briodas yn ddiwrnod neillduedig i weddi ddirgel ac ympryd. Arferai ddywedyd, y dylai y rhai a fynent gael cysur wrth newid eu sefyllfa, edrych ati rhag iddynt ddwyn dim o euogrwydd pechodau eu cyflwr sengl gyda hwy i'w cyflwr priodasol; ac y gwnai presennoldeb Crist ar ddydd y briodas droi y dwfr yn win, ac y deuai efe, os gwahoddid ef trwy weddi. Byddai trwy ei oes yn cydnabod ei rwymedigaeth i ganmawl Duw am y cysur mawr a fwynhëid ganddo yn ei berthynas briodasol. Dywedai i Dduw roddi iddo un oedd yn mhob modd yn ymgeledd gymhwys, ac un yr oedd ef yn diolch i'r Goruchaf o'i galon am dani. Yn ei ddydd-lyfr ysgrifena, yn Ebrill 26ain, 1680:—"Priodwyd ni ugain mlynedd i heddyw; ac yn yr ystod hyny o amser, derbyniasom gan yr Arglwydd fwy nag ugain mil o drugareddau; i Dduw y byddo y gogoniant." Weithiau dywedai yn llon-ddigrif, "Yr ydym wedi bod cyhyd yn briodedig, ac heb gymmodi â'n gilydd eto;" wrth yr hyn y golygai na bu erioed yr anghydfod lleiaf rhyngddynt yn gofyn am gymmod. Yr oedd Mrs. Henry yn wraig nodedig am ei grasusau cristionogol a'i rhinweddau cymdeithasol. Bu farw yn mhen un-mlynedd-ar-ddeg ar ol ei phriod. Traddodwyd ei phregeth angladdol gan ei mab, Matthew Henry, oddiar *Diar*. xxxi. 28: "Ei phlant a godant, ac a'i galwant yn ddedwydd."

Y mae priodi yn amgylchiad pwysig i bawb, ac yn arbenig felly i bregethwr yr efengyl. Priodol yr ysgrifenai y Dr. Adam Clarke yn ei "Lythyr at Bregethwr Wesleyaidd,"—"Nis gall eich priodas chwi fod yn ddibwys: hi a'ch cyflawna neu a'ch andwya; bydd yn fendith neu yn felldith i chwi." Pell ydym ni o goleddu yr athrawiaeth Babaidd sydd yn gwahardd priodas i'r gwyr llëen; mor bell, fel o'n rhan ni, nas gallwn lai nag edrych ar "hen lanc" o bregethwr, boed ei ddoniau cymaint ag y byddont, yn un heb ei addasu yn drwyadl at waith y weinidogaeth. Yn ddyeithr i serchiadau teuluaidd, ac anmhrofiadol o brofedigaethau a chysuron teuluaidd, pa fodd y gall ddywedyd gair mewn pryd wrth deuluoedd yn ol eu heisieu? Pa fodd y gall lefaru gyda medrusrwydd a dwysder ar ddyledswyddau gwyr a gwragedd, rhieni a phlant? Pa fodd y gall gynghori yn effeithiol yn erbyn ieuo yn anghymharus, gan fod dylanwad ei esiampl ef yn gwahardd ieuo *cym*harus hefyd? Ar yr un pryd ni a addefwn gyda'r hen Baxter, "Dylai gweinidog yr efengyl feddwl, a meddwl, a meddwl drachefn, cyn yr elo i'r ystad briodasol." Anghenrhaid yw i wraig pregethwr fod yn "fam yn Israel;" dylai hi yn anad un wraig fod yn un enwog am dduwioldeb, callineb, a thymher hynaws, ac yn un ragorol am warchod gartref a chraffu ar ffyrdd tylwyth ei thŷ. Dyna gynneddfau anhebgorol ynddi; a chyda menyw ddiffygiol yn y pethau hyn, llawer pregethwr da a dynodd anghysur arno ei hun, ac anmhariad ar ei ddefnyddioldeb. Os ceir, yn ychwaneg at y rhagoriaethau hyny, ychydig o dda y byd hwn, purion: gall hyn fod yn

**fanteisiol i'r hwn sydd yn cysegru ei holl ymadferthoedd i wasanaethu Crist yn yr efengyl, ac nid i lafurio gyda negeseuau daearol. Yr oedd yn dda i Philip Henry erbyn iddo orfod ymadael âg Eglwys Loegr, a bwrw ei goelbren gyda yr Anghydffurfwyr erlidiedig, ei fod wedi cael eiddo gyda ei wraig, trwy yr hyn y galluogwyd ef, nid yn unig i fyw yn gysurus gyda'i deulu, ond i weini i gyfreidiau ei frodyr anghenog, y rhai a daflwyd allan o'u bywioliaethau eglwysig i ddwfn dlodi. Ond dedwyddyd mawr Mr. Henry o ran ei sefyllfa briodasol ydoedd, ei fod wedi cael gwraig oedd yn ofni yr Arglwydd, yr hon a gynnaliai ei freichiau mewn ymdrechfëydd ysbrydol, a'i cefnogai yn mhob gweithred dda, ac a unai âg ef i faethu eu plant yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd. Dymuno yr ydym am i'r un dedwyddyd fod yn gyfran i'n holl gyfeillion ieuainc sydd wedi dechreu ar y gwaith mawr o bregethu. Ac wrth y cyfryw, cymerwn ein hyfdra i ddywedyd,—Bydded i chwi, pan yn myned i ddewis cymhares am oes, gymeryd eich arwain gan y glust yn fwy na chan y llygad, gan reswm ac nid gan nwyd, gan ysbryd gweddi ac nid gan deimlad byrbwyll. Na chellweiriwch â theimladau tyner y rhyw fenywaidd. Ymogelwch rhag rhoi lle i neb ddywedyd mai helwyr ffortun ydych. Ymgynghorwch â Duw, a rhoddwch eich achos arno, canys o hyn y daw i chwi ddaioni, yn ol y cynghor hwnw a'r addewid hono, "Yn dy holl ffyrdd cydnebydd Ef, ac Efe a hyfforddia dy lwybrau."**

Ar ei ordeiniad i'r weinidogaeth, addunedodd Mr. Henry yn ddifrifol y byddai iddo ef a'i dylwyth wasanaethu yr Arglwydd; ac efe a fu ffyddlawn a gofalus i gyflawni ei adduned. Yr oedd yr addoliad teuluaidd yn cael ei ddàl i fyny ganddo yn gyson a difwlch o'r pryd y cymerodd arno ofal teulu hyd amser ei farwolaeth; ac yr oedd ar unwaith yn orchwyl difrifol ac yn ymarferiad hyfryd iddo ef a'i holl deulu. Efe a ddechreuai gydag erfyniau byrion am bresennoldeb a chymhorth Duw, ac yn enwedig am fendith ar y gwirionedd oedd i gael ei ddarllen. Yna cenid emyn neu Salm; ac yn fwyaf cyffredin cenid cynghaneddiad o Salmau Dafydd yn eu trefn ddilynol. Byddai Mr. Henry yn arfer dywedyd fod canu mawl mewn cysylltiad âg addoliad teuluaidd yn ffordd i ddangos duwioldeb, fel edau goch Rahab, i'r rhai a fyddo yn myned heibio i'n ffenestri; a sylwai weithiau—"Maent hwy yn gwneyd yn dda sydd yn gweddïo fore a hwyr yn eu teuluoedd; mae y rhai hyny yn gwneyd yn well sydd yn gweddïo ac yn darllen yr ysgrythyrau; ond y mae y rhai hyny yn gwneyd yn oreu o gwbl sydd yn gweddïo ac yn darllen ac yn canu Salmau; ac fe ddylai cristionogion ddeisyfu y doniau goreu." Yr oedd canu mawl wrth addoli yn deuluaidd yn arfer gyffredin yn mysg yr hen Buritaniaid; ac yn hyn yr oeddynt yn ganmoladwy iawn. Mewn amserau o erlid ar grefydd bur, pan yr oedd cig a gwaed yn eu cynghori i fod mor ddystaw ag y gallent yn eu gweinyddiadau cysegredig, nid ymattalient hwy oddiwrth seinio "ardderchog foliant Duw" yn eu teuluoedd. Paham y mae proffeswyr crefydd yn y dyddiau hafaidd hyn, ac yn enwedig crefyddwyr Cymru, yn peidio "moliannu enw Duw ar gân" pan yn cylchynu yr allor deuluaidd? Maent yn gadael heibio y rhan fywiocaf a hyfrydaf o'r gwasanaeth, ac yn ymddangos fel pe byddent yn anhyf i arddelwi eu proffes yn eu cymydogaeth, lle y dylent gyda y parodrwydd mwyaf "beri clywed llais ei fawl Ef."

Wedi canu, efe a ddarllenai gyfran o'r ysgrythyrau, gan gymeryd llyfrau Bibl mewn trefn. A byddai Mr. Henry yn cynghori ei gyfeillion i

wneuthur yn gyffelyb, trwy ddarllen yr ysgrythyrau yn rheolaidd, o lyfr i lyfr, yn eu teuluoedd. "Gwir," meddai, "fod rhagor rhwng seren a seren yn ffurfafen yr ysgrythyr mewn gogoniant; eto pa le bynag y mae gan Dduw dafod i lefaru, dylai fod genym ninnau glust i wrandaw, a gall y neb a chwilio yn ddyfal gael llawer o addysg rhagorol yn y rhan hyny o'r gair ag y byddom ni weithiau yn barod i feddwl y gallesid ei hebgor." Wrth ddarllen gyda ei deulu, byddai bob amser yn esbonio y gwirionedd mewn modd dealladwy ac ymarferol. Byddai ganddo yn fynych y sylwadau mwyaf tarawiadol, a'r rhai hyny yn gwbl wreiddiol a chysefin. Fel anghraifft, wrth esbonio *Genesis* iii, sylwai, "Yn nghanol a farnedigaeth a gyhoeddir ac a weinyddir yn y bennod hon, mae yma gymysgedd hyfryd o drugaredd. Dyma addewid o Grist, *adn.* 15. Ac y mae hyn i'w weled mewn gwneyd gwisgoedd iddynt, *adn.* 21. 'Mewn poen y dygi blant,' dyna farn; eto, 'dygi blant,' dyna drugaredd. 'Dy ddymuniad fydd at dy ŵr, ac efe a lywodraetha arnat ti,' dyna y farn; eto bydd 'at dy ŵr,' dyna drugaredd. 'Trwy chwys dy wyneb y bwytäi fara,' dyna y farn; eto 'bwytäi fara,' dyna drugaredd." Weithiau wrth daraw ar ryw sylw buddiol a fyddai yn hollol newydd iddo, dywedai, "Mor fynych y darllenais y bennod hon, ac eto ni sylwais erioed o'r blaen fod y cyfryw beth ynddi!" Arferai ei blant, ar ei annogaeth ef, ysgrifenu nodiadau o'r deongliadau byrion a diaddurn hyn. Yn y modd hwn, yr oedd pob un o honynt cyn ymadael â thŷ eu tad, wedi sicrhau iddynt eu hunain mewn llaw-ysgrif esboniad o gryn faint ar y Bibl, yr hyn a gyfrifid ganddynt, nid yn unig yn goffadwriaeth hyfryd am eu dyddiau boreuol, ond hefyd o ddefnydd mawr iddynt hwy a'u teuluoedd. Yn llaw Matthew, ei fab, bu y bras-nodiadau hyn yn wreiddiau i'w esboniad enwog ef,—yr esboniad helaethaf ei gylchrediad yn mysg y Saeson.

Ar ol darllen ac egluro y bennod neu y salm, efe a wnai i'w blant adrodd yr hyn yr oeddynt yn ei gofio o honi; a mynych y byddai ymddyddan dyddorol yn cymeryd lle ynghylch ei chynnwysiad. Yna deuai y weddi deuluaidd; ac yn hono byddai yn gyffredin, mewn modd cryno, yn rhoddi diolch am ddoniau teuluaidd, yn cydnabod pechodau teuluaidd, ac yn erfyn am fendithion teuluaidd. Byddai ar amserau yn hynod benodol a chyfeiriol yn ei weddi dros ei dylwyth; os byddai un aelod o'r teulu yn absennol, byddai hwnw yn sicr o gael erfyniau neillduol ar ei ran. Yr oedd Job, dywedai Mr. Henry, yn offrymu poethoffrymau dros ei blant "yn ol eu rhifedi hwynt," offrwm dros bob plentyn; ac felly byddai yntau weithiau, wrth weddïo dros ei blant, yn anfon deisyfiadau i'r nefoedd dros bob plentyn ar ei ben ei hun. Byddai yn cofio yn ddyddiol hefyd am ei wasanaethyddion yn ei weddïau; yn enwedig ar eu dyfodiad i'r teulu, a'u mynediad ymaith, fe offrymai erfyniau neillduol drostynt, yn ol eu nodweddiadau a'u hymgylchiadau. Ni anghofiai chwaith y dyeithrddyn a fyddai o fewn ei byrth, a phob un a ddeuai yno ar ei dro; dygid hwy ar ei galon o flaen Duw mewn pryder sanctaidd a serchogrwydd cristionogol. Ei ddeisyfiad mynych a fyddai "am ras i ymddwyn fel y gweddai i weinidog, ac i wraig gweinidog, ac i blant gweinidog, ac i wasanaethyddion gweinidog, fel na feier ar y weinidogaeth." Byddai hefyd bob amser yn dymuno heddwch Jerusalem, gyda deisyfiad dros yr holl saint.

Fel hyn y byddai y gwr patriarchaidd hwn yn addoli ei Dduw o fewn ei dŷ hwyr a boreu; ac nid oedd yn ystyried fod na phrysurwch cynhauaf,

na myned i, neu ddychwelyd o daith, na dim o'r fath yn ddigon i'w esgusodi i dori ar ei arfer ddaionus. Gofalai am i addoliad Duw gael y lle mwyaf manteisiol yn y boreu, cyn i'r drafferth fydol ddyfod i mewn i ormesu; ac yn ddigon cynnar yn yr hwyr, fel na byddai gwas na morwyn dan demtasiwn i ddylyfu gên ar ddarlleniad y bennod, neu blentyn i bendwmpian dan y weddi. "Byddai yn trefnu yr addoliad teuluaidd bob dydd," meddai ei fab, "fel ag i'w wneyd yn hyfrydwch ac nid yn galedwaith i'w blant a'i wasanaethwyr; o herwydd anaml y byddai yn faith, ac ni byddai byth yn llusgo yn annyben yn y gwasanaeth; yr oedd amrywiaeth y dyledswyddau yn gwneyd yr addoliad yn ddifyr, fel nad oedd gan neb reswm i ddyweyd, Wele, pa flinder yw! Yr oedd ganddo fedr rhagorol i osod crefydd allan fel y gorchwyl hoffaf a melusaf yn y byd, ac yr oedd yn ofalus iawn, fel Jacob, i yru fel y gallai y plant gerdded." Ewyllysiem yn fawr i bob penteulu crefyddol ddal sylw ar yr adroddiad hwn, a cheisio efelychu Philip Henry yn hynyma. Cymerwn yn ganiatäol fod pob gŵr crefyddol o berchen tŷ yn arfer addoli yr Arglwydd gyda ei dylwyth. Dyn crefyddol heb allor i Dduw yn ei dŷ! mae hyny yn annaturiaeth! Ond bydded i'n brodyr yn mhob modd geisio gwneyd y rhan arbenig hon o grefydd yn ddeniadol ac argraffiadol i'w teuluoedd. Mae rhai yn wir trwy eu dull diflas o ymarferyd â'r ddyledswydd deuluaidd wedi bod yn foddion i gryfhâu rhagfarn mewn pobl ieuainc yn erbyn gwasanaeth yr Arglwydd. Gallesid meddwl mai anghenrheidrwydd ac nid dewisiad oedd wedi dodi y gweinyddwr ar waith. Tra y mae y teulu mewn cymysgfa o ffwdan, twrf, ac aflawenwch, dyma 'r ddedfryd yn cael ei rhoddi, "Rhaid dyfod at y ddyledswydd." Yna yn nghanol swn llestri, trwst traed, a nâd plant, dechreuir darllen y bennod, a gorphenir hi heb neb yn ymddangos wedi talu y sylw lleiaf iddi. Yn y weddi, drachefn, nid oes dim yn newydd, dim yn arbenig, dim yn afaelgar, na dim, fe allai, yn briodol i sefyllfa y teulu; ond ffwrdd â hi rywsut, nes cyrhaedd y geiriau, "Er mwyn Iesu Grist, Amen." Ai nid mocio duwioldeb a gwatwor y Goruchaf yw hyn? Ysgafnder gyda chrefydd yw y gwrtaith goreu i anghrefydd.

Gyda fod y weddi ar ben yn yr addoliad teuluaidd gan Mr. Henry, byddai ei blant gyda eu gilydd, ac ar eu gliniau, yn gofyn ei fendith ef, a bendith eu mam, sef yn deisyf arnynt attolygu bendith yr Arglwydd Dduw tragywyddol iddynt; a hyny a wneid gyda difrifoldeb a serchogrwydd mawr gan Mr. a Mrs. Henry. Ac os byddai un neu rai o'r plant oddi cartref, ni chollent er hyny eu cyfran o'r fendith, ond cofid hwythau yn y gweinyddiad syml hwn,—Yr Arglwydd a'ch bendithio chwi a'ch brawd neu eich chwaer sydd yn awr yn absennol. Wrth gofnodi hyn, nis gallwn lai nag ocheneidio, a dywedyd, Dyma eto hen arfer dda sydd wedi myned yn llwyr ar goll, hyd y gwyddom ni, yn y dyddiau hyn! Mae rhai o'n cyfeillion, sydd heb fod yn hen iawn, yn cofio yr amser yn Nghymru, o leiaf mewn rhai ardaloedd, pan y byddai plant a phobl ieuainc yn awchus am fendith eu rhieni, yn enwedig wrth fyned oddicartref, a dychwelyd adref; a phan y byddai hen bobl yn ofalus am ddyrchafu dwylaw i ddeisyfu bendith yr Arglwydd ar eu ceraint a'u cydnabod. Digon tebyg y gwneid hyn gan lawer o rai anwybodus oddiar ryw ffurfioldeb ac ofergoeledd, ac mai hyny a achlysurodd i rai eraill, mwy goleuedig, esgeuluso yr ymarferiad. Ond yr oedd y ddefod yn ysgrythyrol, ac yn dda ynddi ei hun; yr

oedd ynddi gydnabyddiaeth o Dduw, ac o'r pwys o feddu ei ffafr a'i nodded. Golwg brydferth ac anrhydeddus oedd gweled tad a mam ystyriol yn bendigo eu plant, a henafgwyr a henafwragedd dan eu coron yn bendigo pobl ieuainc; ac yr oedd hyn yn tueddu i feithrin parch ac ufudddod ar un llaw, ac anwyldeb a gofal ar y llaw arall. Gresyn, meddwn ni, fod yr arfer glodwiw hon wedi trengu yn y tir, ac yn wresog y dymunwn weled ei hadgyfodiad.

Yn yr addoliad teuluaidd hwyrol ar ddydd Iau, yn lle darllen, byddai Mr. Henry yn holwyddori ei blant a'i wasanaethyddion yn Nghatecism y Gymanfa, neu mewn Catecismau eraill; ac yn addoliad hwyrol y Sadwrn, byddai ei deulu yn adrodd yr hyn a gofiasent o'r pennodau a ddarllenwyd ac a esboniwyd ar hyd yr wythnos. Hyn a alwai efe yn gasglu y briwfwyd gweddill, fel na chollid dim.

Ond dydd yr Arglwydd a gyfrifid ac a elwid ganddo yn frenin y dyddiau, ac yn berl yr wythnos; byddai yn fanwl iawn yn ei gadwraeth o'r Sabboth, ac yn helaeth yn ngwaith yr Arglwydd gyda'i deulu ar y dydd hwn. Ei gyfarchiad cyffredin, wedi dyfod o'i ystafell, ar fore dydd yr Arglwydd, a fyddai, "Yr Arglwydd a gyfododd; efe a gyfododd yn wir!" a dywedai weithiau, "Mae pob dydd yr Arglwydd yn ddydd y Pasg i'r gwir gristion." Gofalai am i'w deulu fod yn barod yn gynnar ar y dydd hwn; a chymerai fwy o amser i esbonio ac i weddïo ar foreuau Sabbothau nac ar ddiwrnodau eraill. "O dan y gyfraith," efe a ddywedai, "yr oedd yr aberth beunyddiol yn cael ei ddyblu ar y Sabboth; dau oen yn y boreu, a dau yn yr hwyr." Ar ol ciniaw ar y dydd hwn, byddai yn wastad yn canu salm, ac felly hefyd ar ol swper. Yn hwyr y dydd, efe a holwyddorai ei deulu mewn materion ysgrythyrol; yna byddent yn myned dros bregethau y dydd; ac efe a geisiai wasgu y gwirioneddau adref, fel hoel mewn man sicr. Yn ei weddïau teuluaidd ar nosweithiau Sabbothau, byddai ei ysbryd yn fynych mewn hwyl nefolaidd, yn profi blaenbrawf helaeth o'r Sabboth tragywyddol sydd yn ol i bobl Dduw. Ar y prydiau hyn, byddai awyddfryd ei galon gristionogol yn gorlifo drosodd, ac efe a eiriolai yn daer dros y trefydd a'r plwyfydd cyfagos. "O! fel y clywais ef," medd ei fab, "pan ar y mynydd gyda Duw, mewn gweddi ar nos Sabboth, yn ymdrechu â'r Arglwydd dros Gaerlleon, ac Amwythig, a Heledd, a Gwrecsam, ac Eglwys-wen, &c., y nythod eneidiau hyny, lle y mae y fath nifer yn byw na wyddant ragor rhwng eu llaw ddeheu a'u llaw aswy mewn pethau ysbrydol." Efe a ddiweddglöai ei waith Sabbothol yn ei deulu trwy ganu *Psalm* cxxxiii., a bendithio ei deulu yn y modd mwyaf difrifol.

Fel hyn yr oedd Mr. Henry yn gwneuthur ei dŷ yn eglwys; ac yr oedd pob aelod yn y teulu, i ryw radd yn teimlo dylanwad ei offeiriadaeth: llawer o'i wasanaethyddion a fawrygent Dduw â'u holl galon am iddynt erioed gael dyfod o dan gronglwyd y Dderwen Lydan, o herwydd mai yno y profasant gyntaf awdurdod achubol a sancteiddiol gair y gwirionedd. Nid digon ganddo a fyddai iddynt ei wasanaethu ef yn ffyddlawn: ond dywedai fel Josua, "Myfi, mi a'm tylwyth a wasanaethwn yr Arglwydd." Yn gyffredin, byddai ei lawforwynion yn aros yn ei wasanaeth nes iddynt briodi, a myned i ofal teuluaidd eu hunain; a rhai o honynt, ar ol priodi a chladdu eu gwyr, a ddychwelent i'w wasanaeth drachefn, gan ddywedyd wrth hyny, "O feistr, da yw i ni fod yma."

Mae yn deilwng o sylw fod Mr. Henry yn amaethwr da yn gystal a

chrefyddwr a phregethwr da. Yr oedd efe yn wahanol iawn i'r tylwyth hyny a lefant oddiar zel anghymedrol, "Crefydd, crefydd! ac aed y byd i ba le yr elo." Dywedai yn fynych fod pob peth yn deg yn ei amser, ac mai doethineb y rhai call yw trefnu eu dyledswyddau crefyddol fel cristionogion, a'u dyledswyddau galwedigaethol yn y byd yn y fath fodd fel na byddo iddynt wrthwynebu na rhwystro eu gilydd. Adroddai weithiau am wraig grefyddol oedd yn gadael pobpeth o'i hamgylch yn annhrefnus, ac fel yr argyhoeddwyd hi o'i hamryfusedd gan gymydog doeth a duwiol, yr hwn a ddaeth i'w hannedd ymhell ar y diwrnod, ac a gafodd y tŷ yn hynod ddilûn, y plant yn afreolus, a'r gweinidogion yn cael gwneyd fel y mynent, tra yr oedd y feistres o'r neilldu yn ei hystafell ddirgel. "Beth!" gwaeddai efe, "ai nid oes ofn Duw yn y tŷ hwn?" Clywodd y wraig dda hyny; a hi a deimlodd ac a ddiwygiodd. Er na chafodd Mr. Henry ei ddwyn i fynu yn amaethydd, eto cyfrifid ef yn un o'r rhai destlusaf yn trin tir yn yr holl fro. Byddai yn dywedyd nas gallasai oddef gweled yr eiddo ef yn debyg i faes y dyn diog a gwinllan yr anghall; a difyrwch ei oriau hamddenol a fyddai arolygu ei erddi a'i feusydd. Yr oedd efe, dybygid, o'r un syniad a John Newton, yr hwn oedd yn byw gan' mlynedd ar ei ol: "Ni ddylai cristion," ebe Newton, "byth ddadleu ysbrydolrwydd dros fod yn aflerw; pe na byddai ond glanhäwr esgidiau, dylai efe fod yn hyny y goreu yn y plwyf."

Yr oedd amaethdŷ y Dderwen Lydan yn sefyll ar ochr y ffordd, "yr hyn sydd dda genyf," meddai Mr. Henry, "er ei fod yn anfantais mewn rhai pethau, o herwydd y mae yn rhoddi mantais i'm cyfeillion alw gyda mi yn fwy mynych." Yr oedd efe, fel y llefara Paul wrth Titus, pan yn dangos yr hyn y rhaid i esgob fod, "yn lletygar, yn caru daioni," neu yn ol y Saesoneg, "yn garwr dynion da;" ac yr oedd y cyfryw yn cael croesaw cynhes i'w drigfa yn wastad. Yn ddifyr y dywedai weithiau, pan y byddai ei gyfeillion cristionogol o'i ddeutu, fod ganddo le i ddeuddeg o honynt yn ei welyau, i gant o honynt yn ei ysgubor, ac i fil o honynt yn ei galon. Yr oedd yn drugarog ac elusengar wrth y tlawd; yr hael yn dychymygu haelioni ydoedd; a phryd bynag y rhoddai elusen i gorff, efe a roddai damaid hefyd i'r enaid; rhyw air o gynghor neu rybudd neu addysg, yn ol fel y byddai yr achlysur. Cafodd sicrhad oddiar brofiad mai gwir y gair hwnw, "Y neb a gymero drugaredd ar y tlawd, sydd yn rhoddi echwyn i'r Arglwydd; a'i rôdd a dâl efe iddo drachefn." Yr oedd yr oll oedd ganddo, ac a wnelai, yn llwyddo, nes oedd y wlad oddiamgylch yn sylwi ar hyny, ac yn galw ei dylwyth yn deulu a fendithiodd yr Arglwydd.

Bu iddo chwech o blant; dau fab—John a Matthew; a phedair merch—Sarah, Catherine, Eleanor, ac Ann. Ei fab hynaf a'i gyntaf-anedig, John, a fu farw yn chwech oed; yr oedd yn blentyn hynod hoff o ran ei dymher, ac yn nodedig am ei ddawn i dderbyn addysg. Yr oedd Mr. Henry "yn dal ei blant mewn ufudd-dod," ac wedi cael rhëolaeth hollol arnynt. Tra yr oedd, fel y dangoswyd, yn brophwyd ac yn offeiriad yn ei dŷ, yr oedd hefyd yn cadw ei awdurdod yno fel brenin. Ond nid awdurdod gormesdeyrn ydoedd, eithr awdurdod yn llaw tad; awdurdod arweiniedig gan ddoethineb, a chydfynedol â chariad. Ceisiai ddenu ac nid dychrynu ei blant i ddaioni. Yr oedd yn hawdd iddynt nesu yn rhydd ato, ac adrodd wrtho eu holl deimladau a'u helyntion.

Wedi cyflwyno ei blant i Dduw yn eu mabandod, yr oedd yn awyddus ac ymdrechgar i'w cael hwythau i selio hyny â'u llaw, trwy ymgyflwyno

yn bersonol i Arglwydd Dduw eu tad; a chafodd wybod na bu ei lafur yn ofer yn yr Arglwydd. Cyfansoddodd iddynt y ffurf ganlynol o gyfammod:—

"Yr wyf yn cymeryd Duw Dad yn ddaioni penaf, ac yn ddyben uchaf, imi.

"Yr wyf yn cymeryd Duw Fab yn Dywysog ac yn Iachawdwr imi.

"Yr wyf yn cymeryd Duw Ysbryd Glan yn Sancteiddydd, Dysgawdwr, Arweinydd, a Dyddanydd imi.

"Yr wyf yn cymeryd gair Duw i fod yn rhëol imi yn fy holl weithrediadau; a phobl Dduw i fod yn bobl imi yn mhob sefyllfa.

"Yr wyf hefyd yn rhoddi ac yn cyflwyno fy hun i'r Arglwydd, yn yr oll ag ydwyf, yr oll sydd genyf, a'r oll a allaf wneuthur.

"A hyn yr ydwyf yn ei wneyd yn bwyllog, yn gywir, yn ewyllysgar, ac am byth."

Byddai pob un o'i blant yn adrodd y cyfammod hwn mewn modd difrifol bob nos Sabboth, ar ol cael eu holwyddori; ac yntau yn dodi ei *Amen* wrtho; ac weithiau yn ychwanegu, "Felly dywedwch, ac felly gwnewch, ac yr ydych wedi eich gwneyd i fynu am byth." Nid oedd yn boddloni ar iddynt ei ddysgu allan yn y ffurf uchod; ond cymerai drafferth gyda hwynt i'w dwyn i'w ddëall, ac i'w perswadio i gydsynio âg ef â'u holl galon. Ac wedi iddynt dyfu i fynu, efe a wnai i bob un o honynt ei ysgrifenu â'u llaw eu hunain, a rhoddi eu henwau wrtho. Yna efe a gadwai yr ysgrifen, gan ddywedyd y byddai iddo ei dwyn yn dystiolaeth i'w herbyn, os byth yr ymadawent â'r Arglwydd, a chyfeiliorni allan o'r hen ffordd dda. Bendithiodd yr Arglwydd ei ymdrechiadau llafurus gyda'i blant, a gwrandawodd ar ei weddïau taerion drostynt; yr oedd arwyddion amlwg fod pob un o honynt yn cofio eu Crëawdwr yn nyddiau eu hieuenctid. Deuent oll at fwrdd yr Arglwydd pan oddeutu un-ar-bymtheg oed; ac yr oeddynt ar hyd eu hoes yn rhai hynod mewn duwioldeb.

Yn y blyneddau 1687 a 1688, aeth pob un o'i blant i'r ystâd briodasol. Priodasant oll â'u cymheiriaid, nid yn unig gyda ei gydsyniad, ond er mawr gysur a boddlonrwydd iddo. Byddai yn arfer rhoi dau gynghor iddynt pan yn byw yn ieuainc gydag ef, gyda golwg ar newid eu sefyllfa. Un ydoedd,—"Dewiswch gymhar crefyddol; un y gellir gobeithio ei fod yn proffesu yr efengyl oddiar egwyddor dda." A'r llall oedd,—"Edrychwch ar gyfaddasrwydd o ran oedran, sefyllfa, addysg, tymher," &c. Sylwai oddiar *Gen.* ii. 18: "Gwnaf iddo ymgeledd cymhwys iddo,"—mai lle na byddo cymhwysder, na bydd yno nemawr ymgeledd. Dywedai hefyd wrth ei blant o barth eu dewisiad, "Bydded i chwi ryngu bodd Duw, a rhyngu eich bodd eich hunain, ac ni wnewch byth fy anfoddio i." Byddai yn mabwysiadu dywediad gwraig dduwiol a chyfrifol, i'r hon yr oedd amryw o ferched;—"Gofal y rhan fwyaf o bobl yw, pa fodd i gael gwŷr da i'w merched; ond fy ngofal i yw addasu fy merched i fod yn wragedd da, ac yna gadael i Dduw ddarparu ar eu cyfer." Priodwyd ei ferch ieuengaf Ebrill 26ain, 1688, ar yr un dydd o'r flwyddyn, fel y sylwa yn ei ddyddlyfr, a'r un dydd o'r wythnos, ac yn yr un lle, ag y priodwyd ef â'i anwyl wraig wyth-mlynedd-ar-hugain cyn hyny. "Nis gallaf (meddai) ddymuno iddynt *dderbyn* mwy gan Dduw nag a dderbyniasom ni yn yr ystâd briodasol; ond mi a ddymunwn iddynt *wneyd* mwy dros Dduw nag a wnaethom ni." Wedi i'r olaf o'i ferched ei adael, mae yn ysgrifenu,

"Anfonasom hi ymaith, nid fel y dywedodd Laban, y buasai yn hebryngu ei ferched, 'â llawenydd, ac â chaniadau, â thympan, ac â thelyn,' ond â gweddïau, â dagrau, ac â dymuniadau da. Ac yn awr yr ydym yn unig drachefn, megys yr oeddym yn y dechreu. Duw a fyddo yn well i ni nag ugain o blant! Yr Arglwydd, yr wyf yn hyderu, yr hwn a'n dygodd hyd yma, a'n galluoga i derfynu yn dda; ac yna bydd pob peth yn dda, ac nid hyd hyny." Ar ol i'w blant gael eu symud oddiwrtho, byddai efe yn gweddïo yn feunyddiol drostynt hwy a'u teuluoedd; yr oedd poethoffrymau eto yn cael eu hoffrymu "yn ol eu rhifedi hwynt oll." Llawenychai yn fawr yn ymweliadau ei blant âg ef; a'i ddywediad cyffredin wrth ymadael a fyddai, "Nid dyma y byd yr ydym i fod ynghyd ynddo; ac y mae yn dda i ni mai nid hwn ydyw; ond y mae y fath fyd a hwnw o'n blaen." A'i weddi arferol a fyddai,—"Bydded i'n cyfarfod nesaf fod yn y nefoedd, neu ymhellach ymlaen ar y ffordd tuag yno." Mewn wyth mlynedd o amser, ganwyd pedwar-ar-hugain o wyrion iddo; rhai gan bob un o'i blant. Ar enedigaeth un o honynt, mewn amser tra chynhyrfus o ran helyntion gwladol ac eglwysig, ysgrifenai,—"Mi a welais yn awr 'blant fy mhlant;' bydded i mi eto weled 'tangnefedd ar Israel,' ac yna mi a ddywedwn, 'Yr awr hon, Arglwydd, gollwng dy was.'"

Mae bywgraffiadau lled helaeth wedi eu cyhoeddi am ei ferch henaf, a'i ferch ieuengaf, y rhai, yn ol enwau eu gwŷr a elwid Mrs. Savage, a Mrs. Hulton; ac yr oeddym wedi bwriadu rhoddi pigion o honynt yma, yn gystal a rhyw frâs-hanes am ei fab enwog, Matthew Henry. Ond gwnai pob un o honynt erthygl ddigonol ar wahan; ac felly ni a'u gadawn ar hyn o bryd. Yr ydym yn hyderu y gwel ein holl ddarllenwyr brydferthwch crefydd bur oddiwrth hyn o bortrëad teuluaidd, ac y teimlant, bob un yn ei gylch ei hun, awydd am feddu ac arddangos ac ymarfer y grefydd hono. Dedwydd, dedwydd a fyddai eglwys Dduw, pe gwelid holl deiau proffeswyr crefydd yn debyg i dŷ Philip Henry!

---

# MARW I'R DDEDDF.

SYLWADAU WEDI EU SEILIO AR Y SEITHFED BENNOD O'R EPISTOL AT Y RHUFEINIAID.

Y MAE dirnadaeth gywir am ddeddf Duw, fel cleddyf llym dau-finiog, yn archolli ysbryd deddfol ar un llaw, a phenrhyddid ansanctaidd ar y llaw arall. Pan y gwel pechadur ei lygredigaeth wrth edrych arno ei hun yn nrych y ddeddf, a phan y clyw y Barnwr yn cyhoeddi dedfryd o golledigaeth uwch ei ben, heb osod o'i flaen y gobaith lleiaf am fywyd tragywyddol, ar sail ei deilyngdod, efe a ollwng ei afael yn y fan o'i hunan-gyfiawnder, gan lefain, "Trwy weithredoedd y ddeddf ni chyfiawnheir un cnawd yn ei olwg ef; canys trwy y ddeddf y mae adnabod pechod." Perffeithrwydd y ddeddf yw, na all amddiffyn pechadur; ac anmherffeithrwydd crëadur yw yr achos na all gael bywyd trwy y ddeddf. Ar y llaw arall, pan y mae pechadur yn marw i'r ddeddf fel ammod bywyd, o ran dwyn ffrwyth iddo ei hun, y mae yn bywhau i ddwyn ffrwyth i Dduw, yn ol y ddeddf, fel

rheol ymddygiad. Er bod yr Arglwydd Iesu yn rhyddhau pechadur oddiwrth felldith y ddeddf dros byth, eto nis rhyddha ef oddiwrth ei rwymedigaeth i ogoneddu Duw yn ei gorff, ac yn ei ysbryd, y rhai ydynt eiddo Duw. Teilwng o sylw yma yw, fod y ddau beth hyn yn cael eu heffeithio mewn pechadur gan Ysbryd Crist, trwy yr un oruchwyliaeth; ac mai nid peth sydd yn cymeryd lle unwaith mewn oes ydyw hyn, ond peth a ddygir ymlaen nes llwyr ddarostwng balchder y galon, a llwyr lanhau y pechadur oddiwrth holl dueddiadau halogedig y enawd a'r ysbryd. Amcan yr Ysbryd Glan yn hyn yw dwyn yr enaid i werthfawrogi cyfiawnder Crist i'w achub, ac i osod urddas ar ras Crist i'w brydferthu. Yn nrych y ddeddf canfydd y pechadur ei halogedigaeth i'r fath raddau nes marw i bob gobaith am gymeradwyaeth gyda Duw ar sail teilyngdod. Mae yn darfod byw i wneyd cyfiawnder iddo ei hun mor llwyr ag y mae dyn marw wedi darfod byw i'w ofalon a'i gysuron. Ac yn nrych yr un ddeddf, ymddengys pechod yn dra phechadurus nes gweithio ffieidd-dod ar a chasineb anghymmodol byth yn yr enaid at bechod. Pan yn marw i'r ddeddf, y mae yn marw iddo ei hun; a phan yn marw iddo ei hun, y mae yn marw i bechod. Nid yw marw naturiol ond newidiad dullwedd o fyw; marw i oruchwyliaethau un byd, a byw i bethau byd arall; marw i drafferthion hen fyd, a byw i oruchwylion byd newydd. Felly hefyd nid yw marw i'r ddeddf ddim amgen na marw i'r byd deddfol, a byw mewn byd efengylaidd; marw iddo ei hun, a byw i Dduw; marw i bechod, a ffrwytho oddiar fywyd i sancteiddrwydd; marw i ffydd yn yr Adda cyntaf, a byw trwy ffydd ar yr ail Adda. Er marweiddio o'r pechadur i'w feddyliau hunandybus, ac i'w dueddiadau halogedig, eto efe a flagura oddiwrth arogl dyfroedd iachawdwriaeth Duw, ac a fwrw gangenau fel planigyn, er gogoniant Duw. Arweinir ef ar hyd canol llwybr barn, trwy unioni ei egwyddor yn dufewnol, a phrydferthu ei fuchedd yn allanol.

Rhag camgymeryd, dylem sylwi, mai nid y ddeddf yw yr achos o'r farwolaeth. Gyda golwg ar unioni ein barn ar hyn yma y gofyna yr apostol Paul, "A wnaethpwyd y peth oedd dda yn farwolaeth i mi?" neu, mewn geiriau eraill, Ai deddf dda Duw yw yr achos o'r farwolaeth? I hyn yr etyb, "Na ato Duw," neu, na oddefed Duw, i mi gymeryd syniadau mor ddirmygus am dani. Wel, pa fodd yr ydym i ddëall? "Eithr pechod, fel yr ymddangosai yn bechod, gan weithio marwolaeth ynof fi trwy yr hyn sydd dda, fel y byddai pechod trwy y gorchymyn yn dra phechadurus." Pechod yw yr *achos* o'r farwolaeth, er i ddeddf dda Duw *achlysuro* y farwolaeth. Hwyrach y gellid dirnad meddwl yr apostol, pe defnyddiem gyffelybiaeth fel y canlyn. Bwrier fod dyn oddiar drachwant at ryw ymborth danteithiol yn gorlenwi ei gylla i'r fath raddau, fel ag i weithio marwolaeth yn ei gyfansoddiad. Yn awr, nid yr ymborth da fyddai yr achos o'i farwolaeth, er iddo achlysuro hyny. Yr achos o'i farwolaeth fyddai ei lythineb; a rhaid y byddai ei chwant yn dra anghymedrol, pan y gweithiai farwolaeth ynddo trwy ddanteithion a ddarparwyd er cynnaliaeth a maeth iddo. Felly nid deddf ddaionus Duw oedd yr achos o'r farwolaeth; yr achos oedd pechod: ac y mae yn rhaid ei fod yn dra phechadurus, pan y gweithiai farwolaeth trwy ddeddf a ordeiniwyd er daioni a dedwyddwch i grëadur.

Yn awr, angenrheidiol yw gwneyd ymchwiliad manylach yn mha ystyr y mae pechadur yn marw i'r ddeddf. Mewn trefn i wneuthur hyn, dylem

edrych ar y ddeddf mewn dau olygiad; fel rheol ymddygiad crëadur, ac fel ammod bywyd tragywyddol. Yn y golygiad cyntaf nis gall farw iddi, heb i'r berthynas sydd rhyngddo â'i Grëwr gael ei dyddymu yn llwyr; gan hyny rhaid mai yn y golygiad olaf yn unig y mae yn marw iddi. Rhaid cadw hyn mewn golwg, onidê yr ydym yn rhwym o gyfeiliorni.

Edrychwn ar y ddeddf fel rhëol ymddygiad crëadur at ei Grëawdwr, a'r naill grëadur tuag at y llall. Yn gyfeiriol ati yn yr ystyr hwn y dywed yr apostol yn yr epistol at y Rhufeiniaid, *pen.* vii. *adn.* 12: "Felly yn wir y mae y ddeddf yn sanctaidd; a'r gorchymyn yn sanctaidd, yn gyfiawn, ac yn dda." Y ddeddf yn y cyfanswm o honi yn sanctaidd, a phob gorchymyn, a'i ystyried yn unigol, yn sanctaidd, yn gyfiawn, ac yn dda. Delw ydyw o natur sanctaidd, gyfiawn, a da Duw. Mae yn gofyn sancteiddrwydd, ac yn gwahardd aflendid; yn gofyn cyfiawnder, ac yn gwarafun gwyrni; yn cymhell yr hyn sydd dda, ac yn gwahardd yr hyn sydd ddrwg. A phe cymerai pawb eu llywodraethu ganddi, byddai y ddaear fel y nefoedd mewn prydferthwch a threfn. Gyda yr un cyfeiriad yr ysgrifena yn *adn.* 14: "Ni a wyddom fod y ddeddf yn ysbrydol." Nid oes un ddeddf yn gofyn yr ysbryd ond deddf Duw. Ni all un ddeddf arall gondemnio nes i'r weithred dori allan: ond pe buasem wedi cael oes cyhyd â Methusalem, heb unwaith bechu yn weithredol, ond yn unig lochesu un meddwl llygredig, buasai hwnw yn ddigonol i'n gwneuthur yn euog dros byth yn ngwyneb y ddeddf. Mae hi yn gofyn yr enaid, yn dàl gafael yn y meddwl, ac yn condemnio y gogwyddiad lleiaf at bechod. Yr oedd Paul yn hollol anwybodus o hyn, pan yr ystyriai ei fod yn ol y cyfiawnder sydd yn y ddeddf yn ddiargyhoedd: a chymerai pechod fantais ar yr anwybodaeth hwn i'w dwyllo—fel y cawn ddangos yn fuan. Anmhosibl rhyddhâu crëadur oddiwrth ei rwymedigaeth i ufuddhau i'r ddeddf yn yr ystyr hwn, heb ddinystrio y berthynas gysegredig hono sydd rhyngddo â'i Grëawdwr. Gan hyny, pan y soniwn am farw i'r ddeddf, rhaid mai nid marw iddi fel rhëol ymddygiad a feddylir.

Cymerwn olwg eto ar y ddeddf fel ammod bywyd tragywyddol. Sail y gorchymyn yn yr ystyr hwn yw y berthynas gyfammodol sydd rhwng dyn âg Adda; yr hon berthynas a ddyddymir y mynyd y mae dyn yn marw i'r ddeddf; fel y mae yn dyfod i berthynas arall, "yn eiddo yr Hwn a gyfodwyd o feirw." Geilw yr apostol y ddeddf yn y golygiad yma, "y gorchymyn yr hwn ydoedd i fywyd." Yma y gorwedda y gwahaniaeth rhwng y ddeddf, fel deddf ynddi ei hun, a'r ddeddf fel y safai yn y cyfammod gweithredoedd. Fel deddf ynddi ei hun, nid oes addewid o fywyd yn gysylltiol âg ufudd-dod iddi; ond yn y cyfammod gweithredoedd, addawai fywyd tragywyddol yn wobr am ufudd-dod. Ei hiaith, ynddi ei hun, ydyw, "Gwna hyn," heb addaw dim: a'i hiaith yn y cyfammod gweithredoedd ydoedd, "Gwna hyn, a byw fyddi." Taflai olwg ar dragywyddoldeb o fywyd dedwydd gyda Duw os ufuddhâai dyn yn berffaith i'w gofyniadau. I'r ddeddf yn yr ystyr hwn y bu farw Paul, ac y mae pob cristion yn marw eto. "A'r gorchymyn yr hwn ydoedd i fywyd, *hwnw* a gaed i mi i farwolaeth." Fel pe dywedasai, Nid i'r ddeddf fel rhëol ymddygiad y bum farw, ond iddi fel ammod bywyd tragywyddol.

Trown ein golwg yn awr ar bechod fel yr achos o'r farwolaeth hon. Wrth bechod fynychaf yn y seithfed bennod o'r Rhufeiniaid y meddylir, y duedd neu yr anian lygredig sydd yn llywyddu dyn dan y cwymp. Dygir i sylw

weithiau yn y bennod, weithrediadau yr egwyddor hon; megys "gwyniau pechodau," "pob trachwant," "gwneuthur drwg," "gwrthryfela yn erbyn deddf y meddwl." Ond yn amlaf, cyfeirir at bechod yn y gwreiddyn, ac nid yn ei ffrwyth; at bechod yn y ffynnonell, ac nid yn y ffrydiau; at bechod o ran yr egwyddor, ac nid y gweithrediad. Yn *adn.* 18 a 25, gelwir ef yn "gnawd:" hwyrach oblegid ei drosglwyddiad i'n natur trwy genedliad naturiol; ac yn sicr o herwydd ei ogwyddiad parhaus at aflendid, a'i duedd halogedig a llygrol. Yn *adn.* 23, gelwir ef yn "ddeddf arall yn yr aelodau, yn gwrthryfela yn erbyn deddf y meddwl." Gelwir ef yn ddeddf, dybygem, o herwydd cryfder ei gymhelliadau yn erbyn sancteiddrwydd, fel y mae yn dal y dyn yn gaeth wrth ei ewyllys. Ond deddf yn yr aelodau ydyw mewn dyn duwiol. Nid yn aelodau y corff, ond yn aelodau yr hen ddyn. Y meddwl yw, cybelled ag y cyrhaedda ein dirnadaeth ni, fod pechod wedi ei ddiorseddu; wedi ei daflu o'r ewyllys a'r serch; a'i diriogaeth o hyny allan yw aelodau yr hen ddyn. Fel pe meddylier am afiechyd, trwy fedrusrwydd meddyg, yn cael ei daflu o'r galon i'r aelodau, fel y mae bywyd y claf allan o berygl. Gelwir yr un egwyddor yn *adn.* 25, "yn gorff y farwolaeth." Gelwir pechod yn gorff, meddyliem, oblegid fod y chwantau cysylltiol âg ef yn debyg i aelodau corff. Gelwir hwy mewn man arall gan yr apostol, "yr aelodau y rhai sydd ar y ddaear." Gelwir ef yn gorff y *farwolaeth*, nid yn unig o herwydd ei fod yn marwolaethu pechaduriaid, ond hefyd oblegid ei ddrygsawr i enaid sanctaidd; yr hwn a deimla o dan ei orthrymder, yn gyffelyb i ddyn byw, a fyddai dan orfod o ddwyn corff marw ar ei gefn. Yn *adn.* 7, 8, 9, 11, 13, gelwir yr un anian fyth yn bechod. Dywedir mai ystyr wreiddiol y gair *pechod* yw *methu y nôd.* Yn y ddeddf, Duw a osodir yn nôd i serch crëadur: "Ceri yr Arglwydd dy Dduw, â'th holl galon, â'th holl enaid, â'th holl feddwl, ac â'th holl nerth." Eithr yr anian lygredig sydd yn dylanwadu dyn, a esyd y dyn ei hunan yn lle Duw yn wrthddrych i'w serchiadau. Yn yr ystyr hwn y dywed Ioan, "Anghyfraith yw pechod." Yn y gyfraith, Duw yw gwrthddrych serch crëadur; ond y mae pechod yn troi Duw allan o'r serch, gan gyfleu a gosod y crëadur ei hunan yn nod ei gariad a'i wasanaeth. Dyma wreiddyn pob drwg. Hon yw y ffynnon o ba un y mae pob ffrwd aflan yn tarddu.

Ceisiwn yn nesaf dynu portrëad o'r pechadur yn yr hwn y gweithredir y cyfnewidiad dan sylw. Edrychwn arno dan ddylanwad egwyddor ddeddfol yn ceisio cyfiawnhad trwy ei ufudd-dod i'r ddeddf. Yn *adn.* 9, dywed Paul am dano ei hun, "Yr oeddwn i gynt yn fyw heb y ddeddf." Yr oedd heb y ddeddf. Pa fodd y gallasai hyn fod? Onid oedd yn gydnabyddus â phob gorchymyn yn y ddeddf? Oedd. Oni allai ei hadrodd, fel y dywedir, ar dafod leferydd? Gallai. Onid y ddeddf oedd prif destun ei fyfyrdod? Ië. Wel, ynte, pa fodd yr oedd heb y ddeddf? Heb y ddeddf, o ran adnabyddiaeth o ysbrydolrwydd ei gofyniadau, o ran treiddgarwch ei goleuni, ac o ran awdurdod ei chondemniad ar lygredd tumewnol. Yr oedd yn gydnabyddus â llythyren y ddeddf, ond yn anmbrofedig o awdurdod ysbrydol y ddeddf. A chan hyny, yr oedd "yn fyw"—yn llawn bywiogrwydd i weithio cyfiawnder, i'w gymeradwyo ger bron gorseddfainc Duw. Ni chyflawnai, hyd y gwyddai, yr un pechod gweithredol, ac nid esgeulusai yr un ddyledswydd allanol. Ymattaliai rhag y naill ar un llaw, ac ymestynai at y llall ar y llaw arall, fel dyn bywiog

a gweithgar; a'i amcan yn y cwbl oedd, cyrhaedd y cyfiawnder sydd o'r ddeddf. Ddarllenydd! a yw Saul o Tarsus, wrth dynu delw o hono ei hun, yn dy ddangos di? Ai iaith dy galon ydyw, Nid wyf fi yn gymaint pechadur a llawer—nid wyf yn euog o bechodau ysgeler a chyhoeddus—byddaf yn darllen fy Meibl hwyr a boreu—yn gwneyd cydwybod o ddyfod dan weinidogaeth yr efengyl—yn gweddïo yn bur aml—ni wnaethum gam â neb erioed—ni fynwn er dim dwyllo na gorthrymu neb; ac os dygwydd i mi golli fy lle weithiau, bydd hyny yn boen dirfawr i'm meddwl. Da iawn. Hyfryd dros ben fyddai, pe b'ai pawb yn y Dywysogaeth yn ymdrechu i'th efelychu. Ond, ystyria, os wyt yn dysgwyl nefoedd ar sail dy rinweddau, yr wyt heb y ddeddf. Ai nid wyt yn adnabod dy lygredd tumewnol? Pe gwybyddit y fath bechadur ydwyt, synit dy fod heb dy ddamnio, ac nis gellit lai na dolefain, "Y penaf o bechaduriaid."

Dyna y fath yw pechadur yn ceisio cyfiawnhad ger bron Duw ar dir teilyngdod; ymegnïwn eto i'w ddesgrifio pan y mae dan weithrediadau Ysbryd Duw yn cael ei ddwyn i undeb â Christ; trwy yr hwn undeb y mae yn dyfod i feddiant o gyfiawnder y Messiah. Cawn yn *adn.* 9 y darluniad canlynol o'r pechadur yn yr amgylchiad hwn: "Ond pan ddaeth y gorchymyn, yr adfywiodd pechod, a minnau a fum farw." Wele gyfnewidiad tra hynod—o'r blaen yr oedd y pechadur yn fyw, a phechod yn farw, yn awr wele bechod yn fyw, a'r pechadur yn farw. O'r blaen yr oedd pechod fel sarff yn y gauaf, yn ymddangos yn hollol farw; ond pan dreiddiodd y gorchymyn yn ei oleuni a'i wres i'r gydwybod, wele yr hen sarff yn bywiocau, a chan neidio i'r pechadur yn ei ladd trwy ei brathiadau gwenwynig. "A minnau a fum farw;" bum farw i bob gobaith am ddyfod i fynu â'r ddeddf trwy fy rhinweddau. "Y pethau oedd elw i mi, y rhai hyny a gyfrifais yn golled er mwyn Crist." Yr oedd yn anghenrheidiol o ran cysondeb a threfn i'r pechadur farw i'r gŵr cyntaf, neu yr Adda cyntaf, cyn y gallesid ei briodi â Christ, yr ail Adda. Ymresyma yr apostol gyda golwg ar hyn, gyda medrusrwydd a grym anghyffredinol yn nechreu y bennod. A chymhwysa y gyffelybiaeth a ddefnyddia at y pwnc dan sylw, yn yr ymadroddion canlynol: "Felly chwithau, fy mrodyr, ydych wedi meirw i'r ddeddf trwy gorff Crist, fel y byddoch eiddo un arall, sef eiddo yr hwn a gyfodwyd o feirw, fel y dygech ffrwyth i Dduw." Yma priodol fyddai i ni geisio cael allan feddwl yr Ysbryd, yn yr ymadrodd "marw i'r ddeddf trwy gorff Crist." Yn ol ein syniad ni, y meddwl yw hyn: pan y gwel pechadur fod yn rhaid i Grist farw mewn trefn i wneyd cyfiawnder iddo, sugnir pob gobaith o'i ysbryd o bosiblrwydd i allu gwneyd cyfiawnder iddo ei hun. Yn yr olwg ar farwolaeth Crist yn ddiwedd i'r ddeddf, er cyfiawnder i bob un ar y sydd yn credu, y mae y pechadur yn marw i bob gobaith o ran gallu cyfiawni cyfiawnder y ddeddf. Yr amcan yn y cwbl yw, fel y byddo yn eiddo un arall;—eiddo cyfammodol, eiddo perthynasol, eiddo priodasol i un arall, sef eiddo yr hwn a gyfodwyd o feirw. Ac o hyn allan nid yw y pechadur yn byw iddo ei hun, nac yn byw arno ei hun. Byw i'r Hwn a fu farw drosto, ac a gyfodwyd i'w gyfiawnhau y mae: a'r bywyd y mae yn ei fyw yr awrhon ei fyw y mae trwy ffydd Mab Duw: byw er gogoniant ei Briod, a byw ar gyfoeth ei Briod, o hyn allan mwy. Efallai y gwasanaetha yr hen ddychymyg canlynol i egluro ein meddwl:—Y gwynt a'r haul a ddadleuent â'u gilydd, pa un a barai i ddyn ymddyosg gyntaf. Haerai y gwynt mai efe a effeithiai

hyny gyflymaf; a dadleuai yr haul mai efe a ddygai hyny oddiamgylch gyntaf. Ond cydunai y ddau i benderfynu y ddadl trwy brawf. Dechreuai y gwynt gyda ffyrnigrwydd aruthrol ymosod ar y creadur; dechreuai yntau wrthsefyll ei ruthriadau; botymai ei ddillad; lapiai mor dŷn ag y gallai. Y gwynt a'i taflai ar y ddaear, yna ymgynddeiriogai y dyn, gan ymaflyd yn nglaswellt y maes yn hytrach na chymeryd ei orchfygu. "Wel," ebe y gwynt wrth yr haul, "nis gallaf fi er fy holl ryferthwy beri iddo ymddyosg." Yna dechreuai yr haul luchio ei belydrau dysglaer a thanllyd, nes y gwelid y dyn yn dechreu dyosg ei amwisg: a pharhâai yr haul i daflu ei wres tuag ato, nes ei lwyr ddyosg. Felly, er i'r ddeddf godi tymhestloedd ac ystormydd i ymosod ar bechadur, eto ymgynddeirioga llygredd y pechadur yn erbyn ei sancteiddrwydd, fel na orchfygir ei ystyfnigrwydd byth, nes y byddo i Haul Cyfiawnder o Galfaria luchio pelydrau dysglaer a gwresog oddiar gariad yr Oen yn marw. Yna efe a ymddyosg, gan lefain, "Ac y'm ceir ynddo Ef heb fy nghyfiawnder fy hun."

Rhaid i ni fwrw golwg yma ar weithrediadau pechod trwy y ddeddf tuag at y pechadur. Y gweithrediad cyntaf a nodwn o eiddo pechod, yw twyllo y pechadur. Cawn hyn yn *adn.* 11: "Eithr pechod wedi cymeryd achlysur trwy y gorchymyn a'm twyllodd i." Sylwer, nid y gorchymyn a'i twyllodd; eithr pechod, a'r ffordd y gallodd pechod wneyd ei dwyll yn effeithiol, oedd cymeryd achlysur trwy y gorchymyn. Gan fod y pechadur yn talu mawr sylw i'r gorchymyn, nis gallai pechod guddio ei dwyll oddiwrtho, ond wrth gymeryd achlysur trwy y gorchymyn. Y gair Cymraeg goreu am *achlysur* yn y lle hwn, ag y gwyddom ni am dano yw, *mantais*. Pechod wedi cymeryd mantais trwy y gorchymyn, a'm twyllodd i. Cymerodd fantais oddiwrth lythyren y gorchymyn, ac oddiar anwybodaeth y pechadur o ysbrydolrwydd y gorchymyn i'w dwyllo. Perswadiai pechod y pechadur, nad oedd y ddeddf yn ei gollfarnu am drachwantau tumewnol, nad oedd ei hawdurdod yn cyrhaedd ymhellach na'r gweithrediadau allanol; a chan ei fod yn ddiargyhoedd yn ngwyneb llythyren y gorchymyn, y rhaid fod ei gyflwr yn dda ger bron Duw. Twyllai pechod ef hefyd trwy beri iddo ddychymygu mai gogoniant Duw oedd ei ddyben yn y cyflawniad o bob dyledswydd, pryd mewn gwirionedd mai cariad ato ei hun oedd y cymhellydd. Dan ddylanwad y twyll hwn, y tybiai Saul o Tarsus mai gwneuthur gwasanaeth i Dduw yr ydoedd pan yn erlid eglwys Dduw. Ddarllenydd, cofia fod y twyllwr oddifewn; mae yn y ddinas: yr wyt mewn perygl bob mynyd; gŵyr pa bluen sydd gymhwysaf at liw y dŵr, pa abwyd sydd fwyaf cydunol â'th archwaeth, a chymer fantais oddiwrth y pethau mwyaf cysegredig fedd Duw i'th dwyllo. Mae yn twyllo miloedd o wrandawwyr yr efengyl y dyddiau hyn, trwy eu perswadio i oedi ffoi at Grist. Achubodd Duw y lleidr ychydig amser cyn marw, fe'th achub dithau yr un modd, meddi. Paham na wna? Clyw, y mae yn galw i'r winllan yr unfed-awr-ar-ddeg. Mae ganddo filoedd o ffyrdd, rhy faith i'w henwi, i dwyllo pechaduriaid. Gwyliwn a gweddïwn ein hunain; a chynghorwn ein gilydd bob dydd, fel na chaleder neb o honom trwy dwyll pechod.

Gweithrediad arall o eiddo pechod trwy y gorchymyn, yw gweithio yn y pechadur bob trachwant. Ceir hyn yn *adn.* 8: "Eithr pechod wedi cymeryd achlysur trwy y gorchymyn a weithiodd ynof fi bob trachwant." Dalier sylw yma eto, nid y gorchymyn a weithiodd ynddo bob trachwant,

eithr pechod; a'r ffordd a gymerodd pechod i effeithio hyny oedd cymeryd achlysur trwy y gorchymyn. Y meddwl, yn ol ein barn ni, yw, pechod wedi cymeryd achlysur trwy waharddiad y gorchymyn, a weithiodd ynddo bob trachwant. Gwaharddai y gorchymyn gyda grym ac awdurdod, "Na thrachwanta;" gwrthsafai pechod sancteiddrwydd y gorchymyn, gan ddywedyd, Fy nhrachwantau a fynaf er pawb. Drylliaf rwymau y ddeddf, taflaf reffynau y gorchymyn oddiwrthyf. Trachwant yw chwant heb fod dan reolaeth y ddeddf; chwant tu hwnt i'r hyn sydd oddefol. Chwant sydd briodol i, a chyfansoddol yn natur dyn; ac nid yw byth yn anghyfreithlawn, ond iddi gymeryd ei llywyddu gan ddeddf Duw. Ond ffeithiau a brofant fod natur lygredig yn llawn awydd am fwynhau peth gwaharddedig, gan lefain, "Dwfr lladrad sydd felus, a bara cudd sydd beraidd." Clywsom fod un dyn unwaith, yr hwn a wasanaethai ŵr boneddig, yn beio yn ddirfawr ar Adda, o herwydd iddo fwyta peth gwaharddedig, a thrwy hyny ddwyn y fath drueni ar yr hil ddynol, gan sicrhau na buasai efe byth yn ymddwyn mor ffol. Y gwr boneddig a wrandawai ar ei ystori y naill ddydd ar ol y llall. Un diwrnod galwai arno ato i'w barlawr, ac a ddywedai wrtho, "Hwn a hwn, yr ydwyf fi wedi penderfynu dy gynnal yn bur gysurus, ti a'th blant, ond i ti aros yn yr ystafell hon, a pheidio codi y cauad hwn sydd ar y bwrdd." Cydsyniai y dyn yn ddibetrus, gan feddwl ufuddhau i gais ei feistr, a thrwy hyny sicrhau ei ddedwyddwch ei hun, a'i blant. Yn lled fuan dechreuai y dyn ymresymu ynddo ei hun, Beth a all fod dan y cauad yna? Pa niwed fyddai i mi ei godi? Ni ddaw fy meistr i wybod. Gosodai ei law arno, ond tarewid ef â'r meddwl, Gwell i mi beidio. Pa fodd bynag, wrth hir ymresymu ynddo ei hun, gorchfygwyd ef, fel y cododd y cauad, a neidiodd llygoden a roddasai y meistr dano allan, ac ni welwyd hi mwyach ganddo. Rywbryd daeth y meistr i mewn, a gwelai fod y gwr a feiai Adda mor dost, wedi methu gwrthsefyll temtasiwn lai na'r hon a ymosodai ar y dyn cyntaf; a dywedai wrtho, "Na feia Adda byth mwy, yn fwy na thi dy hun. Pe gwnaethit fel y gorchymynais i ti, buasit ti a'th blant yn ddedwydd; ond yn awr dos allan at dy waith. Trwy chwys dy wyneb y bwytäi fara."

Nid rhaid i ni ond sylwi ar ymddygiadau plant, na chawn ddarlun cywir o natur lygredig yn llawn ei awyddfryd am beth gwaharddedig. Mwyaf y gwaherddir unrhyw beth, mwyaf fydd yr awydd am dano. Clywsom chwedl am fachgenyn a anfonid gan ei rïeni i'r masnachdŷ yn y gymydogaeth i ymofyn siwgr. Ryw bryd rhybuddiai y masnachwr ef i beidio agor y papyr, oblegid mai gwenwyn a gynnwysai. Y bachgenyn ydoedd wedi bod ar yr un neges lawer gwaith o'r blaen, heb deimlo y gradd lleiaf o awydd i'w agor. Ond gweithredai gwaharddiad y masnachydd y tro hwn mor rymus ar feddwl y bychan, fel y gofynai iddo ei hun ar hyd y ffordd adref, "Pa fath beth yw gwenwyn, tybed?" a'r canlyniad fu iddo agor y papyr. Nid gwaharddiad y masnachydd oedd yr achos o hyn; ond cymerai llygredigaeth y plentyn achlysur oddiwrth y gwaharddiad i weithio trachwant yn ei feddwl i gael gwybod cynnwysiad y papyryn. Weithiau gwelwn ddyhiryn oddiar wir elyniaeth at sancteiddrwydd a rhinwedd yn cymeryd achlysur oddiwrth rybudd difrifol, i wawdio, diystyru, a chablu y neb fyddo yn ei roi. Felly y mae pechod yn ymgodi yn erbyn sancteiddrwydd gwaharddiad y gorchymyn i'w ddirmygu; ac i weithio pob trachwant yn y pechadur am yr hyn a waherddir. Bechadur, ai dan lywyddiaeth, y gor-

mesdeyrn hwn yr wyt ti? Ai nid oes yr un clawdd y mae Duw wedi ei godi, nad ei drosto ar ol dy chwant? Cofia, yn dy ddydd fe'th geir. Y bŵa a'r dur a'th drywana, oni adewi dy ffyrdd drygionus, a dychwelyd at yr Arglwydd.

Y gweithrediad olaf a nodwn o eiddo pechod trwy y gorchymyn, oedd gweithio marwolaeth ynddo. Ceir hyn yn *adn* 13: "Eithr pechod, fel yr ymddangosai yn bechod, gan weithio marwolaeth ynof fi, trwy yr hyn sydd dda, fel y byddai pechod trwy y gorchymyn yn dra phechadurus." Pechod yn ei dwyllo trwy *lythyren* y gorchymyn; yn gweithio ynddo bob trachwant trwy *waharddiad* y gorchymyn; ac yn gweithio marwolaeth ynddo trwy *ysbrydolrwydd* y gorchymyn. Sylwer yma eto, nid y gorchymyn a weithiodd farwolaeth ynddo, ond pechod. Buasai y gorchymyn yn gadael iddo fyw, ac yn ei amddiffyn mewn mwynhâd o fywyd tragywyddol, oni buasai pechod o'i fewn. Trwy fod ysbrydolrwydd y gorchymyn yn dadguddio iddo ei lygredd tumewnol, lladdwyd ef i bob gobaith o'i ran ef am gyrhaeddyd bywyd tragywyddol ar sail ei rinweddau. Fel hyn gweithiodd pechod farwolaeth ynddo trwy yr hyn sydd dda. Fel pe meddyliem am hen afiechyd wedi gwreiddio yn nghyfansoddiad dyn, a'r meddyg yn rhoddi iddo physygwriaeth uniongyrchol i'w ddiwreiddio; ond yr afiechyd yn ymgynddeiriogi yn ei erbyn, ac yn lladd y dyn: felly anfonid y ddeddf yn ei hawdurdod a'i hysbrydolrwydd at gydwybod Paul, mewn trefn i gael pechod allan o hono; ond pechod a ymgynddeiriogai yn erbyn sancteiddrwydd y gorchymyn, nes gweithio marwolaeth i'w holl obeithion am fywyd tragywyddol trwy ufudd-dod personol iddi.

Ni a edrychwn eto ar weithrediadau y ddeddf tuag at y pechadur, mewn trefn i effeithio y cyfnewidiad dan sylw: y rhai ydynt—dadguddio iddo ei lygredd tumewnol, a'i argyhoeddi o'r anmhosiblrwydd i ddyfod i fynu â Duw trwy ei ufudd-dod allanol.

Y mae y gorchymyn yn dadguddio i bechadur ei lygredd tumewnol. Cawn hyn yn *adn.* 7: "Eithr nid adnabum i bechod, ond wrth y ddeddf; canys nid adnabuaswn i drachwant, oni b'ai ddywedyd o'r ddeddf, Na thrachwanta." Ymddangosai pechod "trwy y gorchymyn yn dra phechadurus." Pechod a'r ddeddf ydynt hollol wrthwyneb i'w gilydd. Llechai ac ymguddiai pechod mor ddirgelaidd yn nghalon Saul o Tarsis, fel nad oedd ganddo un dychymyg ei fod yn preswylio yno. Ond pan ddaeth y ddeddf i chwilio ei galon â'i llusernau, neidiai pechod allan o'i ymguddfa, a gwrthsafai sancteiddrwydd y gorchymyn gyda ffyrnigrwydd gorwyllt, gan floeddio, "A gefaist ti fi, O fy ngelyn!" Ac yn hyn ymddangosai yn dra phechadurus. Anghyfiawnder pechod a ymddangosai yn ei wrthsafiad i gyfiawnder gofyniadau y ddeddf; drygedd pechod a ymddangosai yn ei wrthwynebrwydd i ddaioni y ddeddf; ac aflendid pechod a ymddangosai yn ei wrthdarawiad i sancteiddrwydd y ddeddf. Fel yr oedd gelyniaeth yr Iuddewon yn erbyn Crist yn ymgodi i'w eithafnod uchaf pan ddygodd Pilat yr Arglwydd Iesu allan, gan ddywedyd, "Wele eich brenin chwi:" felly pan ddygodd Ysbryd Duw y ddeddf yn ei hysbrydolrwydd a'i sancteiddrwydd i olwg cydwybod y pechadur, ymgodai pechod i'r radd uchaf o elyniaeth yn ei herbyn, gan ddywedyd, "Ymaith â hi, dyddymer hi." Fel hyn dygid y pechadur i olwg ffieidd-dra y ffynnon o ba un yr oedd yr holl ffrydiau ffiaidd yn tarddu. Gwelai bechod yn ei natur a'i wreiddyn "yn dra phechadurus." Llawer a ganfyddant bechod

yn ddrwg yn ei effeithiau; fel y mae yn achosi trueni yn y byd hwn, a'r hwn a fydd: ond wele bechadur yn ei ganfod yn dra phechadurus yn ei wrthdarawiad i sancteiddrwydd natur Duw, a'r ddeddf. Nid oedd yn bosibl defnyddio iaith fwy grymus i osod allan ei ddrygedd: "tra phechadurus." Pe dywedasai, Tra dieflig, tra uffernol, ni buasai agos mor rymus. Gwelai bechod yn waeth na'r diafol, yn fwy echryslon nag uffern. O! fy enaid, a ganfyddaist ti bechod fel hyn? Ai nid ffoi oddiwrtho yr wyt, fel na ddisgyno gwarth ar dy gymeriad? Ai nid cilio oddiwrth ddrygioni yr wyt, o herwydd mai cyflog pechod yw marwolaeth? A welaist ti ei ddrygedd, fel y mae yn gwrthdaro sancteiddrwydd natur Duw? A wyt yn ei gasau fel y mae yn drosedd o'r ddeddf unionaf, berffeithiaf, a mwyaf ei daioni mewn bod? Duw a drugarhao wrthym, ac a'n bendithio â goleuni ei Ysbryd ar natur pechod.

Gweithrediad arall o eiddo y ddeddf, oedd argyhoeddi y pechadur o'r anmhosiblrwydd i gael cyfiawnhad ger bron Duw trwy ei ufudd-dod allanol. Ceir hyn yn *adn.* 14: "Canys ni a wyddom fod y ddeddf yn ysbrydol; eithr myfi sydd gnawdol, wedi fy ngwerthu dan bechod." Yn y geiriau ni a welwn y pechadur yn cyferbynu ei hun â deddf Duw. Fel pe dywedasai, Mae y ddeddf yn gofyn perffaith gydymffurfiad yn fy natur i â natur ysbrydol Duw: ac erbyn i mi ddal fy natur gyferbyn â'r portread a gaf yn y ddeddf o'i natur ef, yr wyf yn gorfod dywedyd, "Myfi sydd gnawdol." Yr wyf yn deall erbyn hyn, fod y ddeddf yn gofyn ymroddiad cwbl i garu Duw mewn meddwl, gair a gweithred, a hyny bob amrantiad: a phan y cymharwyf fy ymddygiad ar hyd fy oes, â'm dyledswydd yngwyneb y ddeddf, rhaid mai caethwas pechod oeddwn y dydd goreu fu ar fy mhen. Dan ddylanwad twyll pechod y gweddïwn, yr ymprydiwn, y gwnawn elusenau, ac y dygwn fawr zel dros draddodiadau y tadau. Caethwas pechod a fum ar hyd fy oes. Y mae y ddeddf wedi dod i mewn i'r tŷ, fel swyddog awdurdodol oddiwrth Dduw; taflodd fy ngweithredoedd da i'w chlorian; clywais innau y ddedfryd yn dod allan o'i genau fel taran gref; "Tecel: ti a bwyswyd yn y glorian, ac a'th gaed yn brin,"— a mi a syrthiais wrth ei thraed fel marw. Ond yr Iesu bendigedig a osododd ei law arnaf, gan ddywedyd, "Nac ofna, bechadur, mi a fum farw, ac wele byw ydwyf yn oes oesoedd. Myfi yw diwedd y ddeddf, er cyfiawnder i bob un ar y sydd yn credu. Cred: pob peth fydd i'r hwn a gredo." Gwaeddais allan fel un mewn llewyg yn yr olwg ar ogoniant Crist, a gwerth ei gyfiawnder, "Yr wyf yn cyfrif pob peth yn dom a cholled fel yr ennillwyf Crist." Ac o hyn allan mwy, "Yn yr Arglwydd y mae i mi gyfiawnder a nerth; ynddo yr ymogoneddaf yn dragywydd."

Bellach, ceisiwn ddesgrifio gweithrediadau y pechadur tuag at bechod a'r ddeddf wedi ei uno â Christ. Yn niwedd y bennod, dynodir dwy anian yn y pechadur; un yn cyfeirio at, ac yn ymddigrifo mewn llygredigaeth; a'r llall yn ymestyn at, ac yn ymhyfrydu mewn sancteiddrwydd; pechod yn gormesu, a sancteiddrwydd yn teyrnasu. Gwyddom fod rhai wedi bod yn cymeryd achlysur oddiwrth ddiwedd y bennod i ddilyn bywyd penrhydd ac ansanctaidd. Clywsom am blaid o grefyddwyr yn Nghymru, y rhai a adwaenid wrth yr enw "Crefyddwyr canol y wlad," y rhai a ddefnyddient ddiwedd y bennod hon fel cochl dros eu hymddygiadau anwyliadwrus a diofal. Un o honynt rywbryd a *bliciai* bytatws ar y Sabboth, a phan y dywedwyd wrthi fod ei hymddygiad yn annheilwng i sanct-

eiddrwydd y dydd; amddiffynai ei hun yn ëon, trwy ddywedyd, "Nid y *fi* oedd yn gwneyd, ond yr *hen ddyn*." Yn awr, nid oes yma ddim mantais i'r fath haeriad, ond fod pechod yn cymeryd achlysur trwy yr hyn sydd dda i dwyllo dynion. Desgrifio cynhyrfiadau *tumewnol* pechod mewn cristionogion y mae yr apostol, ac nid eu hymddygiadau allanol. Pan yn eu darlunio yn eu hymddygiadau allanol, dywed, "Y rhai sydd yn *rhodio* nid yn ol y cnawd, eithr yn ol yr Ysbryd." Ond tynu darlun y mae yma o gynhyrfiadau pechod yn *dumewnol*, y rhai y mae y cristion perffeithiaf ar y ddaear yn gwybod am danynt, er mawr ofid calon.

Gallwn weled ymlaenaf, fod ewyllys y pechadur wedi ei uno â Christ yn ymwrthod â phechod, ac yn cydsynio â'r ddeddf mai da ydyw. Ceir hyn yn *adn.* 15, 16, a'r 17: "Canys yr hyn yr wyf yn ei wneuthur nid yw foddlawn genyf. Ac os y peth nid wyf yn ei ewyllysio, hyny yr wyf yn ei wneuthur, yr wyf fi yn cydsynio â'r ddeddf mai da ydyw." Mi a ddymunwn fod yn gwbl rydd oddiwrth bechod, ac yn berffaith sanctaidd ar ddelw Duw. "Ys truan o ddyn wyf fi! pwy a'm gwared oddiwrth gorff y farwolaeth hon!" "Y bradwr a'r gelyn hwn oddifewn sydd yn fy attal, fel nas gallaf wneuthur beth bynag a ewyllysiwyf. Mae y ddeddf wrth fy modd; ni ddymunwn newid un sill o honi. Mae yn dda ynddi ei hun, ac yn dda i minnau: ac ni byddaf wrth fy modd, nes bod yn berffaith ar ei delw. Nid wyf yn bwrw ddarfod i mi gael gafael ar hyny: ond un peth, gan anghofio y pethau sydd o'r tu ol, ac ymestyn at y pethau sydd o'r tu blaen, yr wyf yn cyrchu at y perffeithrwydd hwnw. Fy ewyllys sydd yn nghyfraith yr Arglwydd, ac yr wyf yn myfyrio yn ei gyfraith ef ddydd a nos." Darostyngiad yr ewyllys i awdurdod a sancteiddrwydd y ddeddf yw dechreuad sancteiddhâd; a chydffurfiad yr ewyllys â pherffeithrwydd y ddeddf yw perffeithiad sancteiddhâd.

Yn nesaf, y mae serch y pechadur yn casâu pechod, ac yn ymhyfrydu yn nghyfraith Duw. Cawn hyn eto yn *adn.* 15 a 22; "Yr hyn sydd gas genyf, hyny yr ydwyf yn ei wneuthur"—"Yr wyf yn ymhyfrydu yn nghyfraith Duw yn ol y dyn oddimewn." Ni a gawn fod y Salmydd yn gwbl o'r un profiad, "Meddyliau ofer a gaseais; ond dy gyfraith di a hoffais. Caseais bob gau llwybr; a'th orchymynion oedd fy nghynghorwyr a'm hyfrydwch beunydd."

Yn olaf, ni a ganfyddwn y pechadur yn ymladd yn erbyn pechod, ac yn brefu am sancteiddrwydd, fel yr hŷdd am yr afonydd dyfroedd. Pan y taflwyd pechod o'r ewyllys a'r serch, diorseddwyd ef; ac esgynodd sancteiddrwydd i'r orsedd yn ei le. Yr ewyllys a'r serch yw gorsedd y galon. Mae yr holl ddyn mewn ufudd-dod i'r cynneddfau hyn. Y serch yn caru, yr ewyllys yn dymuno; yna yr holl ddyn at eu gwasanaeth. Gwir fod ymrysonfa yn erbyn pechod mewn dyn dïadgenedledig. Ond mewn un felly, y cynneddfau sydd yn ymryson â'u gilydd. Y serch sydd yn caru pechod; ond y dëall a awgryma fod gwarth ynglŷn â'r cyflawniad o hono. Yr ewyllys a ddymuna bechu; ond y gydwybod a'i rhybuddia, gan ddywedyd, Y mae Duw a farn. Ni feddiannwyd erioed yr ewyllys a'r serch o blaid sancteiddrwydd. Ond mewn dyn duwiol, y mae y serch yn ymhyfrydu mewn sancteiddrwydd, a'r ewyllys yn awyddu am fwynhad o hono; ond er i bechod gael ei fwrw o'r orsedd, y mae yn yr ymherodraeth, yn cynhyrfu, yn cablu y llywydd newydd, ac yn ei gyhuddo o feiau ag y dylai eu gosod wrth ei ddrws ei hun. Mae yn dangos ei ben yn y fan yma; yn aflonyddu

yn y fan arall, nes y mae y pechadur yn rhodio yn alarus gan ei orthrymder. Iaith hen filwr y groes yw diwedd y bennod yn desgrifio ei ymdrechion, ei beryglon, ei galedi, ei ofnau, a'i fuddugoliaethau. Darlunia y gormeswr pechod yn ymlwybro yn ol ac ymlaen yn yr ymherodraeth, yn gwrthyfela yn erbyn y brenin newydd; yn llywodraethu yn aelodau yr hen ddyn; yn codi cynhwrf arswydus; ac weithiau fel pe b'ai yn ennill tir, nes peri i'r milwr waeddi allan "Pwy a'm gwared oddiwrth gorff y farwolaeth hon." Ond gan mai sancteiddrwydd sydd ar yr orsedd, mae y gormeswr yn cael ei gasâu, ei wrthwynebu, a'i gondemnio; a bydd yn sicr o gael ei fwrw allan yn gwbl. Yna desgrifir ef yn cael ei orlenwi â mawl i Dduw am obaith gwaredigaeth gyfiawn a thragywyddol oddiwrtho, trwy ei Arglwydd Iesu Grist. Ac yn nechreu y bennod nesaf, ni a'i clywn ef yn bloeddio, wedi esgyn bryn buddugoliaeth, gan ddywedyd, "Nid oes gan hyny yn awr ddim damnedigaeth." Y mae pechod wedi ei daflu o'r orsedd; wedi colli ei allu condemniol; sancteiddrwydd sydd yn teyrnasu trwy gyfiawnder Crist i fywyd tragywyddol.

Hwyrach y gall rhai wrth ddarllen y sylwadau hyn gael eu llenwi â dychryn rhag na theimlasant hwy ryw weithrediadau tra grymus a dychrynllyd fel Paul, ac am hyny nad ydynt wedi profi y cyfnewidiad pwysig dan sylw. Wrth y rhai hyny y dywedwn na ddylent ymddyrysu ynghylch y dull y dygir y cyfnewidiad oddiamgylch; ond holi eu hunain a ydyw y peth o ran ei egwyddor wedi ei effeithio yn eu heneidiau. A ydynt wedi eu gweithio o honynt eu hunain at Grist am ddiangfa a bywyd? Nid yw yr Ysbryd wedi rhwymo ei hun wrth un dull arbenigol; gweithreda gyda golwg ar y dull, yn gystal a'r gwrthddrych, yn benarglwyddiaethol. Ond er i'r dull amrywio, yr un amcan a ddygir i ben, sef dwyn pechadur i ddarfod âg ef ei hun, ac i ymddiried yn yr Arglwydd Crist am gyfiawnder a nerth. Y Duw unig a hollddoeth a gymhwysa ei weithrediadau i natur cyfansoddiadau dynion, ac i ansawdd eu dygiad i fynu. Gwyddom y gellir cyflawni pethau naturiol trwy wahanol ddulliau, i gynnyrchu yr un dyben. Weithiau tarewir barilan nes y bo ei thalcen, fel y dywedir, i mewn, a'i chynnwys yn dylifo allan yn orwyllt; bryd arall torir twll bychan ynddi, fel y mae ei chynnwys, er yn arafach, yn sicr o ymarllwys. Nac ymddyryswn ynghylch y dull, ond chwiliwn ein hunain a yw egwyddor y peth yn cael ei gario ymlaen yn ein heneidiau. Bu Timotheus farw i'r ddeddf mor wirioneddol a Paul; ond ymddengys i hyny gael ei effeithio yn y blaenaf trwy ymgydnabyddu â'r ysgrythyr lan er yn fachgen. Y gynnulleidfa yn nhŷ Cornelius a gawsent farn angeu ynddynt eu hunain (yn yr ystyr a soniwn) yn gygystal a'r dyrfa ar ddydd y Pentecost; eto ni chawn fod tŷ y canwriad yn cael ei orlenwi a banllefau arswydlawn; ond yn ol pob peth sydd yn ymddangos i ni, yr oedd yno bob tawelwch allanol, er fod cyfnewidiad mawr yn cael ei effeithio yn dufewnol, trwy ddisgyniad yr Ysbryd Glan ar bawb oedd yn clywed y gair. Lydia ar lân yr afon a ddygwyd i ffoi o bob noddfa at Grist, yn gygystal a cheidwad y carchar; eto ni ddywedir ei bod yn syrthio wrth draed Paul yn ddychrynedig, gan ddywedyd, "Beth a wnaf fel y byddwyf gadwedig?" fel y gwnaeth yr olaf; ond ymddengys i ni ei bod wrth ei bodd yn gwrandaw arno, ac i'r peth mawr a soniwn am dano gael ei ddwyn oddiamgylch ynddi, trwy ddal ar y pethau a ddywedid gan Paul. Yr Arglwydd a ganiatao i ni gael profi y gweithrediadau hyny a'n dygo i ddywedyd fel Paul, "Na ato Duw i mi ymffrostio, ond yn nghroes

ein Harglwydd Iesu Grist"—"Ni ddichon enwaediad ddim, na dienwaediad, ond ffydd yn gweithio trwy gariad." "A chynnifer ag a rodiant yn ol y rhëol hon, tangnefedd arnynt, a thrugaredd; ac ar Israel Duw."

---

# CYHOEDDIADAU CYFNODOL Y CYMRY.

"YR EURGRAWN CYMRAEG."

Y MAE yn hen sylw fod y rhan fwyaf o ddawn awdurol yr oes hon yn rhedeg i'r cyhoeddiadau cyfnodol. Felly y mae wedi bod yn Lloegr er pan sefydlwyd yr "*Edinburgh Review,*" i'r hwn o bryd i bryd yr ysgrifenai Jeffrey, Sidney Smith, Brougham, Macintosh, a Macauley. Er mwyn gwrthwynebu y cyhoeddiad galluog hwn, cychwynwyd y "*Quarterly Review*" yn Llundain, yr hwn a gynnelid yn benaf gan Gifford, Syr Walter Scott, Southey, Lockhart, a Wilson Croker. Yn "*Blackwood's Magazine*" yr ymddangosodd cyfansoddiadau campus y *Professor* Wilson, y rhai a wnaethant y cylchgrawn hwnw y mwyaf poblogaidd o'r holl fisolion. Y mae Thomas Carlyle wedi bod yn ysgrifenu ar gylch i'r rhan fwyaf o'r cyhoeddiadau cyfnodol, heb ofalu i ba blaid y perthynent; ond yn benaf i "*Fraser,*" yn yr hwn y gwnaeth ei "*Sartor Resartus*" ei ymddangosiad cyntaf. Meddyliem fod Thomas De Quincy er ys amryw flyneddau wedi cyfyngu ei hun i "*Tait,*" yn yr hwn y cynnorthwyir ef gan Gilfillan. Bu John Foster yn ysgrifenydd cyson am hir amser, a Robert Hall yn achlysurol, i'r "*Eclectic Review.*" Yn y gofrestr hon nid ydym wedi son am neb ond y rhai ydynt neu oeddynt yr ysgrifenwyr blaenaf yn Lloegr a'r Alban; a gwelir eu bod oll wedi cysylltu eu henwau wrth ryw gyhoeddiadau cyfnodol.

"Yn enw pob synwyr," medd rhywun, "beth yw dyben y rhagymadrodd mawreddus hwn? At ba beth y mae hyn i gyd yn arwain?" Caniatâer i ni ateb ei fod yn arwain yn uniongyrchol at yr "Eurgrawn Cymraeg." Fel y mae cyffelyb achosion yn cynnyrchu cyffelyb effeithiau, mae yn amlwg fod yr amser yn nesu pan y bydd yn rhaid i ni edrych i gyhoeddiadau cyfnodol y Cymry os mynwn ffurfio barn gywir am ei llëenyddiaeth. Y mae felly eisoes mewn rhan; ond nid i'r graddau a ellir ddysgwyl mewn amser dyfodol. Hawdd yw gweled, gan hyny, fod y gangen yma o lëenyddiaeth Gymreig yn haeddu sylw arbenig, ac mai dyledus yw rhoddi un erthygl eto i'r "Eurgrawn," yr hynaf o'r holl gyhoeddiadau cyfnodol. Ein gorchwyl y tro hwn fydd desgrifio ei gynnwysiad; ac nis gallwn wneuthur hyny yn well na thrwy roddi lliaws o anghreifftiau ger bron ein darllenwyr. Nid oes un ffordd arall i amlygu ei ansawdd, gan nad yw yn arddangos unrhyw egwyddorion neillduol mewn duwinyddiaeth na gwledychiaeth. Dyma un o'i ddiffygion penaf. Nid oes ganddo un pwynt penodol. Er hyny y mae ynddo amryw draethodau buddiol ar grefydd brofiadol ac ymarferol; megys yr un a ddyfynwyd yn ein rhifyn diweddaf ar "Foddlonrwydd." Un o'r rhai goreu yw "Ymddyddan ynghylch Gwlad newydd," yr hwn sydd wedi ymddangos yn barod yn y cylchgrawn bychan a elwir "Y Geiniogwerth," ac am hyny nid yw wiw ei

**argraffu yma. Ond rhoddwn ddwy anghraifft ymhellach dan y pen hwn, yn y rhai, os nad ydym yn camsyniad, nid yw yn anhawdd canfod dullwedd y Parch. Peter Williams.**

AM EIN GWYBODAETH YN Y NEFOEDD.

"Y MAE llawer o wyr duwiol a dysgedig yn casglu, oddi wrth amryw amgylchiadau, y cawn ni adnabyddiaeth bersonol o'n gilydd yn y nefoedd; ac y maent yn sylfaenu eu barn ar waith Adda yn adnabod Efa mewn cyflwr o ddiniweidrwydd, a dammeg y goludog a Lazarus; ynghyd â llawer o leoedd eraill yn y 'sgrythurau i'r un perwyl. Ac yn ddiau, os yw gwybodaeth i gael ei pherffeithio yn y byd gwell a gogoneddusach fry, fe fydd i ni adnabod, er mai gyd â serchiadau gwahanol oddi wrth y rhai sy gennym yr awr hon, ein cyfeillion, perthynasau, a'n cydnabod. Yn bresennol ni allwn ni weled ond ychydig i mewn i fesuron a goruchwyliaethau Rhagluniaeth; eithr pan symmudir ymaith y llen, ac y gwisgir y golygon yma âg anfarwoldeb, yna y cawn weled mewn modd llawer eglurach a pherffeithiach nag y mae yn bosibl i ni wneuthur â'n galluoedd presennol. Ac O! y llawenydd a'r gorfoledd annhraethadwy a leinw feddyliau y cyfryw anfarwolion, wrth gyfarfod â'u cyd-bererinion wedi cyrraedd yn ddiogel i ben eu taith, ac yn cyd-gyfranogi o bleserau diddiflanedig a chynhyddol. O! fy enaid, na threulia mo'th amser ynghylch ymofyniadau anfuddiol ac anmherthynasol, eithr canlyn y pethau mwyaf pwysfawr a chyfrifol fydd yn ymgynnyg i ti; gwybydd yn sicr na bydd eisieu dim yn y nefoedd ag a ddichon gyfrannu at dy wynfyd di, yno y cyfarfyddi ag un ansawdd barhaus o hapusrwydd, un fflam ddigwmmwl o ogoniant, un dydd tragywyddol diderfyn. O! fy enaid astudia wers fawr bywyd dynol. Bydd fyw i farw, a bydd farw i fyw BYTH. Anadla tuag i fynu, cyfod tua thragwyddoldeb, ymestyn tua'r nefoedd, a chymmer olwg ar yr ardaloedd uchod. A glywi di y gerddoriaeth, onid hyfryd yw gan dy glust ei felus gydgordiad? Wele! fel y maent yn canu, fel y maent yn ymlonni, yn llawenhau, ac yn gorfoleddu! O! fy enaid, ymgysura ac ymorfoledda, canys ar fyr amser y bwri heibio wisgoedd llygredigaeth, ac y'th arwisgir âg anfarwoldeb. Etto ym mhen ychydig o amser ti a gei dy drosglwyddo o'r llwch i anllygredigaeth, a'th dywys trwy entrych ehang y ffurfafen, hyd oni'th ddyger i mewn i balas disglair a gogoneddus yr Hollalluog, i gael dy wneuthur yn un o'r gymdeithas nefol. E fydd y nefoedd yn llammu ar dy fynediad i mewn, a'r angylion a'r seintiau yn llafar ganu, 'Croesaw it' i dŷ dy Dad.' Rhoddir coron gogoniant ar dy ben, a phalmwydden tangnefedd yn dy law; cei'th lenaid o lawenydd a hyfrydwch, a chystudd a galar a ffy ymaith yn dragywydd."

CYFARWYDDIADAU I IAWN DREFNU EIN BYWYD.

"Na phwysa oruchwyliaethau 'r nefoedd yn nhafol rheswm tywyll ac amherffaith, eithr ymostwng yn ddistaw i law yr Hollalluog. Pan y byddo rhagluniaeth mewn ymddangosiad yn gwgu arnat, a'r byd yn dy gernodio, nac anesmwytha. Cofia na ddanfonir barnedigaethau yn ofer, ac na chyfrannir trugareddau heb orchymyniad. Y mae Duw yn gweithredu 'n wastadol yn y modd gorau. Na rwgnach ddim gan hyny, o herwydd dy gyflwr marwol; eithr cymmer y 'stâd bresennol bob amser mewn cysswllt â'r un fydd i ddyfod. Ystyria mai nid y byd hwn yw'r cwbl a hanfod; ac er nad wyt ysgatfydd yn mwynhau dy gyfran y tu yma i'r bedd, etto ymgysura; canys os ydwyt wir dduwiol, ti a gai feddiannau helaethach yr ochr draw.

Trwy 'r moddion yma, gwrthddadleuon yn erbyn rhagluniaeth a ddiflanant, a phob penbleth mewn bywyd a fydd hawdd ei ddiddyrysu. Ystyria y derfydd dy adfyd ar fyrr, ac y bydd terfyn i'r chwerwaf o'th gystuddiau. Y cymmylau a'r tywyllwch fydd yn awr yn amgylchu ac yn cysgodi holl ardaloedd dy fynwes, a ddiflanant oll pan wawrio'r dydd, a phan gyfodo yr haul yn ei nerth, ni welir gwmmwl mwy: os tra byddo dy ysgraff bychan yn marchogaeth ar weilgi terfysglyd (*ocean*) y byd yma, y par awelon gwrthwyneb a thymestloedd gerwin i ti ofni, etto cofia nad yw 'r daith yn hir, ennyd etto a phob perygl a ddiflana, ac ni wnei ond cofio ei fod: ac er y dichon yr wybren dywyllu, a du-dew gymylau 'r nefoedd dy ddychrynu, etto cred yn sicr caiff dy lygad yn fuan weled golygiadau eglurach, o'r fath ag a rydd hyfrydwch annrhaethadwy i'th enaid. Er rhuo o'r tonnau, ac ymddyrchafu o honynt megis mynyddoedd, eto pob gwynt, tymmestl, terfysg, anrhefn, a marwolaeth, a gydweithiant oll i'th drosglwyddo i'r ardaloedd nefol.

Bydded i'r ystyriaeth o anwadalwch a brauder bywyd i'th gymmell yn oestadol at ddyledswyddau dy sefyllfa: dal sulw ar, a bydded yn gofus gennyt, *arwyddion*

*marwolaeth*, a gwna frenhin y dychryniadau yn gyfaill i ti, trwy gofio fod angau i'r saint yn derfyn gofid, ac yn fynediad i fywyd. Disgwyl ddyfodiad dy Arglwydd a bydded dy holl weithredoedd megis yng olwg yr holl-wybodol Dduw; golch dy galon ac ymdrwsia beunydd fel na'th geffir yn amharod. Na fydd fel y goludog yn yr efengyl, yr hwn a ddywedodd wrth ei enaid, 'Fy enaid, y mae gennyt dda lawer wedi eu rhoi i gadw dros lawer o flynyddoedd;' rhag cael o honot yr un ateb ag yntef, sef 'O ynfyd, y nos hon y gofynir dy enaid oddi wrthyt! ac eiddo pwy a fydd y pethau a barotoaist?" Na chais drysori llawer o gyfoeth i ti dy hun ar y ddaear, ac na chwennych fawredd y byd; bydded dy ddeisyfiad ar Dduw megis yr eiddo *Agur*, 'Na ddyro i mi na thlodi na chyfoeth.'—Os byddi yn rhydd oddiwrth drueni a chyfyngder y naill, ti elli fyw'n gysurus ac yn foddlongar heb ymlwytho a gofalon a gofidiau y llall; ac felly boddlonrwydd a rydd i ti ddiddanwch brenhinol dros dy holl fywyd, a threuli dy ddyddiau mewn hyfrydwch. Er dim nac edrych ar bethau tymmhorol fel peth sicr, eithr cofia y diflanant, fel ffrwythau haf; ac yr ehedant ymaith fel adar arall wlad. Fe ddichon cyfnewidiadau annisgwyliadwy droi olwynion llwyddiant yn eu hol: a throion disyfed a chroesau blinion all ddyfod pan b'o leiaf o edrych am danynt. Na osod gan hyny dy ddedwyddwch mewn pethau diflanedig, ac nac estyn dy ddwylaw i ymaflyd mewn cysgod. Nac adeilada gestyll yn yr awyr, ac na obeithia mewn aneilyn. Parottoa erbyn y gwaethaf, a chadw dy hun mewn parodrwydd gwastadol i ymladd ag adfyd.

Phylip brenhin Macedon, a orchymynai i wr ei gyfarch ef bob borau yn y modd hyn *Phillippe homo es: h.y.* Phylib, dyn ydwyt; fel trwy gael ei ddodi mewn cof o freuolder bywyd dynol, yr ymddygai tu ag at ei gyd-greaduriaid megis y gweddai i un yn cydnabod nad oedd ond creadur marwol ei hun. Y mae rhybuddion o'r fath yma yn angenrheidiol i bawb, ac yn fuddiol (os derbynir yn iawn) i'n gwneuthur yn ofalus ynghylch ein hachosion tragywyddol. Fe ddichon pob peth mewn nattur gael ei ddefnyddio fel rhybudd i'n coffau am farwoldeb ein corph. Y mae i fywyd dyn ei flaendarddiad a'i flodau; rhai a welant eu haf; a'r hyn a adawo 'r hydref yn ol, gauaf marwolaeth a'i hysguba ymaith. Yr ydym oll yn hwylio tu a thragywyddoldeb; ac y mae llawer o greigydd peryglus i'w gochelyd, rhag dryllio 'n hysgraffau bychain yn chwilfriw. Ystormydd a thymmestloedd yn ddiammau a gyfodant: ac ni chair morio bob amser ar ddyfroedd tawel. Y taranau yn fynych a drystiant yn ddychrynllyd uwch ein pennau, a'r tonnau a'n taflant gyda grym angerddol. Morio yr y'm ni oll tu a gwlad dragywyddol: a rhaid i ni hwylio trwy gyfyng-fôr marwolaeth cyn y tiriom yng ngoror y trigfannau nefol.

Braidd y tâl holl gyfoeth euraidd yr India in' afreiddio peryglon y moroedd yn eu cylch, mewn cydmariaeth i'r cyfoeth sylweddol a pharhaus, yr hwn a gorona lafur y Cristion, ac a'i llona ar ben y daith. Pa ddyn a esgeulusai y cyfryw wrthddrychau gogoneddus, rhag ofn i ambell awel wrthwyneb ei gyfarfod ar y ffordd? Yn sicr nid yw 'r dyn hwnw deilwng o anherfynol drysorau 'r nef, a ofno fyned i'r perygl o golli ychydig o wael bethau diflanedig i feddiannu hawddfyd o anrhaethol lawenydd, ac o dragywyddol barhad."

Telid cryn sylw yn yr "Eurgrawn" i amaethyddiaeth; ond gan fod y gelfyddyd hono wedi newid ei gwedd yn hollol yn y blyneddau diweddaf, y mae y cynghorion a geir yma wedi myned erbyn hyn yn anamserol. Ond os yw yr hen ddull o amaethu wedi myned heibio, y mae yr iaith Gymraeg, ac ymddygiadau rhai o'r Cymry tuag ati, yn aros heb newid dim; fel y gwelir oddiwrth y llythyr a ganlyn, ynghyd â'r anerchiad yn ei ddiwedd o waith Dr. Gruffydd Roberts, yn y flwyddyn 1567:—

"AT GYHOEDDWYR YR 'EURGRAWN CYMRAEG.'

FONEDDIGION,

YN gymmaint a'm bod i yn Gymro genedigol, a chennyf fawr barch i'r iaith Gymraeg, y mae'n flin gennyf, ac yn faich dauddyblyg ar fy yspryd, weled amryw bobl coegfeilchion (a anwyd ac a fagwyd ynghanol Cymru, i ba rai y mae yn rhaid ei bod yn famiaith) yn ei diystyru, ei sathru a'i hammharchu, megis pe b'ai arnynt gywilydd ei harddel, ac yn ffieidd ganddynt ei chymmeryd o fewn eu gwefusau llygredig. Amryw o'r fath hyn a gyfarfum yn fy oes, ac y maent mor bengaled a gwrthnysig, na waeth i mi geisio dangos iddynt ddinas fawr Caerludd, o Aber-dau-gleddau, na dangos iddynt werthfawrowgrwydd a godidowgrwydd ein hen iaith! Ond yn anad un, y mae mab i

hen eilliwr a anwyd ac a fagwyd mewn tref lom dlawd (*O——ll N——dd*), yn fy nghydnabyddiaeth, yn fy synnu yn fwy nag a allaf fynegu, o herwydd ei fod ef wedi derbyn cyflawn urddau offeiriad er's agos i flwyddyn, ac heb ddarllain gwasanaeth na phregeth mewn un eglwys etto, gan anturio dywedyd na fedr ddarllain Cymraeg, er na fu allan o sawyr mwg simnai ei fam erioed.—Beth ellir feddwl am y fath walch a hwn, ond ei fod wedi ei wenwyno gan falchder, a chan uchder ei ffroen ni chais Dduw! —Hyn, ac amryw o'r cyffelyb, sydd yn fy nghymmell i anfon i chwi'r 'sgrifen tufewnol, lle mae Iaith Cambr yn siarad drosti ei hun, wrth y ffigiwr a elwir *Prosopopeia.*— Os y 'sgrifen hon a fydd gymmeradwy, caf ddeisyf iddi le yn eich 'Eurgrawn' blasus, gan obeithio y caiff lwyddiannus argraff ar y fath ragddywededig goeg-ddynion: Hyn yw dymuniad

Eich Cydwladwr, a gwastadol Ddarllenydd yr 'Eurgrawn.'
BRITTWN."

"IAITH GAMBR, YN ANNERCH YR HYGAR DDARLLENYDD.

ARISTOTL, gwr o ragoriaeth mewn dysg a gwybodaeth, a ddywaid am bob celfyddyd, mai bychan ac anhrefnus fydd eu dechreuad; ac yna, bob ychydig tyfu ac ymdaclu a wna, nid ar unwaith, ond o amser i amser, trwy fod eraill yn gweled ac yn bwrw at y dechreuad ryw beth nis canfu'r cyntaf na'r ail.—Er bod y dechreu fynychaf yn llai na'r darn a roddwyd wrtho; etto y mae'n galetach, ac yn fwy clod dychymygu ychydig o newydd, nag yw trefnu hynny a chwanegu yn helaethwych. Am hynny na fydded diystyr na diflas gennyt fy ngweled i yn ymddangos mor ddifas ac mor anhylwybr, canys hon yw'r awr gyntaf yr amcanwyd fy nwyn i lwybr celfyddyd. Yr oedd y beirdd ar hyd Cymru yn ceisio fy nghadw rhag colli, neu gymmysgu â'r Saisneg: ond nid oedd ganddynt ffordd yn y byd, nac i ddangos yn fyrr ac yn hyffordd, y godidowgrwydd sydd ynof, rhagor nag mewn llawer o ieithoedd, na chwaith i fanegu rheswm am fagad o ddirgelion a gaid eu gweled ond chwilio yn fanwl am danynt, mal y mae gramadegwyr yn gwneuthur, pawb yn ei iaith ei hun. O herwydd hyn, gan nad wyf ond dechreu etto, rhaid i ti (ddarllenydd hawddgar) pan welych ar hyn o gais, ddim a allasid ei ddeudyd wedi ei adael allan, neu ryw beth wedi gyfleu allan o'i ddyledus le, neu ddiffyg mewn rhyw ffordd arall, beidio a gwaradwyddo'r neb, o ewyllys da i mi, a amcanodd fy nwyn i fraint celfyddyd. Eithr os perffeithi di y peth a ddechreuodd ef, heb ddeudyd iddo mor absen, nes dwyn hynny i ben, mae i ti fawr ddiolch, gennyf fi a chanddo yntau; canys nid ydyw ef yn tybied fod hyn yn agos i'r perffeithrwydd y gweddai iddo fod; eithr i geisio denu y rhai a fedrai yn well, ef a wnaeth oreu ag a allodd, yn y drafferth a'r blinder y mae ynddo, heb gael ennyd i'm tacluso mal y dymunai, ac heb genfigen wrth neb a wnelo yn well nag ef, ond diolch yn gynt iddo, am ddwyn i ben y peth a wnaethai ef ei hun pe's gallasai. Na ryfedda chwaith weled cymaint o feiau wrth brintio; canys yr ydoedd y dynion oedd yn gweithio, heb fod nac yn gyfarwydd yn yr iaith, nac yn ddiesgeulus ar eu gorchwyl, nac yn rhywiog eu trin, ac i gyweirio y pethau a fethai ganddynt.[1] Heb law hyn yr oedd arnynt eisiau llythyrennau ac amryw nodau a fuasai raid wrthynt i argraphu yn gyflawn bob pwngc a berthynai attaf; rhaid i mi ddymuno ar bob Cymro bonheddig a rhywiog, na bo mwy annaturiol i mi nag yw pobl eraill i iaith eu mammau. E fydd weithiau yn dostur ar fy nghalon, wrth weled llawer a anwyd ac a fagwyd im', yn deudyd yn ddiystyr ganddynt am danaf, gan geisio ymwrthod â mi ac ymgystlwng ag estroniaith, cyn adnabod dim o honi. Canys chwi a gewch rai yn gyttrym ag y gwelant afon Hafren, clochdai'r Mwythig, a chlywed Sais yn dweud *Good morrow*, dechreuant ollwng eu Cymraeg dros gof, a siarad yn fawr eu llediaith; eu Cymraeg fydd Saisnigaidd, a'u Saisneg (ysywaeth) yn rhy Gymreigaidd. A hyn sy'n dyfod, naill o wir ffoledd, yntau o goegfalchder a gorwagrwydd; canys ni welir fyth un dyn cyweithas, rhinweddol, a wado na'i dad, na'i fam, na'i wlad, na'i iaith. Eithr mi a obeithiaf o hyn allan, trwy nerth Duw, athrylith ddiwydrwydd, a gwiw fyfyrdod fy Nghymru cariadus, y bydd ganthynt fwy o serch i mi, a chennyf finnau fwy o ddiddanwch a golud iddynt hwythau: o blegid hyn ydwyf yn attolwg i bob naturiol Gymro, dalu dyledus gariad i'r iaith Gymraeg; fal na allo neb ddywedyd am un o honynt, Mai pechod oedd byth eu magu ar laeth bronnau Cymraes, am na ddymunent yn well i'r Cymraeg. Bydd wych."

Y mae rhai o feibion yr hen eilliwr yn fyw eto, y rhai a "anturiant ddywedyd na fedrant ddarllain Cymraeg, er na fuant allan o sawyr mwg

"[1] Dyalled y darllenydd, mai yn Lloegr yr argraphwyd y 'Sgrifen hon gan y Saeson, yr un amser ag y cyhoeddwyd Gramadeg Mr Roberts, sef yn y flwyddyn o Oed Crist, 1567."

simnai eu mam erioed." A gwelwn oddiwrth yr anerchiad uchod eu bod yn hanfodi mor foreu ag amser y Dr. Gruffydd Roberts. "Eu Cymraeg," medd ef, "sydd Saisnigaidd, a'u Saisneg, ysywaeth, yn rhy Gymreigaidd." Gellir eu hadnabod wrth eu dull mursenaidd o siarad Saesneg, a'u parodrwydd i feio ar Saesneg pawb arall. Ond os oes rhai yn awr, fel y pryd hyny, yn dirmygu yr iaith Gymraeg, mae yn debyg fod mwy yn ein dyddiau ni yn ei choledd; ac er mwyn y rhai hyny rhoddwn yma un ysgrif arall dan y pen hwn, yn cynnwys amryw gynghorion buddiol ynghylch cyfansoddi yn Gymraeg.

"AT GYHOEDDWYR YR 'EURGRAWN CYMRAEG.'

FONEDDIGION,

GAN eich bod yn addaw derbyn gyd â pharch dyledus bob cynnygion i gynnal ac adgyweirio 'r iaith Gymraeg, mi a ddanfonais attoch yr ychydig nodau a ganlyn, i ba rai ni ddisgwyliaf ragor na pharch dyledus oddiwrthych chwi na'ch darllenyddion, sef eu hystyried gyd a'r un rhyddid ag yr ysgrifenwyd hwynt, ac yna eu derbyn neu eu gwrthod yn ol eu teilyngdod. Ni ddylai 'r gwyr da a gynhaliasant eich llyfr weled yn chwith y rhyddid a gymerir â'u 'sgrifeniadau, gan na honnir dim awdurdod, ac na ddisgwylir dim ymostyngiad, ond i gymhwysder yr hyn a ddywedir. Ac os trwy hyn y gwnair un gradd o Wasanaeth i'ch 'Eurgrawn,' bydd da gan,

Eich darllenydd a'ch ewyllysiwr da,

DAFYDD ap RHISIART.

YNGHYLCH CYFANSODDI YN GYMRAEG.

Rhagoriaeth pob moddion sydd yn gyfatebol i'w cymhwysder i ateb i'w diben; a chan mai diben iaith yw cyfranu ein meddyliau i'n gilydd, pa egluraf a chrynoaf y gwnair hyny, gorau a pherffeithia' i gyd ydyw.

I. Rhaid gan hyny, ymlaenaf peth, i'r rhai a gyfansoddant yn Gymraeg edrych ar fod eu hiaith yn eglur, ac yn hawdd ei dyall. A hyny yn gystal o ran y geiriau neullduol ag o ran eu cydosodiad yn yr ymadrodd. Nid oes harddwch yn y byd mewn tywyllni, a'r Ysgrifenwyr parchediccaf ymhob iaith ac oes yw y rhai a gyfrannant eu syniadau gyd â mwyaf o oleuni i'r darllenydd, ar y gelfyddyd neu 'r testyn a driniont. Tuag at hyn, anghenrheidiol yw fod y geiriau neullduol yn sathredig ac yn gyffredin yn y wlad, hyd ag y gellir: ac er y dylid cyd-ddwyn, o ran anghenrheidrwydd, ac ymbell hen air annghynnefin, eto, pan y mae yr awdur yn ymhoffi yn y cyfryw, pan fyddo geiriau eglurach ac mor bured gerllaw, nid oes ar y darllenydd fawr o rwymau iddo am ei ddyrysu, a pheru iddo ymbalfalu fel dall ar bared. Beth pe dywedwn wrth ryw grefftwr, *Yr hercwn iddo fuelin neu gareglaid o wirawd cunnach, am ddulio cethri ynghwaranau fy ngwilog?* Oni 'm tybiai allan o'm pwyll? Ac ni byddwn ronyn nes i gael fy neges o sicrhau iddo mai *brythoneg anymgyhydr ddiledryw* a siaredais.—Barned y darllenydd ai cymmwys arfer y fath eiriau â *selgyngian, aeg, ymornest, ffureg, ffelaig, Gwyryfa, Mairgledd, Badafia, y Pwyl, Clydhyttin, Helytin, Caerwerydd, Caerodor,* &c., mewn gwaith a amcenir i gyfranu gwybodaeth i'r werin, yn gystal ag i adgyweirio 'r iaith Gymraeg. Nis dylid yn wir fabwysio geiriau o ieithoedd dieithr, pan y mae gennym rai mor ddyalladwy o'r eiddom ein hunain; ond pan y mae geiriau Saes'neg neu eraill eisoes wedi eu derbyn i mewn, a'u harfer yn gyffredin, f'allai mai gormod petrusder yw eu gwrthod; yn enwedig gan fod gennym y fath yn nghyfieithiad y Bibl; megis *help, zel, titl, posibl, siwr, matter, dawnsio,* &c. Nis gwn i gan hyny pa un a fyddai orau, 'sgrifenu cyngaws, rheithwyr, a dedryd, neu ynte *treial, cwest,* a *ferdit* neu *sentens,* y rhai a arferir yn gyffredin, ac a dyallir yn well gan y rhan fwyaf. Ond mewn perthynas i enwau gwledydd a dinasoedd a'r cyffelyb, y mae 'n ddiddadl gennyf mai yr enwau mwyaf adnabyddus yw y rhai cymwysaf, ac nad yw ddigon eu heglurhau mewn cromfachau, ( ) o herwydd byrdra côf y darllenydd.[1]

II. Gofynir hefyd fod y iaith yn bur, ac yn gywir, neu yn Ramadegaidd; *h. y.* dylai 'r geiriau fod yn Gymraeg loyw, hyd ag y gellir yn gyttunol ag eglurder, ac nid cym-

[1] Y mae *Eurgrawn* wedi myned yn air anghynnefin, ond fe ellir ei arfer fel enw llyfr, gan nad yw o fawr bwys pa un ai gwybyddir mai *Trysor* yw ei feddwl yn nghyfraith *Hywel Dda,* neu beidio, cyhyd ag y gwyddys pa ryw lyfr fydd yn myned dan yr enw. Yn gymmwys fel *Magazine* yn Saes'neg.

cymmwys cydymffurfio â llygriadau cyffredin. Mewn amryw o fannau yng Nghymru y dywedir *ynnost* ac *attast, i'w eu gilydd, i'w eu dwylaw,* &c., ond pa mor chwithig a fyddai hyn mewn cyfansoddiad ysgrifenedig neu argraphedig? Yr un peth a ellir ddywedyd am *allanol, tufewnol, hyd nod, abergofi, o'r braidd, yn eu holau:* yn lle oddiallan, oddifewn, hyd yn noed, ebargofi, braidd (neu o fraidd), yn eu hol.[1] Ni buasai raid, debygid, dywedyd *sadler, labrer, pistols,* pan y buasai cyfrwywr, gweithiwr, pistolion, yn burach ac etto mor hawdd eu dyall.—Yr un gofal sydd raid ei gymmeryd i gyssylltu 'r geiriau yn yr ymadrodd yn ol rheolau Gramadeg. Ac yma, gobeithio y maddeuir i mi os cyffyrddaf yn gynnil, a chyd â gwylder dyladwy, a rhai pethau a allasent fod yn gywreiniach o ran Gramadeg yn y rhannau o'r blaen o'r 'Eurgrawn,' a hyny nid i hyfforddi 'r gwyr da, ond i'w gosod yn fwy ar eu gofal. Can groesaw fydd iddynt hwythau i'm difeio innau.

'Y brenin a ddywedodd, *mai* yn gymaint a'u bod mor daer—yr enwai efe iddynt,' &c. Ymres. tudal. 3. Onid yw *mai* yma yn annghymmwys? 'Etto ymhen ychydig,' tudal. 10, yn lle *ymhen ychydig etto.* 'Yr achos—yw diffyg o ystyried—neu *yn* camdybied,' tudal. 20, yn lle *neu gamdybied.* 'Yr achos sydd yn arwain *cymmaint,*' ibid, yn lle *cynnifer.* 'Terfysg a *gyfododd*'—gan Wat Tyler, tudal. 21, yn lle *gyfodwyd.* 'Dedwyddwch aneirif,' tudal. 28, yn lle *aneirif rywiau o ddedwyddwch,* neu rywbeth o'r fath, gan nad oes i'r gair dedwyddwch rif lliosog. 'Y siryf a ddygodd y llofruddion i'w dihenyddio—ac a drowyd ymaith,' new. tudal. 32, yn lle a *hwy a drowyd ymaith.* 'Ymddengys fod i bwy bynag—a laddo ysgyfarnog—gael—ei garcharu—ac a fflangellir,' tudal. 35, yn lle *a'i fflangellu.* 'Ifan Ifan yr hwn a gondemniwyd,' tudal. 40—yma y mae ymadrodd amherffaith, sef *enw* heb *ferf* yn ei ganlyn.

III. Fe chwanega lawer at brydferthwch cyfansoddiad, os arferir mor lleied o eiriau ag a ellir, i amlygu 'r meddwl. Y mae dwy ffordd yn fynych i ddywedyd yr un peth, a'r naill fe allai mor gywir a'r llall: yn yr achos hyn, y ferraf yn gyffredin fydd orau a harddaf. Ychydig o siamplau a wnant hyn yn eglur:—

| YN HIR. | YN FYR. |
|---|---|
| Yr ydwyf yn cael fy nysgu. | Dysgir fi, *neu*, fe'm dysgir. |
| Nid ydwyf fi ddim yn foddlon. | Ni foddlonaf, *neu*, nid wyf foddlon. |
| Nid ydwyf fi ddim yn gwybod. | Ni wn, *neu*, ni's gwn i. |
| Fe fydd hyn yn cael ei ddarllain. | Darllenir hyn, *neu* hyn a ddarllenir. |
| Myfi a gefais fy ngwrando gantho. | Gwrandawodd fi, *neu* efe a'm gwrandawodd. |
| Y mae efe wedi cael. | Efe a gafodd. |
| Bydded ein bod ni [mewn cynghor]. | Byddwn. |

Ystyried yr ysgrifenwr a ydyw y ffordd ferraf yn gosod allan holl rym a helaethrwydd ei syniadau neu beidio, ac os ydyw, ni bydd anhawdd gantho eu dewis.

IV. Y mae dull ymadrodd ymhob iaith a elwir traws-symudiad, (*metaphor*) pan arferer geiriau mewn ystyriaeth amgen nâ'r un gwreiddiol neu briodol, ar gyfrif rhyw gyffelybrwydd neu gyfattebolrwydd. Fel hyn, y gair *llwythog* a arwyddocâ un â'i *gorph* dan *lwyth* neu faich; ond, yn ol y dull ymadrodd hyn, fe'i cymhwysir yn fynych at *ofid* neu flinder yn y *meddwl.* Duw yn y ffurfafen, yn briodol, sydd yn *taranu;* ond nid yn anghymmwys y dywedir fod y drylliau mawrion yn *taranu* mewn brwydr, neu y gelwir llythyrau esgymmundod y pab yn *daranau Rhufain.* Y mae 'r Ysgrythyr yn llawn o'r fath eiriau a'r rhai'n, megys, *llafurio, trysori, rhedeg, gwylio,* a'r cyffelyb, am bethau ysprydol neu perthynol i enaid: Saul yn *chwythu* bygythiau, *Act.* ix. 1; y Galatiaid wedi eu *llygadtynu, Gal.* iii. 1; a geiriau o'r fath yn aneirif.

Pan arferer y ffordd hyn o lafaru, fe ddysgwylir fod y geiriau yn gymmwys, yn hardd, ac yn gryf yn trosglwyddo syniadau 'r cyfansoddwr i'r darllenydd. A phan osoder amryw o honynt ynghyd, neu y parhaer y traws-symudiad trwy bwngc cyfan, gofynnir fod pob rhan yn gysson ac yn cyfatteb i'w gilydd. Siampl ragorol o hyn a

"[1] Tybia llawer fod *aeg* yn air Gymraeg, ac yn arwyddoccau *iaith.* Ond nid yw yn air Cymraeg oll. Gwel *aeg* yn Dr. Dafies. Nid yw *ffiureg* chwaith air Cymraeg, medd Ed. Lhwyd, ond Cerniweg. Dr. Dafies a'i esponia *Prora, neu y pen blaen i long,* ar awdurdod *Lib. Land.* Tybia Ed. Lhwyd mai yr un yw hwn â Geir-lyfr Cerniweg yn Llyfrdy *Cotton* yn Llundain, ac nid y gwir *Lyfr Llandaf,* yr hwn a welodd Mr. Lhwyd yn llyfrgell y gŵr bonheddig o Lannerch, yng Ngwynedd, a chopi o hono yn *Jesus College* yn Rhydychen. Nid oes yn hwn mo 'r geiriau a nodir â *Lib. Land.* yng eirlyfr Dr. Dafies; yr hyn a ddylai ddysgu i bawb ochelyd arfer y geiriau a nodir felly, heb ryw awdurdod yn ychwaneg. Gwel '*Arch. Britannica:*' tudal. 223."

gair yn yr 'Eurgrawn,' ymr. tudal. 27, lle mae'r morwr cywrain yn hwylio yn dra llwyddiannus trwy aneirif beryglon, ac o'r diwedd yn tirio 'n ddiangol, heb na gosod ei long i *farchogaeth* ar y cefnfor, na'i thori ar ben *mynydd*, neu mewn *anialwch*. Y sawl a fynno weled siamplau 'sgrythurol o'r un cyssondeb, edryched *Salm.* lxxx. 8—16; *Math.* xi. 28, &c.; *Eph.* ii. 20, 21, 22.

Y mae papur yn y '*Spectator*' (*vol.* 8) ar y testyn hyn, yr hwn a haeddai ystyriaeth y darllenydd: ac er y gall awdwyr da weithiau droseddu y rheol hon o dra esgeulusdra, etto nid cymmwys neb i gyfansoddi mewn un iaith ar nad yw yn ei dyall.

O. S. Yr hyn a ddywedwyd uchod ynghylch hen eiriau disathr a berthyn yn unig i rydd-iaith (*prose*), ac ni amcanwyd mo hono i lywethyrio awen y beirdd. Digon o orchest i'r rhai'n yw cadw eu hodlau a'u cynghaneddion a'u mesurau yn rheolaidd, wrth yr hen Ramadegau, a thrueni fyddai ceisio eu hattal rhag crwydro 'n rhydd ddirwystr trwy holl derfynau 'r iaith, pan fo arnynt eisieu gair cymmwys i berffeithio 'r cylymmiad, neu gyflawni 'r mesur. Y rhyddid hyn, gobeithio, a ganiateir i Iorwerth ap Ioan, Iorwerth Gwilym, Lewys Hopcin, Ieuan Fardd du, Ioan Singcin, Y Crwthwr dall, ac i minnau Dafydd ap Risiart, Bon y gler. Pe bawn brif-fardd neu bencerdd, mi a'i cyhoeddwn i bawb yn ddiwahardd, heb gau allan onid awdur y FUGEILGERDD gywrain, yr hwn a roddes brawf i'r byd y medr ganu yn orchestol, etto yn ddyalladwy, ac felly nad rhaid iddo wrtho,

Fy nydd sydd yn nyddu yn fanwl i fynu,
A'r nos fydd yn nesu 'roi 'n isel fy mhen;
Ac un nid oes genny', er wylo ar oer wely.
Pan fo i mi glafychu, glyw f' ochain.

O Iorwerth! paham y mae dy *bibgoed felusgerdd* cyhyd yn ddystaw? Ai annheilwng yw yr 'Eurgrawn' o'th gynnorthwy di? neu ai chwith gennyt fwrw dy aur i'r Drysorfa ymhlith hatlingau dy gyd-wladwyr?"

Yr Iorwerth a gymhellir mor daer yn niwedd yr ysgrif uchod i anfon ei gyfansoddiadau i'r "Eurgrawn," ac o waith yr hwn y rhoddir un pennill fel anghraifft, oedd Mr. Edward Richard o Ystradmeurig, gŵr dysgedig, ac un o'r prydyddion goreu yn ei oes. Ond nid yw yn ymddangos i'r alwad effeithio er dihuno awen y bardd, yr hwn oedd erbyn hyn mewn gwth o oedran, ac a fu farw mewn unigedd, medd rhai, yn ol rhagfynegiad y pennill, yn y flwyddyn 1777.

Wrth daflu golwg dros yr ysgrif uchod, yr ydym yn cydsynio yn hollol â'r ysgrifenydd am yr anghenrheidrwydd o arfer geiriau cyffredin, hyd y byddo hyny yn ddichonadwy. Gwell genym ni o lawer yw teithio, pan fyddo achos, ar hyd *ffordd haiarn*, na *rheilffordd;* nid ydym yn bleidiol iawn i'r *tugel*, mor bell ag y mae a fynom â'r gair; ac am bob math o *gibli*, nis gwyddom pa un i'w ffieiddio fwyaf, y gair ai yr arfer a ddynodir ganddo. Mae y naill yn deilwng o'r llall. Ond braidd nad aem ymhellach na'r ysgrifenydd hwn mewn defnyddio geiriau anghyffredin yn hytrach na geiriau o ieithoedd estronol: ond gofaler am iddynt gydfyned âg anian y Gymraeg.

Cyfarfyddir yn yr "Eurgrawn" â chwedl ddifyr, yr hon a gyhoeddwyd gyntaf gan Mr. E. Lhwyd yn ei "*Archæologia,*" fel cyfieithiad o'r Gernywaeg. Gwelsom hi hefyd yn Saesneg, wedi ei hysgrifenu fel yr adroddir hi mewn rhyw barthau o'r Iwerddon. Ond gan iddi ymddangos yn yr "Eurgrawn," cymerwn y cyfle hwn i'w chyflwyno i'n darllenwyr :—

"YSTORI IFAN.

(*A gymmerwyd allan o'r 'Archæologia Britannica.'*)

Yr oedd gynt yn trigo ym mhlwyf Lan Llafan, ddyn a benyw yn y lle, a elwir Tŷ Hwrdd.

2 A'r gwaith a ddigwyddodd yn brin. Ac felly (medd y dyn wrth ei wraig) mi a fynnaf fyn'd i chwilio am waith i'w wneuthur, a chwi a ellwch gynnal eich bywoliaeth yma.

3 Cennad teg ef a gymmerws, ac ym mhell i'r Dwyrain yr ymdeithiws; ac o'r diwedd dwad a oryg i dŷ [1]taeog a chwilio a oryg yno am waith i'w wneud.

4 Pa orchwyl a elli di wneuthur? medd y taeog. Pob gorchwyl a alla, medd Ifan. Yna cyttuno a orygant am dair punt gwobr yn y flwyddyn.

5 A phan ddaeth diwedd y flwyddyn, ei feistr a ddangosws iddo y tair punt. Edrych Ifan, medd ei feistr, dyma dy wobr: ond os mynni di ei roi i mi eto, mi a ddysga i ti bwngc o athrawiaeth.

6 Rhowch yma nhw, medd Ifan. Na ro ddim, medd ei feistr: mi a fynnaf lefaru i ti. Cymmerwch chwithau nhw, medd Ifan. Yno, medd ei feistr, *Cymmer ofal rhag gadael y ffordd hen er mwyn ffordd newydd.*

7 Yno cyttuno a wnaethant dros flwyddyn mwy am yr un cyflog: a phan ddaeth diwedd y flwyddyn, y meistr a gyrchodd y tair punt. Edrych Ifan, medd ei feistr, dyma dy wobr: ond os mynni ei roi i mi drachefn, mi a ddysgaf i ti bwngc o athrawiaeth.

8 Pa ham na rowch chwi nhw yma, medd Ifan. Na ro ddim, medd ei feistr; mi a'i llafara i ti. Cymmerwch chwithau nhw, medd Ifan. Yno, medd ei feistr: *Cymmer ofal na wnei lettya lle bo dyn hen yn ddyweddedig â menyw ifangc.*

9 Yno cyttuno a wnaethant am flwyddyn mwy; a phan daeth diwedd y flwyddyn, ei feistr a hercws y tair punt. Edrych Ifan, medd ei feistr: llyma dy wobr: ond os mynni ei roi i mi drachefn mi a ddysga i ti bwngc gore oll o athrawiaeth.

10 Pa ham na rowch chwi nhw i mi, medd Ifan. Na ro ddim, medd ei feistr: mi a'i llafaraf i ti. Cymmerwch chwithau nhw, medd Ifan. Yna, medd ei feistr, *Bydd drawedig ddwy waith, cyn taro un waith, canys honno yw'r gamp synhwyrola oll.*

11 Weithian Ifan ni fynnai wasanaethu ym mhellach; eithr ef a fynne fyn'd tu a'i wraig. Nag ei heddyw, medd ei feistr, mae 'ngwraig i yn pobi y foru, a hi a wneiff deisen i ti i ddwad adre at dy wraig.

12 A nhw a fwriasant y naw punt yn y deisen. A phan oryg Ifan gymmeryd ei gennad; Dyma, medd ei feistr, y mae teisen i ti, i'w dwyn adref at dy wraig: a phan fyddi di a'th wraig lawena ynghyd, yna torrwch y deisen, a dim cynt.

13 Cennad teg efe a gymmerws a thua thre efe a drafaeliws, ac ar y diwedd efe a ddoes i Wayn Iler; ac yna y cwrddws a thri marsiandwyr o dre Rhyn, (gwyr ei blwy) yn dwad adre o ffair Caer Esc.

14 O ho Ifan, meddan nhw! Dowch gyd â ni: llawen ydym ni o'ch gweled. Ple y buost ti yr holl amser yma?

15 Mi a fum, medd Ifan, yn gwasanaethu, a bellach yr ydwyf yn myned tua thre at fy ngwraig. O! meddan nhw, dos gyd â ni, a chroeso fydd i ti.

16 Y nhw a gymmerasant y ffordd newydd, ac Ifan a geidws yr hen ffordd.

17 Ac wrth fyned heibio i Gaeau y tai yn y Waun, a'r marsiandwyr heb golli yn neppell oddiwrth Ifan, oni thrawe lladron wrthyn nhw.

18 A nhw a ddechreu'sant weiddi: a chyd â'r gweiddi a wnaeth y marsiandwyr, Ifan hefyd a waeddodd, Lladron, lladron!

19 A chan y gwaedd a oryg Ifan wneuthur, y lladron a ymadewys a'r marsiandwyr. A phan ddaethant i farchnad Iou, yno y cwrddasant eilchwaith.

20 O Ifan, medden nhw, rhwymedig ydym ni i chwi: oni buasai rhagoch chwi, ni a fysem i gyd wyr colledig. Tyre efo ni, a chroesawus ti a fyddi.

21 A phan orugant ddwad i'r ty lle'r arferynt lettya, medd Ifan, ef a gyst i mi weled [2]osp y tŷ.

22 Osp y tŷ, meddant hwy: pa beth a fynni di wneud âg osp y tŷ? yma y mae gennym ni [3]yspes, ac ifangc yw hi: os mynni di weled osp y tŷ, cerdd i'r gegin di a'i cei.

23 A phan orug ef ddwad i'r gegin, yna efe a welws osp y tŷ: a dyn hen oedd ef, a gwan, yn troi'r ber.

24 O, medd Ifan, yma ni fynnaf fi lettya, eithr yn y tŷ nesaf. Nid etto, meddant hwy, [4]cwynossa efo ni, a chroeso a fydd i ti.

25 Yn awr am wraig y tŷ; hi a gydfwriadws â rhyw fynach ag oedd yn y dref, i ddihenyddio'r hen ddyn yn ei wely y nos, tra bydde y lleill yn cysgu, a gosod y gyflafan ar y marsiandwyr.

26 A phan oedd Ifan yn ei wely, yr oedd twll yn nhal y tŷ, ac efe a welws oleu: ac ef a gwnnws i maes o'i wely, ac a wrandaws, ac a glyws y mynach yn llafaru. A'r mynach a drows ei gefn at y twll, Ysgatfydd, medd ef, y mae neb yn y tŷ nesaf a oryg weled ein hagar wrthiau: a chan hynny y [5]gyffoden efo'i marchogwas a ddienyddiws yr hen ddyn yn ei wely.

[1] Llafurwr. [2] Y tafarnwr. [3] Y dafarnwraig.
[4] Swppera. [5] Buttain, sef y dafarnwraig.

27 A chan hynny Ifan â'i gyllell a dorrws drwy'r twll, allan o gefn gŵn y mynach ddarn pur grwn.
28 A'r bore nesaf, y gyffoden a ddechreuws grochweiddi am fod ei hanwylyd wedi ei ddihenyddio; a chan nad oedd na dyn na phlentyn yn y tŷ, eithr y marsiandwyr y nhw a ddylynt eu crogi am dano ef.
29 Yna y marsiandwyr a gymmerwyd, ac i'r carchar y dygpwyd nhw: ac yn y diwedd Ifan a aeth attynt.
30 Gwae ni, Ifan, meddent hwy, y mae caled dynged i ni: y mae ein llettywr ni wedi ei ladd neithiwr, a nyni a grogir am dano ef.
31 Chwi oll! deisyfwch ar yr Ustysiaid, medd Ifan, wysio y dynion a orygant y gorchwyl ger bron.
32 Pwy a ŵyr, meddant hwy, pwy a oryg y drwg orchwyl? Medd Ifan, Onis medraf fi brofi pwy a oryg y drwg-orchwyl, mi a fynnaf fy nghrogi rhagddo.
33 Llafarwch yntau, meddant hwy. Neithiwr, medd Ifan, pan oeddwn yn fy ngwely, mi a welais ole; ac mi a safais i fynu, ac yr oedd twll yn nhal y ty.
34 A neb-un fynach a drows ei gefn yn erbyn y twll. O ddamwain, medd ef, y mae neb yn y ty nesaf yn gweled ein hagr weithredoedd.
35 A chan hynny, â fy nghyllell y torres ddarn drwy'r twll, darn pur grwn, i maes o gefn gŵn y mynach; ac i wneud y geiriau yma'n brofedig, dyma y darn yn fy nghoden i'w weled.
36 A chan hynny y marsiandwyr a gawsant eu rhyddhau, a'r fenyw a'r mynach a gymmerwyd ac a grogwyd.
37 Yno hwy a ddaethant ynghyd allan o Farchnad Iou: ac ar y diwedd dyfod a orugant hwy hyd Goed Carn y Wylfa, ym mhlwyf Byrrian.
38 Yno yr oedd ffordd ddeubarth; a'r marsiandwyr a fynnent i Ifan fyn'd adre efo nhw, ond y pryd hynny ef ni fynnai, eithr ef a fynne fyn'd adref at ei wraig.
39 A phan oedd ef wedi ei golli oddi wrth y marsiandwyr, ef a wag-dreiliws ei amser i brofi a oedd ei wraig yn cadw diweirdeb yn ei gyfer, oedd hi, ai nid oedd hi.
40 A phan oryg ef ddyfod at y drws, efe a glywai ryw un arall yn y gwely. Ef a darawai ei law ar ei [1] fidog i'w lladd ill dau; ond ef a bryderws fod yn rhaid dioddef ddwy waith cyn taro un waith.
41 Ac ef a ddaeth allan drachefn, ac yno y cnociws. Pwy sydd yna o barth Duw? medd hi.
42 Yr ydwyf fi yma, medd Ifan. Yn enw Mair, pwy a glywaf fi, medd hi? os Ifan ydych chwi, dowch i mewn. Dowch chwithau a goleu, medd Ifan. Yna hi a ddaeth â goleu.
43 A phan oryg Ifan ddyfod i mewn, medd ef, Pan oryg i'm ddwad at y drws, mi a glywn ddyn arall yn y gwely.
44 O Ifan, ebe hithau, pan orygasoch chwi fyned i bant, yr oeddwn ni [2] goledig o dri mis gan blentyn; ac yn awr y mae i ni faban [3] chueg yn y gwely, hoff gan Dduw y byddo.
45 Ebe Ifan, mi a ddyweda i ti, Fy meistr a'm meistres a rois i mi deisen, ac a ddywedasant wrthyf, Pan fyddwn ni a'm gwraig lawena ynghyd, dorri'r deisen, a dim cynt; a bellach y mae achos i ni fod yn llawen.
46 Yna nhw a dorres y deisen; ac yr oedd naw punt yn y deisen. A'r arian a gawsant, a'r bara a fwyttasant; ac ni fu na sen nac ymryson, nac ymrafael rhyngddynt o hynny allan. Ac felly y terfyna."

Dyma ni erbyn hyn wedi casglu y darnau goreu yn nosbarth yr "ymresymiadau," ac am hyny ni a drown bellach at y rhan brydyddol. Nid llawer o'r enwau mwyaf adnabyddus ymhlith y beirdd a geir yma. Yr oedd William Wyn, o Langynhafal, wedi marw er ys deng mlynedd, a Lewis Morris er ys pump: ac am Y Goronwy, yr oedd ef, er gwarth oesol i Gymru, yr ochr arall i'r weilgi, wedi tewi er ys tair blynedd, ac yn ol pob tebyg wedi marw. Yr oedd Williams, Pant-y-celyn, yn ei lawn nerth; ond prin y cyfrifid ef yn deilwng o gael ei dderbyn i blith y Beirdd yn yr oes hono, nac yn yr oes hon hyd yn ddiweddar pan y dyrchafwyd ef i'w le priodol gan y "Traethodydd:" ac ofer yw chwilio am ddim o'i waith yn yr

[1] Cyllell glun. [2] Feichiog neu fraisg. [3] Prydferth.

"Eurgrawn." Un o'r gohebwyr yn y dosbarth barddonawl oedd Lewis Hopcin o Forganwg, gwaith yr hwn a gyhoeddwyd wedi hyny yn llyfr bychan dan yr enw "Y Fel Gafod." Y mae yma rai cyfansoddiadau o waith Hugh Hughes a Robert Hughes o Fon; ac un lled wael gan Iolo Morganwg, yr hwn a'i geilw ei hun Iorwerth Gwilym, Treflemin. Ond y penaf o'r gohebwyr barddonawl oedd y Parch. Evan Evans, yr hwn a adweinir yn well wrth yr enw Ieuan Brydydd Hir. Nid yw wedi anfon ond un cywydd, yr hwn sydd fel y canlyn. Mae ynddo rai camargraffiadau amlwg; ond cyhoeddwn ef fel y mae ar lawr yn yr "Eurgrawn:"—

"CYWYDD Y METHIANT.

GWAE a fwrio goel oferwas
Bryd ar y byd bradwr bas,
A fo doeth a chyfoethawg,
Gwych a rhydd, ac iach y rhawg.
Pe beiddiem bawb a'i addef,
Byr iawn yw ei bara ef.
Tra fum i mewn tyrfaau mawr,
Was ynfyd ifangc sonfawr.
Ebrwydd ehydrwydd hydrum,
A chryf iawn yn chwarae fum.
A heddyw 'n glaf anafus,
Yn unlle 'n rhwym, yn llawn rhus,
Ni cherddaf nychu yddwyf,
A rhodio 'n iach, rhy drwm wyf,
Dig wyf yn ol mabolaeth,
Ac hybu ydd wyf heibio ydd aeth.
Fal gelyn noeth cyfoeth cof,
I'm henaid tra fu ynof.
Llyma ydd wyf yn llonyddach,
Fod a wnai f'enaid yn iach.
Duw a rannodd drueni,
Câr yw, a phoen, i'm corph i.
Megis anrheg o bregeth,
Wyf i'r byd ofer o beth.
Llun fy hun wyf i'm haint,
Ac wyf fel mewn gofelaint.
Fal un o'r tri brenhin gwar,
A dduodd yn y ddaear,
Ysgeiriau yn ysgyrion.
A fydd i'm ffydd yn ddwy ffon,
Ysgwyddau anysgeiddig,
A chorph heb na lliw na chig.
Gleiniau fy nghefn a drefnwyd,
Yn gerrig craig neu gorc rhwyd.
Rhyfedd yw'r ais a'i rhifo,
Fal cronglwyd lle tynnwyd tô.
Fel ffistiau giau gwaywon,
Yw 'r ddwy fraich ar y ddwy fron,
A'r dwylo cyr mai deiliog,
Mal delwau cigweiniau côg.
Yn brydd y grydd ac yn grych,
Mal gwydr amlwg yn edrych:
A'm llygaid ym mhell eigiawn,
I'm pen iâd, ond poen iawn.
Crynedig i'm croen ydwyf,
Crynfa dalen Euthnen wyf;
Gwr oerach nag Eryri,
A berwyn wyf i'm barn i.
Ni thyn na chlydwr na thân,
Na dillad f' anwyd allan.
Troi a sefyll tra safwyf,
Tan grafangau 'r angau 'r wyf:
Rhoed Duw bwyll rhaid i'm bellach,
Ryngu bodd yr angau bach.
Meddyg wyt f' Arglwydd Iesu,
I'th fardd mwyaf gobaith fu;
Iesu, fal y dewiswyf,
Arch i'm rym can's erchi 'r wyf.
Os iechyd gennyd a gaf,
I'm henaid y dymunaf.
Cymmod cyn bod mewn bedd,
I'm cymmwys am bob camwedd.
Dwg Ior i le digerydd,
F' enaid, wrth fy rhaid yn rhydd.
I'th lân nef a'th oleuni,
A'th wlad Duw, i'th weled di."

IFAN BRYDYDD HIR.

Ceir yma hefyd amryw ddarnau o waith yr hen feirdd, o Taliesin i fynu hyd at y Bardd Cwsg. Dywenydd gan lawer fydd gweled y Salm ganlynol gan awdur hyglod y "Bardd Cwsg," yr hon sydd yn deilwng o le oblegid rhagoroldeb y cyfansoddiad, yn gystal ag oblegid enwogrwydd y cyfansoddwr.

"PSALM CXLVIII.

O Gynghaneddiad y Parchedig Mr. ELIS WYNNE, Awdwr y '*Bardd Cwsg.*'

I.

O MOLWCH yr Arglwydd,
O'r Nef wen lawen lu,
Clodforwch E'n un swydd
Holl fro uchelder fry;
Angylion glân
Moliennwch ef,
Holl luoedd nef
O fawr i fân.

II.

Chwi haul a lloer er lles,
A'r ser a'r goleu i gyd,
Nef a'r holl nefoedd nes
I'ch Brenhin rhowch bob pryd
Dda fawl ddifeth
Ffurfafen draw,
Cymmylau'r gwlaw
Gwnewch chwi 'run peth.

III.

Rhoent oll i'r Arglwydd nef
Eu glân Greawdwr glod,
Drwy ei orchymyn ef
'Maent oll fel hyn yn bod,
Mewn deddf dda don
Drwy hir na byrr
Yr un ni thyr
Mo'r gyfraith hon.

IV.

Holl bethau'r ddaear ddwys
Clodforwch Dduw 'n ben gwaith,
Chwi ddreigiau garwle gwys
A'r holl ddyfnderau maith,
A'u rhoes mawrhant,
Tân, cenllysg, ôd,
Tarth, gwynt pob nod,
Ei air a wnant.

V.

Mynyddoedd bryniau oll,
Coed ffrwyth a'r cedrwydd cyd,
Gwylltfilod yn ddigoll
A holl 'nifeiliaid byd,
Dewch at fawl Duw
Pob amryw bry'
Holl adar fry,
Hyfrydaf ryw.

VI.

Brenhinoedd daear gron
A'r bobloedd oll ynghyd,
Pob t'wysog sydd ar hon
Holl swyddwyr barnwyr byd,
Pob llangc gwell yw,
Pob morwyn glau,
Pob hen, pob iau
Addolwch Dduw.

VII.

Can's tra rhagorol yw,
Ei unig enw ef,
Ei ardderchowgrwydd gwiw,
Sy mhell uwch dae'r a nef,
Can's codi y bydd
Gorn grym a pharch
I'w bobl, a'u harch
A glyw bob dydd.

VIII.

Dadseinied ei holl saint
Ar led ei lawnglod glân
Dadganant ei fawr fraint
Blant Israel, fawr a mân,
A phawb a nes
I wneud a bair,
Ef yn ei air
I'w lwydd-fawr les.

IX.

Trown oll i'r Tri yn Un
Sy'n tystiolaethu fry,
Y Tad a'r Mab, cyttun
A'r Yspryd, gariad cry',
Fel 'roedd erioed
Mae yr awr hon,
O bob gwir fron
Byth felly boed."

Llawer o brydyddu sydd wedi bod ar *Salm* xix. Y mae yma ddau gynnygiad, a phob un yn bur llwyddiannus. Nid annifyr nac anfuddiol i'r darllenydd fydd eu cymharu â'u gilydd:—

## Y XIX PSALM.

Gan y diweddar Barchedig Mr. Risiart Rhys, o'r *Gwerllwyn*, ym *Merthyr Tydfil*.

"Mae'r nefoedd fry yn dadgan i ni ogoniant Duw,
Uwch ben y mae'r ffurfafen yn dysgu dynol-ryw;
Mae 'r haul a'r ser, a'r lleuad, a'r holl blanedau 'nghŷd,
Yn g'nifer o bregethwyr i amryw barthau 'r byd.

II.

Mae 'r dydd a'r nos ol yn ol yn traethu yn guttûn,
Gan ddysgu gwersau distaw i bob ystyriol ddyn;
Ac er nad oes na thafod na 'madrodd gan y rhai'n,
Nid oes na gwlad, na phobl, lle ni chyrhaedda 'u sain.

III.

Yr haul yn enwedigol 'r hwn sydd a'i babell fry
Sydd un ddysgawdwr hynod ym mysg y nefol lu;
Pan godo yn y dwyrain ar foreu goleu, gwn
' Does un priodfab hardd-deg mor hoywed ag yw hwn.

IV.

Bob dydd tu a thŷ 'r gorllewin mae 'n symmud ar ei daith,
Mor wisgi ag un rhedegwr, am draws yr wybren faith;
Ac yn ei gylch blynyddol i'r gogledd ac i'r de',
Fe ddwg ei wres ar droion i lonni pob rhyw le.

V.

Mae gwaith y greadigaeth a gwaith rhagluniaeth Duw,
Yn dweud mai hanfod nerthol a doeth anfeidrol yw;
Rhaid oedd wrth allu i wneuthur, ac wrth ddoethineb mawr,
I drefnu 'r hyn a wnaethpwyd o'r dechreu hyd yn awr.

VI.

Yn llyn mae 'r pethau welir yn dysgu pawb i dd'od
I barchu ac anrhydeddu yr hwn a roes eu bod;
Mae hyd yn oed Paganiaid heb esgus gwir, na phle,
Os bod yn anniolchgar a wnant hwy iddo ' fe.

VII.

Ac er bod ein dyledswydd yn cael ei rhoi mewn rhan
O'r blaen yn llyfr nattur, nid yw y golau ond gwan;
Os awn ni i'w gydmaru â'r dadguddiadau wnair
Yn y 'sgrythurau sanctaidd, y 'sgrifenedig air.

VIII.

Mae hon yn rheol berffaith i arwain dyn yn ôl
I union ffordd sancteiddrwydd o'i lwybrau ffiaidd ffôl;
Tystiolaeth sicr ydyw yn do'd a rhai o fysg
Gwirioniaid anwybodus i gyrhaedd iachus ddysg.

IX.

Mae'r rhai'n yn werthfawroccach nag aur profedig coeth,
Ac yn felysach hefyd nâ mel, i'r galon ddoeth;
Rhag drwg ar bob amserau cair rhybudd ynddynt hwy,
O'u cadw 'n gydwybodol mae gwobr mwy na mwy.

X.

Ond hyn, O Arglwydd, ydyw fy anhappusrwydd i
Fy mod i'n ffaelu dilyn dy reol berffaith di;
'Rwy wrth gydmaru 'mywyd â'r hyn sydd yno i lawr
Yn gwel'd fy anwireddau yn lliosogi 'n fawr.

XI.

'Rwy 'n erfyn ar dy fawredd i rasol ganniattau,
Im' gael oddi wrth fy meiau cuddiedig fy nglanhau;
A gwared fi 'n enwedig rhag pob rhyfygus fai,
Ac yna fy euogrwydd a fydd yn llawer llai.

XII.

Attolwg boed derbyniad grasusol ger dy fron,
Fy Nghraig a'm Prynwr nerthol, i'r gân a'r gyffes hon;
A phan ddyrchafwyf atat fy ngweddi clyw fy llef,
Gogwydda 'th glust i wrando o'th annedd yn y nef."

"CYWYDD AR YSTYR Y XIX SALM.

1 Y Nef sy'n datgan i ni,
Ogoniant Duw heb gyni,
A'r ffurfafen bob ennyd,
Ei waith yn berffaith i'r byd.

2 Pob diwrnod ei glod yn glau,
Ymadrodd fel y medrai;
O nos i nos, d-os daeth
Y byd i lawn wybodaeth.

3 Nid oes un iaith ry faith fodd,
Medrus na chwaith, ymadrodd,
Na chlybuwyd, ni chuddiwyd chwaith
Eu lleferydd llafariaith.

4 Eu geiriau aeth yn gywrain,
Trwy 'r ddaear gyssongar sain;
A thyfiad, hyd eithafoedd.
Pob cyfran yn gyfan ar goedd,
I'r haul gosododd ar hynt,
Llawn ddull ei babell ynddynt.

5 Hwn a'i fri, fel gwr priod,
A'i yrfa mal rhedfa rhod,
Was difyr, o'i ystafell,
Goleuni byd, glain o bell,
Cyflym yn ei rym yr â,
Cawrfodd yn rhedeg gyrfa.

6 O eitha y nef, aeth i'w nod,
A'i arfaeth yn ddiorfod,
O'i amgylch ef ni ymgudd,
Dim rhag ei wres dêg y dydd.

7 Cyfraith yr Ion, cyfion caid,
Trwy rinwedd, yn troi 'r enaid:
Goreu rheol tystiolaeth,
Yr Arglwydd dedwydd a doeth;
Cafwyd yn sicra cyfoeth,
Y gwirion ddyn, gwar yn ddoeth.

8 Deddfau 'r Naf, hwyaf hawl,
Uniawn ydynt hynodawl;
Llawenu heb gelu 'r galon,
Cywir ei fryd ceir y fron:
Gorchymyn Duw byw heb wad,
Lliwgar goleuo 'r llygad.

9 Ofn yr Arglwydd a lwydda,
Yn bur-lan diddan a da;
E beru o hyd bura hawl,
Trwy g'oeddiad yn dra'gwyddawl,
Barnau 'r Ion sydd wirionedd,
Cyfiawn eu gyd, hyfryd hedd:

10 Mwy dymunol nâ golud,
Aur tra-mor, neu drysor drud;
Melusach bereiddiach bri,
(Mael enwog) na mel ini.

11 Buddiol ydynt rhybuddir,
A diau mai geiriau gwir,
O'u cadw hwy mae gwobrwyon,
O ras a brynodd yr Ion.

12 Pwy mor gall a ddyallodd,
Ei fai a'i addef o'i fodd?
Glanha 'nghamwedd duedd dig,
C'oedd adwyth, a'r cuddiedig.

13 Attal, 'rwy'n deisyf iti,
Dy was, a'th ras un a thri,
Rhag pob pechod trallod trwch,
Flin oddef aflonyddwch;
Yna perffeithir f' enaid,
Rhag dilyn anhydyn haid,
Baich adwyth o bechodau,
Goleuni hedd i'm glanhau.

14 Bydded 'madroddion buddiawl,
I'm genau mwy, ganu mawl:
Myfyrio heb gario gwg,
Y galon yn ddigilwg,
A'm bwriad yn safadwy,
Yr hyd yn y byd y b'wy,
Ger dy fron Ior dirion dwr,
Pur enwog Craig, a'm Prynwr. *Amen.*

Huw ab Huw *a'i cyssylltodd:*
*Poed y clod i Dduw.*"

Tua'r amser yr oedd y cylchgrawn sydd yn awr dan ein sylw yn dyfod o'r wasg, yr oedd Sandemaniaeth yn dechreu ymosod ar Gymru. Pleidiwyd y gyfundraeth sychlyd hon gyda phenboethni mawr gan un Mr. Popcin, yr hwn a alwyd i gyfrif gan y Methodistiaid mewn cymdeithasfa, pan y gwrthwynebwyd ei ddaliadau yn effeithiol a llwyddiannus gan Williams, Pant-y-celyn. Parodd yr egwyddorion Sandemanaidd dwysged o aflonyddwch ar ol hyn yn Ngwynedd, lle yr amddiffynwyd hwy yn egnïol gan Jones o Ramoth, ac y buant am yspaid byr yn radd o fagl i Christmas Evans. Ceir amlygiad o natur y gyfundraith yn y gân sydd yn canlyn. Ymddengys nad oedd ganddi y pryd hyny ond ychydig o ddysgyblion yn Nghymru—"o gylch Caerfyrddin ddau neu dri, ac Abertawy ddwsain." Y Popcin a grybwyllwyd yn barod yw y P—n y cyfeirir ato yma:—

"HANES Y GAU BROPHWYD O'R ALBAN.

1 Mae 'n amser tra pheryglus,
Ni ddylem bawb yn ddilys,
Mewn gwlad ag eglwys, wilio rhag
Athrawon gwag ymffrostus.

2 Fe gododd rhyw anghynfil,
O'r Alban 'nawr fel morfil,
Ei holl hyfrydwch ef a'i fwyd,
Oedd rhwygo rhwyd 'r Efengyl.

3 Fe landiodd mewn i Lundain,
A rhai o aberoedd Brydain;
Ac i Loegr newydd dros y dŵ'r,
Mae 'n gryn drafaelwr filain.

4 Fe haerodd yn dra eon,
Ei fod ef wedi ddanfon,
Gan Frenhin nef yn gennad glau,
I wneud negesau mawrion:

5 Diwygio 'r holl eglwysi,
Sy 'n marwol gyfeiliorni,
Er dyddiau 'r Apostolion gynt,
Mai twyllwyr y'nt yn gredu.

6 Fe rwygodd rai eglwysydd,
A rhai eneidiau annedwydd
Aeth er ei ol ef yn ddibwyll,
Gan goelio 'i dwyll a'i gelwydd.

7 Fe hudodd ddau bysgodyn,
Yr enwog *Pike a'r P——n;*
A'i rith o gred a'i araith gref,
I'w 'ddoli ef a'i ddilyn.

8 Ac fel y Phariseaid,
Ei frodyr a'i hynafiaid,
O fôr i fôr fe'i gyrodd fo,
Hwy i wneuthur proselytiaid.

9 Fe rowd i ni rybyddion,
Y codai gau athrawon;
Maent wedi dyfod 'nawr i'n bro,
Wrth amryw o arwyddion.

10 Mae 'rhai'n am 'sglyfio'r defaid,
Condemnio 'r gwir fugeiliaid,
A phawb nad yw o'u meddwl hwy,
A'u diras fympwy diriaid.

11 Mae genym hynod hanes,
Am Jannes gynt a Jambres;
Y ddau swynwr hudwr hyll,
Fu yn gwrthsefyll Moses.

12 Maent hwythau yr un agwedd,
Yn llawn o amryfusedd;
Yn ceisio dala fynu 'n dynn,
Yn erbyn y gwirionedd.

13 Ni raid wrth dröedigaeth,
Wrth reol eu hathrawiaeth,
Gwnant ddyn yn Gristion cyfion coeth
Ond llyncu 'r noeth grediniaeth.

14 Os unwch chwi â'r frawdoliaeth,
Cewch gym'ryd rhyddid helaeth,
Cewch eillio'ch barf ddydd Sul mewn siop,
Ac arfer pob chwaryddiaeth.

15 Am hyn gocheled dynion,
Rhag llyngcu eu bresych gwylltion,
On'te cant weled ar ol hyn,
Fod angau yn y crochan.

16 Gochelwch gwn a bleiddiaid,
A'r tecca o hereticiaid;
Can's yr athrawiaeth maent yn ddwyn,
Sy waeth na gwenwyn aspiaid.

17 Ond defaid Crist sy'n dirnad
Eu hyspryd cul digariad;
Eu profi a'u nabod allant hwy,
Yn union trwy 'r eneiniad.

18 Rhyw gant neu bedwar ugain,
Hudasant hwy yn Llundain;
A chylch Caerfyrddin dau neu dri,
Ac Abertawy ddwsain.

19 Mae achos iddynt ofni,
Mai rhai oedd heb sylfaenu
Ar y wir graig na derbyn gras,
Yw'r dynion ga's eu denu.

20 Nid llawer yw eu llwyddiant,
I'r Arglwydd bo'r gogoniant;
Nid ant yn nhepell rhagddynt mwy,
Ond odid hwy ddiflanant.

21 Can's pob planhigyn rhithiol,
Na phlannodd ein Tad nefol,
Diwreiddir hwynt medd Crist ei hun,
O eisiau 'r un peth rheidiol.

22 Os na ddaeth etto i'r golwg,
Eu twyll a'u dichell fawrddrwg,
Eu holl ynfydrwydd maes o law,
I bawb a ddaw yn amlwg.

23 Mae rhai'n yn mawr ddirmygu,
Y Duw y'm ni'n was'naethu;
Gan ddweud, y troediant ef o'u bla'n,
Fel hyn y maent hwy'n cablu.

24 Rhyfygus ynt, nid ofnant,
Ond cablu 'r hyn ni wyddant;
Cablu gwaith Yspryd Duw a'i ras,
O herwydd na's profasant.

25 Ond hwy gânt wel'd yn hollol,
Fod ein Duw ni'n dân ysol;
Bydd gwae 'i ddirmygwyr ef ryw bryd,
A gwyn eu byd ei bobol.

26 Chwi weinidogion Cymru,
A ffyddlon weision Iesu,
Ymrowch i ymdrechu o blaid o ffydd,
Yn erbyn crefydd Sandy.

27 Gweddïwch dros y rhei'ny,
Y dynion gas eu denu;
Ar Dduw o'i ras eu dwyn yn ol,
I gorlan rasol Iesu.

28 Os defaid yn't dychwelant,
O'r d'ryswch y crwydrasant;
Duw mawr a'u hargyhoeddo 'n brudd,
I droi i'r ffydd ddiffuant.

29 Duw argyhoeddo 'r bwystfil,
Y twyllwr rhwygwr rhigyl;
Nerth braich ac ysgwydd sy'n ymroi,
I lwyr wyrdroi 'r Efengyl.

30 Cymmerwch hyn o hanes,
Y prophwyd gau a'i broffes,
Y sawl sy 'n chwennych gwybod mwy,
Darllenent hwy ei gyffes."

Gan D. J., Carwr y Gwirionedd.

Clywsom am un neu ddau o Phariseaid gwefl-gam yn barnu fod y "Traethodydd" yn rhy ysgafn. Digon yw dywedyd am y cyfryw fel y dywedodd un o'r hen weinidogion parchusaf yn sir Drefaldwyn, pan hysbyswyd iddo fod y bobl mewn un man yn cyfrif rhyw frawd arall yn well pregethwr nag ef, "Eu tywyllwch hwy sydd yn peri hyny." Nid oes un gradd o ammheuaeth nad felly yr ydoedd. A rhyfedd mor dywyll yw rhai

dynion. Y mae pawb sydd yn meddu llonaid gwniadur o synwyr yn gwybod yn dda mai rhagoriaeth y "Traethodydd" yw, ei fod, tra yn gwrthwynebu pob llygredigaeth, yn cydymdeimlo â dynoliaeth ddiledryw yn mhob ansawdd ac agwedd a fyddo arni. Ac yn ddiau nid oes dim teimladau a berthynant i'r natur ddynol yn fwy teilwng o barch na'r rhai a ddarlunir mor glws yn y gân hon a ymddangosodd gyntaf yn yr "Eurgrawn Cymraeg."

"HISTORI LAFINIA.

ACASTO, gwr da'i rinwedd, difalchedd haeledd hynt,
Yn ymyl glyn tra ffrwythlon oedd yn preswylio gynt;
'R oedd gantho feddiant helaeth o dai o dir a da,
Cymmerai'n lân eu mwyniant mewn trefn heb ddim trâ.

I ddwylo'r bobl weinion ei roddion aeth yn rhwydd,
Ffrynd anwyl pob cymydog, oddiog serchog swydd,
Bendithion i laweroedd o fewn i'r wlad a'r dref
Oedd cael ei ddoeth gynghorion a'i gymmwynason ef.

Er cymmaint oedd ei hawddfyd, a chystled oedd ei hedd,
Daeth troion tra gwrthwynebus cyn iddo fyn'd i'r bedd;
Y llawnder mawr a giliodd, a'r cyfoeth aeth yn llai,
Er hyn parhaodd rhinwedd pan drôd y byd ar drai.

Acasto dan drallodion o'i galon wiwlon wedd,
Dangosodd bob boddlonrwydd nes myn'd o'r byd i'r bedd;
Ei wraig a'i ferch adawyd yn isel iawn eu hynt,
Heb nemmawr at eu cynnal, er maint oedd gantho gynt.

Lafinia, merch Acasto, a'i weddw lân ddi-wawd,
Er maint eu ffortun unwaith, dilediaith oedd yn dlawd,
Y fam mewn gwth o oedran, anniddan egwag oedd,
A'r ferch yn dyner ifangc, i fyw mor fyr o fodd.

Nid o'ent yn dewis gwrando ar gerdd watwarus gas,
Ac oerion dduon eiriau drwg ddynion beilchion bâs;
Hwy aethant i ryw Gottais, tybiasant hynny'n well,
Dan ochr mynydd uchel mewn pant neillduol pell:

Lle taflai'r creigiau gysgod dros gyrrau'r weirlod werdd,
Lle clywid bref y defaid o'r bryniau gorau gerdd,
A llais y nant yn ffrydio dwfr croyw gloyw glas,
Ac adar mân y goedwig a'u cân felysig flas.

Medrasant ymddarostwng o hyd yn llawn o hedd,
'Roedd rhinwedd yn gynnorthwy i fod mewn isel wedd,
A byw heb ddim gofalon, 'r un modd a'r adar mân,
Oedd yn y coed yn pyngcio eu gwiw ddyhuddiant gân.

Fel rhosyn teg boreuwedd Lafinia oedd yn hardd,
Fel manod ar y mynydd, neu Lili yn yr ardd;
Ymddugiad boneddigaidd, ac agwedd lluniaidd llon,
Serchogaidd ac ennillgar oedd tymmer hawddgar hon.

Adroddai Mam ar droion, mewn geiriau purion pwyll,
Ei ffortun fel llongddrylliad, anwastad dorriad dwyll,
Oedd unwaith yn promeisio rhyw lawnder hoywder hedd,
Ac wed'yn yn eu gado mewn salwaf waelaf wedd.

Wrth wrando nid oedd geiriau ar ei gwefusau pêr,
A'i llygaid megis gwlithol brydnawnol siriol sêr;
'Roedd harddwch cyfattebol dymunol yn mhob man,
Mewn syml wisg ddigoegedd, a rhinwedd idd eu rhan.

Mewn trwsiad sal iselwedd, difalchedd clauwedd clyd,
wir le ndid sy'n ymddangos heb addurn yn y byd:

Nid oedd hi 'n gwneuthur cyfrif o degwch lliw a llun,
Prydferthwch idd ei garu oedd hynny oll ei hun.

Fel Myrtlewydden beraidd Lafinia oedd yn wir,
Yn bwrw iraidd arogl mewn dyrys anial dir,
Mewn lle neilltuol dirgel, nad ydoedd dyn yn dôd,
Ei dawn ni wybu dynion na'i glân haeddiannol glod:

Nes gorfod myn'd o'r diwedd, o'r fwynedd weddedd wawr,
'Roedd angen yn ei beri (mae hwn yn feistr mawr)
Nid fel y balch gwrthnysig na thry mo'i droed ar draws,
Hi aeth yn ddigon hawddgar mewn amyneddgar naws.

I loffa maes Palemon, cyfoethog enwog ŵr;
Hwn ydoedd glod gwyr gwladol, hael, doniol; siriol siwr,
Yn cym'ryd pleser beunydd, trwy bob llawenydd llon,
Mewn bywyd gwladaidd serchol, rhinweddol freuol fron.

Y modd mae cân Arcadia 'n ei goffa gorau gwaith,
Cyn cael i maes ddrwgfoesau, ffasiynau moethau maith,
Arferion llawn o lygredd er balched gwagedd gŵyn,
Mae rhai 'n fel llyffetheiriau yn attal doniau dyn.

Digwyddodd ar ddiwrnod da ddefod hynod hin,
Pan oedd yr ŷd cynhaufus dra hoenus idd ei drin,
Palemon oedd mewn pleser heb uchder balchder bâs
Yn gwel'd y difyr gwmpni yn medi ar y maes.

Tan rodio ar ol y fedel a thremio yma a thraw,
Fe ganfu 'r fwyn Lafinia a'i lloffyn yn ei llaw,
Wrth wel'd ei phryd serchogaidd a'i diwgad llariaidd llon,
Fe dd'wedai wrtho 'i hunan, Rhyw fenyw hardd yw hon.

Pan oedd e'n edrych arni, hi wridodd beth yn awr,
A'i hwyneb yn gorymgais yn llednais tua'r llawr;
Hi drodd, heb dybio gallu fel hynny ynddi hun
I daro 'r fath ergydion ar dyner galon dyn.

Fe ganfu ryw beth prydferth o fawrwerth yn y ferch,
Ond cuddiodd gwylder grasol ddau parth o'i siriol serch;
Daeth atto saeth ddirgelaidd oddiwrth y fwynaidd fun,
A braidd yr oedd e'n gallu a chredu hynny ei hun.

'Roedd etto 'r byd i'w attal, ac ofn gwawdiaeth gas,
I hoffi lloffraig ddiglodd, wr mawrglod, ar y maes;
Fath bethau hyn 'fe dybiodd eu bod yn ormod bwys,
Fe roddai yno 'n dawel ochenaid ddirgel ddwys.

'R oedd hyn yn rhwystr creulon, fel craig neu fynydd mawr,
A'r olwg arno 'n ddigon i daflu dyn i lawr,
Un o'r Philosophyddion a gawsai lon'd ei law
O waith i fyned trosto, neu dorri drwyddo draw.

Dywedai ynddo 'i hunan, Trueni mawr dros ben
Fyn'd fyth fath lendid hynod ag ydyw 'r wiwglod wen,
Lle trig prydferthwch rhadlawn, a grym goreuddawn gras,
I gofl rhyw ddwlbyn gwladaidd, annoeth, anweddaidd was.

'Rwy 'n credu bod hi'n disgyn o hil Acasto hên,
Daeth hyn ar fy meddyliau pan welais gynne 'i gwên;
Ei dadol gynnorthwyon fu gynt yn foddion gwn
I'm codi mor gyssurus i'r cyflwr happus hwn.

Mae fo'n y llwch yn gorwedd, fe aeth ei dir a'i dai,
A'i unwaith deulu enwog, darfuant hwy bob rhai;
I'r gwirion ac i'r truan bu'n darian ac yn dŵr,
Mae hiraeth ar fy nghalon ar ol yr union ŵr.

Dywedant fod ei weddw, a'i ferch ef etto 'n fyw,
Mewn rhyw gornelyn dirgel, ymhell i maes o glyw;
Y cof a'r olwg hefyd lle buant yw yn well
A yrrodd rhai'n i aros i ryw le digon pell.

Y mae nhw wedi myned ys llawer dydd o dre;
Er i mi ddyfal chwilio, ni alles wybod ble;
Dymuniad gau penhoeden sy'n codi yn fy serch,
O na bai hon yrwan yr anwyl fwynlan ferch.

Ond wedi manol chwilio, a holi honno ei hun,
Fe'i gwnaethpwyd ef yn hyspys pwy oedd y ddawnus ddŷn,
Merch hen Acasto haela, anwyla dan y nef,
Bu'r chwedl bron gorchfygu ei nerth a'i allu ef.

Anwydau cymmysgedig, yn gadarn iawn i gyd,
Oedd wedi cerdded trwyddo nes doedd ef mewn rhyw gryd;
Serchogrwydd a thosturi a diolchgarwch gref,
Oedd yno oll ar unwaith yn wylo ynddo ef;

Lafinia erbyn hyny oedd yn rhyfeddu 'n fawr
Ei weled ef yn wylo a'i ddagrau 'n llifo i'r llawr,
Cynhyrfiad ei hysprydoedd wnaeth iddi wridio 'n iawn,
Hi edrychai etto 'n lanach, yn deccach etto 'i dawn.

Wrth ddala sylw eilwaith ac eilwaith ar ei gwedd,
A chofio'i thad cariadus oedd wedi myn'd i'r bedd,
Tân cariad mwy 'n guddiedig ni allodd ef ei ddwyn,
Ei enaid fe dywalltodd mewn dwys ymadrodd mwyn.

O rhyfedd! merch Acasto wyt ti fy anwyl un,
Yn ofer ymofynais am danad i bob dyn;
Mae 'i ddull a'i ddelw arnad, pob tremiad llygad llawn,
Ond wedi cwrdd yn harddach a godidoccach dawn.

Tiriondeb gwedd Acasto mor dda wyt ti 'n ei ddwyn,
Mwy hyfryd na'r boreuddydd ym Mai, neu Ebrill mwyn;
Yr unig bur flaguryn o'r gwreiddyn teg wyt ti,
Oddiwrth yr hwn y tarddodd fy nawdd a'm ffortun i.

O dywed ym mha anial le dirgel gongl gref
Y tynaist dirion dremiad a nawdd hyfrydawl nef,
I dywallt tegwch mawrwerth mor brydferth ar dy bryd,
Tu hwnt i bawb a welais o wreng a bonedd byd?

Gofydiau 'n llyn gafodydd, ddaeth beunydd ar dy ben,
Pan nad oe't ti ond gwannaidd, a brau fel iraidd bren:
Dymunwn allu 'th symmud o adfyd gofyd gwael,
Lle bo manteision beunydd er cynnydd idd eu cael;

Dy symmud fel planhigyn lle caffo gwreiddyn gras
Y cynnar wlaw tra thirion, mewn breudir ffrwythlon brâs,
A gwres yr haulwen hefyd: O hawddfyd hyfryd hardd!
Ti fyddi 'n glod cyfaddas ac urddas i fy ngardd.

Nid gweddus dodi dwylo merch hen Acasto hael
I godi 'r fath wargedion o'r ŷd gwehilion gwael,
Ar hyd fy meusydd tirion á mwynion; tyma'r man
Ddaeth gynt o'i ddawn a'i rinwedd yn rhyfedd i fy rhan.

Gwr tadol yn ei amser a phlaid i wlad a phlwy',
Bu helaeth fawr ei Olud, a'i galon oedd yn fwy:
Ei ferch ynghylch sut orchwyl o'm bodd i byth ni ddaw,
Am hynny bwrw 'n union dy loffion o dy law.

Yr ŷd a'r maes a'r Meistr, a'r tai sy eiddot ti,
Chwanega 'nawr yn hawddgar trwy fwynder arnaf fi
Un fendith at laweroedd a ges o dŷ dy dad,
Gwnaf dithau 'n happus unwedd, trwy fawredd rhinwedd rhad.

Ar hyn efe ymattaliodd ei 'madrodd freufodd fron,
Tystiolaeth gwir o'i galon oedd yn ei lygad llon;
Da obaith ei gydwybod oedd gryf na byddai 'n groes
I'r mwyn gynnygiad ffyddlawn o raslawn fawrddawn foes.

'Roedd hithau mewn lledneisrwydd, distawrwydd glân distwr,
Yn wridog iawn ei gruddiau yn gwrando geiriau 'r gwr;
Ei hagwedd gyd a gwylder, wrth wel'd ei haelder hŷ,
Yn dangos ymostyngiad cydsyniad cariad cu.

Y newydd aeth yn ebrwydd o'i mawrlwydd at ei mam;
Oedd gartref yn gofalu rhag digwydd iddi nam:
Heb gwm'ni ei merch rinweddol, hoff radol deg ei phryd,
Mor hirion oedd eu horiau gan bob gofydiau byd.

Wrth wrando'r fath ymadrodd hi safodd beth yn synn,
Yn llawen hi ymadfywiodd pan gallodd goelio hyn;
Llewyrchodd arni belydr prydnawnol hwyrol hedd,
Cyn idd ei haul hi fachlyd, a'i myn'd o'r byd i'r bedd.

Ac felly 'r cwpl ifaingc, cariadus ddilys ddawn;
Treuliasant eu blynyddoedd mewn parch a llwyddiant llawn;
Magasant blant laweroedd ar ddelw eu mam a'u tad,
Yn feibion ac yn ferched oedd glod ac urddas gwlad."

LEWIS HOPCIN.

Gall fod y dyfyniadau uchod yn ddigon fel anghreifftiau o'r dosbarth barddonawl. Nid oes yma ddim ychwaneg yn galw am sylw, oddieithr yr *Hanesion*, y rhai nid ydynt o gymaint gwerth i ni yn yr oes hon, gan eu bod wedi eu cymeryd i fynu bron yn hollol gyda helyntion gwladol. Diffyg mawr yn y cyhoeddiad yw, ei fod mor brin mewn hanesiaeth grefyddol. Mor werthfawr yn y dyddiau hyn fuasai adroddiadau manwl am weithrediadau yr hen bregethwyr yn yr oes hono, ynghyd â chofnodau eu cyfarfodydd. Ond nid oes yma air o grybwylliad am fwy nag un cyfarfod crefyddol, yr hwn a gynnaliwyd yn Trefecca, Awst 24ain, 1770. Ceir yr hanes fel y canlyn yn y rhifyn olaf ond un, yr hwn a gyhoeddwyd dydd Sadwrn, Medi 1af, 1770:—

"Dydd Gwener, wythnos i'r diweddaf, y cynhaliwyd y gymanfa flynyddol yng nghappel yr arglwyddes Huntington, yn Nhrefecca, lle cyfarfu dros ddwy fil o bobl, ar fedr pa rai yr oeddit wedi parottoi ciniaw; a phob peth a reolwyd gyd â'r harddwch a'r gweddusder mwyaf. Yn y bore, y Parchedig Mr. Fletcher a bregethodd yn Saesonaeg, a'r Parch. P. Williams yn Gymraeg, a'r Parch. Mr. Glascott, cappelwr yr arglwyddes Huntington yn Saesonaeg y prydnhawn. Heblaw'r iarlles, yr oedd yr arglwyddes Ann Erskin, Miss Hert, Miss Scot, ac amryw eraill o waedoliaeth yn bresennol."

Y mae hanes yr un cyfarfod yn helaethach o lawer yn "Mywyd ac Amserau yr Iarlles Huntingdon:" ond pa fodd i gysoni y ddau â'u gilydd nis gwyddom. Y maent yn cyfateb yn berffaith o ran y dydd o'r mis, ond nid un cam ymhellach. Yn ol yr hanes hwnw, nid oedd Mr. Fletcher na Mr. Peter Williams yn gwneuthur dim heblaw darllen a gweddïo: y rhai oedd yn pregethu yn Gymraeg oedd Mr. William Williams yn y boreu, a Mr. Rowland yn y prydnawn. Oddiar dybiaeth fod ysgrifenydd y "Cofiant" wedi camsynied yr amser, troisom at hanes y cymanfäoedd blyneddol cyn ac ar ol y flwyddyn hon, ond y maent oll yn ein gadael mewn cymaint dyryswch ag o'r blaen, heblaw fod y dydd o'r wythnos yn pallu ateb. Gan y dichon y bydd rhai o'n darllenwyr yn fwy llwyddiannus na ni i amgyffred y pwnc hwn, ac am fod y dyfyniad ei hun hefyd mor addysgiadol, ni a roddwn yma gyfieithiad o'r hanes fel y mae yn "*The Life and Times of Selina, Countess of Huntingdon.*" Cyf. ii. tudal. 109.

"Ar y 18fed o Awst, 1770, daeth yr Arglwyddes Huntingdon, gyda Mr. Shirley, a Mr. Venn, i Brislington, yn agos i Bristol, preswylfod James Ireland, Ysw., gŵr tra adnabyddus yn y byd crefyddol, a chyfaill i'r holl bleidiau. Yr oedd Mr. Wesley y pryd hyny yn Bristol, lle yr oedd wedi bod yn aros gyda 'r dysgwyliad o fyned gyda'i Harglwyddiaeth i Gymru, i fod yn wyddfodol ar yr achlysur o gylchwyl flyneddol eu hathrofa, yr hwn oedd yn awr yn agoshâu i'r lle y gwahoddesid ef y flwyddyn flaenorol. Ond yr oedd yr arglwyddes wedi ffurfio y penderfyniad o'i gau ef allan o'i phulpudau, tra y daliai yr egwyddorion y dadleuid yn eu cylch yn y gynnadledd ddiweddar, ac yn ganlynol hi a ysgrifenodd ato i'r pwrpas hwnw. Ni ddychwelodd Mr. Wesley unrhyw atebiad i'r llythyr hwn, ond gadawodd Bristol am Gornwall drannoeth; ac ni phregethodd byth mwyach yn nghapeli yr Arglwyddes Huntingdon.

Y dydd canlynol i ddyfodiad ei Harglwyddiaeth i Brislington, yr hwn oedd y Sabboth, pregethodd Mr. Shirley a Mr. Venn i gynnulleidfäoedd tra lliosog yn eglwys St. George, Kingswood, a St. James, Bristol. Ar yr 21ain, Arglwyddes Huntingdon, ynghyd â'r Arglwyddes Anne Erskine, Miss Orton, Mr. Ireland, Mr. Lloyd, a'r gweinidogion oedd yn ei chanlyn, a aethant i Drefecca, ac a dderbyniwyd gan Mr. Fletcher, Mr. William Williams, Mr. Rowland, Mr. Peter Williams, Mr. Howel Harris, ac amryw bregethwyr llëygol, a chynghorwyr. Am naw, boreu dranoeth, gweinyddwyd y Sacrament gan Mr. Shirley; ac am ddeg, pregethodd Mr. Fletcher yn y capel. Am ddau, rhoddodd Mr. Venn anerchiad i'r myfyrwyr; ac am bedwar, pregethodd Mr. Howel Harris yn y cwrt i gynnulleidfa fawr. Gweinyddwyd y Sacrament gan Mr. Venn bore dydd Iau. Am ddeg, pregethodd Mr. Rowland a Mr. Williams yn y cwrt; holodd Mr. Shirley y myfyrwyr, a thraddododd anerchiad am ddau o'r gloch; ac am bedwar, pregethodd Mr. Peter Williams yn y capel, tra yr oedd rhai o'r cynghorwyr yn cyfarch y gynnulleidfa allan yn y cwrt. Yn y prydnawn, cyrhaeddodd Mr. Berridge yr athrofa, ac amryw bersonau o'r wlad oddiamgylch, fel ag yr oedd y cynnulliad o bobl boreu dranoeth yn fawr dros ben.

Am chwech o'r gloch yn y boreu, ar y 24ain o Awst, cynnaliwyd cyfarfod gweddi cyhoeddus yn y capel, i erfyn am fendith Pen mawr yr eglwys ar yr athrofa, ei sylfaenydd haelionus, a holl weinidogion Crist y rhai a gydlafurient â hi yn ngwaith cysegredig Duw a gwirionedd. Er mor foreu oedd yr awr ar yr hon y cynnelid y cyfarfod hwn, yr oedd tyrfa liosog wedi ymgynnull iddo, ac yr oedd y dylanwad nefol a orphwysai ar y gynnulleidfa yn cael ei ystyried yn gyffredin fel 'arwydd er daioni,' ac fel ernes hyfryd o'r hyn a ellid ei ddysgwyl drwy y gwasanaeth crefyddol cysylltiedig â'r gylchwyl. Meistri Rowland, Williams, Harris, a Berridge, a gymerasant bob un ran yn y gorchwyl hyfryd hwn: ar ol yr hyn gweinyddwyd y Sacrament gan Mr. Fletcher, fel llywydd yr athrofa, yn gyntaf i'r gwŷr eglwysig, o'r rhai yr oedd *deg* yn bresennol ar yr achlysur hwn, yna i'r myfyrwyr, yr Arglwyddes Huntingdon, ac aelodau teuluaidd ei harglwyddiaeth, ac yna i'r gynnulleidfa, o'r hon y darfu i nifer mawr ymgymuno i gofio am gariad eu Harglwydd a'u Hiachawdwr yn marw.

Dechreuodd y gwasanaeth cyhoeddus am ddeg o'r gloch, pryd yr ymgynnullodd tyrfa anferth o bobl o bob parth. Cyfodwyd esgynlawr yn y cyntedd, ar yr hwn yr oedd yr holl wŷr Eglwysig, y pregethwyr Ymneillduol, y pregethwyr llëygol, a'r myfyrwyr yn eistedd. Darllenodd Mr. Fletcher Weddïau yr Eglwys Sefydledig, ynghyd â rhanau detholedig o'r Hen Destament a'r Newydd, cyfaddas i'r achlysur. Wedi hyny, Mr. Peter Williams, o Gaerfyrddin, mewn gweddi daer a difrifol, a atolygodd am fendith Duw ar y gweinidog oedd yn myned i lefaru—ar iddo fod yn ffyddlawn i Dduw, yn ffyddlawn iddo ei hunan, ac yn ffyddlawn i eneidiau ei wrandawwyr; ac hefyd ar y gynnulleidfa, ar iddynt wrandaw megys erbyn tragywyddoldeb, a rhoddi pob diwydrwydd at y pethau a berthynent i'w tragywyddol heddwch, gan edrych i fynu at Dad y goleuni, a deisyfu arno roddi i 'holl eiriau y bywyd' fynediad helaeth i mewn i'w calonau. Yna y dyrfa liosog a ganasant gyda 'r dyhewyd mwyaf bywiog,

> '*Arm of the Lord, awake, awake!*
> *Thine own immortal strength put on*,' *&c.*
>
> (' O fraich yr Arglwydd, deffro yn awr,
> Dy nerth anfarwol gwisg,' &c.)

Ar ol yr hyn esgynodd Mr. Shirley i'r pulpud, a phregethodd bregeth ragorol, dra chyfaddas i'r achlysur, oddiar 1 *Cor.* i. 21: 'Canys o herwydd yn noethineb Duw * * * fe welodd Duw yn dda trwy ffolineb pregethu gadw y rhai sydd yn credu.' Wedi iddo ef orphen, pregethodd Mr. William Williams yn Gymraeg, hyd un o'r gloch. Am ddau, darfu iddynt oll giniawa; ac yn y cyfwng rhwng y gwasanaeth cyhoeddus, yr oedd y bobl yn parhau i ganu a gweddïo, yn y capel ac yn y cwrt. Dechreuodd y gwasanaeth nesaf am dri o'r gloch, pryd y darfu i Mr. Berridge argymhell esiampl a llwyddiant gweinidogion cyntaf Crist, oddiar *Marc* xvi. 20: 'A hwythau a aethant allan, ac a bregethasant yn mhob man, a'r Arglwydd yn cydweithio, ac yn cadarnhau y gair, trwy arwyddion y rhai oedd yn canlyn.' Wedi iddo ddiweddu, cyfarchodd Mr. Rowland y dyrfa gynnulledig yn Gymraeg, yn ei ddull arferol hyawdl a thra grymus. Ei destun oedd 1 *Cor.* i. 23: 'Eithr nyni ydym yn pregethu Crist wedi ei groeshoelio:' oddiwrth yr hwn y dangosodd

bwnc gweinidogaeth pob gweinidog i Grist—doethineb a daioni Duw yn gorchymyn ar i'r efengyl, swm a sylwedd yr hon yw Crist croeshoeliedig, gael ei phregethu 'yn mhob man —cyfaddasrwydd yr efengyl i sefyllfa dyn, a'i chyhoeddiad y moddion appwyntiedig i ddychwelyd pechaduriaid; ac yn olaf, *comisiwn* eu Meistr, a fu unwaith yn groeshoeliedig, ond sydd yn awr wedi ei gyfodi a'i ddyrchafu, yr hwn sydd eto yn parhau mewn grym, a'r addewid o'i bresennoldeb grasol ef "hyd ddiwedd y byd.'

Yn y prydnawn, anerchodd Mr. Venn y myfyrwyr, y gweinidogion, a'r pregethwyr lleygol, y rhai oedd yn gynnulledig yn yr athrofa ar yr achlysur hwn, oddiar 2 *Tim.* iv. 2: 'Pregetha y gair—bydd daer mewn amser ac allan o amser.' Oddiwrth y geiriau hyn efe a wasgodd yr anghenrheidrwydd anhebgorol o bregethu y gwirionedd fel y mae yn yr Iesu, yn zelog ac yn ffyddlawn—o fod yn barod i fyned allan ar bob adeg i gyhoeddi geiriau y bywyd tragywyddol—a'r pwys sydd mewn cael teimlad parhaus o ymddibyniad llwyr ar y dylanwad o eiddo yr Ysbryd sydd yn cael ei addaw, i 'gadarnhau y gair, trwy arwyddion y rhai oedd yn canlyn,' ac i'w cynnal o dan bob anhawsder a phrofedigaeth ag y gelwid hwy i'w goddef yn nghyflawniad ffyddlawn y weinidogaeth a dderbyniasent gan yr Arglwydd. Diweddodd Mr. Fletcher gyda gweddi ar Ben mawr ei eglwys a'i bobl, am dywalltiad neillduol o'i Ysbryd ar wahanol ranau y gwasanaeth cysylltiedig â'r gymanfa; ar yr athrofa, ar iddi brofi yn fendith arosol i eglwys Crist, ac ar iddo fod yn nerthol, trwy Dduw, i fwrw cestyll Satan i'r llawr—ar ei sylfaenydd anrhydeddus, ar fod i gariad y Gwaredwr losgi yn ddysgleiriach ac yn gryfach ar allor ei chalon, ac ar iddi gael ei gadael yn hir i fedi mewn gorfoledd o ffrwythau ei llafur haelionus a didwyll—ac ar y gweinidogion a'r myfyrwyr, ar iddynt fod yn saethau gloew yn nghawell y Prynwr, yn zelog, yn ymdrechgar, ac yn llafurus mewn taenu gwybodaeth o'u Meistr dwyfol, ac ar iddynt yn y dydd mawr olaf eu cael ar ei ddeheulaw, a'i glywed yn llefaru wrthynt wobr ei gymeradwyaeth, 'Da weision da a ffyddlon, ewch i mewn i lawenydd eich Harglwydd.'

Fel hyn y terfynodd ail gylchwyl athrofa ei harglwyddiaeth. Yr oedd yr ysbryd mwyaf hyfryd o dduwioldeb a chariad brawdol yn treiddio trwy yr holl gyfnod dyddorawl hwn; ac yr oedd presennoldeb grasol Duw yn cael ei brofi yn helaeth gan bawb. Yr oedd y cynnulleidfaoedd yn anghyffredin o liosog, ac yn talu sylw dwfn a dwys; ac yr oedd dylanwad bendithiol oddi uchod yn gorphwys ar y tyrfaoedd cynnulledig. Am saith o'r gloch boreu dranoeth, cynnaliwyd cyfarfod i weddïo yn y capel, pryd y darfu i Meistri Shirley, Venn, Berridge, a Fletcher, gyflwyno eu hunain a'u brodyr yn y weinidogaeth i fendith Duw cyn iddynt ymwasgaru i'w gwahanol gartrefleoedd. Yn fuan wedi hyny, gadawodd yr Arglwyddes Huntingdon a'i chymdeithion Drefecca am Berwick, trigle Thomas Powys, Ysw., yn sir Amwythig. Dranoeth, yr hwn oedd Sabboth, pregethodd Mr. Venn yn y boreu i nifer mawr o bersonau, ac yn y prydnawn cyfarchodd Mr. Berridge gynnulleidfa fwy liosog, oddiar y geiriau pwysig hyny, 'Cyn wired a bod yr Arglwydd yn fyw, a'th enaid dithau yn fyw, nid oes ond megys cam rhyngof fi ac angeu.' Darfu i'r Arglwyddes Huntingdon yn nesaf fyned ymlaen i Worcester, lle yr arosodd ychydig ddyddiau, ac yna aeth ymlaen i Bristol, lle y cafodd yr hyfrydwch o gyfarfod â Mr. Charles Wesley, yr hwn yn fuan wedi hyn a'i canlynodd i Bath ac a bregethodd amryw weithiau yn y capel."

Yr unig grybwylliad arall o duedd grefyddol yw yr hyn a ganlyn am y Parch. George Whitfield yn y rhifyn am Ebrill 14eg, 1770:—"Dydd Sadwrn diweddaf y dychwelodd y Parchedig Mr. George Whitfield yn iach i Lundain, o Georgia yn America." Pa fodd bynag y dylid esbonio yr adroddiad am gymanfa Trefecca, y mae yn eithaf diammheuol fod yr hanes hwn yn anghywir. Nid yn unig yr oedd heb gyrhaedd i Lundain yr amser a nodir uchod, ond ni ddychwelodd yno byth mwyach; oblegid bu farw yn America y mis Medi canlynol.

Gyda y coffhad hwn am yr anfarwol Whitfield yr ydym yn ymadael â'r "Eurgrawn Cymraeg," yn nghymdeithas yr hwn y cawsom lawer o hyfrydwch ac adeiladaeth. Y mae ei olygwyr gwladgarol, pwy bynag oeddynt, a'u holl ohebwyr yr un modd, erbyn hyn, wedi huno yn yr angeu. Byddwn ninnau yn fuan wedi myned ar eu hol. Gadewch i ni feddwl, tra y cawn aros yn hyn o fyd cyfnewidiol, am fod o ryw ddefnydd.

# MOEL Y GEST.

Beth ydyw, ac yn mha le y mae hono? Moel yw mynydd isel, ond bryn uchel; a pheth na fedd y Saeson yn eu *hill* na'u *mountain*. Moel a alwyd gan yr hynafiaid felly o herwydd ei thebygolrwydd i goryn hen ŵr heb wallt; felly hithau heb goed ond o gylch ei godreu, tra yr ydoedd y nentydd a'r iseldir yn goed anial, llawn o fleiddiau a nadroedd. Y trinwyr amaethyddol cyntaf a gynnygient ochreu 'r moelydd o herwydd eu bod yn ddigoed, ac y mae y cefnau i'w gweled hyd heddyw. Hir a maith y bu y coedydd heb eu harloesi; a *Snowdon Forest* yn deilwng o'r enw, yn lle fel y gwelir yn bresennol. Moel y Gêst, hwyrach, o herwydd y gwasgiad sydd yn ei chanol, ac yn ei rhanu fel dwy foel; cestawg yw yr olwg arni yn hytrach na chron na phigfain. Y lle y mae ydyw rhwng Porthmadog, Tremadog, a Chrucaith, yn nhgwmwd Eifionydd, sir Gaernarfon; rhan yn mhlwyf Ynyscynhaiarn, a rhan yn Nhreflys. Yr awyr ar ei phen sydd iach a dymunol, yn dyfod oddiar y môr gerllaw. Gellir cyrhaedd ei phen o'r ffordd fawr sydd o Dremadog i Bwllheli mewn awr gyda phleser.

"Ar brydnawngwaith teg o haf hir felyn tesog" yr 20fed o Orphenaf, 1847, cymerasom hynt i'w phen. Gydag yspïenddrych syllasom at ogledd a dwyrain, dê a gorllewin. Wrth graffu, daeth i'n cof yr hen amser gynt; y cyndrigolion, eu traddodiadau a'u hofergoelion; a theimlem awydd am weled dau neu dri yn mhob canrif er's tair mil o flyneddau yn myned heibio i ni, yn eu gwisgoedd arferol. Pa fath olwg oedd arnynt? Pa fodd yr oeddynt yn siarad? A oeddynt yn fawr iawn, ac yn greulawn yr olwg arnynt? Ond wrth ystyried ein bod yn myned i ganlyn holl luoedd yr oesoedd, teimlem alar pruddglwyfus yn ein llenwi, fel nas gallem ond o braidd fwynhau y golygfêydd yn deilwng o ddyn byw yn ei fywyd ofer. Edrych er hyny a wnaem tua'r gogledd, a gwelem y mynyddau uchel, a dymunasem fod yn uwch, fel llawer un oedd ddigon uchel eisoes, ac mewn lle llawer mwy diberygl.

I'r gogledd-ddwyrain, gwelir Nantmor neu Nant y môr. Dacw lle yr oedd Dafydd Nanmor, a Rhys Goch Eryri, yn feirdd enwog rywbryd o 1420 i 1460, ac yn ymddifyru gyda eu cymydoges, Gwen o'r Ddôl, boneddiges yn Nol y Friog. Claddwyd y ddau yn Meddgelert; ond pwy a ŵyr yn mha le yno y mae eu beddau? Y mae yn debyg mai wrth yr ywen, y ffordd yr eir i'r llan, lle mae beddau Hafod Garegog, y claddwyd Rhys Goch, neu Rhys Wynne, Ysw., fel y gelwid perchenog etifeddiaeth yr Hafod. Chwi hynafiaethwyr, cywilyddiwch na ellwch ddangos beddau enwogion eu hoes; na sicrhau chwedl Gelert ychwaith! Gellwch ddangos y Gymwynas, sef y nant rhwng Aberglaslyn a'r pentref; oni b'ai yr hon, am a wyddom ni, mai Cymwynas i enweirwyr fuasai Beddgelert. "Cymwynas heb ddim cam enw" ydyw hi beth bynag. Dyn byw! dacw ochrau Mestiniog—dyna enw digrif: beth yw ei ystyr? Ffestiniog, ffestinio, neu brysuro oedd eisieu, os tros y mynyddau i'r Bala neu i'r Yspytty yr eid cyn y nos; a mwy fyth fyddai y brys os ymlaen y llanw y croesid y Traeth

bach a'r traeth mawr i sir Gaernarfon. Nid oedd Mr. Madocks yn fyw pan galwyd hi felly.

Yn Nghynfal, gerllaw Mestiniog, yr oedd Huw Llwyd yn byw; yr hwn y dywedai yr hen bobl (gallwn eu galw yn wirion bellach) a fedrai godi cythreuliaid, a phob ystranciau bron. Hyn sydd sicr beth bynag, un o'r dynion mwyaf gwybodus yn ei ardal, os nad yn ei oes, oedd Huw Llwyd. Bardd da ac ymdeithydd mawr ydoedd, fel y gellir casglu wrth ei englyn:—

"Yn Ffrainc yr yfais yn ffraeth—win lliwgar;
Yn Lloegr cawl odiaeth;
Yn Holand 'menyn helaeth;
Yn Nghymru llymru a llaeth."

Yr oedd ef yn gydoeswr â'r Archdiacon Prys, yr hwn a'i hebryngai i Faentwrog; ac wrth ei gladdu yno a gysoddai yr englyn hwn:—

"Pen campiau, doniau, a dynwyd—o'n tir
Maentwrog yspeiliwyd;
Ni chleddir, ac ni chladdwyd;
Fyth i'w llawr mo fath Huw Llwyd."

Yr oeddynt yn byw o'r flwyddyn 1580 i 1620; Edmund Prys yn Ty du, Maentwrog; a Huw Llwyd yn Nghynfal. Pwy a fuasai yn meddwl bod cardota y pryd hwnw oni buasai i Edmund Prys ganu fel hyn?—

"Mal cardotwraig draig drygair,
Ei chlod o gerdod a gair;
Canmol yn braff wrth gaffael,
Bod o'i cho' pan beidio a chael."

A oes rhywbeth heblaw traddodiad yn dangos lle y claddwyd y ddau uchod? Dywedai y diweddar John Roberts, Bryntirion, mewn englyn, fel hyn:—

"Eglwys Maentwrog greiglawr—a gel lwch
Ei gwiw lên Beriglawr;
Gwel, yno y mae Glain mawr,
Ellain o dan yr allawr."

Tybygid wrth yr englyn hwn fod rhyw gofarwydd am Salmydd Cymru. Wfft i'w alluoedd gwawdiaethol pan yn difrïo mor llymdost Sion Phylip o Ardudwy!

Llechwedd iach iawn yw o Landewyn i Drawsfynydd, neu ni fuasai Edward Ifan o Lenyrch yn 102 flwydd oed, ac Edmund Morgan yn 112 neu ragor. Dyna Dal y Sarnau yn gryn bentref o bob tu i'r ffordd o Faentwrog i Harlech—beth a ddywedir am dano? Ond mai Tal y Sarnau oedd yn croesi 'r traeth bach ydyw pan oedd pontbren unpren dros borth y Gest! Dyna 'r Glyn hefyd, yn nes i Harlech; dipyn i'r dwyrain o'r ffordd, am yr hwn y dywedir yn y "Bardd Cwsg:" "Pan oedd hi yn llawer twymnach yn nghegin Glyn Cywarch nac ar ben Cadair Idris." Yn nes eto at Harlech, dyna fryn glas; y lle y mae y Lâs Ynys, lle yr oedd y Parch. Ellis Wynne, L.L. B., awdur doniol y "Bardd Cwsg," a phrydydd digon campus, yn byw tua 150 o flyneddau yn ol. Dyn anwyl! dyma gastell Harlech wrth ein troed, i'r dê yn union: wel y mae ef yn edrych yn gryf, yn fawr, ac yn gyfaiach nag odid un o gestyll Cymru. Yr oedd Ellis Rowland, y prydydd, yn byw yn Harlech oddeutu 1700. Byddai

hynafiaeth Harlech, ei hymdrechiadau calonog, a'i dewrdra trwy yr oesoedd, yn ddigon o waith fis i ysgrifenydd llaw fèr eu cofnodi; a byddai ymddyddan am danynt yn ddigon difyrus nes gweled llygad *Phœbus* yn yspïo dros yr Aran y boreu fory. Dyma englyn i hynafiaeth enwau Harlech:—

" Amlwg *Gaer Tanwg* wyt ti—*Tŵr Bronwen*,
Yn toi 'r bryn lle sefi;
*Caer Collwyn*, ar glogwyni;
Hardd Ar lech *Harlech* yw hi." *E. O.*

Yn nes i'r dê, dacw Ddyffryn Ardudwy, neu *ar-dir-dwfr*. Y trwyn yn rhedeg i'r môr ydyw Mochres, lle yr oedd Sion Phylip y Bardd, yn byw oddeutu 1580, ac yn ymryson âg Edmund Prys. Yr oedd yn byw yna Rhisiart a Gruffydd Phylip tua 1635. William Phylip oedd yn byw yn yr Hendref fechan yn 1660, pan oedd Cromwell yn awdurdodi. Oddiwrth Fochres, yn ymestyn i'r gorllewin am un-milltir-ar-hugain i'r môr, ar gyfer Cilan yn Lleyn, y mae Sarn Badrig, i'r dê i'r hon yr oedd Cantref y Gwaelod, tiriogaeth Gwyddno Goronhir, a orllifwyd trwy esgeulusdra ceidwad y dyfrddorau, sef Seithenyn Feddw, tua'r flwyddyn 560: gwyliwn ddyweyd anwiredd, a methu mil neu ddwy neu fwy o flyneddau! Gallwn ddyweyd hyn beth bynag, canodd William Rees yn gampus i Gantref y Gwaelod, a Dewi Wyn mòr gampus, yn ei gywydd ar "Ymadawiad Cyfaill." Fel hyn—

" Heli yw 'r lle, wele 'r llyn,
Dwr diluw a dô 'r delyn;
Nid pysg yma 'n gymysg oedd,
Ond gwenyn, ŷd, a gwinoedd."

Dacw Lëyn i'r gorllewin, a mynydd yr Eifl, neu Aflau, lliosog o afl;—nid *rivals*, fel y tybia y Saeson eu bod, i fynyddoedd uchaf Eryri! A dyma Gwmwd Eifionydd y tu yma, yn cyrhaedd o Borthmadog i Abererch. Eiddionydd y'i gelwid ef gynt; felly y galwai Meigant ef yn 640:—

"Arllechwedd, Arfon, Eiddionydd,
O ffinedd eu hannedd i'r mynydd—
A glyw."

Ac felly hefyd y galwai Rhisierdin ef yn "Marwnad Hywel ab Gruffydd," yn 1400:—

"Eiddionydd dorf corf cariad—oedd Hywel."

Y mae Eiddionydd i'w weled fel dyffryn coediog a ffrwythlawn; ac wrth edrych ar ambell lwyn o goed, bryd arall fryn bychan, yna rhyw gilfach gled, y mae yn dwyn y cof i feddwl am enwogion a anwyd ynddi, ac a symudasant i barthau byd; a llawer, llawer eraill, heb ran na chyfran iddynt byth mwy o ddim oll a wneir dan haul, yn llechu yn ddystaw, nes bo mynwentau yr Eryri yn ymagor, a'i chedyrn fynyddoedd yn neidio, â rhyw ywen gysgodfawr yn wlawlen iddynt.

Draw yn y gorllewin, dacw y Plas du, lle y ganwyd John Owen, y bardd Lladinaidd campus, a'r Esgob Evans o Fangor, o 1701 hyd 1715, yna o Meath yn Iwerddon. Yn nes yma, dacw y Gaerwen, lle y ganwyd ac y bu farw Dewi Wyn. Yn ymyl y mae Coedcae du, lle y ganwyd y Parch. Richard Jones, wedi hyny o'r Wern. Yn nes i'r dê, y mae y Bettws Fawr, lle y ganwyd Robert ab Gwilym Ddu. Gerllaw yr oedd Owen

Gruffydd, prydydd Llanystumdwy, yn byw. I'r gogledd y mae Bryneinion; yn agos yno y ganwyd Pedr Fardd. Yn y Suntur, nid ymhell eto, y ganwyd Robert Jones, Rhos Lan. I'r gogledd, yn Rhwngyddwyryd, yn mhlwyf Dolbenmaen, yr oedd y Parch. Thomas Ellis, A.C., a ysgrifenodd hanes bywyd Owen Glyndyfrdwy, yn byw. Yn nes atom y mae Cefn y Fann (Ystumcegid) lle yr oedd Owen Gwynedd yn byw, ac o'r lle yr aeth Madog i'r môr.

Yn nes i'r dwyrain, dacw 'r Cleneney, lle yr oedd Syr John Owen, yr ymladdwr dewr dros ei frenin yn amser Cromwell, yn byw. Yno y bu byw y Morysiaid enwog cyn Syr John; un o honynt, Syr William Morris, o Wlad yr Haf (*Somerset*), a drodd y fantol o blaid adferiad Charles yr Ail. Yn nes yma, dyna y Gesail Gyfarch, unwaith Castell Cyfarch, a Phenyfed: llosgwyd ef a Chefn y Fann gan Owen Glyndyfrdwy. Yna yr oedd Cadwaladyr Cesail, bardd a boneddwr, yn byw tua 1620. Bu yr Esgob Humphreys o Fangor yn byw yna nes y symudodd i Henffordd. Crybwyllir am helyntion dychrynllyd, ac ymladdfêydd creulawn rhwng teulu Bron y Foel a'r Gesail yn "*Wynne's History of the Gwydir Family.*" Yn nes i'r dwyrain, y mae Hendre' Hywel, lle yr oedd Meredydd ab Hywel, hynafiad teulu Gwydir yn byw. Y braich tir acw, yn cyrhaedd o Lwyn-y-Mafon i Benystumllyn ydyw Pen tir y Gest, sef terfyn gorllewinol Tref y Gest. Pwy a ŵyr yn mhla le yr oedd "Blaidd Rhudd" y Gest yn byw? Yn mha le yr oedd Gwely 'r Prydyddion, neu Etifeddiaeth y Prydyddion, yr hon oedd yn Nhre'r Gest, yn y chweched-flwyddyn-ar-hugain o deyrnasiad Edward y Trydydd, a'r flwyddyn 1356? Ei feddiannwyr oedd Ieuan Llwyd, Ieuan Chwith, ac Ieuan ap Adda ap Eingan. Wrth droed, ac ar ochr y Foel hon, y mae y tyddynod Tu hwnt i'r Bwlch, (lle genedigol y brodyr nodedig y Parch. John Thomas, A.C., a'r Parch. Richard Thomas, G.C., ieithwyr, hynafiaethwyr, a beirdd) Llanerch, Penamser, a Bron y Foel. Yn yr olaf yr oedd Syr Hywel y Fwyall yn byw, yr hwn a urddwyd am ei wroldeb, pan y cymerodd Ioan brenin Ffrainc yn garcharor yn ymladdfa Poictiers yn y flwyddyn 1356, yr hwn hefyd y canwyd iddo—

"Och! am Hywel heb gelu,
A'i fwyall, diball y bu,
Yn erchyll ffrewyll i Ffrainc,
Troi chwalfa trwy uchelfainc."

Tybir ei gladdu yn Nghrucaith, gan ei fod yn olygydd y castell ac yn byw ynddo.

O tanom, i'r gogledd, dyna hen bentref parchus Penmorfa, yn destun cân "*The deserted Village.*" Y mae amryw o rai enwog yn eu dydd a'u cenedlaeth wedi eu claddu yn y fynwent yna; ac y mae yna y beddergryff hynaf yn yr ardaloedd, heblaw y mynor gwyn hardd sydd yn yr eglwys yn gof am Syr John Owen. A welwch chwi i'r dê, wrth ein traed, fel gerddi, y Morfa bychan? Yr oedd y *sianel*, lle mae 'r llongau yn myned ar hyd-ddi i Borthmadog, yn myned trwy ganol y Morfa Bychan chwe' ugain mlynedd yn ol! Bu yn y Morfa Bychan, ac yn symud i sir Feirionydd bryd arall, dân rhyfedd, yn y flwyddyn 1693. Oddeutu y gwyliau yr ymddangosodd, a llosgodd ar nos y 24ain o Ragfyr, ddâs o wair i Richard Davies, Erw wen; un i Richard Griffith, Llechwedd du; ac un i Humphrey Owen, y Gareg wen y Gest. Yn nos y 27ain, y llosgodd dâs o wair i John

Phillips, Ynys Lanfihangel, a dwy ddâs i John Griffith Owen, Cefn-Trefor-fach, a dwy ddas i Catherine William, Cefn-Trefor-fawr, ac un i Francis Evans, Glasfryn. Ar ol hyny, llosgwyd beudy, ac ynddo lawer o wair, i Richard Davies, o'r Erw wen. Bu effaith y tân yma mor niweidiol a gwenwynllyd ar dyddyn Siôn Wyn dros dair blynedd, nes y byddai farw pob crëadur a borai arno, yn gystal a'r adar a fwytäent hyd-ddo. Math o darth tanllyd ydoedd, ac yn codi o'r corsydd gwlybion tywodlyd yna yn y Morfa Bychan, ac yn croesi y traeth i Ynys Llanmihangel, a Morfa Harlech, a glàn y Traeth bach. Yr ydoedd yn bur ddyeithrol, ac yn peri syndod. Rhyw fflam lâs fechan ydoedd, hawdd ei diffodd, dybygid, ac ni wnai niwed i'r sawl a fyddai yn ei chanol yn ymdrechu i rwystro y gwair ar dân. Yr oedd yn wahanol iawn yn ei natur i dân arall, a'r dystryw a wnai fyddai yn y nos. Bu farw gwartheg, ceffylau, geifr, moch, &c. gan yr effaith a adawodd ar y ddaear; a pharhasant i farw felly am hir amser. O'r diwedd, canfuwyd fod sŵn yn effeithio arno; a phan gwelid y tân yn dechreu casglu at eu gilydd ac ennyn, cenid cyrn, curid tabyrddau, a saethid; a pherai y sŵn a'r cynhwrf iddo ddyrchafu i'r awyr fel na wnai niwed. Ychydig golledion a gaed wedi cael hyn allan; ond bu yn ymddangos am gryn amser ar nos Sadyrnau a nos Suliau. Cred y bobl y pryd hyny oedd, mai y tyddynwr oedd yn byw yn Nhyddyn Siôn Wyn, wedi cael ei droi allan, a felldithiodd neu a *witsiodd* y fan; a daliwyd ef i fyned âg ef o flaen ustus; ond nid oedd yr un nes na Phenarth neu 'r Wern fawr, yn sir Gaernarfon; ac wrth fyned âg ef, gorfu ar y *cwnstabliaid* (Rowland Prichard, yr Ynys ddu, oedd un o honynt) letŷa yn Llanystumdwy, a dïangodd yntau trwy ffenestr y noson hono, ac nis gwelwyd ef mwy. Cyfrifai yr hanesydd Pennant iddo gael ei achosi gan haid o locustiaid a chwythwyd gan ystorm o'r gorllewin, a foddasant, ac a ddaethant i'r làn i'r Morfa bychan.

Rhaid dyfod i lawr o ben Moel y Gest cyn y nos, a gadael golwg y llygaid, ac ymdaith yr enaid, a'r gwagedd pleserus hwn heibio; a chofio 'r pennill—

"Yr holl uchelfrig dyrau, a'r llysoedd teg eu gwawr,
A themlau 'r difrifolion, ie 'r feithgron ddaear fawr;
Ac oll a'u hetifeddant, a doddant mewn un dydd,
Mwy na ffug adail breuddwyd, un rhith o'u hol ni bydd."

---

## AWENYDDION CYMRU.

Dywedir y dyddiau hyn fod oes barddoni wedi darfod; ond nid ydym eto wedi gweled yr un o'r ymenyddiau sych (a mawr bid siwr) yn sicrhau fod oes cerddori na phaentio ar ben, er, efallai, mai hyny fydd y dadenhuddiad nesaf. Pe buasem yn credu dwyfoldeb yr oracl yma, buasai yn orchwyl digon salw i ni ymaflyd yn ein hysgrif-bin i adrodd tipyn o'n syniadau ar farddoniaeth ein cenedl—testun yr ysgrif bresennol, er nad ydyw ond rhagymadrodd i sylwadau manylach ar ein cerddoriaeth. A buasai yn waeth

genym drachefn, am mai cenedl awenyddgar yw cenedl y Cymry. Cydnebydd yr awdwyr penau hirion sydd yn ysgrifenu ar hanesiaeth naturiol dyn (pe b'ai cred ar eu cyfundraeth), fod y teulu Celtaidd o blant Adda yn rhagori ar y teuluoedd eraill mewn cynneddfau awengar; a dichon fod gwlad, iaith, ac arferion y Cymry yn foddion i ddadblygu eu galluoedd hwy yn fwy nag unrhyw ddosbarth arall o'r teulu hwn. Ond beth os yw aweniaeth i farw, a dim ond athroniaeth syth i deyrnasu mwy?

Na, cymerwch galon, lanciau a genethod awenyddol Gwalia; nid prophwydi sydd yn darogan eich cwymp, na meibion prophwydi. Y maent yn anghofio fod dau wyneb i'r meddwl dynol; un dan lywyddiad yr amgyffrediad, i dderbyn argraffiadau am wirioneddau sych a digynhwrf y gwyddoregau naturiol, a'r llall dan lywyddiad y crebwyll, i dderbyn argraffiadau oddiwrth fywyd ac ysbrydolrwydd anian. A beiddiwn ddyweyd mai nid y gyntaf yw pen eithaf cynneddfau dyn, ond yr olaf. Y mae yn wir nad yw y naill i fod heb y llall, ond yr olaf yw ffynnon cysur a mwynhad. Y gallu yma yn y meddwl i ganfod a theimlo y gynghanedd sydd yn ngwirioneddau unrhyw wybodaeth, sydd yn creu dedwyddwch i'r meddwl oddiwrth y wybodaeth hono. Mewn gair, oddiar allor y cynneddfau awengar y mae goleuni, gwres, a bywyd holl ddysg a dawn y byd yn deilliaw. Yn wir, yr un ffynnon, fel y cawn ddangos cyn hir, wedi ei sancteiddio trwy waed y Cyfryngwr, fydd dedwyddwch y nef. Wel, fe ddaw eglwys Crist i weled eto bob yn dipyn, na roddwyd y cynneddfau yma i ddyn ar y ddaear i'w gadael i gysgu, nac i'w defnyddio i wasanaethu y byd, y cnawd, na'r diafol; ond y gellir eu defnyddio, ïe, yn fwy grymus na dim arall, fel moddion o ddiwygiad moesol a chrefyddol. A phan dêl eglwysi Cymru i ganfod hyn, dichon y rhoddant heibio eu rhagfarn, ac y rhoddant law o gymhorth i'r sawl sydd am arwain ein cenedl yn yr hen ffordd dda.

Ond deuwn bellach at ein pwnc. Er ein bod yn bwriadu eistedd yn nghader y beirniad, nid ydym, ar hyn o bryd, yn meddwl dal clorian *Astræa* yn ein llaw i bwyso ein beirdd yn fanwl; ond yn unig gwneyd ychydig o sylwadau bras arnynt, ond y bydd hyny yn benaf mewn tôn geryddgar. Nid ydym yn dysgwyl i'n brodyr beirniadol gydolygu â ni am bob pwnc, mwy nag yr ydym ninnau yn cydòlygu â hwythau. Y mae aml i adolygiad yn ngrëalon Cymru ar waith a barddoniaeth ein gwlad, sydd gryn dipyn yn rhy faglog i ni allu eu llyncu; a pha ryfedd os bydd ambell un o'n darllenwyr yn rhy bur ei chwaeth i lyncu yr eiddom ninnau.

Un peth a ymddengys i ni yn fwy plentynaidd na dim arall, yw y croesolygiadau sydd wedi bod ac yn bod i raddau ymhlith ein beirdd o barth i fesurau barddoniaeth. Pa bryd bynag yn oes y genedl y ffurfiwyd y mesuron caeth, ac y cwblhâwyd y pedwar-ar-hugain, y mae un peth yn ddigon amlwg, sef eu bod yn hynod o gelfyddgar a phriodol i deithi y Gymraeg. Nid oes dim yn y cynghaneddion yn groes i wir farddoniaeth; ond yn y gwrthwyneb, mor belled ag y mae hyny yn cyrhaedd, y mae yn un elfen i ffurfio neu berffeithio yr iaith farddonawl. Ar yr un pryd, y mae gosod pwys ar y gynghanedd yn hytrach nag ar y meddylrith yn wall mawr: camgymeryd y plisgyn am y cnewyllyn ydyw, a chamolygu celfyddyd am natur. Yma yr oedd lliaws o'n hen feirdd yn methu, a thrwy hyny yn arwain beirdd ieuainc i dybio mai siarad y cynghaneddion yn dda oedd y gamp, ac nad oedd gwir farddoniaeth i'w gael ond yn y mesurau caeth.

O'r tu arall, y mae edrych ar y cynghaneddion fel baich, a dim ond baich, i'r awen, yn olygiad, efallai, mor anghywir. Heblaw fod arferiad yn cael dylanwad mawr ar unrhyw fath o gyfansoddi, y mae rheoleidd-dra symudiad yn gymhorth i'r awen. Y mae yn wir fod cyrhaedd campus-rwydd i barablu y cynghaneddion yn gofyn llawer o drafferth ac arfer; ac felly y mae pob math o gyfansoddi sydd o un gwerth. A oedd yr hen feirdd ar ol hir ymarfer â'r cynghaneddion yn eu teimlo yn gaethiwed ar eu hawen, sydd yn gwestiwn. Nid oes eisieu ymholi beth yw profiad bardd *ieuanc*, ac nid oes achos ammheu fod amryw o feirdd lled enwog wedi eu teimlo yn gaethiwed ar lawer pryd; canys y mae swn y cadwyni yn clecian yn eu gweithiau hyd heddyw. Ond beth oedd, a beth yw, profiad y beirdd mwyaf campus? Dywed Pedr Fardd,

"Nid oes faws na dwys fesur
O un baich i awen bur."

Y mae yn ddigon amlwg fod cyfansoddi yn y mesuron caeth yn fwy o lafur na chyfansoddi yn y mesuron rhydd; o herwydd y mae yn fwy manwl. Ar yr un tir yn gymhwys gellir dyweyd ei fod yn fwy o lafur cyfansoddi pryddest fel "Coll Gwynfa," na chân pen ffair, beth bynag fo y mesur. Ond y pwnc yw, a ellir, faint bynag fo'r llafur, dynu pitiwr barddonawl mor gywir yn y mesuron caeth ag a ellir yn y rhai rhydd? ac a ellir siarad drychfeddyliau barddonawl mor naturiol a chywir yn y cynghaneddion ag a ellir hebddynt? Teimlem flys dyfynu ambell ddarn o awdl, cyn myned ymhellach, ond rhaid ymattal, gan yr arweiniai hyny ni i ormod meithder. Ond beth a ddywed ein beirniaid am ryw hanner dwsin o englynion.

"Aeth blodau dyddiau dedwyddion—drosodd
D'ryswyd fy nghysuron;
Mae pob lle o'm pabell hon
Ar waeth o lawer weithion.

Boreu o haf byr ei hynt—fu 'nyddiau,
Fwyneiddied eu helynt;
Heinyf bob dydd o honynt,
Y down ac awn fel dyn gynt.

Dirwynodd oed ar waneg—hyd ugain
A'i degwch ireidd-deg,
Taer redodd uwchlaw trideg,
A chwai y daeth i chwe deg.

Llawn dri ugain gywrain eu gwarant—heb [ludd
O'm blwyddau hedasant;
Fel y niwl o afael nant
Y dison ymadawsant.

Ugeiniau yn mro Gwynedd,—mae cofion
A'm cyfoed sy'n gorwedd;
A ddodwyd yn ddiadwedd,
Druain bach, draw yn y bedd.

Myned sydd raid i minnau,—drwy wendid
I'r undaith a'n tadau;
Mae 'mlinion, hwyrion oriau
A'm nos hir yn ymnesâu.

Henffych wlad! i rad rodio—a mwynaf
Man i gael gorphwyso;
Blinder, gorthrymder, na thro
Ni bydd un, na bedd yno."

Ni ddewiswyd yr englynion uchod am nad allesid cael eu cystal, ond yn benaf am eu bod yn nes at law ar hyn o bryd. Pa fodd bynag, cymered y darllenydd ei ysgrif-bin yn ei law, a noded y "ceryg llanw" sydd ynddynt; neu ysgrifened y syniadau sydd ynddynt mewn rhyw fesur mwy rhydd, a chymhared y ddau â'u gilydd; ac os yw yn gollfarnwr y mesurau caeth beiddiwn ddyweyd y gwel achos i ammheu cywirdeb y dybiaeth nad ellir barddoni yn y cynghaneddion.

Nid ydym heb ofni fod cryn lawer o ragfarn yn erbyn y mesurau caeth yn tarddu o'r anhawsder y mae beirdd ieuainc yn ei deimlo wrth gyfansoddi ynddynt. Ond rhaid iddynt gofio nad all y bachgen deuddeg oed ddim cario baich y dyn deugain oed. Ac yn wir pe teimlent anhawsder

hyd fedd, llawn digon fyddai iddynt wed'yn daflu bai eu moelni eu hunain wrth ddrws y cynghaneddion. Cofied ein cyfeillion, mai nid bardd pob rhigymydd. Ond dichon fod y rhan fwyaf o'r rhagfarn yma yn tarddu o ysbryd efelychu y Saeson a chenedloedd eraill, ynghyd â thipyn o ddiystyrwch ar bethau gwir Gymröaidd. Gwawdir Dic yn fynych, a hyny yn eithaf cyfiawn, am ddiystyru iaith ei wlad; ond os nad ydym yn camgymeryd yn fawr y mae gan Richard lawer o frodyr a fynent gael eu hystyried yn llëenyddwyr yn Nghymru, nad oes dim gwir Gymraeg yn werthfawr ganddynt. Pa dda all ddyfod o Nazareth? Na, nid oes dim byd gwreiddiol ond gan y Saeson. Ond ni ŵyr y pethau bychain mai cenedl o efelychwyr a benthycwyr yw y Saeson, oddieithr ambell eithriad.

Nis gwyddom am un dyn ieuanc yn teilyngu yr enw bardd yn fwy na'r diweddar Gwenffrwd; ac nis gwyddom am neb yn meddu y fath dalent, ac eto a gynnyrchodd mor lleied o syniadau gwreiddiol ag ef. Yr oedd ganddo awen rymus, a chwaeth gywir iawn; a siaradai waith awduron Seisoneg yn y Gymraeg yn awenyddol dros ben; a dyna y cwbl bron a wnaeth drwy ei oes. Nid ydym yn nodi hyn i ddiystyru y bardd; na, nid oes neb efallai ar glawr Cymru yn ei barchu yn fwy na nyni. Ar yr un pryd rhaid i ni ddyweyd ei fod yn ormod o efelychwr. A dyma y prif achos, dybygem ni, ei fod gymaint o elyn i'r mesuron caeth. Ac os nad ydym yn camgymeryd yn fawr, y mae y gwendid yma yn Gwenffrwd wedi myned yn lŷn tro sydd yn debyg o foddi rhai o'n beirdd ieuainc y dyddiau hyn—beirdd sydd yn meddu digon o chwaeth i hoffi ei gyfansoddiadau, ond nid digon o awen i gerdded yn rymus yn ei lwybrau.

Ond swm y cwbl sydd genym i'w ddyweyd ar y mesuron yw hyn—mai nid celfyddyd yw barddoniaeth, ond natur, ac y gellir ei gael mewn rhyddiaith yn gystal ag mewn mesuron barddonawl. Nid yw y mesuron caeth ychwaith yn elynol i'r awen, er fod cyfansoddi yn gampus ynddynt yn brawf o fwy o fedrusrwydd na chyfansoddi felly mewn mesuron mwy rhydd. A gallesid ychwanegu fod cynghanedd ynddi ei hun yn boddhau y meddwl. Ond rhaid i ni adael y pwnc i'r beirdd, yn unig gyda dyweyd fod y mesuron hyn yn dra chydnaws â theithi ein hiaith, ac yn briodol yn unig i'r Gymraeg, ac y dylent aros fel un o elfenau mwyaf parchus ein Cymreigyddiaeth.

Gadewch i ni edrych ychydig eto ar *destunau* ein beirdd. Y mae hyn yn fwy o bwys o lawer na'u mesurau, gan fod iddo ddylanwad mawr ar foesau, arferion, a chrefydd y genedl.

Y mae yn anhawdd i ni allu dyweyd yn bresennol beth oedd dylanwad moesol ein hen feirdd, o herwydd nad oes ond ychydig o'u cyfansoddion wedi dyfod i lawr hyd atom; ond oddiwrth yr ychydig sydd, gellid meddwl eu bod, nid yn unig yn feirdd campus, ond hefyd yn athronwyr yn eu syniadau, yn foneddwyr yn eu moesau, ac yn grefyddwyr yn eu calonau. Y mae yn annichon casglu dim yn amgen i hynyna am y prif feirdd, beth bynag. Gadewch i ni nodi dwy neu dair o anghreifftiau, a'r cwbl cyn diwedd y chweched ganrif.

DYHUDDIANT ELFFIN, GAN TALIESIN.

"Elffin deg, sych dy ddeurudd;
Ni weryd fod yn rhybrudd,
Ceyd tybiaist na chefaist fudd;
Ni wna les gormod cystudd,

Nag amheu wyrthiau Dofydd:
Cyd bwyf bychan, wyf gelfydd.
O foroedd ac o fynydd,
Ac o eigiawn afonydd,
Y daw Duw a da i ddedwydd."

Pwy erioed a ddywedodd yn well am fis Mawrth nag Aneurin?

"Mis Mawrth—mawr ryfyg adar,
Chwerw oerwynt ar dalar;
Hwy fydd hinon na heiniar;
Hwy peru llid na galar.
Pob rhyw arynaig a ysgar;
Pob edn a edwyn ei gymhar,
Pob peth a ddaw trwy 'r ddaear,
Ond y marw—mawr ei garchar!"

Eto, yn mha le y ceir llinellau a mwy o athroniaeth foesol ynddynt nag "Englynion y Clywed?" Dyma rai o honynt:—

"A glywaisti a gant y fronfraith—
Pan dramwyich dros ddiffaith;
Na fid elyn dy gydymaith.

A glywaisti a gant Dewi—
Gwr llwyd, llydan ei deithi;
Goreu defawd, daioni.

A glywaisti a gant Esperir—
(Yn ymddyddan a Meni hir);
Câr cywir, yn ing y gwelir.

A glywaisti a gant y pysg—
Wrth ymdrafull yn mhlith y gwrysg;
Trech anian nag addysg.

A glywaisti a gant Afaon—
Fab Taliesin gerdd gyfion;
Ni chel grudd gystudd calon.

A glywaisti a gant Idloes—
Gwr gwar hygar ei einioes;
Goreu cynneddf, cadw moes.

A glywaisti a gant Gwiawn—
(Drymynwr golwg uniawn);
Duw cadarn a farn pob iawn."

Byddai yn rhy faith i ni redeg dros waith ein beirdd o'r pryd y canwyd y dyfyniadau uchod hyd y Diwygiad Protestanaidd. Ond rhaid i ni ddyweyd hyn, nad allwn lai na rhyfeddu fod cymaint ynddo a thuedd i arwain i foesoldeb a rhinwedd. Y mae yn wir fod cryn dipyn o hono yn anadlu gwladgarwch a rhyfel; a pha ryfedd, pan yr oedd cynnifer o waedgwn yn gwylied ein cenedl ar bob llaw, ac yn barod i'w llarpio ar bob adeg. Ond y mae llawer iawn o dynerwch yn fynych yn yr awen hyd yn nod ar y testunau hyny. Gwrandawer am fynyd ar Hywel ab O. Gwynedd, yn y ddeuddegfed ganrif, yn canmawl ei wlad:—

"Caraf ei morfa a'i mynyddedd,
A'i caer ger ei choed, a'i chain diredd;
A'i dolydd, a'i dwfr, a'i dyffrynedd;
A'i gwylain gwynion, a'i gwymp wragedd.
Caraf ei milwyr, a'i meirch hywedd,
A'i choed, a'i chedyrn, a'i chyfannedd."

Ond yn y canrifoedd diweddaf ymddengys i ni fod ein beirdd wedi gwaelu yn eu testunau, beth bynag am eu hawen. Y mae yn syndod meddwl yr holl destunau salw a llygredig yn fynych y mae llawer o honynt wedi eu dewis. Nid llawer, os un, a gafodd gymaint o wrandawiad yn ei ddydd a Huw Morus: ac O! yr holl destunau gwag y mae wedi canu arnynt. Dyma gynnwysiad yr ail ran o'i waith, sef tuag un rhan o bedair o'i ddwy gyfrol, fel anghraifft eithaf teg o'r cwbl:—

1 Cân i anerch Merch ieuanc.
2 Un arall i'r un ferch.
3 Molawd merch.
4 Dau bennill *Valentine*
5 Arall.
6 Arwyrain Rhian y Rhianod.
7 Cwynfan un claf o gariad.
8 I hyfawl Rian.
9 Arall.
10 Cwyn Cariad.

Dyna destunau y bardd, a'r byd a'u gwelo,—na, buasai yn well i fyd bach Cymru pe buasai erioed heb eu gweled; canys beiddiwn ddyweyd i gyfansoddiadau o'r fath gael dylanwad niweidiol ar feddwl a chalon ein cenedl. Beth sydd, beth all fod mewn llonaid gwlad o gyfansoddiadau cyffelyb, i godi, eangu, a choethi y meddwl? dim a dal son am dano. Nid am nad yw H. Morus yn gwneyd cystal o honynt a rhywun arall,—y mae, a gwell o lawer na 'r rhan fwyaf. Y mae hyd yn nod "Merch yn achwyn ar ei Chariad," yn nghoel ei awen ef, yn siarad llawer o synwyr, a heb ond pur ychydig o'r sawyr sydd yn llygru. Er mwyn ein cyfeillesau, dyma bennill neu ddau yn anghraifft:—

"Y merched glan hoenus, di boenus da'u byd,
Cyd nithiwch wenithau, mae 'r efrau yn yr yd;
Os dewis cnau llawnion yn wirion a wnewch
Rhai gwisgi melynion yn goegion a gewch.
Fel bresiach blodeuol, neu dafol ar dir,
Mae llawer o'r meibion yn weigion yn wir;
Er teced eu llygaid, er gwyched eu gwallt,
Mewn afiaeth mwyn weniaith mae 'n anhawdd eu dallt
'R oedd impyn nodedig 'rwy'n dywedyd i chwi,
Yn dangos mawr gariad drwy ymweliad â mi:
Er bod fel glas *fedwen, braf,* irbren o bryd,
Fe brifiodd fel *gwernen* yn geubren i gyd.

Gwnae felin, gwnae eglwys yn gymhwys y gwaith,
Gwnae dŷ ar ei dafod mewn diwrnod o daith,
Gwnae blas ar ei dyddyn, mewn deuddydd neu dri,
A'r byd cyn esmwythed a'r *melfed* i mi.
Aur ar ei eiriau a fyddai 'n ei fin,
A'i fwynder yn seigiau fel *siwgwr* a gwin.
Myfi oedd yr oreu a garai fo i gyd,
A'i ddewis gywely i'w ymgeleddu fo 'n glyd;
Nid oedd un cardotyn am ofyn mi wn,
Mor daer ar ei dafod a'r hynod ŵr hwn:
Ac oni chae ei 'wyllys, fe ae allan o'i go—
Cyn wyllted a'r carw—neu farw a wnae fo!"

Dyna ddigon. Y mae rhygnu beunydd ar destunau fel hyn, pa mor gall, a moesol, a medrus bynag y trinir hwy, yn cael effaith niweidiol iawn, yn neillduol ar feddyliau ieuenctyd. Ond beth ydynt wedi syrthio i ddwylaw llai moesol na rhai H. Morus? Y maent fel pla mewn gwlad, yn llygru ei hawyrgylch o ben bwy gilydd. Felly y bu efo caneion cariad yn Nghymru, nes o'r diwedd iddynt syrthio i ddwylaw Rice Jones, o'r Blaenau, brenin y beirdd llygredig, yr hwn a'u gwisgodd mewn syniadau ac mewn iaith rhy lygredig i'w hadrodd yn nghlyw hyd yn nod anifeiliaid. Dyma un ffynnon fawr i ymddyddanion a gweithredoedd aflan ein cenedl; ac edryched y beirdd crefyddol (! ?) sydd yn ymddifyru mewn gwneyd caneion o'r fath, rhag eu bod, trwy hyny, yn casglu tanwydd i borthi anlladrwydd Cymru.

Ond na feddylied ein darllenydd ein bod yn golygu mai pontydd, cestyll, gofyn ffon, merch yn achwyn ar ei chariad, &c. oedd holl destunau ein beirdd cyn yr oes hon. Na, na, gwyddom well pethau, a dymunem iddo

yntau wybod hefyd. Y mae genym ddigonedd o eithriadau parchus. Ond yr oedd y testunau hyn yn cael gormod o le ganddynt, gan nad oes nemawr ynddynt i wellâu y meddwl. Nid ydym yn meddwl chwaith nad oes dim mewn testunau o'r fath, ac na ddylai yr awen ddisgyn arnynt un amser. Na, na, y mae anian yn byw ac yn marw o'u deutu hwythau, ond i lygad craff ei chanfod, a llaw fedrus fyned i dynu y pitiwr. Beth all fod yn well, mewn ychydig o gwmpas, nag englynion y Prydydd Hir i "Adfeilion Maesaleg," sef hen lys Ifor Hael. Llyma hwynt:—

"Llys Ifor hael gwael yw'r gwedd—yn garnau
Mewn gwerni mae 'n gorwedd;
Drain ag ysgall mall a'i medd—
Mieri lle bu mawredd.

Yno nid oes awenydd,—na beirddion
Na byrddau llawenydd,
Nag aur yn ei magwyrydd,
Na mael, na gwr hael, a'i rhydd.

I Ddafydd[1] gelfydd ei gan,—oer ofid
Roi Ifor mewn graian:
Y llwybrau gynt lle bu'r gan
Yw lleoedd y ddalluan!

Er bri arglwyddi, bur glod,—eu mawredd
A'u muriau sy'n darfod,
Lle rhyfedd i falchedd fod
Yw teiau ar y tywod."

Ond y mae gwelliant dirfawr wedi ac yn cymeryd lle yn ein dyddiau ni. A pha fodd lai? onid dynion yn ofni Duw ac yn cilio oddiwrth ddrygioni yw prif feirdd ein gwlad? Ac y mae yn falch genym feddwl, fod cyfansoddiadau wedi ymddangos ar glawr lleenyddiaeth Gymreig yn ystod y deugain mlynedd a aeth heibio, a ddeil gymhariaeth, yn ngwyneb haul a llygad goleuni, â'r cyfansoddiadau mwyaf penigamp a fedd meibion dynion ar y ddaear.

Yr oedd genym un peth ychwaneg i'w ddyweyd, ond rhaid terfynu. A dichon fod ambell un o'r beirdd yn sisial fod ein rhagymadrodd yn ddigon o hyd er ys meityn. Wel digon tebyg; ond bellach nid ydym yn bwriadu beio dim ar ein brodyr haedd-barchus, ond eu canmawl; oddieithr i nodau ambell dôn gydio ynghwt rhai o'r cynghaneddion, neu faglu ar draws ambell sill rhy hir mewn llinell. Mewn amgylchiad felly, rhaid i ni gadw chwareu teg i gerddoriaeth.

---

## WALTER CRADOC, A'I AMSERAU.

Y MAE tri pheth yn ymglymu yn agos wrth deimladau calon pob gwladgarwr a christion; sef, ei wlad, ei genedl, a'i grefydd. O bob hanesyddiaeth, ond yr hanesyddiaeth ddwyfol, hanesyddiaeth ei wlad, ei genedl, a'i grefydd yw y mwyaf dymunol ganddo. Yr ydym wedi gosod ger bron ein darllenwyr, o bryd i bryd, goffadwriaeth a hanesyddiaeth amryw enwogion a diwygwyr a fu yn ffyddlawn gyda Duw, yn fendithiol yn eu hoes, ac a

[1] Dafydd ab Gwilym.

ddilynasant yr Arglwydd Iesu ar hyd llwybrau wedi eu cochi gan waed; ac o bawb a gofiwyd am danynt, neu a ellir eu nodi, nid oes un yn fwy teilwng na'r pregethwr nerthol a'r diwygiwr ffyddlawn—Walter Cradoc. Y mae enw Walter Cradoc yn adnabyddus i'r rhan fwyaf o'n darllenwyr, oblegid *Cradoc* neu *Cradociaid* y gelwid yr Ymneillduwyr yn gyffredin, flyneddau yn ol, ac mewn rhai manau yn Nghymru hyd y dydd hwn. Gelwir hwynt felly am mai Walter Cradoc oedd y pregethwr efengylaidd cyntaf o ddim enwogrwydd a ymwelodd â Gogledd Cymru, pan oedd ein gwlad wedi ei llenwi â llygredigaeth, wedi ei gordoi â thywyllwch, ac wedi ymynfydu âg ofergoelion. A thrwy ei offerynoliaeth ef yn benaf y dechreuodd y diwygiad, ac y torodd y goleuni nefol arnom; ac felly galwyd y rhai a'i dilynodd mewn ymdrech yn erbyn pechod, a ffyddlondeb dros yr Arglwydd, yn *Gradocs*. Yr enw hwn a roddwyd mewn gwawd, a ellir ei wisgo gydag ymffrost.

Mewn trefn i roddi bras ddarlun o'r gŵr enwog hwn, y mae yn angenrheidiol i ni geisio cadw mewn golwg yr ymofyniadau canlynol:—Pwy ydoedd? Pa bryd y bu efe byw? Pa beth oeddynt y rhagoriaethau oedd yn enwogi ei gymeriad? Pwy oeddynt ei gydoeswyr? A pha fath ydoedd yr amserau yr oedd efe yn byw ynddynt?

Ganwyd Walter Cradoc yn Trefela, ger Llanfaches, sir Fynwy, oddeutu y flwyddyn 1600. Yr oedd efe o deulu cyfrifol a pharchus, ac yn feddiannol ar etifeddiaeth o werth triugain punt y flwyddyn. Yr oedd y fath etifeddiaeth y pryd hyny yn cyfateb i etifeddiaeth o dri hyd bedwar cant o bunnau yn yr oes hon. Disgynodd yr etifeddiaeth hon i feddiant Walter ar ol marwolaeth ei dad. O'r holl drysorau a gyfranodd yr Arglwydd i'r teulu hwn, diau mai eu mab Walter oedd y trysor penaf. Bychan y meddyliodd ei rieni, pan oeddynt yn magu eu mab, fod gan yr Arglwydd y fath waith iddo i'w gyflawni, ac y buasai ei goffadwriaeth yn fendigedig yn Nghymru yn mhen oesoedd lawer ar ol ei farwolaeth. Pe buasai tad Walter Cradoc yn brophwyd, gallasai ddywedyd wrtho, pan yn gwenu yn ei gryd, "A thithau fachgenyn a elwir yn brophwyd y Goruchaf, canys ti a ai o flaen wyneb yr Arglwydd i barotöi ei ffordd ef." Ni wyr rhieni pa beth sydd gan yr Arglwydd i'w wneuthur trwy offerynoliaeth eu plant, ond dylent eu magu i'r Arglwydd, a'u meithrin yn barod iddo at ei waith.

Ymhlith y rhagoriaethau oeddynt yn enwogi cymeriad Walter Cradoc, gellir nodi—

***Yr oedd yn uchel mewn dysgeidiaeth.*** Cafodd ei ddwyn i fynu yn offeiriad yn yr Eglwys Sefydledig. Bu yn derbyn dysgeidiaeth yn y brifysgol, Rhydychain. A chafodd ei urddo yn offeiriad pan yn hollol amddifad o wir grefydd yn ei enaid ei hun. Bwriadai ei rieni iddo fod yn offeiriad er mwyn bywioliaeth; ond bwriadodd Duw iddo fod yn weinidog iddo ef, "i droi dynion o dywyllwch i oleuni, ac o feddiant Satan at Dduw." Y mae dysg a gwybodaeth, pa fodd bynag y daw dyn yn feddiannol arno, yn anhebgorol anghenrheidiol i weinidog efengyl. Y mae yn wir nad ydyw dysgeidiaeth yn gymhwysder digonol heb ras, ac nid ydyw gras yn ddigonol heb ddysgeidiaeth. Dynion o ddysgeidiaeth oedd y diwygwyr yn mhob oes; ond cafodd llawer o honynt ddysgeidiaeth mewn lle ac i ddyben hollol wahanol i'r hyn yr arweiniodd yr Arglwydd hwynt i'w ddefnyddio: derbyn dysgeidiaeth wrth draed Gamaliel, ac efengylu ymhlith y cenedloedd anchwiliadwy olud Crist.

*Yr oedd yn ddidwyll fel cristion.* Er ei fod wedi ymaflyd yn y weinidogaeth yn amddifad o wir gyfnewidiad calon, yr oedd yn llestr trugaredd; ni adawodd yr Arglwydd ef yn hir yn y cyflwr hwn. Ymddengys oddiwrth yr ychydig hanes sydd genym am dano, iddo gael ei ddychwelyd at yr Arglwydd tan weinidogaeth y gŵr enwog hwnw, gan Dduw, Mr. Wroth, o Lanfaches, am yr hwn y gellir dywedyd, wrth fyned heibio, mai efe oedd y cyntaf y cyffyrddodd yr Arglwydd â'i galon o weinidogion yr Eglwys gysglyd yn Nghymru yn yr oes hono. Bu yn foddion i ddychwelyd mwy o eneidiau at yr Arglwydd na neb yn ei oes, a than ei weinidogaeth ef y sefydlwyd yr eglwys ymneillduol *gyntaf* yn Nghymru, yn Llanfaches yn y flwyddyn 1639. Yr oedd Walter Cradoc y pryd hyn yn *gurad* gyda Mr. W. Erbury, yn Nghaerdydd, yr hwn hefyd oedd yn ofni Duw yn fwy na llawer. Bu y tri hyn yn cyd-dystio yn ffyddlawn dros Dduw, dros amser yn yr Eglwys Sefydledig: ond yn y flwyddyn 1630, neu y flwyddyn ganlynol, achwynwyd arnynt wrth Esgob Llandaf eu bod yn Buritaniaid, ac yn gwrthod darllen "Llyfr y Chwareuon" ("*Book of Sports*"). Am y cyfryw drosedd, difreintiwyd y tri o'u trwyddedau, a bwriwyd hwynt allan o'r Eglwys Wladol.

Dichon fod rhai o'n darllenwyr heb wybod pa beth yw *Puritaniaid.* Gosodwyd yr enw ar y cyntaf ar Novatian a'i ganlynwyr, y rhai a ymneillduasant o Eglwys Rhufain. Galwyd yr anghydffurfwyr cyntaf yn Lloegr ar yr enw hwn, mewn gwawd, am eu bod yn honi mwy o burdeb nag eraill, ac am na chydredent gydag eraill i'r unrhyw ormod rhysedd. Yn amser y brenin Iago, daeth yr enw i arferiad i osod allan olygiadau athrawiaethol crefydd. Pan ddaeth y brenin Iago i'r orsedd yr oedd dwy-blaid o olygiadau yn yr Eglwys, sef Calfiniaid ac Arminiaid. Yr oedd y brenin ar y cyntaf yn bleidiwr gwresog i'r Calfiniaid; ond o herwydd rhyw ddyben adnabyddus iddo ef, newidiodd ei olygiadau, a rhoddwyd cyfraith allan trwy ei awdurdod, nad oedd i neb o weinidogion yr Eglwys Wladol ysgrifenu na phregethu ar y pynciau canlynol dan boen anfoddlonrwydd y brenin:—y pechod gwreiddiol—arfaeth Duw—etholedigaeth gras—cyfiawnder cyfrifol Crist—a gwaith yr Ysbryd Glan yn nychweliad pechaduriaid. Erlidiwyd a difreintiwyd pawb a geid yn euog o droseddu y gyfraith hon, a nodwyd hwynt allan dan yr enw *Puritaniaid:* a Phuritaniaid yr enwid pawb na chydymffurfiai â phob gormes a llygredigaeth am oesoedd lawer.

Gwrthododd Walter Cradoc ddarllen "Llyfr y Chwareuon" ("*Book of Sports*"). Attolwg, pa lyfr oedd hwnw? Cyhoeddwyd y llyfr hwn gan y brenin Iago, yn y flwyddyn 1617. Ei awdur oedd Esgob Morton. Ei gynnwysiad ydoedd—nad ydoedd ond gwasanaeth foreuol yn *unig* i'w gynnal mewn un eglwys blwyf ar y Sabboth, oddieithr fod claddedigaeth: a bod y prydnawn Sabboth i'w dreulio mewn chwareuon a digrifwch. Enwid ynddo pwy chwareuon i'w harfer, megys ergydio, dawnsio, coetio, neidio, &c. Yr oedd yn hysbys hefyd i bwy ac ar ba ammodau yr oedd y rhagorfreintiau hyn i'w cael. Yr oedd cymhelliadau cryf i bawb ymarfer â'r chwareuon hyn, ond yn unig y Pabyddion,—y rhai nad oeddynt yn yr eglwys blwyfol y boreu—a'r rhai a arferent fyned allan o'u plwyf eu hunain i addoli. Nid oedd i'r rhai hyn na rhan na chyfran ymhlith y dedwyddolion oedd yn cael eu cefnogi gan gyfraith y tir i droseddu cyfraith Duw. Gorchymynwyd bod i bob offeiriad yn mhob eglwys plwyf trwy

holl Loegr a Chymru, ddarllen y llyfr hwn yn gyhoeddus i'w cynnulleidfäoedd bob Sabboth, dan boen dirywiad; ac os na buasent yn diwygio, diswyddid hwynt o wasanaeth yr eglwys.

Wedi marwolaeth Iago, ac esgyniad Charles ei fab ef i'r orsedd, dechreuodd rhai esgeuluso darllen "Llyfr y Chwareuon," wrth weled ei effeithiau gwenwynol ar foesau 'r wlad. Clywodd yr Archesgob Laud am yr esgeulusdra. Ailgyhoeddwyd y gyfraith. Gosodwyd dynion ar waith i chwilio allan pwy fyddai 'r esgeuluswyr trwy 'r holl wlad. Yr oedd corn clust pob esgob i gadw dwy restr o enwau; *o*, uwchben un rhestr i arwyddo *orthodox* neu iawngred, a *p* uwchben y llall i arwyddo Puritaniaid. Ac yn yr ymchwiliad hwn, cafwyd tri yn euog yn Nghymru o ufuddhau i Dduw yn fwy nac i ddynion, ac yn gwrthod darllen "Llyfr y Chwarëyddiaethau," sef, Mr. Wroth, o Lanfaches, Mr. W. Erbury, o Gaerdydd, a Mr. Walter Cradoc; ac am y trosedd hwn, bwriwyd y tri allan o'u bywioliaethau. Arhosodd Wroth ac Erbury, fel dwy seren, i oleuo 'r Deheu, ac arweiniodd yr Arglwydd Walter Cradoc i'r Gogledd, fel seren foreu i ddangos fod y dydd gerllaw. Y mae fod Walter Cradoc wedi dal yr erledigaeth hon yn dangos ei fod yn dyner ei gydwybod, yn elyn i bechod, ac yn ofni digio Duw yn fwy nac erledigaeth dyn.

*Yr oedd yn enwog fel pregethwr.* Wedi ei fwrw ef allan o guradiaeth Caerdydd, ymddengys i'w berthynasau droi yn greulawn yn ei erbyn, fel y bu gorfod arno ymadael, nid yn unig o'r esgobaeth, ond hefyd o'r wlad hono. Teithiodd trwy ranau o sir Frycheiniog, Maesyfed, a Threfaldwyn, gan bregethu yn mhob lle y caffai dderbyniad; weithiau mewn tai annedd, weithiau ar fynyddoedd ac mewn coedydd: a phan y derbynid ef, pregethai hefyd yn y llanau plwyfol. Oddeutu y flwyddyn 1632, arweiniwyd ef gan ragluniaeth i Wrecsam, sir Ddinbych, a derbynid ef yn gurad i'r eglwys blwyfol yno. Dechreuodd ar ei weinidogaeth gyda nerth a grym mawr. Yr oedd ei eiriau yn disgyn fel mellt ar gydwybodau ei wrandawwyr. Effeithiodd y fath sobrwydd a difrifwch trwy y dref, fel pe buasai pla wedi ymweled â'r wlad. Yr oedd yr eglwys yn cael ei llenwi, a'r tafarndai yn weigion. Yr oedd y Sabboth yn cael ei barchu, a'r campau a'r chwarëyddiaethau yn darfod: mewn gair, yr oedd y gynnulleidfa fawr yn cael eu toddi mewn dagrau dan ei weinidogaeth, ac yn codi trwy eu cwsg mewn dychryn wedi bod yn gwrandaw arno. Yn wyneb yr effeithiau hyn, ymgynhyrfodd uffern yn ei erbyn. Yr oedd lleihad pechod yn drygu bywioliaeth y rhai oedd yn byw ar gynnydd pechod; a phenderfynodd y rhai yr oedd gobaith eu helw yn myned ymaith, i wneuthur cydymdrech i fwrw Walter Cradoc ymaith; a thrwy offerynoliaeth y gwyr mawr, y rhai ni roddasant eu gyddfau yn ngwasanaeth eu Harglwydd, gyrwyd Walter Cradoc i ffordd. Diwrnod du a thywyll ar Wrecsam oedd y diwrnod hwnw; ond os bu gorfod iddo ef fyned ymaith, a'i rwymo fel drwg-weithredwr, "*gair Duw nis rhwymir.*" Cafodd llawer eu dychwelyd at yr Arglwydd dan ei weinidogaeth, ac yn eu plith Morgan Llwyd, a elwid gan y Deheuwyr, Morgan Llwyd o Wynedd, yr hwn a ddaeth yn awdur amryw lyfrau, yn olynydd i Cradoc yn Ngwrecsam, ac yn ddiwygiwr nerthol trwy Gymru oll.

Wedi ymadawiad Walter Cradoc o Wrecsam, ymsefydlodd am beth amser yn Llanfair Waterdine, sir Henffordd. Yno y cyfarfyddodd ac yr ennillodd efe Vavasor Powell, yr hwn a fu yn un o'r rhai mwyaf ymdrechgar i droi eneidiau a fagodd Cymru erioed. Bu Cradoc wedi hyn yn cydlafurio â

Mr. Wroth yn Llanfaches a'i hamgylchoedd; ac wedi marwolaeth Mr. Wroth, yn y flwyddyn 1640, disgynodd gofal yr holl eglwysi arno ef. Teithiai trwy Ogledd a Deheudir Cymru. Bernir fod ôl ei lafur gweinidogaethol yn Llanbrynmair mor foreu a'r flwyddyn 1635. Ac yn mhob man lle y pregethai yr oedd llaw yr Arglwydd gydag ef.

Y mae genym ei hanes ar daith yn pregethu yn sir Aberteifi. Yr oedd gwr boneddig o'r enw Morgan Howell yn y wlad hono, yr hwn a arferai wneuthur pob dirmyg a gwawd ag oedd yn ei allu o Walter Cradoc a'i gymeriad. Yr oedd hwn yn arfer rhigymu caneuon, y rhai oedd yn dangos fod ynddo fwy o ysfa nac o fedrusrwydd. Yr oedd yn llawn cynddaredd tuag at grefydd a phawb oedd yn ei dilyn. Pan glywodd fod Walter Cradoc yn dyfod i'r fro, cyfansoddodd bennill o wawd iddo, yr hwn sydd fel y canlyn:—

"Dyma fyd trwm ofid i'w drin,
Nid pregeth ond brogiach heb wreiddyn
Gan ryw Gradoc o grwydryn,
Cenadwr diawl, swyn hudawl ddyn."

Daeth hwn gyda lliaws o'i gymdeithion i'r man lle yr oedd Walter Cradoc yn pregethu. Yr oedd yn pregethu y tro hwn dan yr awyr agored, am nad oedd y tŷ yn ddigon ëang i gynnwys ei wrandawwyr. Ymroddai Morgan Howell a'i gymdeithion i gicio pêl droed, gyda banllefau o wawd ar y pregethwr. Gwnaeth ymgais i fwrw y bêl droed at ei ben; ond lluddiwyd ef gan un o'r chwareuwyr, trwy iddo godi ei sodlau, nes y cwympodd i lawr, ac y torodd asgwrn ei ffêr. Yr oedd yn syrthio i lawr dan regu; ond bu gorfod arno aros yno i wrandaw y bregeth, am nad allai fyned ymaith. Bu y gair yn effeithiol i gyrhaedd ei galon; a chyn diwedd y bregeth yr oedd yn bloeddio, "Pa beth a wnaf fel y byddwyf cadwedig?" "A oes modd achub pechadur mor fawr a mi?" &c. Gyrwyd ei aelod o'i lle, ond achubwyd ei enaid. Bu dda ganddo gael Walter Cradoc i rwymo archollion ei enaid briwedig, yr hyn a wnaeth efe gyda gofal a thynerwch. Derbyniodd ef i'w dŷ fel angel Duw. Dilynodd ef ar ei deithiau trwy'r wlad. Hwn oedd yr Ymneilldüwr cyntaf yn sir Aberteifi, a bu hefyd yn bregethwr ffyddlawn hyd ddiwedd ei oes, ac yn foddion i blanu amryw eglwysi yn y wlad. Fel y mae arfer pob pechadur dychweledig i ymdrechu dadwneyd yr hyn a wnaeth cyn ei dröedigaeth, a chau ôl ei draed rhag i neb arall ddilyn ei lwybrau, felly Morgan Howell—newidiodd ei bennill ar ol ei ddychweliad. Cyfansoddodd ef fel y canlyn:—

"Gan Cradoc gwr enwog câr in'
Cawn bregeth nid brogiach heb wreiddyn;
Y gair gwir, tyst cywir yw'r testun,
Cenadwr Duw, hynod ddyn."

Y mae y ffeithiau a nodwyd yn profi ei fod yn rymus yn y weinidogaeth, wedi ei wisgo â'r arfau nad ydynt gnawdol, ac yn nerthol trwy Dduw i fwrw cestyll i'r llawr.

*Yr oedd yn llawn ysbryd cyhoeddus i wasanaethu ei genedlaeth.* Y mae Cymru mewn dyled i'w goffadwriaeth am ei wasanaeth a'i lafur. Yr oedd ei gariad cristionogol fel mantell yn ymlapio dros Gymru oll. Yr oedd ei sel dros y gwirionedd fel tân yn ei fynwes, fel nad allai ymattal. Ac yr oedd ei awydd am roddi gwybodaeth o ffordd iachawdwriaeth fel fflam angerddol. Gellir gofyn i'n darllenwyr fel y gofynwyd am Ioan, "Pa

beth yr aethoch allan i'r anialwch i edrych am dano? ai corsen yn ysgwyd gan wynt? Eithr pa beth yr aethoch allan i'w weled? ai dyn wedi ei wisgo â dillad esmwyth?" Nid corsen ysgwydedig ydoedd, ond diymmod yn ngwaith ei Arglwydd. Nid dyn mewn dillad esmwyth ydoedd, ond gwr yn ei ddillad gwaith. Y blaenaf o'r ychain oedd yn aredig ydoedd, pan oedd yr asynod yn pori gerllaw iddynt.

Wedi blyneddau meithion o lafur yn Nghymru, symudodd i Lundain, lle yr arosodd dros amryw flyneddau, ac y pregethodd gyda llwyddiant a chymeradwyaeth i gynnulleidfaoedd lliosog iawn. Yr oedd yn gweinidogaethu yn Eglwys *All Hallows the Great.* Bu yn pregethu o flaen y senedd, lle y tystiodd wrth roddi darluniad o grefydd yn Nghymru, fod mwy nag wyth cant o bobl ddeffrous yn achos eu heneidiau yn perthyn i eglwys Mr. Wroth, Llanfaches. Cyhoeddodd y Parchedigion T. Charles, o'r Bala, a Mr. Oliver, o Gaerlleon, gyfrol helaeth o'i bregethau, y rhai a draddododd efe yn Llundain. Y mae y gyfrol werthfawr hon yn gofgolofn o helaethrwydd ei ddeall, mawredd ei ddawn, ac hefyd o iachusrwydd ei gred.

Yn y flwyddyn 1659, daeth i ymweled â'i hen gyfeillion yn Nghymru. Wedi arosiad byr yn ei wlad enedigol, cychwynodd yn ol tua'r brifddinas, ond ar y ffordd clywodd fod Charles yr Ail yn debyg o gael ei ddyrchafu i'r orsedd. Gwyddai yn dda os cymerai hyny le pa beth fyddai y canlyniad; am hyny troes yn ol tua'i hen gartref, ac i'w dŷ ei hun yn Llanfaches; ac wedi misoedd o ymdrech gyda Duw yn gweddïo dros ei wlad, nes oedd y gader yr arferai eistedd arni a phenlinio wrthi wedi ei mwydo â'i ddagrau, bu farw oddeutu y Nadolig y flwyddyn hono. Galwodd yr Arglwydd am dano cyn dechreu y tywydd mawr oedd yn ymgasglu uwch ben yr Anghydffurfwyr dan deyrnasiad Charles yr Ail. Arfer Duw yw newid dwylaw wrth fyned â'i waith ymlaen.

Yn mhen blyneddau ar ol ei gladdu, cododd gelynion chwedl enllibus am dano, sef fod y diafol wedi dyfod y noswaith y bu farw a chymeryd ei gorff ymaith yn ysglyfaeth rhwng ei ewinedd, ac mai ceryg a roddwyd yn yr arch yn lle y corff. Taenwyd y chwedl gelwyddog ac ofergoelus hon trwy y wlad, er gwaradwyddo ei goffadwriaeth, dirmygu ei gyfeillion, ac archolli teimladau ei berthynasau, nes y penderfynwyd o'r diwedd agor ei fedd, yr hyn a wnaed yn ngwydd llawer o dystion; a'r canlyniad fu gweled ei esgyrn yn tawel orphwys yn nhŷ ei hir gartref.

Wedi gwneuthur y sylwadau hyn ar fywyd, nodweddiad, a llafur gwrthddrych teilwng ein coffadwriaeth, nid anfuddiol fyddai i ni sylwi ar yr oes a'r amserau yr oedd yn byw ynddynt. Yr oedd Walter Cradoc yn byw yn yr eilfed-ganrif-ar-bymtheg, dan deyrnasiad Charles y Cyntaf, un o'r breninoedd mwyaf anghyfiawn, gormesol, a thräarglwyddiaethol fu ar orsedd Brydain erioed. Yr oedd yn Brotestant mewn enw, ond yn Babydd mewn ymddygiad. Yr oedd wedi priodi merch i Frenin Ffrainc, yr hon oedd yn Babyddes boeth. Ei brif gynghorwr i weithredu gormes a thrais oedd Archesgob Laud, un o'r gelynion penaf i ryddid cydwybod fu erioed yn eistedd ar y fainc esgobawl. Yr oedd tri o bethau neillduol yn gwneyd i fyny gymeriad yr oes hono.

*Yr oedd yn oes o gaethiwed.* Nid oedd ynddi ryddid gwladol, crefyddol, na rhyddid yr argraffwasg. Ymfudodd cannoedd o brif ddynion y deyrnas i'r America yr amser hwn. Yr oeddynt yn cael eu llethu gan ormes y

*Star chamber*, a'r uchel-lys eglwysig. Yr iaith a arferid trwy yr holl ororau ydoedd—"Ymaith â ni o gaethder a chaethiwed yr Aipht—y mae goleuni a rhyddid yn Gosen." Pan welodd y brenin a'i gynghorwyr fod cynnifer yn ymfudo o'r deyrnas, rhoddwyd cyfraith allan nad oedd neb mwy i gael myned ymaith. Yr oedd wyth o longau llwythog o ddynion a meddiannau ar afon Thames, pan ddaeth y gwaharddiad hwn allan—bu gorfod iddynt dirio yn ol. Yr oedd J. Hampden, Yswain, ac Oliver Cromwell, yn un o'r llongau hyn yn cychwyn ymaith, ond bu gorfod iddynt droi yn ol; a'r ddau hyn fu y prif offerynau i ddadymchwelyd gorsedd Charles, ac i falurio holl berlau ei goron. Ni bu crafangau gormes a chaethiwed erioed yn fwy haerllug na'r amser hwn. Nid oedd rhyddid cydwybod i'r Puritaniaid yn y wlad hon, ac ni oddefid iddynt fyned i ymofyn am dano i wlad estronawl. Ond er yr holl lyffetheiriau a chaethiwed, nis gellir caethiwo enaid. Gall enaid chwerthin am ben cadwynau a charcharau, ac ymffrostio anfarwoldeb ar fin y cledd.

*Yr oedd yn oes o lygredigaeth.* Yr oedd y troseddau penaf yn cael gwenu arnynt, ond i'r troseddwyr fod yn bleidgar i ormes y brenin a Laud. Un o'r troseddau mwyaf ysgeler oedd ffurfio barn bersonol am grefydd, codi yn erbyn pechodau yr oes, a pharchu Dydd yr Arglwydd. Rhoddodd y brenin, fel y sylwasom o'r blaen, gyhoeddiad awdurdodol o gyfraith y chwarëyddiaethau; a phan y darfu i'r barnwyr gwladol ymdrechu dyddymu y gyfraith, galwyd hwynt ger bron yr awdurdodau, a chafodd un o honynt, o'r enw Richardson, ei ddirmygu gymaint gan Archesgob Laud, fel y bu agos iddo ei dagu â'i lewys sidanaidd. Yr oedd Cymru y pryd hyn wedi ei gorchuddio â llifogydd llygredigaeth, ein hynafiaid yn eistedd yn mro a chysgod angeu, heb ddim ond goleuni canwyll Ficer Llanymddyfri yn ymladd â thywyllwch Cymru oll.

*Yr oedd yn oes o anghydfod a rhyfel cartrefol.* Dyma yr amser y cynnaliwyd y senedd hir, yr hon a barhaodd am *ddeunaw mlynedd!* Codai y brenin yn erbyn y senedd, a'r senedd yn erbyn y brenin. Bwriodd y senedd yr esgobion o dŷ 'r arglwyddi, a ffurfiodd y brenin lys o esgobion. Cododd y brenin fyddin i ymosod ar Scotland, i'w rhwymo i ddefnyddio y "Llyfr Gweddi Cyffredin" trwy drais. Bu yr ymosodiad hwn yn achos i dywallt llifogydd o waed dynion. Ond er yr holl ymosodiad, methodd y brenin yn ei amcan; nid oes genym hanes ond am un offeiriad a ymostyngodd i ddarllen y llyfr. Pan ddechreuodd ddarllen, yr oedd llawer o ferched yn gwrandaw arno, y rhai oeddynt yn eistedd ar ystolion yn yr eglwys. Cyfododd un o honynt i fyny, *Janet Geddes,* o dan ei henw, ac a ddywedodd yn iaith arferol ei gwlad, "*Villain, do'st thou say mass at my lug?*" *h. y.*—"Y cnaf, a ydwyt yn adrodd yr offeren yn fy nghlyw i?" Ac heb ychwaneg o ragymadrodd, bwriodd yr ystol at ei ben; a chan ddilyn ei hesiampl, gwnaeth llawer eraill yr un modd, nes y bu dda ganddo droi ei ddwylaw a'i olygon i amddiffyn ei ben, ac ni arferwyd y "*Common Prayer*" yn Scotland byth ar ol y diwrnod hwnw. Ond os oedd gormes y brenin y naill ffordd, yr oedd gormes y senedd ffordd arall. Cyhoeddodd y senedd gyfraith nad oedd hawl gan neb i ddarllen "Llyfr Gweddi Cyffredin" trwy'r deyrnas oll, a gwnaeth Cymanfa Westminster "Hyfforddwr" yn ei le. Cododd y brenin fyddin yn erbyn y senedd, a chasglodd y senedd fyddin yn erbyn y brenin, nes o'r diwedd y daliwyd y brenin yn garcharor: ac ar y 30ain o Ionawr, 1649, torwyd ei ben. Dyma yr amser yr oedd Walter

Cradoc yn byw. Gwelodd holl effeithiau "Llyfr y Chwarëyddiaethau." Clywodd o ryw ymguddfa swn y magnelau a'r rhyfeloedd, ac wedi cyhoeddi Oliver Cromwell yn "Arglwydd Amddiffynol Rhyddwladwriaeth Brydain Fawr," yr ydym yn cael ei hanes eilwaith yn ailymaflyd yn ei waith.

Yn y flwyddyn 1649, sef y flwyddyn gyntaf o'r Rhyddwladwriaeth, gwnaed cynnygiad seneddol i ddiwygio yr Eglwys yn Nghymru; ac oblegid terfysgoedd cynhyrfus y dyddiau hyny, tueddwyd Walter Cradoc a'i gydlafurwyr, sef Morgan Llwyd, Vavasor Powell, Ambrose Mostyn, ac eraill, i gydweithredu â'r senedd i gael hyn oddiamgylch. Penodwyd *commissioners*, neu brawfwyr, i chwilio i mewn i sefyllfa yr eglwys. Yr oedd Walter Cradoc yn cynnorthwyo yn y gwaith. Bwriwyd oddeutu cant ac ugain o offeiriaid drwgfucheddol allan, a chaniatäwyd y bummed ran o'r degwm iddynt at eu cynnaliaeth. Penodwyd chwech o weinidogion teithiol yn mhob sir, ynghyd âg amryw gynnorthwywyr. Yn ol y trefniant hwn, teithiodd Walter Cradoc lawer, teithiodd Morgan Llwyd fwy, ond teithiodd Vavasor Powell fwy na'r ddau ynghyd; a bu y gwyr hyn yn offerynol i ddwyn allan argraffiad o'r Bibl yn yr iaith Gymraeg. Parhaodd y cynllun hwn hyd ddiwedd teyrnasiad Oliver Cromwell. Pell ydym o gymeradwyo holl weithrediadau Cromwell, ond yr ydym yn credu na bu yr un dyn yn nôd i fwy o gelwyddau ac athrod, ac na chafodd coffadwriaeth neb fwy o ddrwgliwiad a cham. Ac erbyn hyn, addefir yn gyffredinol ei fod yn ddyn cywir yn gystal ag yn llywydd medrus.

Nid ydym ychwaith yn canmawl ymddygiad Walter Cradoc a'i frodyr yn cydweithredu â'r senedd i drefnu dysgyblaeth yr Eglwys trwy ddirprwyaeth seneddol; oblegid nis gall ymyriad y llywodraeth wladol â chrefydd byth sicrhau ei llwyddiant, ac y mae y cyfryw ymddygiad yn ormes ar iawnderau cydwybod, yn drosedd yn erbyn yr hawl sydd gan bob dyn i ddewis ei athraw crefyddol ei hun, ac yn groes i ewyllys Crist ac i ysbryd yr efengyl. Ond pan feddyliom am holl amgylchiadau yr amseroedd hyny, y cyfnewidiad oedd wedi cymeryd lle yn y llywodraeth, ac iselder crefydd ymhlith cenedl y Cymry, nid ydym yn rhyfeddu iddo weithredu fel ag y gwnaeth yn y fath gyfnod anghymharol.

Yr ydym wedi arwain ein darllenwyr gyda llawer gormod o brysurdeb trwy amserau Walter Cradoc. Y mae cyfnod newydd yn dyfod i'n golwg. Yr ydym yn cael ein temtio i fyned ymlaen i'r tiroedd toreithiog hyn. Y mae yr amseroedd sydd yn dyfod i'r golwg yn llawer mwy cyflawn o hanesyddiaeth a rhyfeddodau na'r oes o'r blaen. Y mae darllen am ddyoddefiadau yr Anghydffurfwyr, dan deyrnasiad gormesol Charles yr Ail, yn ddigon a pheri i'r gwaed ferwi yn ein gwythienau, a'n calon losgi mewn eiddigedd dros iawnderau dyn:—carcharu y prif ddiwygwyr—Deddf yr Unffurfiad yn dyfod mewn grym ar ddydd tywyll Bartholomew, Awst 24, 1662, pan y bwriwyd allan dros ddwy fil o weinidogion ffyddlawn o'r Eglwys Sefydledig, yn unig am anghydffurfio â defodau dynol mewn crefydd—y rhai a gefnasant ar gyfoeth ac anrhydedd, ac a wynebasant dlodi, dirmyg, a charchar. Ond rhaid ymattal, a gadael y pethau hyn yn ddefnydd ysgrif mewn amser dyfodol.

Gellir gwneuthur un sylw wrth derfynu, sef fod Walter Cradoc a'i amserau wedi rhagbarotoi ein cenedl at bethau mwy. Os yn nyddiau Charles yr Ail y medwyd y cnwd, yn nyddiau Walter Cradoc yr hauwyd y tir.

Ac os yn nghyhoeddiad Deddf yr Unffurfiad y torodd y ddryc-hin, yn amser Walter Cradoc y magwyd yr egwyddorion i ddal y tywydd. Ac er cymaint o erlidiau, cosbedigaethau, a charcharau a ddyoddefodd yr Ymneilldüwyr yn Ngogledd Cymru, ni bu yr efengyl byth heb galonau i'w chofleidio, a dynion ffyddlawn i'w phregethu yn ei phurdeb ar ol dyddiau Walter Cradoc. Y mae yn anhawdd rhoddi yr ysgrifbin heibio heb ofyn gyda llawenydd, "Pwy a ddiystyrodd ddydd y pethau bychain?" Y mae llawer o bethau bychain wedi cynnyddu yn bethau mawr. Felly y mae crefydd ac Ymneillduaeth yn Nghymru. Gwelwyd diwrnod pan nad oedd ond un Cradoc yn y Gogledd, ond yn awr y mae Cradocs yn llenwi 'r wlad. Nid oedd Walter Cradoc ond dyn, ac ynddo anmherffeithrwydd fel ninnau; ond cafodd yr anrhydedd o blanu mesen sydd yn awr yn dderwen dewfrig a chadarn, dau cant ac un-ar-bymtheg o flyneddau o oed. Gosododd sylfaen adeilad, nad allodd holl gorwyntoedd yr oesoedd mo 'i daflu i lawr. Ac er fod llawer o'r gweithwyr wedi myned adref, y mae Arglwydd y cynhauaf eto yn fyw, y mae y gwaith yn myned rhagddo. Llwyddo y mae—llwyddo a wnelo—ïe, llwyddo a wna hyd ganiad udgorn barn.

---

## TRAETHODAU EGLWYSYDDOL.

[*Gwyliau ac Ymprydiau Eglwys Loegr.—Y Garawys.—Gwener y Croglith.—Dydd Iou y Dyrchafael.—Addysgiadau ar Gonffirmasiwn.—Undeb Cristionogol.—Ymddyddan rhwng Offeiriad ac un o'i Blwyfolion.* Price, argraffydd, Wyddgrug.]

ANRHEGWYD ni yn ddiweddar â chyfrestr o draethodau eglwysyddol gan gyfaill o amaethwr, yr hwn sydd eleni yn dal y swydd urddasol o warden yn eglwys ei blwyf. Cawsom gryn lawer o ddywenydd wrth eu darllen, a barnasom fod gwladgarwch a chymydogaeth dda yn erchi i ni estyn cyfran o'n mwyniant i'n darllenwyr hynaws, yn enwedig gan fod ysgrifeniadau offeiriadol o'r fath yma, dybygem, yn fwyd ammeuthyn i'r rhan fwyaf o honynt, megys yr ydoedd i ninnau.

Dywedir yn fynych gan ein cyfeillion esgobaethol, a gwelsom yn argraffedig fwy nag unwaith, fod Eglwys Loegr, yn Nghymru yn neillduol, wedi diwygio yn fawr, ac yn myned ar gynnydd yn hynod, er ys rhai blyneddau bellach, tra mae y sectau ymneillduol yn adfeilio ac ymlygru. Dadleuir fod yr offeiriaid presennol yn llawer cymhwysach i'w swydd, a goleuach a ffyddlonach ynddi, na'r hen frodyr oedd yn eu rhagflaenu; ac na ddylem mewn un modd farnu effeithiolrwydd yr Eglwys yn awr oddiwrth yr hyn ydoedd yn nyddiau ein tadau. Wel, caiff yr Eglwys siarad drosti ei hun. Nid ydym am hwylio ein camrau tua 'r dyddiau hyny pan y sefydlwyd Methodistiaeth yn Nghymru trwy lafurwaith Harris a Rowlands, a'u cydweithwyr; eithr rhoddwn fantais i'n darllenwyr weled ysbryd ac egwyddor Eglwysyddiaeth Gymreig yn y dyddiau presennol. Dyma amryw o fân-draethodau wedi eu cyhoeddi yn y blyneddau diweddaf hyn gan gymdeithas o offeiriaid yn sir Fflint. Gadewch i ni edrych i mewn iddynt.

1. "GWYLIAU AC YMPRYDIAU EGLWYS LOEGR." Ni chawn yn mysg y traethodau hyn yr un yn trin am ffydd yn Nghrist, neu am drefn cyfiawnhâd pechadur ger bron Duw, neu am sancteiddiad yr Ysbryd—athrawiaethau mawrion yr efengyl; ac yn wir nid oes yma yr un ynghylch y Sabboth, "y dydd a wnaeth yr Arglwydd" yn arbenigol yn ddydd iddo ei hun: ond cawn amryw ar ŵyliau yr Eglwys; ac i'r rhai hyn gosodir lle mawr a phwysig. Mae y traethodyn cyntaf dan sylw yn dechreu mewn dull mawreddus:—

"Yr ydym yn darllen yn llyfr Genesis (*pen.* i. 14) i Dduw wneuthur goleuadau y ffurfafen yn arwyddion, ac yn dymmorau, ac yn ddyddiau, a blynyddoedd; ac megys ag yr ydym ni yn mesur dyfodiad a mynediad y Gwanwyn a'r Haf, y Cynhauaf a'r Gauaf, wrth godiad a machludiad yr arwyddion dysglaer hyn, felly mae yr Eglwys wedi nodi allan Galendar ei thymmorau, trwy ddyfodiad a mynediad Gwyliau ac Ymprydiau.

Os edrychwch i'ch Llyfrau Gweddi, cewch weled oddiwrth y Colectau, Epistolau, ac Efengylau, fod y flwyddyn Gristionogol yn dechreu yn Adfent, ac yn diweddu efo Gwyl yr Holl Saint."

Rhaid i ni addef am danom ein hunain, druain, ein bod yn rhy fychain o ysgoleigion eglwysig i ddeall yr ymadroddion, "tymmorau yr Eglwys," a'r "flwyddyn Gristionogol," yn y brawddegau hyn. Mae y "flwyddyn Gristionogol" yn wahanol i'r flwyddyn lythyrenol. Dechreua y ddiweddaf ar Ddydd Calan, ond y llall "yn Adfent;" ac y mae yr Adfent yn cynnwys y pedwar Sul o flaen y Nadolig. Diwedda y flwyddyn Gristionogol "efo Gwyl yr holl Saint," ac y mae yr wyl hon i'w chynnal ar y dydd cyntaf o Dachwedd. Fel hyn, dyma yspaid mis o amser wedi ei daflu allan o gylch y "flwyddyn Gristionogol;" a phaham y mae hyny? Onid yw hyd yn nod "Gwyl St. Andreas," wrth hyn, os bydd y Sul cyntaf o Adfent ar ei ol, fel y mae yn dygwydd bod y flwyddyn hon (1848), allan o gysgod y "flwyddyn Gristionogol?" Ond i ba le yr ydym yn myned? rhaid i ni ymattal rhag ceisio treiddio i'r dyfnderau dyeithr hyn, a gadael y cyfryw astudiaeth i'r sawl y perthyna iddynt.

Mae y traethodyn yn rhoddi "Calendar" rheolaidd o'r "Gwyliau, neu ddyddiau o lawenydd," ac o'r "Ymprydiau, neu ddyddiau o alar ac edifeirwch;" lle y cawn liaws o ddyddiau "mawrion," y rhai "ag y mae yr Eglwys wedi eu neillduo yn sanctaidd i Dduw." Wedi hyny, y mae yn rhoddi naw "o resymau paham y mae pob aelod o Eglwys Crist yn rhwymedig i wneuthur y dyddiau hyn hyd y gallo yn ddyddiau crefydd, ac yn dymmorau i addoli Duw." Mae y rheswm cyntaf yn odiaeth ac yn nerthol:—

"Bydd y rheswm cyntaf a roddaf, o hono ei hun, yn ddigon i bob dyn o feddwl uniawn a gostyngedig; a phe byddai pawb felly ni roddwn ychwaneg; ond nid oes ffydd gan bawb.

1. Yn gyntaf, ynte, yr ym yn rhwymedig i gadw y dyddiau hyn oblegid bod yr Eglwys yn ei orchymyn. Dywedai esgob doeth a duwiol gynt, 'Y neb sydd wedi ei nerthu yn y ffydd yn ddyladwy, nid â cyn belled ag i ofyn rheswm ac achos am y peth a orchymynwyd, eithr y mae yn foddlon gyda 'r gorchymyn yn unig.' Digon yw dywedyd wrth ddyn gostyngedig, fod yr Eglwys, yr hon yw ein mam ni oll, wedi gorchymyn i ni gadw y Gwyliau hyn, a phe byddem ni yn blant teilwng a serchog, ni ofynem ddim ymhellach, gan fod yn ddigon sicr ei bod hi yn ddoethach na chwi neu fi. Ond yn gymaint ag nad oes ond ychydig o ddynion o'r ysbryd gostyngedig a hyddysg hwn, anghenrhaid yw rhoddi ychwaneg o resymau."

Mae hanesyn Gwyddelig yn dyfod yma i'n cof. Yr oedd yr ynad yn y brawdlys yn bwgwth dirwyo rhyw ddyn am na ddaethai i ateb i'w enw fel rheithiwr gwysiedig. "Rhynged bodd i'ch arglwyddiaeth," ebai Gwyddel cywir oedd yn y llys; "mae genyf fi ddeg o resymau paham nad allasai y gwr ddyfod yma." "Beth ydynt?" medd yr ustus. "Yn gyntaf, fy arglwydd, y mae efe wedi marw. Yn ail, ——." "Arswch!"

meddai y barnydd; "gellwch adael heibio y naw rheswm arall; mae y rheswm cyntaf yn llawn ddigon." Y mae "pob dyn o feddwl uniawn a gostyngedig" o'r un teimlad a'r ynad crybwylledig, ar ol clywed y rheswm pwysig "bod yr Eglwys yn gorchymyn:" mae pob rheswm chwanegol yn afreidiol gan wir fab yr Eglwys. Y dyn da a hywedd hwn a ochel fel am ei fywyd y pechod rhyfygus o farnu trosto ei hun; mae ei feddwl yn cael eistedd yn ddedwydd ar gader esmwyth heb wneyd gwaith yn y byd; mae yn gadael i'r "Eglwys" gredu drosto; a pheth a all fod mor hwylus o du yr Eglwys ac o'i du yntau? "Yn blentyn teilwng a serchog, ni ofyn ddim yn mhellach" na, Beth a ddywed yr Eglwys? dyna hyd a lled ei gatecism. Ond O! alarnad chwerw! "Nid oes ond ychydig o ddynion o'r ysbryd gostyngedig a hyddysg hwn." Y mae llawer iawn o ddynion yn Nghymru, ysgwaethCoedd, yn cymeryd yr hyfdra o ddilyn esiampl y Berëaid hyny, y rhai a fynent "chwilio yr ysgrythyrau," er mwyn barnu a oedd yr hyn a lafarasid gan apostol yn wirionedd! Dyma un o ffrwythau gwenwynig y Diwygiad Protestanaidd. Felly y cwyna Duwinyddion Rhydychain ("*Tracts for the Times*," *No.* 45):—"Pan ddaeth y Diwygiad, taflwyd allan awdurdod yr Eglwys gan yr ysbryd oedd y pryd hyny yn ffynu yn mysg Protestaniaid, ac aed i ystyried yr Ysgrythyrau fel yr unig safon i gadarnhau a phrofi ein ffydd. Yn ddioed cyfododd yr holiad, A ydyw yr athrawiaeth hon neu arall yn yr Ysgrythyr?" Ow! "nid oes ffydd" yn awdurdod yr Eglwys "gan bawb;" ac oddiar hyny, ceir rhai yn beiddio gofyn, Pa le yn ysgrifeniadau yr efengylwyr neu yr apostolion y ceir gorchymyn i gadw diwrnodau, a misoedd, ac amseroedd, yn ol gosodiadau y "Calendar?"—Ond rhaid i ni ddyweyd y gwir: yr ydym ni ein hunain yn mysg y rhai cildynus sydd yn rhyfygu gwrthod y rheswm mawr hwn a ddyry awdur y traethodyn; ac felly ni a drown ymaith oddiwrtho heb ein boddloni, ac a wynebwn ar ei ail reswm.

"2. Yr ydym yn rhwymedig, ynte, am fod y dyddiau hyn yn dwyn yr holl ffydd o flaen ein llygaid bob blwyddyn. Drwy hyn adgofir ni yn wastad fod Crist ein Harglwydd wedi ei eni o forwyn bur, ei fod wedi ei groeshoelio, wedi adgyfodi drachefn, ac wedi myned i fynu i'r nefoedd, bod yr Ysbryd Glân, yn ei le ef yn awr, yn trigo yn yr Eglwys. Drwy yr addysg blynyddol hyn, gwneir ei phobl yn iach yn y ffydd; a ni a wyddom drwy brofiad mai y rhai mwyaf cyson yn yr Eglwys, ydynt, yn benaf, y rhai mwyaf gwybodus o bethau dyfnion yr Efengyl."

Mae y rheswm yna yn ymddangos yn un purion ar bapyr; ond pe cymerai rhywun y drafferth o chwilio am dano mewn ffeithiau, efe a gai weled yn fuan ei fod wedi myned ar ddifancoll. Yr Eglwys, bid siwr, yw Eglwys Loegr; a'i phobl hi, meddir, a wneir trwy y fath addysg flynyddol yn iach yn y ffydd. Os wrth "iach yn y ffydd" yr ydym i esbonio bod yn iach oddiwrth Ymneillduaeth, gallwn yn hawdd ddeall hyn; ond am ddyfnion bethau ffydd yr efengyl, gŵyr corff ein darllenwyr yn rhy dda mai nid "y rhai mwyaf cyson yn yr Eglwys," a'r rhai sydd yn talu mwyaf o sylw i ddyddiau y Calendar, "ydynt, yn benaf, y rhai mwyaf gwybodus" o honynt. Gallem gyfeirio at lawer o anghreifftiau galarus, yn profi fod rhai a gyfrifid yn eglwyswyr ac eglwyswragedd tra ffyddlawn, yn hollol anwybodus am drefn yr efengyl: yr oeddynt yn dysgwyl bod yn gadwedig rhag uffern, ac yn ddedwydd yn oes oesoedd, o herwydd eu bod, fel y tystient hwy, yn byw yn onest, yn gwneyd elusenau, ac yn cymuno yn yr Eglwys, heb ganddynt yr amcan lleiaf am ffydd yn Mab Duw. Ac yn wir, heb son am bethau "dyfnion yr efengyl," ceid hwy yn anghyfarwydd yn

y pethau amlycaf, y rhai y gallesid dysgwyl eu bod yn gynnefin iawn â hwy. Ysywaeth, nid yw desgrifiadau prydydd digrif "Banau y Byd" yn anamserol eto:—

"Os wyt am weddi dywyll, dos at wyr er'ill,
Sy 'n arfer mewn eglwysydd o ddweyd Gweddi yr Arglwydd,
A gofyn yn gryno, Pa sawl arch sy 'n hono?
A pha sawl pwnc eto sydd yn y credo?
Ac oni chei di ateb, dyna i ti eglurdeb
Yn mha le mae 'n sefyll y weddi dywyll;
Tywyll yn gweddïo, tywyll yn gwrando,
Heb odid air cyson, ond, Maddeu i ni ein dyledion,
Ond nid seinio synwyr ydyw 'r maddeu i'n dyledwyr.
Ac am yr hen gredo, ni waeth ei ddweyd na pheidio,
Ond sefyll yn sobor, a gwynebu tua 'r allor,
A gwneyd pob defosiwn i ganlyn y ffasiwn
Yn ol yr hen arferion; dyna bobpeth yn burion."

Yn wir, y mae gan yr offeiriaid lawer o waith eto i'w wneyd, pe byddai ddim ond dëongli y Gwyliau i "blant teilwng a serchog" yr Eglwys. Clywsom am un hen Gymraes, nodedig am ei zêl dros yr Eglwys, i'r hon y gofynodd cymydoges ar "Ddydd-gwyl Domos," Pwy a pha beth oedd y St. Thomas hwn? "Wele," atebai yr hen chwaer, "mae y dydd hwn, chwi a wyddoch, yn ddiwrnod rhan yn ein plwyf ni, ac mewn llawer o blwyfydd eraill; ac yr wyf fi yn siwr mai hen ŵr boneddig oedd Syr Thomas yn rhywle, ac iddo adael *pwer* o arian ar ei ol i'w rhanu i'r tlodion."

Nis gallwn aros gyda rhesymau eraill yr awdur dros Wyliau ac Ymprydiau ei Eglwys, y rhai ydynt oll o gyffelyb ansawdd; ond brysiwn i roddi byr olwg ar y traethodau eraill.

2. "Y GARAWYS."—Dechreuir gyda hynafiaeth y Garawys yn yr Eglwys Gristionogol. Dyfynodir St. Hierom, yn dywedyd eu bod "yn cadw Ympryd y Garawys am ddeugain niwrnod, yn ol traddodiad yr Apostolion." Gwyddom fod y Pabyddion yn dadleu yn zelog dros sefydliad apostolaidd y Garawys; ac y mae eu dynwaredwyr yn Eglwys Loegr yn mawr gymeradwyo y golygiad. Ond yr ydym yn cael yr Esgob Taylor, ac eraill, yn addef nad yw ond o sefydliad dynol a diweddar, ei fod yn cael ei gadw yn achlysurol mewn gwahanol o eglwysi, ac iddo dyfu yn raddol o ympryd deugain awr i ympryd deugain niwrnod.

Rhoddwn rai dyfynau o'r traethodyn hwn, nid yn gymaint i wneyd sylwadau penodol arnynt, ond er mwyn goleuo ein cyfeillion sydd hyd yma yn anhyddysg yn y dirgelion hyn.

"Dyben y Garawys ydyw coffâu Ympryd Crist, a dyoddefiadau olaf ei fywyd, ac ymofidio yn ddwys o herwydd ein pechodau ein hunain. Y mae deugain niwrnod yn y Garawys yn cyfateb i'r amser y bu yr Arglwydd yn yr anialwch.—Dechreua y Garawys ar Ddydd Mercher y Lludw, a diwedda ar nos Basg. Yn yr ysbaid hwnw o amser y mae chwech a deugain o ddyddiau; ond y mae i ni dynu chwech o Suliau allan, am nad yw cristionogion un amser yn ymprydio ar y Sul, o lawenydd am adgyfodiad Crist ar y dydd cyntaf o'r wythnos.—Yn awr, pa fodd y mae i ni gadw tymmor y Garawys yn unol â bwriad yr Eglwys? Yn benaf mewn ympryd.—Ond pa fath ympryd a ofynir genym yn y Garawys? Nid allwn yn wir gyrhaedd at berffeithrwydd Crist drwy ymgadw yn llwyr oddiwrth fwydydd a diodydd am ddeugain niwrnod. Er hyny gallwn ymprydio ympryd Cornelius, hyd dri o'r gloch prydnawn; neu ympryd St. Pedr hyd hanner dydd; neu o leiaf ympryd Daniel, trwy ymgadw oddiwrth fwydydd a diodydd moethus; a chyn belled a hyny efelychu ein Harglwydd.—Y mae pob dydd Gwener yn y flwyddyn, ond dydd Nadolig Crist, yn ddyddiau ympryd neu arbedrwydd, o herwydd i Grist gael ei groeshoelio ar ddydd Gwener, fel ag y mae y Sul yn ddiwrnod o lawenydd o herwydd iddo adgyfodi ar y dydd cyntaf o'r wythnos. Y mae dydd Mercher hefyd yn cael ei ystyried yn ddiwrnod o drymder er cof am fradychiad Crist. Felly er bod y Garawys oll yn amser i wylo, y mae y Mercherau a'r Gwenerau yn dyfod dan y nodweddiad hwnw yn enwedig. A dyna yr achos

paham y mae Gwasanaeth mor gyffredin mewn Eglwysi ar ddydd Mercher a dydd Gwener drwy y Garawys.—Yn olaf, os na fedrwn ymarfer â'r ddyledswydd o ympryd drwy y Garawys, ymdrechwn wneyd felly ar y dyddiau neillduol a nodwyd, neu o leiaf ar ddydd Mercher y Lludw, Gwener Croglith, a nos Basc. Nac esgeuluswn y rhai hyny er dim."

Mae rhywbeth yn dra hynaws ac ymddarostyngol yn yr adroddiadau hyn. Nid yw yr ysgrifenydd yn sefyll yn dŷn at ei ofynion; ond y mae, megys crwydr-werthwr o Iuddew, yn gostwng ar ei bris er mwyn gwneyd yn sicr o'r prynwr. Os ydym yn brawychu wrth feddwl am ympryd deugain niwrnod, gwna y tro i ni arfer arbedrwydd am hanner pob diwrnod; neu os bydd raid i ni gael bwyd a diod ar bob pryd megys cynt, ymgadwn, ynte, rhag bwydydd a diodydd moethus; neu os na allwn feddwl am ymgymeryd â'r naill neu y llall o'r cynnygion hyn dros holl ystod y Garawys, er mwyn pob peth cymerwn ddau ddiwrnod a noson allan o'r deugain niwrnod, i'w neillduo at ein dyledswydd. Felly os byddwn ni yn rhy anystwyth i ymwasgu at fesur yr Eglwys, fe ystumia yr Eglwys yn gyfleus at ein mesur ni.

3. "GWENER Y CROGLITH."—Y traethodyn hwn yw y gem yn mysg traethodau y Gwyliau. Yn ymwybodol o bwys ei destun, ac awdurdod ei fater, mae yr awdur yn trin ei bwnc gyda difrifwch neillduol, a grym canonaidd, fel nad oes ond Ymneillduwr pengaled a feiddia sefyll o'i flaen. Gwrandawed a chywilyddied y sismaticiaid afrywiog sydd "yn barnu pob diwrnod yn ogyfuwch:"—

"Mor fawr ydyw y Croglith fel ag y mae ei rinwedd yn rhedeg at bob Dydd Gwener drwy y flwyddyn oddigerth dydd Nadolig, gan eu gwneyd yn 'ddyddiau ympryd neu arbedrwydd;' yn gyffelyb fel ag y mae y Pasg yn cysegru pob dydd cyntaf o'r wythnos yn Wyl o lawenydd am adgyfodiad Crist."

Dylai y rhai a esgeulusant gadw Gwyl y Croglith a'r Gwyliau eraill, ac yn enwedig y rhai a wrthddadleuant yn erbyn cysegredigaeth y dyddiau hyny, yn gystal ag yn erbyn y seremonïau eraill, ddeall eu bod yn eu gosod eu hunain yn agored i berygl nid bychan. Fel hyn y darllenwn yn y traethodyn hwn:—

"Y mae Eglwys Loegr yn gwahardd i neb gamdreulio y Croglith, yn gystal a thori ei defodau eraill, yn y dull canlynol,—'Pwy bynag, o'i farn neillduol ei hun, o'i fodd, ac o lwyrfryd, yn gyhoeddus a doro draddodiadau a seremonïau yr Eglwys, y rhai nid ydynt wrthwyneb i Air Duw, ac a ordeiniwyd ac a gymeradwywyd trwy awdurdod gyffredin, *a ddylid ei geryddu yn gyhoeddus*, fel yr ofno eraill wneuthur y cyffelyb, megys un yn troseddu yn erbyn trefn gyffredin yr Eglwys, ac yn briwo awdurdod y Llywodraethwr, ac yn archolli cydwybodau y brodyr gweinion.' (Erthygl 34.) Ac y mae pwy bynag a haero ei fod yn groes i air Duw i gael ei gosbi yn drymach fyth. 'Pwy bynag o hyn allan a haero fod cynneddfau a seremonïau Eglwys Loegr, a sefydlwyd trwy gyfraith, yn annuwiol, yn anghristionogol, neu yn goelgrefyddol, neu yn gyfryw, a hwy yn orchymynedig trwy awdurdod gyfreithlon, na all rhai difrifol a duwiolfryd â chydwybod dda eu derbyn eu harfer, neu ddodi (pan fo achos) eu dwylaw wrthynt, YSGYMUNER ef *ipso facto*, ac na chymoder ef hyd onid edifarhao, a dadfarnu yn gyhoedd ei amryfuseddau anwireddus hyny.' (Canon 6.) Nid all gan hyny i aelodau ffyddlawn yr Eglwys ammheu nad yw cadwraeth Gwener y Croglith yn hollol gyson â'r Ysgrythyr Lân."

Ond nid digon yw bwgwth â cherydd ac esgymundod yr Eglwys, gan nad oes nemor un yn awr yn arswydo rhag dedfrydau y canonau, y rhai sydd wedi llwydo a myned yn ddirym gan henaint. Mae yr ysgrifenydd yn dringo i fynu i sefyllfa apostol ysbrydoledig, ac yn cyhoeddi anfoddlonrwydd a digofaint Llywydd nef a llawr yn erbyn y sawl a wnelo ddim gwaith ar Ddydd Gwener y Croglith. Mor benderfynol, mor ardderchog, ac mor ddwysedig yw yr hyn a ganlyn!—

"Y mae dianrhydeddu Dydd Gwener y Croglith yn gysegrhalogiad. Ac nid oes, fe allai, un pechod yn digio Duw yn fwy na hwnw. Gweled tŷ ei Dad yn cael ei halogi a barodd i'r Iesu addfwyn droi y troseddwyr allan gyda ffiangell o fân reffynau. Y mae

mwy o farnedigaethau neu gosbedigaethau wedi syrthio, hyd yn nod dan oruchwyliaeth efengylaidd, ar halogwyr pethau sanctaidd nag ar un math o droseddwyr eraill. Dywediad cyffredin ydyw, nad ydyw y priodasau a weinyddir yn nhymmor y Garawys yn troi allan yn ffafriol a hapus, o herwydd bod eu nodweddiad yn anghydweddol â'r ympryd a'r arbedrwydd a ofynir y pryd hyny. 'A all plant yr ystafell briodas ymprydio, tra fyddo y priodas-fab gyda hwynt?' Nid yw yr ysgrifenydd wedi sylwi pa cyn belled y mae y ddiareb yn wir neu ddim. Ond gŵyr am un amgylchiad yn neillduol pan yr halogwyd dydd Dyoddefaint Mab Duw â llawenydd cnawdol. Annedwydd iawn y trodd y briodas hono allan, oblegid gadawodd y gwr ei wraig, ac aeth yn wallgof. Dichon rhywun haeru nad priodi ar Wener y Croglith oedd yr achos o'r anffawd galarus hwnw. Hwyrach mai nage; ond anhawdd gan un cristion ystyriol, wrth gofio digofaint hynod Duw yn y byd yn erbyn cysegr-halogwyr, lwyr wahanu y naill oddiwrth y llall.

Y mae gan lawer ofn colli diwrnod o hau neu lyfnu, trwy gadw y Croglith yn ŵyl i'r Arglwydd. Ond a fu y cyfryw rai fwy yn eu hennill ar ddiwedd y flwyddyn na'r sawl a roisant orphwysdra i'w hanifeiliaid arno? Na ddo, erioed. Ar y llaw arall, y mae Duw yn fwy tebyg i fendithio cnwd y rhai sydd yn dymuno cadw ei ŵyliau Ef, nag eiddo y rhai a'u diystyrant. 'Fy anrhydeddwyr a anrhydeddaf fi, a'm dirmygwyr a ddirmygir.' Byddai Duw yn gofalu yn neillduol dros wlad yr Israeliaid tra yr elent i fynu i Jerusalem i gadw eu prif ŵyliau. 'Ni chwennych neb dy dir di pan elych i fynu i ymddangos ger bron yr Arglwydd dy Dduw dairgwaith yn y flwyddyn.' Sylwodd yr ysgrifenydd yn neillduol ar faes a hauwyd ar ddydd Gwener y Croglith diweddaf: yr oedd arno lawer llai o gnwd nag a ddysgwyliwyd a fuasai yn ol trefn naturiol yr hin a'r tymmor; a phan y torwyd ef, dyoddefodd yn enbyd oddiwrth wlawogydd trymion. Pe buasai y ffermwr oedd pïau yn oedi hau nes darfod Gwyliau y Pasg, buasai yn ol pob tebygolrwydd yn cael ei gnwd o leiaf yn sych ac iach, oblegid ni fuasai, fe allai, yn ddigon addfed i'w dori nes darfod y gwlaw dan sylw. Felly, beth a ennillodd y dyn hwnw oddiwrth ei lafur ar Ddydd Gwener y Croglith?"

Wele, wele! dylai pobl ieuainc sydd heb briodi, a gweddwon sydd ar fedr ail-briodi, a holl amaethwyr ein tir, wrandaw yn ddyfal ar y rhybuddion difrifol hyn. Ni wiw gwingo yn erbyn ffeithiau. Priododd dyn a dynes ar ddydd Gwener y Croglith; dyna ffaith: darfu i'r gwr hwnw adael ei wraig, a myned yn wallgof; dyna ffaith arall: ac wrth gysylltu y ddwy ffaith, mae pob "cristion ystyriol," sef pob cyfryw un a'n hawdur, yn canfod yn ebrwydd mai amseriad y briodas oedd yr achos o'r aflwydd. Dymunasem ni wybod ymhellach a ddarfu i un farnedigaeth ddisgyn ar y person a'u priododd. Felly hefyd am y ffermwr a ryfygodd hau ei faes ar Wener y Croglith, yn lle "oedi hau nes darfu Gwyliau y Pasg," gwell a fuasai iddo fod yn llonydd; canys yr oedd y Croglith sydd yn rhinweddu pob Dydd Gwener trwy y flwyddyn, yn attal rhinwedd oddiwrth ei faes ef; y cnwd a leihäwyd, ac yr oedd y gyfran a gaed wedi ei waethygu yn fawr gan y gwlawogydd. Pe caem gyfle i siarad â'r ysgrifenydd craffus hwn, dichon y gallai efe brofi i ni fod gwlawogydd y mis Awst presennol, yn ganlyniad barnol i waith pechaduriaid rhyfygus yn hau a llyfnu ar Wener y Groglith, neu y dyddiau eraill o flaen y Pasg diweddaf. Mae yn rhaid fod Scotland yn wlad annedwydd iawn, canys nid oes yno gyfraith na defod i gadw na Garawys, na Chroglith, na Nadolig; eithr y mae yr Ysgotiaid yn masnachu, yn llafurio, yn priodi ac yn rhoi i briodas, ar y dyddiau cysegredig hyny yr un fath yn hollol ag ar ddyddiau eraill. Yn yr Iwerddon, cedwir y Gwyliau sanctaidd yn y modd manylaf, a thrwy nerth mawr fe brofai ein hawdur fod amgylchiadau yr Iwerddon yn llawer mwy "ffafriol a hapus," na'r eiddo Scotland o'r herwydd.

4. "Dydd Iou y Dyrchafael."—Cyffelyb ddelw sydd ar y traethodyn hwn a'r rhai blaenorol. Cwynir yn ddwys am fod "cadwraeth Dydd Iou y Dyrchafael yn cael ei esgeuluso mor gyffredin," ac yn enwedig gan y rhai sydd yn cadw y prif-wyliau eraill. Ac felly rhoddir annogaeth wresog i'w "wneyd mewn gwirionedd yr hyn ydyw mewn enw, yn *Sanctaidd Ddydd Iou.*" Pwy a all wrthsefyll yr ymliwiad cynhyrfiol hwn?—

"Paham na fydd i ni yn hyn, fel mewn pethau eraill, wrandaw mewn ufudd-dod gostyngedig, ar gynghorion ein Heglwys Apostolaidd, gan ddilyn mewn symlrwydd mabawl reolau yr hon sydd yn gofalu yn well na mam drosom ni?"

Yr ydym yn deall fod traethodyn ar "*Ddydd Nadolig*" hefyd wedi ei gyhoeddi; ond ni ddaeth hwnw i'n llaw.

Hwyrach y cyfrifir ni gan rai yn gellweirgar yn ein sylwadau blaenorol. Yn wir, yr oedd yn lled anhawdd i ni gadw ein difrifwch uwch ben haeriadau hynod yr awdur, neu yr awduron dan sylw. Ond cyn ymadael â thraethodau y Gwyliau a'r Ymprydiau, cymerwn ein rhyddid am fynyd neu ddau i ddyweyd ein meddwl ynghylch yr hyn a argymhellir ynddynt. Nis gallwn lai nag edrych ar drefniad y Gwyliau a'r Ymprydiau hyn yn taflu dirmyg ar awdurdod Crist fel Brenin ei eglwys. Dywedir ganddynt ar unwaith ei fod Ef wedi gadael deddfau ei deyrnas yn anmherffaith, a'i hordeiniadau yn ddiffygiol, fel yr oedd yn rhaid i'r Eglwys wella ei waith; a bod ganddi hawl i osod ei chwanegiadau dynol hi ar yr un tir a'i sefydliadau dwyfol Ef. Maent hefyd yn hollol wrthwyneb i'r rhyddid â'r hwn y rhyddhäodd Crist ni, ac wedi eu cyfaddasu i'n dal drachefn dan iau caethiwed i ddeddfau seremonïol. Maent yn wrtaith i hunan-gyfiawnder, ac i ofergoeledd. Wedi i ni gadw y dydd hwn er anrhydedd i Grist, bydd raid cadw y dydd nesaf er anrhydedd i Sant Phylip a Sant Iago. Mae gan y seintiau eu dyddiau mawrion fel yntau, ac felly iselir Ef a dyrchefir hwythau. Ac y mae rhoddi pwys mawr ar ddyddiau sanctaidd dynion, yn arwain i edrych yn gyffredin ar ddydd sanctaidd Duw. Yr oeddym yn adwaen boneddwr a fyddai yn ofalus iawn yn gwahardd i'w wasanaethwyr a'i denantiaid wneuthur dim gwaith ar ddydd Gwener y Croglith; ond ar y Sabboth yn fynych, ar ol bod yn y Gwasanaeth, byddai yn myned oddiamgylch i adolygu ei diroedd, ac i osod gwaith i'w lafurwyr. "Chwe diwrnod y gweithi, ac y gwnai dy holl waith," medd cyfraith Duw; ond y mae "y Calendar" yn gwneuthur diwrnodau lawer yn y flwyddyn yn wyliau; a dywedir wrthym yn un o'r traethodau offeiriadol sydd o'n blaen, fod "cyflawniad rhëolaidd o'r dyledswyddau a ofynir genym ar *bob* gwyl, yn anghyson â llafur neu orchwyl bydol." Ai "Eglwys y dyn tlawd" yw yr hon sydd yn peri iddo golli cymaint o'i amser i ddilyn ei defodau? Ac yn wir y mae y gwyliau a gedwir yn fwyaf cyffredin yn achlysuro llawer o segurdod, a llawer o anfoesoldeb; mae gloddest a meddwdod y gwyliau wedi myned yn ddïarebol.

Ond rhaid i ni fyned ymlaen at y traethodau eraill, gan gefnu ar y gwyliau, heb ddywedyd wrthynt, Byddwch wych.

5. "ADDYSGIADAU AR GONFFIRMASIWN MEWN FFORDD O GWESTIWN AC ATEB." Digon yw i ni gyfleu y cwestiynau a'r atebion canlynol o flaen y darllenydd, er mwyn iddo gael mantais i ddeall ansawdd y catecism hwn:—

"*C.* Beth yw Conffirmasiwn?

*A.* Defod ddifrifol a sefydlwyd gan yr Apostolion, yn yr hon y mae yr Esgob, drwy arddodiad dwylaw, a gweddi daer, a bendith awdurdodol, yn cyfleu gradd ychwanegol o ras Duw a'r Ysbryd Glan i'r sawl a adnewyddant yn ddiffuant eu hadduned bedydd.

*C.* Beth yw effeithiau Conffirmasiwn?

*A.* Yn y brifeglwys yr oedd yr effeithiau hyn yn ddoniau anghyffredin, y cyfryw ag oedd anghenrheidiol y pryd hyny yn nghyflwr dechreuol yr Eglwys; ond wedi iddi gael ei sefydlu, arweinia yr Ysbryd Glan hi drwy gyfranogiadau dirgel ac anweledig, y rhai y mae y sawl a gymhwysir i gael rhan o honynt yn y ffordd reolaidd a gweinidogaethol yma yn eu derbyn. Y rhai hyny ydynt y cynnorthwyon cyffredin ag sydd anghenrheidiol er

**cyflawni ammodau ein iachawdwriaeth, yr hon ni fedrwn eu gweithio allan heb ddylanwadau Glan Ysbryd Duw.**

***C.*** **Beth yw manteision mawrion Conffirmasiwn?**

***A.*** **Y mae yn ymrwymiad newydd i fuchedd Cristionogol, ac yn rhybudd ac attaliad parhaus rhag dïanrhydeddu na gadael fy mhroffes Gristionogol. Y mae yn tueddu i gynnal undeb yr Eglwys, drwy wneuthur dynion yn ymsyniol bod yn rhaid iddynt ymwneyd â'r fath flaenoriaid Eglwysig ag sydd wedi eu cynnysgaeddu â'r holl alluoedd hyny a adawyd gan yr Apostolion i'w holynwyr. Ac y mae hefyd yn dystiolaeth o ffafr a daioni Duw i'r sawl a'i derbyniant.**

***C.*** **Pa fodd y mae yn dystiolaeth o ffafr a daioni Duw i'r sawl a'i derbyniant?**

***A.*** **O herwydd dadgana ei weinidog cyfreithlawn fod Duw yn derbyn eu cynnydd, ac yn eu dyrchafu i radd uchaf y ffyddloniaid, drwy roddi iddynt hawl i ddynesu at y bwrdd sanctaidd; ac o herwydd fod Duw drwy hyny yn teilyngu cyfranu iddynt nerth goruwchnaturiol er ymladd yn erbyn eu gelynion ysbrydol, ac yn eu galluogi i gyflawni yr hyn a gymerant arnynt."**

Mae yr atebion hyn wedi eu hysgrifenu mewn dull hynod o aneglur a chyfriniol; ac yr oedd hyny yn ofynol, fe allai, er mwyn cadw i fyny neillduolrwydd y dôn eglwysyddol; eto mae yn hawdd i'r dylaf weled fod y Conffirmasiwn, neu y Bedydd Esgob, yn cael sedd uchel yn nghredo yr awdur. Ac onid yw y "Llyfr Gweddi Gyffredin" yn gefn iddo yn ei haeriadau? Er y gallasem ddyweyd llawer ynghylch y ddefod hon, canys yr ydym yn ei barnu yn ddisail o ran ei hawdurdod, yn wagoneddol o ran ei gweinyddiad, ac yn beryglus a niweidiol o ran ei thuedd, rhaid i ni ymattal rhag gormod meithder. A chofier mai ein prif nod yn yr ysgrif hon yw arddangos uchel-honiadau y dosbarth offeiriadol, fel eu cyhoeddir ganddynt hwy eu hunain, ac nid yn gymaint eu gwrthwynebu. Felly ni a roddwn y traethodyn hwn o'r neilldu, gydag adrodd yr hyn a ddywed y Parch. Thomas Scott, un o'u "pöetau hwy eu hunain," sef awdur yr esboniad goreu ar y Bibl a ddaeth allan erioed o Eglwys Loegr. Yn ei sylwadau ar *Act.* viii. 17, "Yna hwy a ddodasant eu dwylaw arnynt, a hwy a dderbyniasant ddawn yr Ysbryd Glan," yr hon yw adnod fawr yr Eglwyswyr dros seremoni y Bedydd Esgob, efe a ddywed: "Mae wedi cael ei ddywedyd yn fynych fod y ddefod o gonffirmasiwn, fel ei harferir gan lawer o eglwysi Cristionogol, yn barhad o'r arddodiad dwylaw apostolaidd, er cadarnhad dychweledigion newydd, drwy yr Ysbryd Glan a roddid fel hyn iddynt. Ond peth sydd ymhell oddiwrth fod yn brofedig ydyw, fod hyny yn cael ei wneyd yn gyffredinol gan yr apostolion, neu gan y rhai a ddaethant yn uniongyrchol ar eu hol. Pa fodd bynag, gan mai galluoedd gwyrthiol, yn hytrach na gras sancteiddiol, a gyfrenid yn y modd yma, oddigerth fod y cyfryw ddoniau yn awr yn gysylltiedig â'r ymarferiad, rhaid fod y cyferbyniad yn methu. Mae codi y ddefod hon i fod yn sacrament, ac hyd yn nod uwchlaw sacrament (megys y gwneir pan y tybir fod yr Ysbryd Glan yn cael ei gyfranu drwy arddodiad dwylaw, a'r defnyddiad o eiriau yr apostol), yn rhoddi y pwnc mewn goleu tra gwahanol. Mae yn ddiammheuol ei bod ar y cyntaf wedi cael ei chodi i'r bri hwn, i'r dyben o ddyrchafu yr urdd esgobawl, i ba un ei cysyngid, megys pe byddent hwy yn briodol wedi cael eu hymddiried am yr awdurdod apostolaidd. Yn ddiau, fel y mae hyn yn cael ei ddwyn ymlaen yn gyffredin, mae yn rhaid addef mai drwg ydyw."

6. "Undeb Cristionogol." Pwnc ydyw hwn ag y mae llawer o son am dano ac amcanu ato yn y dyddiau hyn; ond y mae y traethodyn hwn yn penderfynu y mater yn bur ddigwmpas: ac os coelir ef, y mae holl ymdrechiadau y Cynghrair Efengylaidd yn ofer a drwg. Y mae yn ymgeisio

yn sobr i brofi nad yw yn gyrhaeddadwy cael y fath beth ag Undeb Cristionogol ond o fewn cylch yr Eglwys Wladol. Dywed mai "athrawiaeth yr Ysgrythyr Lan, a'r Eglwys, ydyw, fod yn rhwymedig ar bawb Cristionogion berthyn i *un* Eglwys allanol a gweledig, a bod ganddynt yr un tai gweddi, yr un deddfau, yr un llywiawdwyr, yr un addoliad, a'r un defodau." Mae yn sicrhau i ni fod yr hen fam, "yr Eglwys," yn ddigon galluog, ac yn ddigon calon-dyner, i dderbyn ac ymgeleddu pob math o Gristionogion. Nid ydyw y "gwahaniaeth barn sydd yn neillduo Cristionogion i wahanol enwadau" ond gwegi yn ei golwg hi. Mae yn estyn allan ei breichiau i'w cymeryd oll i'w chôl, boed eu hopiniynau y peth y byddont; nid oes dim yn wrthodedig ganddi, ond "y gwahaniaeth barn sydd yn didoli Cristionogion oddiwrth anghredinwyr" neu Ddeistiaid. Onid yw y rhesymiad canlynol yn ogoneddus i'w ryfeddu?

"Nid oes dim yn fwy sicr na darfod i Apostolion ein Harglwydd, drwy ei awdurdod ef, fedyddio plant bychain; ac o ganlyniad, dylem ninnau wneuthur yr un peth. Ond yn awr, tybiwch i rywun syrthio i'r cyfeiliornad o feddwl na ddylid bedyddio plant bychain, ac felly gadw ei blant ei hun oddiwrth fedydd, a ydyw hyn yn rheswm i ni ymneillduo oddiwrtho? Y mae y dyn yn ddiau mewn cyfeiliornad ac mewn pechod; ond eto, nid oes dim i'w ddidoli ef oddiwrth fy nghwmpeini i tra yr erys yn undeb Eglwys Crist. Nid yw yr achos paham y beiwn ar y rhai a alwant eu hunain yn Fedyddwyr agos gymaint o herwydd eu cyfeiliornad ag ydyw o herwydd eu gwaith yn ymdori oddiwrth undeb corff Crist drwy ffurfio sect. Nid o herwydd eu barnau camsyniol yr ydym ni i'w gochel, eithr o herwydd eu bod yn gwneuthur ymraniadau yn yr Eglwys. Medd St. Paul: 'Yr wyf yn attolwg i chwi, frodyr, graffu ar y rhai sy yn peri anghydfod a rhwystrau yn erbyn yr athrawiaeth a ddysgasoch chwi, a chiliwch oddiwrthynt.' Rhaid i sism ddidoli ei awdwr oddiwrth ddynion Cristionogol.

Fe fydd bob amser wahaniad barn ymhlith dynion; ond rhaid i ni gofio na ofynir gan neb a fyno ddyfod yn aelod o'r Eglwys neu aros ynddi, broffesu ychwaneg na Chredo yr Apostolion. Os gadawa efe yr Eglwys am beth llai, nid yr Eglwys fydd yn gwrthod ei gadw ef o herwydd ei opiniynau, eithr efe fydd yn gwrthod aros ynddi hi. Os myn ef, yn wir, ddyfod yn offeiriad neu ddiacon, y mae hi yn gofyn ganddo arddel pa athrawiaethau a fwriadai ef eu dysgu, ac yn gofyn sicrwydd y dysga efe y gwirionedd, ac nid cyfeiliornad, yn ei henw hi, a thrwy ei hawdurdod; ond os boddlon fydd i aros yn aelod cyffredin o'r Eglwys, gall aros felly heb orfod proffesu ychwaneg na Chredo yr Apostolion, yr hwn yr ydym ni bawb yn ei broffesu wrth ein bedyddio."

Drwg y drygau, ni a welwn, yw ymadael â'r Eglwys. Er i Eglwyswr fyw "mewn cyfeiliornad ac mewn pechod," nis gwaeth am hyny: ceiff wyneb siriol a "chwmpeini" difyr yr awdur; oblegid mae yn aros "yn undeb Eglwys Crist," hyny yw, mae yn gwrandaw ac yn cymuno yn Eglwys Loegr. Ond am ddyn arall, druan, bydded cymaint duwinydd â Dr. Owen, bydded cystal pregethwr a John Elias, bydded mor sanctaidd a defnyddiol a Thomas Charles, bydded mor ddyngarol a chymwynasgar a John Howard, bydded mor ymdrechgar a llwyddiannus a John Williams neu Robert Moffatt,—nid oes dim yn llesâu iddo: mae wedi ymdori oddiwrth yr Eglwys Wladol, mae yn addoli mewn tŷ cwrdd Ymneillduol, mae yn byw mewn sism; ac o herwydd hyny nis gall "dynion Cristionogol," sef y cyfryw rai ag offeiriaid sir Fflint, ymddwyn ato fel brawd, nac edrych arno fel cristion! Ymneillduaeth—gwybydd, ddarllenydd—yw y pechod marwol! Cred Galfiniaeth neu Arminiaeth, cred neu anghred fedydd babanod—pobpeth o'r goreu, ond i ti beidio cefnu ar yr hen Eglwys: ond os Ymneillduwr wyt, pa mor gydwybodol bynag, gwae di; un ydwyt i'w ochel fel pla, ac i'w ffieiddio fel ysgymunbeth. Mae ymneillduo o'r Eglwys, yn ol syniad a theimlad ysgrifenydd y traethodyn hwn, yn beth diesgus i'r eithaf. Pe gofynasai yr Eglwys beth mawr oddiwrth ei haelodau, gallasent wrthddadleu rhywfaint; ond yn lle hyny, "ni ofynir gan neb a fyno ddyfod yn aelod o'r

Eglwys neu aros ynddi, broffesu ychwaneg na Chredo yr Apostolion." Rhaid yw, yn wir, i broffes "offeiriad neu ddiacon" ymestyn dros y XXXIX Erthyglau; ond am "aelod cyffredin o'r Eglwys," os gall ei broffes ef gyrhaedd yr hyn a elwir yn "Gredo yr Apostolion," digon yw. Ni ofynir iddo lafurio i ddëall y credo hwnw, ac nid oes achos iddo boeni dim yn ei gylch—dim ond ei broffesu. A rhag iddo fyned i feddwl y bydd gwneyd y broffes hono yn rhyw drafferth iddo, gwybydded ei fod wedi myned trwyddi yn hylaw, pryd nad oedd eto yn gallu tori gair, sef yn ei dadau bedydd a'i famau bedydd wrth ei fedyddio! Yr ydym yn dy weled, ddarllenydd hynaws, yn gwenu wrth y fath ddarnodiad cwla o undeb Cristionogol, sef aros yn Eglwys Loegr i gydbroffesu Credo yr Apostolion; y mae yn ddigrif genyt glywed mai rhywbeth oeraidd, arwynebol, a defodol fel yna yw "undeb yr Ysbryd;" ac y mae y dynion goreu yn yr Eglwys Wladol, yn gystal ag allan o honi, yn teimlo yr un fath a thithau. Cawsom y fraint o fod yn bresennol yn y cyfarfod mawr a gynnaliwyd yn Neuadd Exeter, Llundain, Mehefin 1af, 1843, i ddwyn ymlaen a lledanu Undeb Cristionogol, yr hwn gyfarfod oedd seren fore y Cynghrair Efengylaidd; ac o'r holl enwogion oedd yno yn llefaru yn fedrus ac yn hyfryd, ni chawsom ein boddhâu gymaint gan neb a chan yr Anrhydeddus a'r Parchedig Baptist Noel. Yn mysg pethau eraill, dywedai—"Fe ddywedir wrthym mai cyhyd ag y byddom heb ymddarostwng i'r un llywiawdwyr eglwysig, ac addoli yn yr un temlau, a chyda yr un defodau, nas gallwn fod yn un. Ond y mae hyn mor ynfyd a dywedyd nas gall un fwrdeisiaeth neu *corporation* fod mewn unrhyw ddinas, cyhyd ag y byddo y gwahanol deuluoedd sydd yn ei chyfansoddi yn byw mewn gwahanol deiau. Beth ydyw gwir nodweddiad undeb Cristionogol? Dyma ydyw,—fod pob un yn unedig yn yr un Pen; ac felly y gallwn ninnau fod, er mewn gwahanol enwadau. Dyma ydyw,—fod pob un yn cydymdeimlo â'r oll, fel yr aelodau yn yr un corff naturiol; ac felly y gallwn ninnau wneyd mewn gwahanol enwadau. Cydweithrediad ydyw yn mhob ymddygiad cyfeillgar a ddygo dystiolaeth o'n cariad brawdol, fel y gwelo y byd nad ydym, er ein golygiadau gwahanol, ond un corff yn Nghrist."

Buasai "Unffurfiaeth Sectaidd" yn deitl mwy priodol i'r traethodyn hwn nag "Undeb Cristionogol." Nid unffurfiaeth mo undeb. James Hamilton, un o Gristionogion hawddgaraf yr oes hon, a sylwa ar hyn, yn ei ddull tlws a tharawiadol: "Mae llawer yn awr wedi cael eu meddiannu gan y dychymyg o fod undeb yr eglwys yn gynnwysedig mewn cydymffurfiad â hwynt, nes y maent wedi penderfynu i beidio gwybod dim yn mysg dynion, ond eu Heglwys hwy (gan olygu wrth hyny eu cyfundeb eu hunain), a chydffurfiad â hi. Eu hundeb hwy yw ymddidoliad oddiwrth Gristionogion anghanonaidd; a phe gallent ond gwneyd un bedyddfaen, un wenwisg, ac un llyfr gweddi i bawb, maent yn credu y byddai yr Eglwys yn un. Yn lle undeb yr Ysbryd, maent yn llafurio am undeb ymddangosiad. Nid oes ganddynt syniad am deulu yn unedig os na bydd pawb ynddo yn gwisgo yn yr un fath. Nyni, ar y llaw arall, a welsom unffurfiaeth lle nad oedd dim ond y ffurf. Yr oedd eglwys y canol-oesau yn unedig, yn debyg fel y mae y cysgaduriaid yn y fedd-gell (*vault*) deuluaidd yn unedig yn nhawelwch marwolaeth. Ewch i mewn, ac y mae yr oll yno yn unffurf—yn unffurf farw, mewn düwch a phydredd. Yr oedd Eglwys y canrifoedd boreuol yn unedig, fel y mae ysgorpionau yn unedig

oddifewn i'r un llestr gwydr, lle y maent yn cael lle i groesi a cholynu y naill y llall. Yr oedd yno unffurfiaeth, ond nid undeb mohono, canys nid oedd y byd yn credu. Yr oedd y byd yn ei weled, ac yn cael ei galedu; yr oedd yn ei weled ac yn cablu. Er mwyn cadw undeb yr Eglwys, aethant i esgymuno neu i losgi yn fyw y rhai hyny oedd yn meddwl neu yn credu drostynt eu hunain, nes y bu agos i ffydd gael ei cholli o'r ddaear. Daeth yr Eglwys mor gatholigaidd, fel na cheid lle i'r efengyl. Nid undeb o orfodaeth, neu yr undeb sydd yn cymeryd ymaith eich hawl i farnu yn bersonol fel yr ammod cyntaf o gyfundeb, yw yr undeb a olygir ganddo Ef, yr hwn y mae cariad yn gyfraith gyntaf ei deyrnas, a goleuni yn rhodd gyntaf ei Ysbryd."

7. "YMDDYDDAN RHWNG OFFEIRIAD AC UN O'I BLWYFOLION." Mae y traethodyn hwn wedi ei gyfansoddi mewn dull mwy dyddorawl a deniadol nag un o'r lleill; ac y mae wedi ei fwriadu yn uniongyrchol i daraw ar Ymneillduaeth penodol Cymru. Ond os ydyw yn lled wiw o ran ei ddull, mae yn hollol annoeth o ran ei fater. Mae ei fach yn rhy ddi-abwyd, ei haeriadau Puseyaidd yn rhy noethion, iddo allu dàl y Cymry â hwynt. Y dygiad i mewn sydd fel y canlyn:—

"Mr. Morgan ydoedd Berson Llan—gŵr addfwyn, hael, a diwyd oedd efe, yn dangos yn ei holl ymarweddiad ei fod yn caru Duw a dyn. Er nad oedd yr addolwyr yn ei Eglwys yn lliosog, eto yr oeddynt yn rheolaidd, ac yn rhagori mewn rhinwedd a moesoldeb ar y rhelyw o'i blwyfolion. Yr oedd John Evans, Ty'n-y-celyn, yn nodedig felly. Bob Sul a gwyl, gwasanaeth a gosber, gwelid ef yn gyson ar eisteddle ei henafiaid, gyda'i hen lyfr Gweddi Gyffredin. Beth bynag, er syndod i'r gynnulleidfa, collwyd John yn ddiweddar o'i le arferol yn yr Eglwys dros amryw wythnosau; ac wrth ymholi beth a ddaethai o hono, clywid ei fod wedi ymuno â *seiat* yr Ymneillduwyr yn mhen uchaf y plwyf. Gan fod Mr. Morgan yn barnu fod ymneillduo oddiwrth yr Eglwys yn bechod, teimlai ei hun, yn ol adduned ei urddiad, yn rhwym o geisio argyhoeddi pawb yn ei blwyf a fyddai yn euog o hyny. O ganlyniad, pan wybu am amryfusedd John Evans, penderfynodd fyned yn uniongyrchol i ymweled ac i ymddyddan âg ef ar y mater. Cafodd ef yn y tŷ ei hunan yn trwsio rhyw offer hwsmonaeth. Pan ganfu John y Person, gostyngodd ei ben, gan edrych yn lled euog, fel ped ofnai ei fod wedi gwneuthur yr hyn ni ddylasai. Ni wnaeth Mr. Morgan beth bynag un sylwad o hyn. Gofynodd am iechyd y teulu, a ffyniant y tyddyn; ac ar ol felly adferu hyfder John, dechreuodd ar y pwnc y daethai yn benaf o'i gylch."

Mewn atebiad i ymholiad Mr. Morgan, mae John yn dywedyd pa sut yr aeth yn Ymneilldüwr. Denwyd ef, ar nos Sabboth, gan ei gymydog Dafydd Llwyd, o'r Hafottŷ, i fyned i wrandaw Mr. Jeconiah, gweinidog newydd y Cwm. Pwnc mawr y bregeth ydoedd "dyfod i'r *seiat.*" Dywedai y pregethwr, "os nad oedd dynion yn perthyn i'r *seiat* fod hyny yn brawf eglur nad oeddynt yn perthyn i Eglwys Crist, eu bod allan o'r arch, ac os na chaent dröad cyn marw, y darfyddai am danynt yn dragywydd." Ac nid digon oedd gan Mr. Jeconiah bregethu yn y modd yna; ond aeth i lefain allan ar ddiwedd yr oedfa, "Y neb a fyno achub ei enaid, arosed ar ol, ac ymuned â'r *seiat:* y neb a fyno suddo yn niluw poeth digofaint Duw, aed allan." Rhoes hyn y fath ddychryn yn ngŵr syber Ty'n-y-celyn, fel na allasai yn ei fyw fyned allan; ac felly i'r *seiat* âg ef yn y fan. Rhoddir ar ddëall i ni eto mai gyda y Methodistiaid Calfinaidd yr ymunasai John. Gwelir ar unwaith fod y desgrifiad a roddir yma yn anferthlun anghywir. Ymddengys na ŵyr yr ysgrifenydd nemawr am Fethodistiaeth Gymreig, onidê ni soniasai am "weinidog newydd y Cwm;" ni ŵyr ychwaith, neu ni fyn wybod, am eu dull yn pregethu, na'u trefn o dderbyn ymgeiswyr am aelodaeth eglwysig. Ond y mae y person yn cymeryd John mewn llaw, o herwydd ei sism; ac yn dangos iddo fod ymuniad â'r

*seiat* yn afreidiol; canys, meddai, "Y mae pawb, John, a fedyddiwyd yn iawn a dyladwy, yn Gristionogion, oblegid ar broffes eu ffydd yn Nghrist y bedyddiwyd hwy. Y maent felly yn aelodau o'r Eglwys, â chanddynt hawl i'w breintiau tra na thorer hwynt allan trwy ysgymundod." A gwaeth na hyny; y mae myned at y Methodistiaid, neu at ryw enwad o Ymneilldüwyr, yn bechod dirfawr. "Fe ofynir i ni yn y farn, John bach," medd y person, "a ufuddhasom ni i orchymynion Duw. Yn awr, un o'r gorchymynion hyny ydyw, ar i ni berthyn i Eglwys Loegr." Mae John, er mor bendew ydyw, yn synu at yr haeriad yna, ac yn gofyn am brawf ysgrythyrol o hono. Ond mae Mr. Morgan yn dyfod trwy ei bwnc yn orchestol, er boddlonrwydd iddo ei hun, ac er argyhoeddiad i John encilledig. Mae yn marchogaeth yn wych ar gefn yr olyniad apostolaidd, gan waeddi yn wrol—

"Beth os yw yr urddiad rheolaidd hwnw wedi cael ei ddwyn ymlaen o oes i oes yn ddidor oddiwrth amser yr apostolion hyd heddyw? Nid am gan' mlynedd, ond am ddeunaw cant o flyneddoedd! fel ag y mae dynion yn awr yn bod, y rhai a safant yn lle saint a merthyron sanctaidd yr ysgrythyr, o dan Ben mawr a thragywyddol yr Eglwys! Yr ydych yn edrych yn syn; ond felly y mae y peth yn bod. A chan fod y fath ddynion, rhaid mai y Cristionogion hyny ag sydd yn eu cydnabod ac yn ufuddhau iddynt, ac yn cymeryd eu dysgu a'u llywodraethu ganddynt yw gwir Eglwys Crist, ac nad oes gan y pleidiau neu y sectau sydd yn gwrthod eu hawdurdod, unrhyw hawl i'r enw, er eu bod yn cymeryd arnynt fod yn ddilynwyr i Grist.

JOHN.—Yn wir, yr ydych wedi fy synu i. Os yw yr hyn a ddywedwch yn wirionedd, y mae mor hawdd cael hyd i'r wir Eglwys yn awr ag oedd yn nyddiau yr apostolion. Ond pwy ydyw olynwyr yr apostolion hyn yn ein gwlad ni?

Mr. M.—Esgobion Eglwys Loegr ydynt. Nid oes yr un o honynt na fedr olrhain ei hawl i lywio a rheoli Eglwys Crist, ac i urddo ei gweinidogion, drwy linach hir o ragflaenwyr hyd at St. Pedr a St. Paul. Nid yw yr Ymneilldüwyr yn gwadu hyn, ac ni allant chwaith. Ac nid oes yr un o honynt hwy yn honi hawl i'r cyfryw awdurdod eu hunain, oblegid hollol ofer fyddai hyny. Nid oes oddiar gan' mlynedd er pan ddechreuodd rhai o honynt hwy, ac y mae hyny o hono ei hun yn profi mai nid gwir Eglwys Crist yw eu hachos hwy. Chwi a welwch yn awr fod yr ysgrythyr yn gorchymyn i ni berthyn i Eglwys Loegr."

John fwhwmanllyd, a etyb, "Gwelaf yn wir, syr." Aeth Mr. Morgan ymaith ar hyn i ymweled â gwraig glaf. Bu John mewn llafur dygn y noswaith hono yn chwilio ei Fibl, ac yr oedd yn cael fod pob peth fel yr oedd y person yn dywedyd! a'r boreu dranoeth, nis gallodd ymattal heb fyned o hono ei hun i'r persondŷ, i gael ymddyddan ymhellach; ac yno cafodd yr offeiriad, bid siwr, yn astudio yn ddyfal yn ei lyfrgell. Aed ymlaen gyda 'r mater o Eglwysyddiaeth ac Ymneillduaeth; ac nid rhaid dywedyd fod gŵr y persondŷ yn cario y dydd â llaw uchel. Mae yn ffrostio pethau mawrion am ei Eglwys, ac y mae yn ymhyfâu cymaint, nes o'r diwedd y mae yn cau drws y nefoedd yn erbyn Ymneilldüwyr. Sylwer ar y dyfyniadau canlynol:—

"JOHN.—Er hyn oll, syr, y mae llawer o'r Ymneilldüwyr yn pregethu athrawiaeth bur iachus; a rhaid addef y bydd cadwedig y neb a ymfucheddo yn unol â hi, er iddynt ei chlywed gan rai allan o'r Eglwys.

Mr. M.—Ni all yr Ymneilldüwyr yn unol â'u proffes bregethu athrawiaeth iachus. Pe gwnaent hyny, hwy a bregethent ymlyniad wrth yr Eglwys, a gocheliad Ymneillduaeth; oblegid dyna athrawiaeth y Bibl, fel y dywedais i chwi o'r blaen. Ond mwy na hyn; nid allant weinyddu y sacramentau yn iawn a dyladwy, ac y mae yr ysgrythyr yn ein dysgu fod y rhai hyn yn gyffredinol yn anghenrheidiol i iachawdwriaeth.

JOHN.—Yn wir! a fyddwch chwi gystled a'm cyfeirio at yr ysgrythyrau a brofant anghenrheidrwydd cyffredinol y sacramentau er iachawdwriaeth?

Mr. M.—Am fedydd, dywed ein Harglwydd, 'Oddieithr geni dyn o ddwfr ac o'r Ysbryd, ni ddichon efe fyned i mewn i deyrnas Dduw:' (*Ioan.* iii. 5)—ac am y swper

sanctaidd y dywed, 'Oni fwytêwch gnawd Mab y Dyn, ac oni yfwch ei waed ef, nid oes genych fywyd ynoch:' (*Ioan* vi. 53).

JOHN.—Wel, paham na fedr yr Ymneillduwyr weinyddu y rhai hyn yn iawn a dyladwy?

Mr. M.—Am na roddwyd yr awdurdod i wneuthur hyny i neb heblaw yr apostolion a'u holynwyr. Nid yw yr Ymneillduwyr o'r cyfryw; ac felly nid yw eu gwaith yn cymeryd arnynt weinyddu y sacramentau ond cabledd rhyfygus."

Ar derfyn yr ymddyddan, mae John yn gwaeddi "Pechais!" ac yn taer ddymuno cael ei dderbyn yn ol i dreulio "y gweddill o'i oes yn aelod bywiol o gorff Crist." Darllenasom yn ein blyneddau boreuaf y chwedl am y llew a'r fforestwr. Aeth y ddau i ddadleu pa un ai y "dynol deulu" ai tylwyth y llewod ydoedd alluocaf. I brofi y peth, arweiniwyd y llew gan y fforestwr at borth y fforest; ac uwch ben hwnw yr oedd darlun cerfiedig o ddyn ar gefn llew. "Edrych yna," ebe ceidwad y fforest; "dacw i ti brawf o flaen dy lygad mai dyn yw y trechaf." "Ië, ïe," ebe y llew; "ond pwy a wnaeth y darlun acw? Pe buaswn i yn myned i gerfio darlun, mi a wnaethwn lun llew ar gefn dyn." Pe buasem ninnau yn myned i gyfansoddi "Ymddyddan rhwng Offeiriad ac un o'i Blwyfolion," mwy na thebyg ydyw y rhoddasem John ar gefn y person, yn lle gadael i'r person fod ar gefn John. A chawsem ein helpio gan ffaith ac nid ffug. Gwyddom hyd yn nod am hen wreigan ar y plwyf, yr hon oedd yn hyddysg yn unig yn ei Bibl Cymraeg, yn gyru offeiriad rhwysgfawr, gyda'i holl fyddinoedd o resymau Rhydychain, i gilio.

Yr ydym yn canfod yma egwyddorion gwaethaf Pabyddiaeth yn cael eu hail-ferwi gan Bersoniaid yn Nghymru, a'u cymhell ar ein cenedl yn lle ymborth iachus yr efengyl. Cymerir traddodiadau yr Eglwys o flaen tystiolaethau y Bibl; gosodir ffurfiau yn lle Crist; gwneir Iachawdwr o'r sacramentau; a chyfyngir duwioldeb i ymarfer corfforol. Yn lle dangos Crist yn Gyfryngwr rhwng Duw a phechadur, dangosir yr offeiriad yn gyfryngwr rhwng pechadur a Christ. Ai yr efengyl arall hon, yr hon nid yw arall, a ddewisir gan y Cymry yn lle yr efengyl dragywyddol? Na; yr ydym yn credu mai gwaith ofer yw i'r dynwaredwyr hyn o Draethodwyr Rhydychain daenu eu rhwyd yn y Dywysogaeth; canys y maent yn gwneyd hyny "yn ngolwg" yr adar y mynent eu dàl. Maent yn gosod eu holl adeilad, ni a welsom, ar sylfaen yr olyniaeth apostolaidd. Ond beth a wnant bellach? Eu seiliau a ddinystriwyd yn hollol yn y rhifyn diweddaf o'r "Traethodydd." Yn ddiau, os oes briwsionyn o ddynoliaeth yn perthyn iddynt, hwy a orphwysant am yspaid oddiwrth fyned oddiamgylch i daenu eu traethodau Puseyaidd yn mysg gwrageddos a phlantos, ac a eisteddant i lawr i gyfansoddi atebiad i'r traethawd a gyhoeddasom ar "Yr Olyniaeth Apostolaidd." Ond os na wnant hyny—os na allant wrthbrofi ei resymau a'i ffeithiau—mae gweddeidd-dra, heb son am ddim arall, yn gorchymyn iddynt fod yn ddystaw yn oes oesoedd.

# JOHN EVANS, LLWYNFFORTUN.

[*Hanes Bywyd y Parch. John Evans, Llwynffortun.* Gan THOMAS JOHN WILLIAMS, *Myddfai.* Llanelli, argraffwyd gan Rees a Williams. 1848.]

NID yw y llyfr hwn heb ei ddiffygion, ac nid ydynt yn anhawdd eu canfod. Braidd na feddyliem y gallasai fod, mewn rhai manau, ryw fymryn bychan yn fwy trefnus. Ond yr hyn y cwynwn yn benaf o'i herwydd, yw eisieu mwy o John Evans, Llwynffortun—nid mwy o hanes am dano a feddyliwn, ond mwy o hono ef ei hun. Y ffordd oreu i ysgrifenu bywgraffiad, yn ol ein barn ni, yw gadael y person y rhoddir ei hanes, hyd y gellir, i lefaru drosto ei hun. Yr ydym yn cydnabod nad oedd yma nemawr o lythyrau i'w cael, fel yr oedd ar ol y Dr. Arnold, a John Foster: ond ar yr un pryd gallesid efelychu Boswell, tywysog yr holl Fywgraffwyr, er nad oedd dda i ddim arall, yr hwn sydd ar bob cyfle yn dwyn y Dr. Johnson ymlaen yn ei berson ei hun, ac yn ein galluogi ninnau i wrandaw arno ef a'i gyfeillion yn ymddyddan â'u gilydd. Yr un mor werthfawr genym ni fuasai cael desgrifiad manwl o ymddyddanion Mr. Evans, pe na bae ond am un diwrnod—pa bryd y cododd y diwrnod hwnw—pa hyd y bu yn gwisgo am dano—beth oedd ei sylwadau wrth wisgo—pa sawl gwaith y bu ar ei liniau cyn dyfod o'r ystafell—pa ymddyddanion a fu rhyngddo ef a'r teulu ar foreu-fwyd—pa sylwadau a wnaeth wrth ddarllen y bennod, gwyddom ei fod yn gwneyd sylwadau, ond beth oeddynt?—at bwy, ac at ba amgylchiadau yr oedd yn cyfeirio ar weddi—pa nodiadau a wnaeth ar y ffordd am y tai, a'r teuluoedd oedd yn byw ynddynt—a oedd ganddo lygad i weled anian yn y golygfeydd prydferth oedd yn ei amgylchu—pa fodd y pregethodd y diwrnod hwnw—pa beth a ddywedodd yn nhŷ y capel wrth William Dafydd y blaenor, ac wrth Mrs. J. yr hon oedd yn cadw y mis, a pha beth a ddywedasant hwythau yn ol wrtho yntau—pa ymddyddan rhyngddo â'r teulu lle yr oedd yn lletya y noswaith hono—pa beth a ddywedodd wrth y gwr ieuanc oedd yno newydd ddyfod adref o'r ysgol,: wrth y plant bach oedd yn dyfod i fewn yn wylaidd i ddywedyd eu hadnodau. Nid oes dim yn rhy fach i'w adrodd am ddyn mawr. Pethau bychain sydd yn ffurfio nodweddiad, a phethau bychain sydd yn dangos nodweddiad. Ond er hyn i gyd, llyfr yw hwn o'r iawn ryw; un na chyfarfyddir â'i well bob dydd na phob blwyddyn ychwaith yn nosbarth y bywgraffiadau Cymreig. Os nad yw yn ateb yn berffaith i'r rheol a osodwyd i lawr yma, y mae yn debyg y gall yr awdur fenthyca geiriau Solon pan yn cyflwyno cyfreithiau newyddion i'r Atheniaid, "Nid dyma y rhai goreu a allai fod, ond dyma y rhai goreu a allech chwi eu derbyn." Yr oedd yn rhaid cadw o fewn terfynau cyfyng rhag i'r llyfr chwyddo i ormod o faint, a thrwy hyny fyned mor ddrud fel na fedrai neu na fynai y Cymry mo'i brynu. Yr unig fai yw ei fod yn rhy fyr i ddangos John Evans y peth oedd. Ond pe gofynid i ni pa ranau o hono i'w gadael allan, er mwyn cael lle i'r hyn sydd yn awr yn ddiffygiol, byddai yn rhaid i ni gyfaddef fod hwn yn ofyniad nad ydym yn alluog i'w ateb. Hyd y cyrhaedda, y

mae ei gynnwysiad ar y cyfan yn foddhaol. Yn lle dolurio ein teimladau â rhyw esgyrnedd difywyd, y mae Mr. Williams wedi dyfod at y gwaith gyda llaw a llygad gwr celfydd, ac wedi tynu darlun yr efengylwr hybarch, neu o leiaf ei amgylchedd, yn ddoniol a destlus. Os nad yw wedi ei lenwi mor fanwl ag y dymunem, eto nid oes yma ddim anystwyth nac annaturiol. Y mae pob cyffyrddiad yn dangos rhyw gymaint o athrylith; ac y mae un wreichionen o athrylith yn fwy ei gwerth na byd cyfan o'r hyn a eilw y cyffredin yn drefnusrwydd.

Dywed Wordsworth mai "y plentyn yw tad y dyn." Y meddwl yw fod pob dyn yn ffurfio ei gymeriad pan yn blentyn. Gadewch i ni edrych, gan hyny, pa fath un oedd John Evans, a pha driniaeth a gafodd, yn y rhan foreuaf o'i oes.

"Ganwyd JOHN EVANS yn Hydref y flwyddyn 1779, mewn lle a elwir Cwm-Gwèn, yn mhlwyf Llanfihangel-Ieroth. Enw ei dad oedd John Evans, ei fam Rachel. Un o sir Aberteifi, o ran pobl, oedd ei dad. Un o Lanllawddog, plwyf yn agos i Gaerfyrddin, oedd ei fam. Y mae amrai o berthynasau iddo, o ochr ei fam, yn mhlwyfi Llanfynydd, Abergwili, Llanllawddog, a Llanegwad. Yr oedd yr hen ŵr synwyrol Dafydd Rees, Llanfynydd, yn berthynas iddo; a theulu parchus Rees, New Inn, o ba un yr hanodd y Parch. Josiah Rees, Llangranog. Dau o blant oeddent, mab a merch; yr oedd ef yn henach na'i chwaer bedair blwydd a chwarter. Y mae ei chwaer yn byw mewn tyddyn yn nghymydogaeth Pencader. Nid yw yn grefyddol gydag un enwad; y mae yn ymddangos yn ddynes hawddgar iawn; ac y mae ynddi lawer o bethau yn hynod debyg i'w brawd. Wrth ymddyddan â hi, dygai ei gwên siriol, ysgogiadau ei gwynebpryd, ac yn enwedig ei llygaid, wynebpryd tarawiadol a threiddiol ei brawd i'r meddwl yn effeithiol ac yn rymus. Dyn byr o gorffolaeth, yn hytrach, oedd ei dad, ac felly ei fam hefyd. Yr oedd ei dad yn ddyn cyflym a gwresog o ran tymher; yr oedd ei fam yn nodedig addfwyn a thawel; yr oedd ei dad yn ddyn pryderus o ran ei feddwl; yr oedd ei fam o dymher lonydd, a'i 'chalon yn ddiysgog yn ymddiried yn yr Arglwydd.' Nid annhebyg yw fod pryder ei dad yn dyfod i'r golwg yn ystâd flinderus meddwl ei fab; ac addfwynder, tawelwch, a sirioldeb ei fam, yn hawddgarwch a thiriondeb ei mab. Yr oedd ei dad ac yntau yn methu deall eu gilydd yn gystal a'i fam ac yntau. Nid yw hyn idd ei ryfeddu, yr oedd dyn o'r cyfryw ysbryd a'i dad yn barod i daro ei droed wrth bob twmpath; hoffai John, yntau, ei ffordd ei hun, ac yr oedd ei groesi yn ddolur calon iddo. Os nad ydym yn camsynied, y mae 'r dymher hon yn un arwydd o'r clefyd, yr hwn a'i blinodd dros ei holl fywyd. Yr oedd ei fam ac yntau yn deall eu gilydd yn dda—gwyddai yr iawn ffordd i drin yr ochr wan iddo. Os dangosai ei mab radd o gyndynrwydd tuag ati, medrai lywodraethu ei hunan—medrai ragor, medrai ddefnyddio tynerwch mewn ymddygiad, mewn gair a gweithred; wrth wneyd felly, medrai ar ddigon i fod yn fam ac yn famaeth idd ei hanwyl John. Trugaredd i Gymru mai fel hyn yr oedd pethau. Pe buasai, pan yn ieuanc, heb un ddinas noddfa i fyned iddi, heb un man i droi yn nydd ei ofid, heb neb i gydymdeimlo âg ef, fe gollasid ffrydiau ei ddawn, a melusderau defnyddioldeb ei dalentau, yn anialwch camddygiad i fynu. Yr oedd ei dad yn ddiacon yn Mhencader: hen eglwys barchus yn y gymydogaeth yn perthyn i'r Annibynwyr, o'r hon yr oedd ei fam hefyd yn aelod. Ymddengys fod ei fam, yn neillduol yn nyddiau ei hieuenctid, yn rhagori ar y cyffredin mewn dysgu ac adrodd pennodau: ystôriodd ei meddwl wrth hyn erbyn blynyddoedd canol oed a henaint. Fe 'breswyliodd gair Crist ynddi yn helaeth,' a hi a'i cyfranodd yn ddibaid idd ei chariadus fab. Yr oedd ei fam pan yn ieuanc yn aelod hardd gyda yr Annibynwyr yn y Pantteg; y gweinidog yno y pryd hwnw oedd y Parch. Thomas Davies, yr hwn hefyd a fedyddiodd wrthddrych ein Cofiant. Mor dda yw dysgu gair Duw a'i gadw a'i wneuthur. Ychydig oedd hi yn feddwl wrth ei gwaith, pan yn ferch ieuanc, yn 'rhoddi cwbl ddiwydrwydd' i ddysgu ac adrodd 'gair ein Duw ni, yr hwn a saif byth,' ei bod yn ymbarotoi i fod yn fammaeth, 'i fagu ac i feithrin yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd,' un o'r dynion rhyfeddaf a fu erioed, nid yn unig yn Nghymru, ond efallai yn yr holl fyd Cristionogol. Yr oedd hi yn ddynes dduwiol *iawn*, y mae ei duwioldeb yn perarogli yn yr ardal hyd heddyw; y mae ei mherch yn dyweyd yn uchel am dduwioldeb ei mham. Byddai yn arferyd gweddio drosto ef yn bersonol, trwy ei gymeryd o'r neilldu, a'i gyflwyno mewn difrifol weddiau i'r Hwn a ddywedodd, 'Gadewch i blant bychain ddyfod ataf fi.' Dywedai ei mherch fod rhywbeth mwy neillduol rhwng ei

mham a John; nag oedd rhyngddi a hi—'mwy o afael am dano.' Pa ryfedd os cafodd gwraig mor grefyddol ryw ddatguddiad y byddai mab cymaint o weddïau, addunedau, a dagrau, yn rhyw un mawr ac enwog yn nheyrnas yr Arglwydd a'r Iachawdwr. Y mae yn ddiammheu fod difrifoldeb ei fam wrth weddïo drosto, a'i gynghori gyda y fath ddwysder ag a wnai, yn argraffu arno, yn mlynyddoedd plentyndod a thynerwch, y sobrwydd a danbeidiai o'i wedd, ac yn ei bregethau, ar y miloedd a'i gwrandawent. Pa faint o dda neu ddrwg a all mam wneyd? Y mae llawer o rieni yn dduwiol; ond y mae eu duwioldeb yn rhy wan i wneyd dim, braidd, ond eu cadw hwy rhag uffern, y mae yn rhy fyr i gyrhaedd eu plant. Rhieni sydd yn rhoi allweddau 'r nefoedd neu allweddau uffern yn nwylaw eu plant."

Nis gallwn wella dim ar y sylwadau hyn; ac afreidiol yw ychwanegu atynt. Gan hyny ni wnawn ond yn unig eu cymhell yn daer i sylw pob tad a mam yn Nghymru: ac awn ymlaen i weled pa fodd y dechreuodd argraffiadau crefyddol ar ei feddwl.

"Yr oedd cyson gymdeithas rhyngddo â'r nefoedd er yn blentyn. Yr oedd yn brofiadol ei fod yn ffafr y Goruchaf. Dywedai yn ddifrifol iawn wrth ei chwaer ambell waith, 'Peidiwch a bod yn draws i mi, onide fe ddigia 'r nefoedd wrthych.' Tua 'r nefoedd yr oedd yn amcanu er yn blentyn. Yr oedd y nefoedd wedi cymeryd ei blaid. Aeth gyda ei dad, pan oedd oddeutu 14eg oed, i Waen-Ifor, i wrando Jones, Llangan; Pregethai Mr. Jones am yr Iachawdwr yn porthi y miloedd âg ychydig fara ac ychydig bysgod. Sylwai ar yr ymadrodd hwnw 'heblaw gwragedd a phlant.' Ei ddull difyrus ac effeithiol a ddwysymaflodd yn meddwl John ieuanc. Ychydig oedd yr hen offeiriad medrus a pharchus yn feddwl, wrth edrych ar y bachgen tenau, hyll, llygeidiog fan draw, ei fod yn gweled un o'r dynion mwyaf doniol a fu erioed yn Nghymru; ïe, un o'r gweision ffyddlonaf, duwiolaf, a mwyaf cymhwys ag a fu erioed yn perswadio colledigion i droi at Geidwad.

Y lle yr ymunodd gyntaf â'r Trefnyddion Calfinaidd oedd Gwaen-Ifor. Dim ond mewn un *society* y bu yno. Fe aeth wedi hyny i'r New Inn. Aeth ei dad gydag ef. Ar y ffordd wrth fyned, collodd ei dad ef, aeth yn ei ol i edrych am dano, ac fe'i cafodd ar ei liniau yn gweddïo. Am amser hir, os nid bob amser wedi hyn, pan fyddai yn myned heibio y ffordd hono, penliniai i weddïo: ac os na chai gyfle i fyned ar ei liniau, arosai, ac ocheneidiai tua 'r nefoedd. Yna, wedi cyfodi, aeth gyda ei dad tua 'r New Inn, a chyflwynodd ei dad ef i un Thomas Bona, neu, fel ei gelwid, y Dr. Bona, yr hwn oedd yn flaenor yno yr amser hyny. Wrth ei roddi, dywedodd ei dad, 'Dyma fe i chwi; mi fethais yn lân a gwneyd *Dissenter* o hono.' Yr oedd yn awr yn un-ar-bymtheg oed yn niwedd y flwyddyn. Fe ddechreuodd bregethu yn Hydref y flwyddyn ganlynol."

Pwy fuasai yn meddwl wrth fyned heibio i Waenifor neu New Inn, mai yn yr ardal hono y cododd un o'r pregethwyr enwocaf yn Nghymru. Ond fel hyn y mae yn gyffredin. Os meddylir am y dynion mwyaf a fu, neu sydd heddyw, ymhlith y gwahanol enwadau crefyddol, ceir eu bod, nid heb rai eithriadau mae yn wir, wedi eu magu mewn rhyw gilfachau distadl. Ac nid yw yr achos o hyn yn anamlwg. Y maent yn cael mwy o hamdden mewn lleoedd felly i feddwl. Nid yw eu sylw yn cael ei dynu gymaint ar wrthddrychau allanol, ac am hyny y mae y meddwl yn troi i chwilio am fwynhad yn y dyfnderoedd o deimladau gwreiddiol sydd o'i fewn ef ei hun. Gwnewch a fynoch i gynnorthwyo eich gilydd, ac nid oes modd gwneyd gormod, eto cofier na ddaw neb i enwogrwydd yn y byd na 'r eglwys, heb gael ei orfodi i ddeall ei hunan, a'i daflu i ymddibynu ar ei ymdrech ei hunan. Yr hyn sydd yn gwahaniaethu dyn oddiwrth yr anifel yw, nid ei fod yn wybodol, ond ei fod yn ymwybodol ac yn gydwybodol; ac i'r graddau y mae y galluoedd hyn yn cael eu dwyn i weithrediad, i'r graddau hyny y mae yn rhagori ar yr anifel. Byddai yn fendith i breswylwyr y trefydd mawrion pe credent hyn: oblegid y mae rhai o honynt, a dyweyd y gwir, yn ymddangos fel pe baent yn tybied fod pob un yn rhwym o fod yn ddyn mawr os bydd yn byw mewn tref fawr. Ac nid hyn yn unig, ond

y mae pregethwyr yn rhy dueddol i feithrin y teimlad hwn mewn amryw ffyrdd, y rhai nid oes anghenrheidrwydd i ni 'aros yma i'w cofnodi. Pe baem yn addas i roddi gair o gynghor i bregethwyr, ni a ddywedem wrthynt, Peidiwch byth a diystyru lleoedd tlodion, ac yn enwedig na ddiystyrwch y bechgyn tlodion mewn lleoedd tlodion. Byddai genych ryw reswm i dybied am ddyn mewn oed y buasech wedi clywed son am dano, pe buasai rhyw fawredd yn perthyn iddo, er nad yw hyn yn wir bob amser. Ond edrychwch ar yr hoglanc salw yswil acw, sydd yn craffu mor fanwl ar eich holl ysgogiadau, yr hwn y mae ei lygaid yn serenu pan ddywedoch rywbeth gwell na'i gilydd, nid oes neb o fewn yr holl fyd a ŵyr pa syniadau mawrion sydd wedi dechreu gwreiddio yn meddwl y bachgen yna. Diammheu fod golwg ddigon asw ar John Evans pan yn synfyfyrio wrth ddychwelyd o'r ysgol, neu wrth grwydro ambell ddarn diwrnod ar hyd y dolydd. Ond eglur yw ei fod wedi dechreu meddwl, a meddwl yn ddwfn hefyd. Yr oedd yn cymdeithasu llawer âg ef ei hun, yn holi ei hun, yn profi ei hun, yn barnu ei hun, ac yn ceryddu ei hun. Yr oedd wedi deall nad oedd dim yn nghreadigaeth Duw yn rhyfeddach, yn ddyfnach, yn ardderchocach, ac yn druenusach na 'i enaid ef ei hun. Yr oedd wedi dechreu adnabod ei hun, ac yn y drych hwnw yr oedd yn dechreu adnabod drwg pechod, a'r anghenrheidrwydd am Gyfryngwr. Yr oedd yno gefnllif o feddyliau a theimladau annhraethadwy yn ymgodi, ac yn chwyddo dros y ceulanau, nes yr agorwyd y ffordd yn raddol iddynt redeg allan i'w ffrydle briodol.

Y mae yn ymddangos fod ei dad, er yn ddiacon gyda'r Annibynwyr, yn ei fwriadu i fod yn offeiriad yn yr Eglwys Sefydledig. Nid cydweddol â'n teimladau ni un amser yw rhedeg i lawr holl weinidogion yr eglwys hono fel dynion digydwybod. Nid oes neb yn fwy parod i addef fod llawer yn myned iddi gyda dybenion cywir. Ond pa fodd y gall Ymneilldüwyr gyflwyno eu plant iddi sydd bwnc na fedrasom erioed ei ddeall. Y mae yn rhaid i'r Eglwyswyr eu hunain ystyried y cyfryw yn euog o'r rhagrith mwyaf. Er hyny y mae yn rhydd i ni gredu i'r Arglwydd oruwchreoli yr ymddygiad anghyson hwn o eiddo hen ddiacon Pencader er daioni; gan i'w fab trwy hyny gael y fantais anmhrisiadwy o dreulio ei ieuenctid yn yr ysgolion, nes y daeth i ryw raddau yn gydnabyddus â'r Lladin, y Groeg, a'r Hebraeg. Nid ydym wrth ddywedyd hyn yn barnu na allasai fod yn bregethwr defnyddiol a duwiol, heb lawer o ysgol: ond buasai yn rhaid iddo goethi ei feddwl, a chyrhaedd yr un wybodaeth o ran sylwedd, mewn rhyw ffordd arall. Nid yr *enw* o fyned i'r ysgol sydd yn gwneyd dyn yn wybodus, ond yr arferiad o ddarllen a dysgyblu ei feddwl. Y mae yr arferiad hon, pa fodd bynag y cyrhaeddir hi, yn anhebgorol anghenrheidiol. Y mae rhai trwy lafur blin a chaled wedi dringo yn uchel heb un ysgol; ond hwy eu hunain yw y rhai parotaf i gyfaddef eu bod wedi treulio llawer o amser yn ofer, ac wedi myned trwy lawer o drafferth afreidiol o ddiffyg cyfarwyddyd a chynnorthwy athrofäol. Ac am John Evans, y mae yn ammheus a fuasai efe yn meddu ar ddigon o benderfyniad i ymroddi at ddarllen am hanner diwrnod yn ei oes, oni buasai iddo gael ei orfodi i fyned trwy y cylch arferol o ddysgeidiaeth pan yn ieuanc er mwyn ei barotoi i'r offeiriadaeth. Pregethu oedd ar ei feddwl ef; at siarad y gwnawd ef; ac yr ydym yn cael na fedrodd ymattal heb fyned oddi amgylch i wneuthur daioni am ddeuddeng mlynedd o leiaf cyn ei awdurdodi gan yr esgob. Ond gadawn i Mr. Williams roddi hanes ei waith yn dechreu pregethu.

"Y mae genym brofion fod pregethu ar ei feddwl yn ieuanc iawn. Dywedodd wrthym ei fod yn pregethu pan yn fachgen bychan yma a thraw ar hyd y meusydd. Dywedai ei chwaer y byddai yn myned allan yn fynych i'r caeau i fyfyrio, gweddïo a phregethu —byddid yn ei ddal ambell waith. Elai tri neu bedwar o bobl y tŷ, neu rai o'r cymydogion agosaf, am berth âg ef, a gwrandawent arno am gryn amser gydag hyfrydwch a dyddanwch nid bychan. O bymtheg i un-ar-bymtheg oed oedd pan yn cadw ysgol yn Mhencader. Yn mysg eraill ag oedd ganddo yn yr ysgol yr oedd yno ddau oddynion ieuainc: sef, John Lloyd, a Thomas Davies; byddai y tri ar ambell i dro yn pregethu; pob un yn ei dro, a'r ddau eraill yn barnu; nid oedd un o honynt yn grefyddol. Meddai Mr. Evans, 'Yr oedd hyn yn rhyfygus iawn ynom i bregethu heb enw o grefydd.' John Lloyd oedd yr ymadroddwr penaf. Yn fuan ar ol hyn ymunodd John Evans â'r Trefnyddion; Thomas Davies â'r Bedyddwyr; a John Lloyd â'r Annibynwyr. Y mae y Parch. John Lloyd yn weinidog ffyddlon a llafurus yn Henllan, er ys llawer o flynyddoedd. Aeth Mr. Evans, i Lanpumsaint, i gadw ysgol, cyn pen fawr o amser ar ol ymuno â'r brodyr yn y New Inn. Yn Llanpumsaint y dechreuodd bregethu. Y mae lle yn ymyl pentref Llanpumsaint a elwir y 'Llain,' yn yr hwn yr oedd yn byw, yr amser y dechreuodd John Evans, un Joshua Phillips, brawd i'r diweddar John Phillips, Meidrim, yr hwn a fu yn pregethu am flynyddoedd ymhlith y Trefnyddion Calfinaidd. Yr oedd y gwr hwn yn ddyn da, 'yn ofni Duw yn fwy na llawer.' Y testun oedd, 'Os myn neb ddyfod ar fy ol i, ymwaded âg ef ei hun,' &c. Y mae yn ddiau fod y bregeth yn dda; ni effeithiodd testun gymaint ar bregethwr erioed ag effeithiodd hwn arno ef: fe'i lluniwyd ar ei ddelw ef, ac fe'i ffurfiwyd yn mold yr adnod hon—y gyfran hon o air Duw gwedi ei phersonoli ydoedd ei ymarweddiad gwylaidd, difrifol, a gostyngedig. Y mae i ryw raddau bob galwedigaeth y byddir ynddi yn ffurfio ei delw ar y rhai a'i harferant. Onid ydyw yn syndod na byddai pregethu, ac ymdrin â'r Bibl, yn gadael mwy o argraff ar y miloedd sydd yn arferyd â hwy. Yr ail destun yn yr un lle ydoedd, 'Fy anrhydeddwyr a anrhydeddaf fi.' &c."

Pan yn naw-ar-hugain oed, priododd â Mrs. Jones, gweddw, yr hon oedd yn byw yn Llwynffortun: a'r flwyddyn ganlynol, urddwyd ef yn ddiacon gan Watson, Esgob Llandaff. Bu yn gurad am ychydig amser yn Mynyddislwyn, ac wedi hyny yn Casnewydd-Penybont, a Threlalas. Ond codwyd gwrthwynebiad yn fuan i'r offeiriad newydd gwyllt gan y plwyfolion; a dywedir mai rhai o'r rhywogaeth hawddgar, yn awr fel gynt, oedd flaenaf yn y camwedd. Daeth adref i Lwynffortun, ac ar ol pregethu yn achlysurol mewn gwahanol eglwysi, y rhai a orlenwid gan liosogrwydd y gwrandawwyr, cafodd guradaeth Llanddowror, hen eglwys yr enwog Griffith Jones. Ond nid hir y bu yno drachefn heb dori allan i bregethu mewn llanau eraill, lle y cai dderbyniad: ac mewn man neu ddau, pan nacäwyd rhoddi drysau y llan yn agored iddo, aeth Mr. Evans i ben un o'r beddfeini, a rhoddodd allan ei hoff bennill—

"O'r nef mi glywais newydd, fe'm cododd ar fy nhraed,
Fod ffynnon wedi ei hagor, i'r cleifion gael iachâd.
O f'enaid 'hed yn ebrwydd, a phaid a llwfrhau;
O'th flaen mae *drws agored* na ddichon neb ei gau."

Bu yn yr eglwys ychydig yn fwy na blwyddyn: ond ni chafodd ei gwbl urddau. Crybwylla ysgrifenydd y bywgraffiad iddo ddyweyd wrtho ryw dro, "Mr. Evans, dim ond un urdd gafodd Mr. Hill (y Parch. R. Hill); yr oedd yn arfer dyweyd ei fod wedi treulio ei oes â dim ond un fotas; pe buasech chwi yn cael ei un ef, neu efe yn cael eich un chwi, fe fuasid yn meddu ar bâr fel hyny." "Gwir iawn," dywedai yntau, "ond ni fuasai ddim yn taraw gwedi hyny, oblegid botasau yr un droed oedd y ddwy." Ar ol hyn o grwydr aeth yn ei ol at y Methodistiaid, ac y mae yn hawdd genym gredu iddo gael derbyniad llawen gan ei hen gyfeillion. Gwnaeth ei arosfa am y rhan fwyaf o weddill ei oes yn Llwynffortun, yr hwn sydd dyddyn yn nyffryn Towy, un o'r dyffrynoedd mwyaf dymunol yn

Mrydain. Ond mynych yr ymwelai â rhanau eraill o'r Dywysogaeth, yn y Gogledd yn gystal a'r Deheudir. Mawr oedd y dysgwyliad pa bryd bynag y clywid ei fod yn dyfod trwy unrhyw barth o'r wlad; a pharhaodd yn ei boblogrwydd hyd y diwedd. Ond cyn myned ymhellach, nis gallwn nacau i ni ein hunain yr hyfrydwch o gyfleu ger bron ein darllenwyr y desgrifiad campus a roddir gan Mr. Williams o'i ymddangosiad mewn cymanfa.

"Cymerwn olwg arno yn awr mewn *Association* neu Gymanfa. Dyma ddydd y Gymanfa wedi dyfod—y mae cae cyfleus yn ymyl y dreflan lle y cedwir y cyfarfod—rhodd rhyw foneddig haelfrydig yn y gymydogaeth—yno y mae esgynlawr gwedi ei adeiladu—mewn cysylltiad â hwn bob ochr iddo, y mae pedeirolfeni a cherbydau—a'r cwbl yn gwneyd i fyny ran o gylch tebyg i hanner lleuad. Oddiyma ac oddidraw fe welir y miloedd yn dyfod ynghyd: rhai mewn cerbydau, rhai ar feirch, a llawer ar draed—y llwybrau oddiamgylch gwedi eu duo, a'r holl ffyrdd gwedi eu britho, gan ddyeithriaid a phererinion. Dyma y cwrdd yn myned i ddechreu am 10 o'r gloch y dydd olaf: rhyw frawd anwyl yn rhoddi emyn allan idd ei ganu, yn darllen rhanau o'r gair santaidd ac yn myned i weddi; yn y cyfamser dyma Mr. Evans, Llwynfortun, yn dyfod tua'r cae, hyd y bwlch, os mor bell; y mae yn dyfod yn mraich rhyw gyfaill; ond wrth ei ddyfodiad dyma 'r dyrfa yn ymagor ac yn ymranu yn ddwy linell; erbyn hyn bydd yr holl seremoniau, 'Pa sut yr ydych chwi, a pha fodd yr ydych chwithau,' yn eu llawn ogoniant; y mae 'n rhaid i'r dwylaw gael eu rhoi, ac y mae yn rhaid gwneyd yn fawr o'r rhai hyny hefyd: hwyrach na wasanaethir pedwar neu bump ar unwaith, trwy ranu y bysedd—fe roddir hyn a hyn i hwn, ac felly i'r llall hefyd. Fe oblygir y pen ar un draw, fe wenir yn siriol ar yr un acw; siaredir hefyd gymaint ag a ellir trwy ofyn hynt y perthynasau, y teuluoedd ynghyd â'r cymydogion preswyliedig yn yr ardaloedd o ba rai y mae y personau yr ymddyddenir â hwy yn dyfod. Eir fel hyn o gam i gam trwy y dyrfa hyd nes y byddir wrth yr esgynlawr—yna dringir i fyny. Yn ol myned i fyny y mae yn rhaid rhoi rhyw dro apostolaidd, gydag edrychiad difrifol ar y gwyddfodolion; yna, â'i wyneb yn orchuddiedig yn ei het, dyrchefir ocheneidiau a saeth-weddïau i'r nef am Ddwyfol ddylanwadau. Wrth ei ddyfodiad fe fydd pawb yn barod i gyfodi—â rhagddo gan gyflawni ar hyd ei daith yn go fanwl amrai gyfarchiadau; yna eistedda yn mysg ei frodyr fel 'brenin mewn llu.' Ar ambell lewyrchyn yn mhregeth rhyw frawd doniol fyddo yn anerch y gwrandawwyr, fe gyfyd i fyny mewn ehelaeth fwynhad o'r ymadrodd, a buan y mwyhëir ei fwynhad pan welo y miloedd yn cydfwynhau âg ef. Y mae yr olygfa hon arno (gwrandawwr heb ei fath ydoedd) yn dwyn mawr foddhad i'r cannoedd o'r saint ag sydd yn bresennol. Er fod y bregeth hon yn dda, ac yn dda iawn, eto, tua'r conglau a'r 'cyrau eithaf' y mae llaweroedd, y rhai 'nad ydynt yn gofalu am ddim o'r pethau hyn'—ond yn awr dyma'r 'Amen.' Yn awr, pwy sydd nesaf? yw 'r gofyniad. Mr. Evans, Llwynffortun, yw 'r atebiad. Gyda hyn dyma'r enwog John Evans, New Inn, yn myned i gyfarch y dorf liosog. Egyr y 'memrwn sanctaidd,' try y dalenau â'i law, ac edrycha ar y dyrfa ac am y testun bob yn ail; yn ol ei gael, enwa y llyfr, yna y bennod a'r adnod, gan ddywedyd, 'Yma y gwelir geiriau i'w darllen fel hyn.' Gwedi hyn darllena y testun yn rymus, medrus, soniarus, eglur, a hwylus; gyda hyn fe fydd y llaw chwith yn taclusu y napcyn gwddf, a'r llaw ddeheu yn graddol ysgogi, ac yn effeithiol awgrymu parodrwydd areithyddol y pregethwr i fyrlymu allan ffrydiau llifeiriog o hyawdledd. Hefyd, y mae yr ên, y gwefusau, y gruddiau, mewn gair, y mae holl beirianwaith ymadroddus yr areithiwr mewn llawn waith. Y mae yn rhagymadroddi oddiwrth rai o'r cyd-destunau; ar hyd y ffordd wrth fyned at ei destun y mae ei 'lygaid yn canfod pob peth gwerthfawr,' ac y mae ei ddawn yn ei osod allan yn y modd goreu. Yn ddisymwth dyma fe gyda ei destun, efallai mai yn destunol, efallai mai yn bynciol, fel y dygwyddo hi; ond fe bregethir, beth bynag yn anwyl. Yn ol galw yn nhrysorfa ei destun, dwg allan feichiau trymion o werthfawr bethau ei gynnwysiad; ac erbyn y byddo gwedi gwasgaru y cludiadau hyn, dyma fe yn ddiarwybod i bawb gyda ei destun drachefn. Yna tyn ryw ddeilen olewydden oddiarno, ac a'i cwhwfana yn nghilfin ei ddawn medrus nes na bydd neb yn beiddio gofyn, A oes heddwch? Gwna fel hyn un tro ar ol y llall, nes y byddo mewn ymddangosiad gwedi dyhysbyddu ei destun. Y mae yn awr yn 'angel yn ehedeg yn nghanol y nef â'r efengyl dragywyddol ganddo.' Gyda ei waith fel hyn yn ennill y gynnulleidfa, ceir eu gweled fel egin mis Mai ar ol cafodydd maethlon y Gwanwyn, i gyd yn lloni ac yn adfywio. Y mae ei ymadroddion yn disgyn

ar y gwrandawwyr 'fel gwlaw ar frwellt, ac fel cafodydd ar laswellt.' Yn awr, dacw bobl y 'cyrau eithaf' yn dechreu dofi — dacw y coegddyn yn gymen iawn yn rhoddi benthyg ei glust—dacw y dysgedig â'i wyneb myfyrgar yn gwisgo ambell i wên yn awr a phryd arall—man draw yn ei *gig* y mae ynad yr heddwch a'i foneddiges yn gwrando wrth eu bodd—y mae yr annysgedig, yntau, gwedi cael ei wareiddio gan ddylanwad y pregethwr—y mae y difeddwl a'r ieuanc, am yr amser presennol boed a fyno, gwedi eu darbwyllo i dalu teyrnged o wrandawiad i'r hyn a draethir gan y dywedwr—y mae yr hen wr a'r hen wreigan, wrth bwys eu ffŷn, a'u 'cnawd a'u calon gwedi pallu,' yn teimlo dyddiau ieuenctid unwaith eto yn adymaflyd ynddynt. Y mae yntau yn awr yn feistr y gynnulleidfa, yr hon a wneir i fynu o filoedd a miloedd o wahanol amrywiaethau sefyllfaoedd, tymherau, synwyrau, a dygiad i fyny. Y mae yn eu trin i gyd fel y mŷno ei hunan: fe'u difyra fel y difyra y fam y plentyn sugno. Y mae ei ymddangosiad apostolaidd, boneddigaidd, a santaidd yn *awr* yn llanw y llygaid—y mae ei bêr a'i felus barabl yn adsain yn ein clustiau. 'Mor weddaidd ar y mynyddoedd oedd traed yr efengylwr hwn yn cyhoeddi heddwch, yn dywedyd wrth Seion, Dy Dduw di sydd yn teyrnasu.' Dacw bawb yn ymadael, ac yn barod i ddweyd, fel y dywedwyd am ei Feistr mawr, 'Ni lefarodd dyn erioed fel y dyn hwn.'"

Treuliodd amryw flyneddau yn y rhan ddiweddaf o'i oes yn y Cross Inn, lle y bu farw ei wraig gyntaf, ac y priododd yr ail waith â Miss Rachel Davies, merch Mr. J. Davies, Pentwyn, Llanon. Oddiyno symudodd i Pentwyn; ond erbyn hyn yr oedd wedi gwanychu yn fawr. Am y flwyddyn olaf o'i fywyd nid âi ond ychydig iawn oddicartref; ond ymdrechai fyned mor fynych ag y gallai i'r capel y perthynai iddo, yr hwn oedd yn ymyl, hyd ddydd ei ymadawiad. Yr oedd wedi penodi ar y lle i'w gladdu o flaen y capel; i'r hwn fan yr elai bob tro wrth fyned i, a dyfod o, foddion gras. Safai yno am beth amser, a chollai ei hun mewn myfyrdodau a gweddïau. "Claddwch fi fan hyn, druain," meddai, "peidiwch a'm dodi yn nes i'r mur rhag im' fod dan y bargod." Ychydig o ddyddiau cyn huno yn yr Iesu, dywedodd wrth ei anwyl wraig, "Ni chollir ddim o honof, na wneir, na wneir." Gofynai hithau iddo, "A gawsoch ryw ymweliad cysurus yn ddiweddar, Mr. Evans bach?" Atebai yntau, â'r dagrau yn llifo dros ei ruddiau, "Do, do! yr hwn sydd yn credu yn y Mab ni ddemnir—ni chollwyd neb erioed a gredodd yn y Mab—yr wyf finnau yn credu â'm holl galon." Yn yr agwedd hon y bu farw ar y 6ed o Hydref, 1847.

Fel hyn yr ymadawodd un o "rai rhagorol y ddaear." Yr oedd wedi addfedu i ogoniant, fel y rhagddywedodd ef ei hun wrth son am farwolaethau amryw frodyr enwog o wahanol enwadau crefyddol. "Y maent hwy," meddai, "wedi myned, ac y mae yn debyg na fyddaf innau yn hir bellach. Un o'r *winter apples* wyf fi; ond yr wyf yn dysgwyl y byddaf finnau yn addfed tua *November*, ac y cymer fy Nhad nefol fi ato ei hun."

"Yr hen Lwynffortun anwyl!" chwedl y bobl. Y mae lle gwag yn y byd ar ei ol. Er nad ydym yn ei ystyried yn ddyn mor *anghymharol* o fawr ag y darlunir ef gan frwdfrydedd ei hanesydd, yr hyn ynddo ef sydd ddigon esgusodol, credwn er hyny fod ynddo rai rhagoriaethau nad oes ond ychydig, os neb, yn feddiannol arnynt mewn cymaint helaethrwydd. Fel dyn, yr oedd wedi ei addurno â llawer o gymhwysderau i'r gwaith a fwriedid iddo. Yr oedd ei wynebpryd hardd, ei lygaid mawrion llonydd, a phereidd-dra ei lais, yn arddangosiad cywir o ansawdd ei feddwl. Yr oedd yn llestr etholedig, wedi ei wneyd o'r clai goreu, i ddwyn trysorau yr efengyl i fyd colledig. Mae yn wir fod yn y llestr hwn, er hardded oedd, radd bychan o wendid mewn un man: ond hwyrach fod hyn yn ei wneyd

yn fwy derbyniol gan y cyffredin, ar yr un egwyddor ag y maent, yn ngwledydd y dwyrain, yn edrych ar bawb a fyddo wedi colli eu synwyrau fel rhai ysbrydoledig. Pa fodd bynag am hyny, yr oedd y Lluniwr mawr, yn yr achos hwn, fel mewn achosion eraill, wedi gwneuthur y naill ar gyfer y llall. Fel y mae y rhai sydd yn brinach mewn un gynneddf yn rhagori mewn cynneddfau eraill, yr oedd ei gof yntau yn gryfach, a'i ddychymyg yn fwy bywiog na chyffredin. Ac heblaw hyn, yr oedd ei ddiddichellrwydd a'i wresogrwydd calonog yn ei wneyd yn fywyd pob cymdeithas. Yr ansoddau hyn sydd yn peri fod y morwyr, at eu gilydd, yn ddosbarth mor hoffus. Y maent yn treulio y rhan fwyaf o'u hamser ymhell oddiwrth eu cyd-ddynion; ac am hyny y maent, fel yr adar yn yr ynysoedd anhygyrch, yn rhydd oddiwrth bob drwgdybiaeth; a phan ddelont i gymdeithas, y mae y ffrwd o deimladau oedd wedi croni yn eu mynwesau yn rhedeg allan megys pe'd agorid argae. Oblegid yr un rheswm, y dynion mwyaf darllengar a myfyrgar yw y cyfeillion mwyaf dyddan, pan ymollyngant i fod yn gyfeillgar. Ond nid oes neb, beth bynag yw ei ddawn a'i amgylchiadau, nad yw yn gwybod am weithrediad yr un duedd ar ryw achlysuron. Y mae pawb a fu erioed yn rhwym am rai wythnosau ar wely cystudd yn cofio yn dda y wedd newydd oedd ar y gwrthddrychau mwyaf adnabyddus y diwrnod cyntaf y daethant yn alluog i gamu tros y trothwy—y prydferthwch oedd yn daenedig dros y greadigaeth, nes yr oeddynt yn yfed dedwyddwch i'w hysbryd oddiwrth yr olwg ar bob peth oedd yn eu hamgylchynu. Rhywbeth tebyg i hyn, gellid meddwl, oedd teimladau Mr. Evans yn dra mynych. Yr oedd yn treulio darnau lliosog o'i oes yn wirioneddol bruddglwyfus; ond i'r graddau y byddai y pruddglwyf yn ei wneyd yn anhapus, i'r graddau hyny yr oedd ei ddedwyddwch yn fwy yn nghymdeithas ei gyfeillion; ac yr oedd o anghenrheidrwydd yn gwasgaru yr un gwres hyfryd o'i amgylch, nes nawseiddio serchiadau pawb oedd yn agos ato.

Ond yr oedd Mr. Evans hefyd yn ddyn duwiol, a duwiol iawn. Beth bynag oedd yn ddiffygiol yn ei gyfansoddiad naturiol, ni chlywsom erioed fod un briw na brêg yn ei gymeriad Cristionogol. Yr oedd yn ofni Duw o'i febyd. Adroddir yn ei hanes ei fod, pan yn yr ysgol yn Maes-y-noni, yn arfer gweddïo yn uchel wrth fyned i'r gwely, ac y byddai y gwasanaethddynion yn dyweyd y naill wrth y llall, "Dystewch, y mae John Evans yn gweddïo." Ac ar ol iddo ddechreu pregethu, y mae genym seiliau digonol i gredu ei fod yn weddïwr dibaid, ac iddo bara felly trwy ei fywyd. Yr oedd hyn yn effeithio ar ei holl ymddyddanion, ac yn cadw llywodraeth grefyddol ar ei holl ymddygiadau. Yr ydym yn cofio un hanesyn am dano, yr hwn sydd yn brawf o'i gydwybodolrwydd a'i awydd i wneyd daioni. Yr oedd yn lletya un noswaith gyda theulu cyfrifol yn y rhan uchaf i sir Gaerfyrddin. Yr oedd yn hwyr cyn iddo gyrhaedd yno. Ar ol cwynosa, a threulio ychydig amser yn siriol a chyfeillgar, gofynodd Mr. Evans am gael darllen pennod a gweddïo. Yr oedd erbyn hyn yn tynu at hanner nos. Dywedwyd wrtho ei bod yn hwyr iawn, a bod y gweision a'r morwynion wedi myned i gysgu. "Wel," ebe yntau, "os yw yn rhy hwyr i gadw y ddyledswydd deuluaidd, gadewch i ni gael rhyw gymaint o ymddyddan crefyddol serch hyny, i chwalu tipyn ar y niwl oddiar y gydwybod. A ydych chwi, Mr. P., yn cael hamdden y dyddiau hyn i feddwl am eich enaid? Yr wyf yn ofni, *my dear sir*, fod y byd yn cael gormod o le yn eich calon. Ac am danoch chwithau, Miss P., yr wyf yn cofio fod

arwyddion gobeithiol arnoch chwi rai blyneddau yn ol; ond bum yn meddwl eich bod wedi myned yn ddiweddar braidd yn wylltach nag oeddych. Yn awr yw yr adeg i chwi eich dau i ymbarotoi erbyn marw; ac nid oes dim a wna les y pryd hyny ond grym duwioldeb." Nid oes yma ond talfyriad o'i anerchiad patriarchaidd; a dywedwyd i ni fod y ddau yn well o'r tro. Nid pob un fuasai yn medru cymeryd cymaint â hyn o ryddid heb godi gwrthdarawiad yn meddyliau y rhai a gyferchid ganddo. Ond yr oedd y parch oedd gan bawb i Mr. Evans fel dyn duwiol yn agor eu calonau i dderbyn ei eiriau.

Nid anaddas yw sylwi ymhellach ei fod yn ddyn duwiol *boneddigaidd.* Wrth ddywedyd hyn nid ydym yn cyfeirio at ei feddiannau bydol; oblegid y mae llawer un yn gyfoethog heb fod yn ŵr boneddig, ac y mae llawer un yn foneddigaidd heb fod yn gyfoethog. Ac nid ydym ychwaith yn gosod nemawr o bwys ar ei ymgrymiadau a'i foes-gyfarchiadau diddiwedd. Buasai llai o'r pethau hyn yn llawn cystal, er eu bod yn gweddu yn burion arno ef. Ond cyfeirio yr ydym at y lledneisrwydd hwnw sydd yn anhebgorol i bob dyn cyn y gellir ei barchu fel un o ymddygiad boneddigaidd. Nid pob dyn duwiol sydd yn ei feddu; o'r hyn lleiaf, y mae llawer o'r hyn sydd groes iddo mewn rhai nas gellir ammheu eu duwioldeb. Ond yr oedd Mr. Evans bob amser yn anadlu mewn awyr o ledneisrwydd. Ni oddefai i neb ddodi ei droed ar y pryfyn distadlaf. "Peidiwch, druain," meddai, "y mae ganddo ei deimladau tyner fel ninnau." Adroddir hefyd yn ei hanes iddo gyfarfod unwaith â mintai o *gypsies*, a chyfarch gwell iddynt; ac iddynt hwythau ddychwelyd eu cydnabyddiaeth iddo yntau mewn geiriau bendithiol a chlodforus. Dywedai ei gyfaill wrtho, "Mr. Evans, nid oes un addewid i'r rhai yna, oes e?" "Oes druain, oes druain," meddai yntau, "Y rhai a ddisgynant i'r llwch a ymgrymant ger ei fron ef." Yr oedd yn barchus iawn o deimladau pawb, os byddai lle i farnu eu bod yn meddu teimladau. Clywsom am dano un tro yn gadeirydd mewn cymdeithasfa, pan gododd hen frawd i draethu ei syniadau, y rhai nid oeddynt yn digwydd taraw yn uniongyrchol ar y pwnc oedd dan ymdriniaeth. "Yr ydych yn dyweyd yn dda iawn," ebe yntau, "yr ydych yn dyweyd yn dda iawn; hwyrach y daw hyna i fewn ar ryw fater arall, ond nid dyna y mater sydd dan sylw yn awr." Er hyny, pan fyddai achos yn galw, medrai daflu gair mor gyrhaeddgar a neb, fel y tystia yr hyn a adroddir yn ei hanes am ddau frawd yn ngafael yr ias Americanaidd, un o ba rai a awgrymai na fuasai yn ormod peth i'r Cyfarfod Misol eu danfon. "O, na, druain," dywedai yntau, "os myned i ddanfon, ni a ddanfonwn rai o werth eu danfon." Bu yr ymadrodd byr hwn yn foddion i feddyginiaethu y ddau frawd yn drwyadl; ac y mae eu traed ar ddaear Cymru y dydd heddyw.

Mewn cysylltiad â'i ledneisrwydd, iawn ydyw nodi ei dymher haelfrydig at yr holl enwadau crefyddol. Mae yn debyg mai mewn cyfeiriad at hyn y dywedodd yr hybarch Christmas Evans y byddai pobl y mil blyneddau i gyd fel Mr. Evans, Llwynffortun. Ar un achlysur yn Llanelli, wrth drin y pwnc o fedydd, wedi gosod allan ei olygiadau ei hun, dywedai—"Mae brodyr parchus eraill yn golygu fod llawer o ddwfr yn anghenrheidiol; gwneled pawb ateb cydwybod yn hyn, ond y Nefoedd a'n gwaredo rhag ffraeo ynghylch y masgl a bod yn ddifater am yr ŵy. Gofynwyd unwaith i ddau frawd gwahanol eu golygiadau am y dull, 'A ydych chwi yn sicr

mai bedydd trwy drochiad sydd yn iawn?' 'O ydwyf yn eithaf sicr.' 'A ydych chwithau yn sicr mai taenellu y dwfr sydd gywir?' 'O ydwyf yn eithaf sicr.' 'A ydych chwi yn credu yn Nghrist?' 'Gobeithiwyf fy mod.' 'A ydych chwithau yn credu yn Nghrist?' 'Gobeithiwyf fy mod.' Felly y mae dynion, druain, yn sicr mewn pethau ansicr, ac yn ansicr yn yr hyn y dylent fod yn sicr. Fy mrodyr a'm chwiorydd anwyl, na fydded i ni ymrwystro gyda y cysgodau, ond awn trwyddynt at y Sylwedd Mawr ei hun." Dyma iaith deilwng o Gristion. Ond byddai y duedd hon weithiau yn ei arwain dros bob terfynau. Tarawodd wrth ŵr dyeithr unwaith, a gofynodd a oedd efe yn perthyn i ryw gangen o eglwys Crist. Atebodd yntau nad oedd. "Gobeithio," meddai Mr. Evans, "eich bod yn ddyn duwiol serch hyny." Mewn man arall gofynwyd iddo beth oedd ei farn am ddyn meddw, yn y gymydogaeth hono, yr hwn oedd wedi syrthio ychydig cyn hyny dros y bont yn ei feddwdod, a boddi. "Dylem gymeryd yn araf iawn y ffordd yna," ebe yntau, "oblegid nid oes neb a ŵyr na chafodd drugaredd rhwng y bont a'r afon." Diau na ddylid rhoddi terfyn i Sanct yr Israel; ac o'n rhan ni yn bersonol, y mae yn rhaid i ni gyfaddef fod ysbryd hael Mr. Evans yn hynod o gydfynedol â'n teimladau; ac yn myned yn fwy felly bob blwyddyn. Ond y mae ochr arall i'r ddalen yn bod, a dylid cofio fod gwirionedd ac egwyddor yn werth dadleu drostynt, a dyoddef drostynt. Y mae gormod o duedd yn yr oes hon i golli golwg ar y gwahaniaeth anghyfnewidiol rhwng drwg a da, ac i esgusodi dynion dïegwyddor, yn enwedig os byddant yn meddu tipyn o'r byd, pan y dylent gael eu hysio a'u hwtio allan o bob cymdeithas. Onid oes genym anghreifftiau lliosog o ddynion yn aberthu eu cydwybodau ar allor Mammon, ac yn cael eu parchu yn llawn cymaint, os nid yn fwy, nag o'r blaen? Onid oes rhai yn cywilyddio son am wirionedd ac uniondeb rhag eu cyfrif yn euog o feddwl cyfyng? Onid oes mwy o gydymdeimlad yn cael ei ddangos at ddrwgweithredwyr nag at y tlodion gan ein seneddwyr? Ac hyd yn nod yn mysg yr enwadau crefyddol, onid oes gormod o dynerwch yn cael ei arfer at rai sydd yn profi eu hunain yn hollol amddifaid o lywodraeth crefydd ar eu calonau? Y mae genym bob parch i gariad, a da pe byddai mwy o hono; ond pan eir i ferwi pob math o fresych gwylltion fel hyn yn un cawl cymysglyd, y mae cariad ei hun yn ein gorfodi i waeddi fod angeu yn y crochan. Gobeithiwn na ddychymyga neb ein bod, yn y sylwadau hyn, yn beio ar Mr. Evans, mwy nag y dymunem gollfarnu yr Archesgob Leighton, neu William Gurnall; ond teimlo yr ydym fod anghen hefyd am ysbryd yr hen Anghydffurfwyr, y rhai a safasant fel y dderwen yn nghanol yr ystorm, a thrwy hyny a brofasant, ond ar yr un pryd a dorasant, rym y corwynt. Pe buasai rhinweddau Mr. Evans o Lwynffortun a Mr. Elias o Fon wedi cydgyfarfod yn yr un person, buasent yn cyfansoddi nodweddiad na welwyd ond anfynych ei gyffelyb. Yr oeddynt i raddau wedi eu huno yn Luther, a Baxter, a John Howe, a Charles o'r Bala, a Dr. Chalmers, ac amryw eraill yn ddiammheu nad ydym yn awr yn cofio am danynt: ond ni welwyd erioed yr holl rinweddau hyn wedi cydgyfarfod yn gyfartal ac yn berffaith oddieithr mewn un hanes a ysgrifenwyd ar wahanol amserau, ac mewn gwahanol amgylchiadau, gan bedwar o wyr, y rhai mewn cymhariaeth oeddynt anllythyrenog; yr hyn sydd brawf digonol fod gwrthddrych yr hanes hwnw yn fwy na dyn.

Ond gadawer i ni eto daflu golwg ar Mr. Evans yn fwy neillduol fel pregethwr. Y mae un awdur wedi sylwi yn ddiweddar fod hanfodion

pregethu wedi eu colli ymhlith y Saeson, ac nad yw eu pregethau yn ddim amgen na thraethodau, a'r rhai hyny yn fynych yn dra marwaidd. Nid hawdd yw penderfynu yn mha beth y dylai y cyfansoddiadau hyn wahaniaethu oddiwrth bob cyfansoddiad arall; ond gellid meddwl fod rhyw le canol yn perthyn iddynt rhwng traethodau a barddoniaeth, nid barddoniaeth Pope a'i ganlynwyr, ond yr eiddo Dante a Milton. Y mae yma faes digon helaeth, a digon o le i amrywiaeth: ond nid oes perygl i neb golli y ffordd, os na fydd yn rhy awyddus i gadw o fewn terfynau. Yr oedd yr hen bregethwyr yn feistriaid ar y gwaith oblegid eu bod yn ymollwng i lefaru fel yr oedd naturiaeth ei hun yn eu dysgu. Ond y mae nifer mawr o bregethwyr Lloegr wedi dirywio yn yr un modd a'r beirdd, ac nid yw yn annichonadwy i bregethwyr Cymru ddirywio hefyd, trwy adael natur er mwyn efrydu cynlluniau a rheolau. Er hyny, meddyliem na fyddem yn euog o bleidgarwch pe dywedem fod elfenau hanfodol pregethu wedi eu cadw yn Nghymru hyd yma, a'u bod i'w canfod yn amlwg yn John Evans, Llwynffortun. Ni ddygwyddodd i ni erioed ei glywed yn amcanu at yr ehediadau uchaf a berthynant i araethyddiaeth gysegredig; ac eto anaml y codai i siarad heb fod ganddo ryw darawiadau a barai i chwi ddywedyd yn ddystaw, Dyma Bregethwr! Nid yn unig yr oedd yn traethu am y gwrthddrych oddi draw; ond medrai ei ddwyn o flaen y meddwl, ac er mwyn cynnorthwyo y gwrandawwyr i'w weled medrai ei wisgo â'r iaith fwyaf dewisol, ac â'r cymhariaethau mwyaf destlus. Pan âi i son am y creaduriaid yn myned i'r arch, yr oeddych yn gweled Noa yn hen ŵr parchus yr olwg arno yn sefyll wrth y drws i'w derbyn, a'r holl lwybrau wedi eu britho gan bedwar-carnoliaid ac ymlusgiaid heb rifedi, nes yr oeddych yn barod i gilio oddiar eu ffordd. Pan ddarluniai y ddwy anian yn y Cristion, yr oeddych yn gweled pechod yn hen ddyn crebachlyd, crintachlyd, yn myned wanach wanach, a gras yn ddyn ieuanc gwridgoch, glandeg, yn myned gryfach gryfach. Ond pan soniai drachefn â'i lais toddedig am ddyoddefiadau y Cyfryngwr, braidd na feddyliech eich bod yn gweled ol yr hoelion yn ei ddwylaw a'i draed, nes yr oedd Thomas anghrediniol yn barod i ddywedyd, "Fy Arglwydd, a'm Duw."

O ran y dull o draddodi, yr oedd, fel rhai o brif areithwyr Lloegr, yn perthyn i'r dosbarth unffurfiol. Rhedai ei hyawdledd allan yn ffrwd risialaidd, heb nemawr o amrywiaeth mewn agwedd na llais, o'r dechreu i'r diwedd. I'r dosbarth hwn y perthynai Robert Hall, yr hwn a gynnygiodd y dull arall yn nechreuad ei weinidogaeth, ond a gafodd allan yn fuan fod ei lais a'i nerth corfforol yn rhy wan, ac am hyny fod yn rhaid iddo wneyd i fynu mewn cyflymdra yr hyn oedd yn ddiffygiol mewn grym. Y mae i bob hedyn ei gorff ei hun; ac nid yw yn un anmharch ar Mr. Evans, pe dywedid mai hwn oedd yr unig ddull oedd yn gweddu iddo ef, oblegid yr oedd ei boblogeiddrwydd i raddau mawr yn ymddibynu ar gyflawnder a llithrigrwydd ei ymadroddiad. Nid ydym yn tybied y buasai yn alluog i daflu pelenau poethion mewn ychydig eiriau fel Ebenezer Morris neu John Elias, mwy nag y gallasent hwythau gaethiwo sylw cynnulleidfa, a'i chadw am ddwy awr mewn hwyl nefolaidd, heb ddyrchafu y llais na gwneyd yr ymddangosiad lleiaf o egni corfforol. Nid oedd ganddo ddawn i ddyweyd ei feddwl mewn cylch bychan; a phe buasai yn llwyddo i wneuthur hyny, nid yw yn debyg y buasai y dywediad yn ddigon cynnwysfawr i orchfygu y teimladau: ond yr oedd yr un dyben yn cael ei

ateb yn raddol trwy barhad yr argraffiadau ar feddyliau y gwrandawwyr.

Yr hyn a hynodai Mr. Evans fel pregethwr oedd ei brydferthwch. Yr oedd ei wynebpryd yn brydferth, tafliad ei law yn brydferth, ei feddyliau yn brydferth, a'i iaith yn brydferth. Yr oedd oll wedi ei wisgo â phrydferthwch. Yr oedd rhyw swyn rhyfeddol hyd yn nod yn ei lais, ac nid ydym yn ammheu nad oedd llawer o'i wrandawwyr yn cael gwledd yn mhereidd-dra y swn, heb sylwi ar ystyr yr hyn a draddodid. Nid oedd ei hyawdledd yn llifeiriant angerddol yn rhuthro ar draws pob rhwystrau, ac yn rhwygo y cwbl o'i flaen fel yr eiddo Elias o Fon. Nid oedd un amser yn ymarllwys yn rhaiadrau annysgwyliadwy, nes "synu, pensyfrdanu dyn," fel yr eiddo Ebenezer Morris. Nid oedd yn rhedeg rhwng creigiau mor serth ac mor uchel a'r eiddo Christmas Evans. Nid oedd yn afon lydan, lonydd, ddofn, fel yr eiddo Charles, Caerfyrddin. Nid oedd yn ateb cynnifer o wahanol ddybenion, nac yn rhedeg trwy randiroedd mor amrywiol, a'r eiddo Ebenezer Richards, neu Williams, o'r Wern. Ond er hyny yr oedd yn un o'r afonydd prydferthaf a welwyd erioed, o faintioli mwy na chyffredin, yn dolenu ar hyd ac ar led dyffrynoedd breision, fel pe buasai wedi anghofio pen ei thaith yn nghanol hawddgarwch y golygfeydd oedd ar ei glanau. Gallesid meddwl wrth ei wrandaw nad oedd dim yn haws na phregethu. Yr oedd yn meistroli holl deimladau y galon heb amcanu at hyny. Yr oedd ei araethyddiaeth fel yr enfys yn anghymharol o hardd, ac ar yr un pryd mor agos atom mewn ymddangosiad nes arwain rhai i gredu y gallasent yn hawdd ei efelychu: ond er iddynt sefyll yn ol eu tyb hwy yn yr un man ag y gwelsant ef ychydig cyn hyny yn dadlenu ei ogoniant o flaen eu llygaid, yr oedd prydferthwch y pregethwr doniol o Lwynffortun mor bell o'u cyrhaedd ag erioed. Yr oedd y dynion hyn yn anghofio fod prydferthwch yn colli pan yr ymdrechir i'w ddangos. Pa bryd bynag y gwneir ysgogiadau y corff, neu oslef y llais, neu y dull o ymadroddi, yn wrthddrychau blaenaf ein myfyrdod, y maent yn rhwym o fyned yn annaturiol, ac o ganlyniad yn wrthun. Nid oes yn yr holl greadigaeth un gwrthddrych yn fwy prydferth na phlentyn bach; a'r achos o hyny ydyw ei fod yn berffaith rydd oddiwrth bob pryder ynghylch ei ymddangosiad. Yr ysbryd plentynaidd hwn yw gwreiddyn pob prydferthwch; a hyn mewn modd arbenig oedd yn harddu Mr. Evans. Ai tybied yr ydych, chwi ddynwaredwyr, ei fod ef yn cymeryd amser i ystyried wrth draddodi pa agwedd oedd ar ei ddyn oddiallan? Ai tebyg ei fod yn dywedyd wrtho ei hun, Dyma yr adeg i mi godi fy llaw chwith i deimlo y napcyn sydd am fy ngwddf; yn awr dylwn roddi cwhwfaniad hardd i'r law dde; y mae yn bryd i mi bellach roddi rhyw droiad mwynaidd a hyfryd i'r llais. Os oedd yn meddwl am y pethau hyn weithiau, y mae yn ddiddadl mai nid yr amserau hyny y byddai yn pregethu oreu. Yr oedd efe, fel pob pregethwr mawr, yn colli golwg arno ei hun yn nysgleirdeb y meddyliau a lanwent ei fryd. Yr oedd ei faterion yn meddiannu ei holl enaid, ac yr oedd pethau llai eu pwys yn cymeryd eu lle naturiol, oblegid nad oedd yn meddwl ond ychydig am danynt. Nid oedd yr addurniadau allanol ganddo ef ond gwisg yn dilladu ei bregethau; ac nid oes un dyn call yn gofalu llawer am ei wisg, ond yn unig iddi fod yn symol glân, ac na fyddo yn tynu sylw o herwydd ei hanweddeidd-dra.

Ond wedi 'r cwbl, yr hyn a'i gwnaeth mor ddefnyddiol yn ei ddydd oedd yr *eneiniad*. Hyn oedd ei addurn penaf, ac a barai fod *myn'd* yn ei breg-

ethau. Dyma beth nas gellir ei ddesgrifio, mwy nag y gellir dyweyd beth yw bywyd naturiol. Ond hebddo nid yw y dynion mwyaf doniol ond delwau yn symud ac yn siarad trwy rym peirianwaith. Y mae miloedd yn Nghymru yn gwybod pa beth ydyw trwy weled ei effeithiau; a chadwed Duw y teimlad o'r anghen am dano yn ein gwlad tra parhao dyddiau'r ddaear.

---

# NODIADAU AR LYFRAU.

*Valuable Letters, Essays, and other Papers, of the late* Rev. JOHN ELIAS, of Anglesea: *together with observations on his Publications.* By the Rev. E. MORGAN, M.A. Vicar of Syston. Carnarvon: Published by H. Humphreys.

Cof yw genym i ni deimlo profedigaeth ar rai amserau, wrth ddarllen pregethau Whitfield a Rowlands, i ammheu cywirdeb y traddodiad am fawredd y gwyr enwog hyny fel pregethwyr. Ond dyma brawf ychwanegol y gall dyn fod yn bregethwr anghymharol heb fod dim neillduol yn ei ysgrifeniadau. Er hyny, yr ydym yn ddiolchgar am gymaint a hyn o weddillion i gofio am Mr. Elias. Y maent yn dangos cartrefle ei fyfyrdodau, ei deimlad gwresog at achos Crist, a'i lafur dibaid i wneyd daioni. Ac ni ddylid meddwl nas gallant fod yn fuddiol am na baent yn fwy gwreiddiol; oblegid gwyddom fod y nifer fwyaf o ddarllenwyr yn cael blas a bendith ar lyfrau a llythyrau nad ydynt yn cynnwys ond y syniadau mwyaf cyffredin. O'n rhan ni, buasai yn dda genym gael llythyrau *mwy* cyffredin; sef y rhai a ysgrifenwyd ganddo at gyfeillion gyda golwg ar ei amgylchiadau personol ef neu hwythau. Meddylia llawer nad oes un llythyr yn werth ei gyhoeddi os na fydd ynddo ddarn o bregeth ar ryw bwnc duwinyddol. Y mae pregethau yn dda yn eu lle; ond yr hyn a ddysgwylir yn benaf mewn llythyrau yw teimladau a gweithrediadau yr ysgrifenwyr. Dymunol fuasai cael mwy o llythyrau fel hyn ar ol Mr. Elias; ond diolchgar ydym am a gawsom.

Y rhanau a barodd i ni fwyaf o hyfrydwch yn y llyfr hwn yw llythyrau Mr. Elias at amryw wragedd duwiol, y rhai a elwir gan Mr. Morgan, *Pastoral Letters.* Y mae yn gysur meddwl fod gohebiaethau cyffelyb yn cael eu dwyn ymlaen yn Nghymru eto. Er cymaint yw dadwrdd y byd yn y dyddiau hyn, gwyddom mai nid newyddiaduron a llythyrau masnachol yw y cwbl a drosglwyddir gan y llythyr-gerbyd o'r naill dref i'r llall; ond fod papyr-leni helaeth yn cael eu llenwi yn feunyddiol â phrofiadau gwir grefyddol, yn enwedig gan y gwragedd a'r merched, y rhai yw y goreu o bawb am ysgrifenu llythyrau.

Efallai mai prif nodwedd yr oes hon yw gweithgarwch; ond yn nghanol y trwst y mae perygl i ni golli ein duwiolfrydedd. A da fyddai fod y Llythyrau hyn a llyfrau cyffelyb wrth law, gan bawb a fedro eu defnyddio, i'n dwyn atom ein hunain ambell waith, i ystyriaeth ddifrifol a hunan-ymholiad. Yn nghanol yr agerdd crefyddol y mae eisieu cofio fod dyn yn rhywbeth heblaw peiriant.

Y mae yn rhaid fod llafur Mr. Morgan wedi bod yn fawr dros ben i gasglu yr holl ysgrifeniadau hyn at eu gilydd. Gan obeithio y bydd galwad yn fuan am ail argraffiad, cymerwn ryddid i nodi un camgymeriad bychan a ddygwyddodd lithro i tudal. 264. Dywedir yno gan Mr. Morgan iddynt gyflwyno anerchiad o sir Fon i William IV., ac yna rhoddir penderfyniadau y cyfarfod misol, ynghyd â llythyr Mr. Elias at Syr W. B. Hughes, ar yr achlysur, y rhai ydynt wedi eu dyddio, Medi 20fed, 1821. Ar ol hyny dywedir iddynt anfon anerchiad at Frenin arall ar ei ddyfodiad i sir Fon. Yn awr pe buasai Mr. Morgan yn sylwi ar yr amseriad, canfuasai yn y fan mai i George IV. y cyflwynwyd yr anerchiad cyntaf, oblegid ni esgynodd William IV. i'r orsedd hyd y flwyddyn 1830. Ffolineb fyddai gosod hyn allan fel prawf o anwybodaeth yr ysgrifenydd: ac ni ddymunem gymeryd mantais mor annheg arno ef na neb arall.

*Hanc veniam petimusque damusque vicissim.*

---

CLWYD-WASG: DINBYCH, ARGRAFFWYD GAN T. GEE.

